# HANES CYMRU,

## A Chenedl y Cymry,

O'R CYNOESOEDD

HYD AT

## FARWOLAETH LLEWELYN AP GRUFFYDD;

YNGHYD A

RHAI COFIAINT PERTHYNOL I'R AMSEROEDD O'R PRYD HYNNY I WAERED.

GAN

Y PARCH. THOMAS PRICE,

(CARNHUANAWC.)

CRUGHYWEL:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN THOMAS WILLIAMS.

AR WERTH HEFYD

GAN H. HUGHES, A D. WILLIAMS, LLUNDAIN,

A CHAN HOLL LYFRWERTHWYR

Y DYWYSOGAETH.

1842.

# RHAGYMADRODD.

---

Yn y gwaith hwn o Hanes Cymru, pa ryw fai neu deilyngdod bynnag a hanfoda, nid oes neb ond fy hun i atteb dros y naill neu i hawlio y llall; canys nid oes ynddo linell o eiddo neb ond fy hun, oddieithr trwy ailadroddiad allan o ysgrifau cyhoeddus: ac nid ymgynghorais â nebun perthynol i gyfansoddiad un linell o honaw.

O'r beiau a geisiais eu hogelyd, y mae y canlynol yn mhlith y blaenaf:—

Haeru yn ddiawdurdod, trwy roddi fy nychymygion fy hun, neu ereill, megys hanesyddiaeth sefydledig.

Mabwysaw haeriadau ereill, heb eu profi trwy yr awdurdodau cysefin.

Celu digwyddiadau anhoff, trwy duedd neu ragfarn.

Cymmeryd i fy hun yr anrhydedd a berthyn i arall, trwy roddi caffaeliadau hwnnw megys fy eiddo fy hun, ac heb arddel fy nyled amdanynt.

Camarwain fy narllenwyr mewn un modd pwy bynnag, neu adael ar eu ffordd achlysur cyfeiliornad, heb geisio ei symmud ymaith; mewn gair,—ceisiais yn gydwybodol roddi y gwir, yn ddigymmysc; ac mor belled ag y caniatâai y cyfle, ac y gofynai y testun, roddi yr holl wir didalfyr.

Am y llythyreniad, ni allaf roddi gwell cyfrif na thrwy ailadrodd yr hyn a osodais ar glawr y Rhan 1.

"O ran y llythyreniad, buasai dda gennyf afaelyd mewn rhyw gyfundraeth arddeledig gan y cyffredin, ond ni lwyddais i gael allan un. Ceisiais y cyfryw beth yn argraffiadau diweddar yr Ysgrythyrau, ond methais a'i gael. Ceisiais ef hefyd yn y Cyhoeddiadau Cylchynol, ond gwelais yno fod pob Golygydd a'i drefn ei hun. Am hynny ymosodais i ffurfio trefn i fy hun; ond yn hyn cyfarfum â chynifer o rwystrau, fel y barnais yn oreu adael y dosparth hwn, gan mwyaf, yn nwylaw yr Argraffyddion, gan ymddiried yn eu medrusrwydd a'u cynnefindra â'r cyfryw orchwylion."

Heblaw yr annhrefn hwn, y mae amryw wallau llythyrenol a geiriol ereill yn hanfodedig trwy'r gwaith, am rai o'r sawl yr wyf yn attebol fy hun, ond am amryw ereill gadawaf y Wasg i atteb.

CARNHUANAWC.

*Mawrth* 1, 1842.

# Y CYNHWYSIAD.

YR EGLWYS.



TYWYSOGION CYMRU.

# HANES CYMRU.

## DYFODIAD Y CYMRY I YNYS PRYDAIN.

Y MAE dyfodiad cyntefig y Cymry i Ynys Prydain, yn orchuddiedig dan y fath arwe o niwl a thywyllwch cynoesol, fel na's gellir, trwy eithaf chwiliad hynafiaethol, gyrhaeddyd at unrhyw wybodaeth sylweddol am dano. Y mae yn hysbys eu bod, o gylch dwy fil o flynyddoedd yn ol, yn genedl liosog a chadarn; yr hyn a arwyddoca eu hir feddiant o'r ynys y pryd hwnnw; ond am eu hanniad dechreuol, eu teithiau, a'r oes yn mha un y daethant yma, rhaid eu gadael i ddychymygiad yn unig, am nad oes awdurdod hanesyddol o'u plegid. Eithr, hyn a ellir ei dderbyn megys yn anwrthbrofadwy am y Cymry; tai hwynthwy oeddynt drigolion cyntaf Ynys Prydain. "Ac," fel y dywed y Trioedd, "nid oes dylyed i neb arni namyn i Genedl y Cymry, can ys hwy a'i goresgynasant gyntaf, a chynn no hynny nid oedd neb o ddynion yn byw ynddi, eithyr llawn eirth, a bleiddiau, ac efeinc, ac ychain bannog ydoedd."

Ond er nad oes mynegiad awdurdodol am yr amgylchiadau uchod perthynol i ddyfodiad y Cymry, etto y mae, ar y lleiaf, dri o hanesion yn cyfeirio attynt, ac oll yn amrywiol idd eu gilydd. Dau o honynt a geir yn llyfr Nennius, a'r trydydd yn y Trioedd. Y cyntaf o'r hanesion hyn y mae yr awdwr yn dywedyd iddo ei gael yn ysgrifeniadau y Rhufeiniaid.* Hwn a fynega fod y Brytaniaid wedi deillio o Gaerdroia, ac iddynt ddyfod i'r ynys hon o dan dywysiad Brutus, gorwyr Æneas. Yr hanes arall efe a ddywed iddo ei gael yn hen lyfrau ei hynafiaid.† Yn ol hwn, Brutus oedd fab i Hesicion, mab Alanus, &c., yn tarddu oddiwrth Iapheth, yn yr ugeinfed ach, trwy ei fab Iafan. Hefyd, yr awdwr a fynega iddo gael, oddiwrth draddodiad yr hynafiaid,‡ fod Alanus yn fab i Rhea Silvia, ferch Numa Pompilius, wyr i Æneas! Ond y mae yr hanesion hyn, y rhai a haerant darddiad o Gaerdroia, mor chwedleuaidd, ac mor annghyson âg hanesyddiaeth awdurdodol, ac hefyd mor annghytun â'u gilydd, fel na fyddent yn haeddiannol o sylw yn y dyddiau hyn o eglurder hynafiaethol, oddieithr am y derbyniad cyffredinol a gawsant yn yr oesoedd gynt; oblegid er mor ddisail yr ymddangosant y dydd heddyw, yr oeddynt unwaith yn cael eu derbyn megys gwirioneddau anwadadwy, ac hefyd yn hanfodi yn

* "In annalibus autem Romanorum scriptum est."
† "In antiquis libris nostrorum veterum." ‡ "Ex traditione veterum."

gynnar iawn yn mhlith trigolion Prydain, fel y gwelir yn llyfr Nennius,§ a elwir "Historia Britonum," yr hwn a ysgrifenwyd yn y flwyddyn 858; ail-ysgrifiad o ba un a wnaethpwyd gan Marc y Meudwy, yn y flwyddyn 945, ac o ba un y mae etto mewn hanfodiad law-ysgrif o'r oes honno. ||

Y mae hefyd gyfeiriad at y traddodiad hwn yn un o'r hen gyfansoddiadau a geir dan enw Taliesin—

> "Mi a ddoethym yma,
> At weddillion Troia."

Ac hefyd yn yr Awdl Fraith—

> "————— mor druan
> Y daw'r ddarogan,
> Drwy ddirfawr gwynfan,
> I lin Troea."

Y mae yn debygol mai oddiwrth y Rhufeiniaid y derbyniwyd y chwedl hon; oblegid yr oedd y bobl hynny yn gorfoleddu yn y dyb eu bod wedi deillio o Gaerdroia; ac y mae Nennius yn mynegu iddo ei chael yn mhlith ysgrifeniadau hanesiol y Rhufeiniaid, "*In annalibus Romanorum.*" Ac nid annichonadwy fod rhai o'r Brytaniaid mor anwladgar ag ymhoffi yn y gred eu bod o'r un hiliogaeth a'u gormeswyr; a diameu nad oedd y Rhufeiniaid yn anfoddlon iddeu cefnogi yn y cyfryw feddyliad dirmygus, i'r dyben iddynt orphwys yn llonyddach dan eu llywodraeth. Y mae yn amlwg hefyd i'r chwedl estronaidd hon, ar ol ei mabwyso gan ein hynafiaid, gael ei chorpholi â hen draddodiadau ac hanesion eu cenedl, fel na's gellir, y dydd heddyw, ddywedyd pa le y mae y cyffiniau rhwng y gwir a'r gau.

Heblaw y cyfeiriadau rhagflaenol, y mae traethiad helaeth o'r chwedl hon yn y llyfr a elwir "*Brut y Brenhinoedd,*" pa un a gafodd Gwallter, Archiagon Rhydychain, yn Llydaw, o gylch y flwyddyn 1100, mewn hen ysgrif yn yr iaith Gymraeg, a'r hwn a gyfieithodd ef i'r Lladin; ac ar ol hynny cyfieithodd ef drachefn i'r Gymraeg; yr hwn gyfieithiad sydd yn argraffedig yn y Myvyrian Archaiology, a'r geiriau canlynol wrth ei derfyniad, "Myfi, Gwallter, Archiagon Rhydychen, a droes y llyfr hwn o Gymraec yn Lladin, ac yn fy henaint y troes i ef yr ail waith o Ladin yn Nghymraec." Gwallter hefyd a osodes y llyfr cyssefin yn nwylaw Gruffudd ab Arthur, yr hwn a elwir gan y Saeson, *Geoffrey of Monmouth*, i'r dyben iddei gyfieithu i'r Lladin, o achos, fel y meddylir, fod G. ab Arthur yn fwy medrus megys ysgrifenydd Lladin, ac yn rhagori mewn coethder a godidogrwydd iaith; a G. ab Arthur a'i cyfieithodd yn nghylch y flwyddyn 1125; a'r

§ Yr oedd Nennius yn Eglwyswr o Gôr Bangor, ac yn ddisgybl i'r Esgob Elfod. "Ego Nennius Sancti Elbodi discipulus."—Gale's Nennius.

|| Gunn's Nennius.

cyfieithiad hwn a hanfoda mewn amryw ysgrifau. Y canlynol sydd dalfyriad o chwedl y Troianwys, fel ag yr adroddir hi yn y Brut:—

### CYNHWYSIAD BRUT Y BRENHINOEDD.

"Wedi dinystr Caerdroia, Æneas a ffodd, yn nghyda llu o'i gyd-ddinasyddion, ac a ddaeth i'r Ital; ac wedi darostwng y wlad honno, efe a sefydlodd ei bobl ei hun ynddi, ac a sicrhaodd yr orseddfainc iddo ei hun ac iddei eppil. Ar ol talm o amser, Brutus, mab Silvius, mab Ascanius, mab Æneas, pan yn llanc, a laddodd ei dad â saeth, yn ddifwriad, wrth hela; am ba ddigwyddiad gorfu iddo ffoi o'r wlad. Ac efe a aeth i dir Groeg, lle y cafodd nifer lliosog o hiliogaeth Caerdroia, yn gaethweision, wedi eu cadw yn garcharorion gan y Groegiaid. Yna Brutus a'u casglodd yn nghyd i'r dyben iddeu rhyddhau o'u caethiwed; ac yn mhen ychydig o amser, ei ganlynwyr a liosogasant i'r fath raddau, a'u bod yn saith mil o wyr arfog, heblaw gwragedd a phlant. Ar ol amryw frwydrau â'r Groegiaid, Brutus a ennillodd un fuddugoliaeth bennodol, ac a gymerodd y brenin yn garcharor, yr hyn amgylchiad a fu yn achlysur iddo gael ammodau i ymadael â'r wlad yn ddirwystr. Ar ol hwylio ar hyd For-y-Canoldir dros hir amser, a thirio yn amryw fannau, o'r diwedd daethant i ynys, lle yr oedd hen deml i'r dduwies Diana, a delw yn rhoddi atebion dewinol. Ar ol aberthu i'r dduwies hon, Brutus a rybuddiwyd ganddi mewn breuddwyd i hwylio i Ynys Prydain. Ar ei ffordd tuag yno, daeth i fan lle yr oedd llu arall o alltudion Caerdroia, wedi ymsefydlu, blaenor pa rai oedd Corineus, gwr o nerth corph a dewrder calon digyffelyb. Y bobl hyn a unasant â chanlynwyr Brutus, ac a ddaethant gyda hwy hyd at oror tir Gâl, sef Ffrainc, lle y tiriasant i hela. Ond brenin y wlad a gynnullodd fyddin liosog iddeu gwrthsefyll, ac ar ol dirfawr ymladd, y Troianwys (neu y Troianwyssion, fel y gelwir hwy yn y Brut,) a ennillasant y trechaf, ac a ddychwelasant iddeu llongau gydag yspail fawr; ac oddiyno hwyliasant i Ynys Prydain."

Yr Ynys, y pryd hwnnw, a elwid Albion, ac yr ydoedd heb drigolion, oddieithr ychydig o gewri, y sawl a orchfygwyd yn fuan gan Brutus, yr hwn a osododd ei enw ei hun ar yr Ynys, ac a'i galwodd yn Brytania, a'i ganlynwyr yn Frytaniaid. Corineus, yn ol cynllun ei flaenor, a osododd ei enw ei hun ar yr ardal yn mha un yr ymsefydlodd, gan ei galw yn *Gernyw*. A'r achos iddo ddewis yr ardal hon ydoedd, am fod y cewri yn amlach yno nag mewn mannau ereill, o herwydd hoffai ymgyfarfod ac ymladd â hwynthwy. Yn mhlith y cewri hyn yr oedd un annghenfil o'r enw Gogmagog [neu Goemagot], o faintioli aruthr, gan ei fod yn ddeuddeg cufydd o uwchder, ac yn meddu y fath nerth, fel y tynai dderwen o'r gwreiddyn mor hawdd a thynu gwialen gollen fechan. Ac fel yr oedd

Brutus yn cadw diwrnod gwyl yn yr ardal honno, wele Gogmagog yn dyfod i mewn, ac ugain o gewri gydag ef, ac yn ymosod yn ffyrnig ar y Brytaniaid; ond y rhai hyn a'u gwrthsafasant hwy yn wrol, ac a'u lladdasant oll, oddieithr Gogmagog; a Brutus a roddasai orchymyn iddei gadw ef yn fyw, er mwyn gweled ymdrech rhyngddo â Chorineus. A phan welodd Corineus ef yn dyfod yn mlaen, ymlawenhaodd yn fawr, a chan daflu ei arfau heibio, efe a'i heriodd i ymaflyd codwm. Y cawr nid oedd un i wrthod y fath gynnyg, ac felly aethant yn nghyda'r gorchwyl heb golli amser. Ar ol ymdrechu yn galed dros ennyd hir, y cawr a wasgodd Gorineus gyda'r fath nerth, nes tori tair o'i asenau, ac wrth hyn Corineus a lidiodd yn ddirfawr, ac a gyfododd y cawr ar ei ysgwydd, ac a redodd âg ef i ben un o greigiau y môr, ac a'i taflodd ef dros y dibyn, lle y trengodd; a'r lle hwnnw a elwir "Llam y Cawr," neu, "Naid Gogmagog."||

Ar ol hyn Brutus a adeiladodd ddinas, ac a'i galwodd *Troia Newydd*, yr hwn enw a lygrwyd i *Trinovantum*. Yn mhen pedair blynedd ar hugain, Brutus a fu farw, a'r ynys a ranwyd rhwng ei dri mab—Locrinus, Camber, ac Albanactus, y rhai a roisant eu henwau iddeu priodol ddosparthau, sef Lloegr, Cymru, ac Alban. Ar ol hyn y Brut a draetha am frenhinoedd Prydain, hyd amser Cadwaladr. Yn eu plith rhodda hanes Llyr a'i dair merch; Dyfnwal Moelmud a'i gyfreithiau; ac haera mai Bran, mab Dyfnwal Moelmud, oedd y rhyfelwr ardderchog hwnnw a elwid Brennus gan y Rhufeiniaid, yr hwn, wedi gorfod ffoi o Brydain, o achos ymryson â'i frawd, a aeth i wlad yr Allobroges, ac wedi priodi y Dywysoges, a wnaed yn frenin ar y wlad honno. Bran, trwy gynnorthwy ei frawd Beli, a ddarostyngodd wlad Gâl, ac a aeth â llu mawr o'i bobl, ac a gymerodd ddinas Rhufain, megys y gwelir yn yr hanesion Rhufeinig.

Y Brut a grybwylla hefyd am feibion Beli Mawr ap Manogan, sef Lludd, Caswallawn, a Niniaf. A mynega tai y brenin Lludd a adgyweiriodd ac a harddodd ddinas Troinofant, ac a roddodd ei enw ei hun iddi, sef *Caerludd*, ac wedi hyny galwyd hi Caer Lundeyn, oddiwrth pa un y mae ei henw presennol *(London)* yn deilliaw.§

Ar ol marw Lludd, daeth ei frawd, Caswallawn, i'r orsedd, a hwn yw y Cassivelaunus, yr hwn a ymladdodd mor wrol yn erbyn Iulius Cæsar a'r Rhufeiniaid. Niniaf, y brawd arall, a ymgystadlodd law-law â Cæsar, ar ba achos Cæsar a darawodd, â'i gleddyf, ergyd mor nerthol ar darian Niniaf, nes iddei gleddyf lynu ynddi, fel na's gallai, gan derfysg y frwydr, ei dynu allan; a Niniaf a'i dygodd ymaith yn graff yn ei darian; ond a fu farw o'r clwyf a dderbyniodd yn y frwydr.

|| Lle a elwir "*The Haw,*" gerllaw Plymouth. § Gan ys pa beth a feddylir am gywirdra y tarddiad hwn, y mae yn amlwg mai nid enw Seisnaeg yw *London*, oblegid yr ydoedd yn hanfodi yn amser y Rhufeiniaid, sef *Londinium*, *Lundinium*, a *Longodinium*.

Y Brut a â rhagddo i fynegi am lywodraeth y Rhufeiniaid, dyfodiad y Saeson, Uthyr Pendragon, y Brenin Arthur, Myrddin Emrys, &c. hyd amser Cadwaladr; ond gan y sylwir ar y testynau hyn yn eu priod leoedd, y mae hyn yn ddigon am gynhwysiad y llyfr, yr hwn a ddengys mor eglur y fath gymysgedd o ffug a gwir, fel na's gellir rhoddi un rhan o honaw megys hanesyddiaeth awdurdodol; ac ni's gellir ychwaith wrthod y cwbl, oblegid amlwg yw fod adroddiadau ynddo o amryw bethau eithaf sylweddol, yn enwedig yn yr oesoedd diweddaraf.

Ond cyn ymadael â'r gwaith hwn, ar hyn o bryd, dymunwn gyfeirio at un ffug-chwedl a gynhwysir ynddo, nid o herwydd un tebygolrwydd o wirionedd, ond am y berthynas y mae un o'r amgylchiadau yn ei ddwyn â'r traddodiadau cynoesawl hynny o eiddo y Cymry, y sawl a effeithiasant mor nodedig ar lênyddiaeth Europaidd. Y canlynol sydd dalfyriad o'r chwedl:—

### Y TAIR GORMES YN AMSER Y BRENIN LLUDD.

Heblaw y tri mab a ragenwyd, yr oedd gan Beli ap Manogan fab arall, a elwid Llefelys, yr hwn, trwy briodi tywysoges Ffrainc, a wnaethpwyd yn frenin ar y wlad honno.

"Ac wedi llithraw talm o amser, tair gormes a ddygwyddws yn Ynys Prydain, ac ni chlywsai neb o'r hen oesoedd gynt eu cyfryw.*

"Y gyntaf o naddynt oedd ryw genedl a ddaeth, a elwyd y Coraniaid; a chymaint oedd eu gwybod ag nad oedd un ymadrodd ag y cyfarfyddai y gwynt ag ef nas gwypynt. A'u bâth oedd arian corr.†

"Yr ail oedd diaspad [crochlef] a ddodyd bob nos Calanmai uwchben pob aelwyd drwy holl Ynys Prydain, a honno a âi trwy galonnau dynion ac anifeiliaid, yn gymaint ag y collai y gwyr eu lliw a'u nerth, y gwragedd a ddychrynent yn echryslon, a'r meibion a'r merched a gollent eu synwyr; a'r holl anifeiliaid, a'r gwŷdd, a'r ddaear, a aent yn ddiffrwyth.

"Y drydedd oedd, er maint fai y darmerth [darpariad], a'r arlwy a barotoed yn llys y brenin, ac yn holl lysoedd Ynys Prydain, cyd bei arlwy blwyddyn o fwyd a diawd, ni cheffyd byth dim o honaw, namyn a dreulynt yn yr un nos gyntaf.

"Cyhoedd ac amlwg oedd yr ormes gyntaf, ond am y ddwy ormes ereill nid oedd neb a wypei eu hystyr. Ac yna pryderu a gofalu yn fawr a oruc

* Y mae y chwedl hon yn gynwysedig yn y Brutiau, yn y Myvyrian Archaiology, ac hefyd yn hanes Guttyn Owain, (gwêl y Greal 1806, tu dal. 241.) Yn yr ailadroddiad yma, ni chanlynais un o honynt yn hollol, eithr cymerais ychydig allan o bob un, heb ofalu am un gwahaniaeth cangeniaethol; ac aileiriais yr iaith mewn mannau, gan atosod egluriadau, i'r dyben iddei gwneud yn ddealladwy i ddarllenwyr yn gyffredinol.

† Cyffelyb i arian y Bendithymammau, neu y Tylwyth Têg, feddyliaf, y rhai a ymddangosant yn arian da pan eu derbynir, ond wrth eu cadw a droant yn dammeidiau o [illegible], &c.

[a wnaeth] Lludd am fod y rhyw ormesoedd a hynny yn Ynys Prydain. Ac o gyffredin gyngor ei wyrda [pendefigion] efe a aeth at Llefelys, ei frawd, i geisiaw cyngor ganthaw, canys gwr doeth a chymen oedd efe. Ac wedi mynegu o Ludd iddo ystyr ei neges, hwy a gymerasant gyngor i ymddiddan, megys nad elai y gwynt am eu hymadrodd, a deall o'r Coraniaid eu cyfrinach. Ac yna y perys Llefelys wneuthur corn hir i lefaru trwyddo, ac felly, trwy y corn, yr ymddiddanasant. Ac ni chai un o honynt glywed gan ei gilydd namyn ymddiddan chwerw dros ben. Ac adnabu Llefelys fod cythraul wedi myned i'r corn, a pheri golchi y corn â gwin a orug ef. Ac yna y cawsant eu hymadrawdd yn iawn; ac wedi hynny Llefelys a ddywed wrth ei frawd y rhoddai iddo ryw bryfed, ac erchi iddo, pan ddelai adref, eu briwo mewn dwfr, a dyfynnu pawb yn gyffredin atto, y Brytaniaid a'r Coraniaid, a'r holl deyrnas, a bwrw o'r dwfr hwnnw ar bawb o naddynt, ac efe a gadarnhai y byddyn farw y Coraniaid oll, ac nad argyweddai [niweidiai] ar y Brytaniaid.

"Yr ail ormes," ebai Llefelys, "yw draig eich cenedl chwi, a draig arall o estron genedl sydd yn ymladd â hi bob nos Calanmai, ac yn ceisio ei goresgyn; ac wrth hynny, pan welo eich draig chwi y llall yn goresgyn arni, o wir lid a digofaint y dyd hi y diaspad angyriawl [aruthrawl] honno. Ac fel hyn y gelli gael gwybod hynny. Par di fesuro yr ynys o hyd a lled, a'r lle y caffech ganol yr ynys, par di gladdu pwll yno, a suddo y gerwyn fwyaf a geffych yno, a llanwa hi â'r mêdd goreu, a dod len o bali [sidan] ar wyneb y gerwyn, a bydd dithau dy hun yno, yn gwyliaw, a thi a weli y dreigiau yn ymladd yn aruthr yn yr awyr, ac yn bwrw tân llachar [dysglaer] bob un ar y llall; a phan ddelynt i'r pwynt perfedd yr ynys, ni chiliant yr un rhag eu gilydd, ac yna y bydd ymladd engyriawl rhyngddynt; ac o'r diwedd, wedi blino wrth ymladd, hwy a syrthiant yn rhith dau borchell ar warthaf y llen; ac yna, wedi clywont sawr y medd, a'i flas, hwy a'i hyfant, ac a dynant y llen gyda hwynt hyd waelod y gerwyn, ac yno y cysgant; ac yna plyga dithau y llen yn eu cylch, ac yn y lle cadarnaf ac anialaf o'r ynys cladd hwynt yn y ddaear, mewn craig, a thra byddont yno, ni ddaw gormes arallwlad i Ynys Prydain.

"Y drydedd ormes yw y gwr cadarn lledrithiog sydd yn dwyn dy fwyd a'th ddiod, [a'th lyn, ysgrif arall,] trwy hud a lledrith, ac a bair i bawb gysgu tra bo efe yn hynny; ac felly y mae yn rhaid i tithau, "yn dy briawd berson dy hun," [felly yn yr hen ysgrif,] wyliaw dy darmerth a'th arlwy, a rhag gorfod o gysgu arnot, bid cerwyn o ddwfr oer ger dy law, a phan fo cysgu yn treisio arnat, dos i mewn i'r gerwyn.

"Ac wedi darfod iddynt ymgynghori, Lludd a ddychwelws adref, ac yn ddiannoed efe a ddyfynnws yr holl ynys yn nghyd; ac wedi briwo y pryfed yn y dwfr, efe a'i bwriws ar bawb yn gyffredin, fal yr archasai ei frawd; ac yn y lle y Coraniaid oll a fuont farw, heb niweidio neb o'r Brytaniaid.

Ac yn mhen yspaid wedi hynny, Lludd a berys fesuraw yr ynys, ar hyd ac ar led, ac yn Rhydychain y cafas y perfedd bwynt; ac yno y perys efe gladdu pwll, a rhoi y gerwyn medd ynddo, a llen o bali ar ei hwyneb; ac efe ei hunan y nos honno fu yn gwyliad. Ac fal yd oedd efe felly, efe a weles y dreigiau yn ymladd. Ac wedi darfod iddynt flino a diffygio, hwy a ddygwyddasant yn y gerwyn, ac wedi darfod iddynt yfed y mêdd, cysgu a wnaethant; ac yn eu cwsg Lludd a blygws y llen yn eu cylch; ac yn y lle diogelaf y cafas, yn Ninas Emrys, yn Eryri, mewn cistfaen, y cuddiws ac a'u claddws yn ddiogel, yn ddwfn yn y ddaear; ac felly y peidiws y diaspad o hynny allan.

"Ac yna y perys y brenin arlwyaw gwledd ddirfawr, a gwedi ei bod yn barod gosod cerwiniad o ddwfr oer gerllaw, ac ef ei hun yn ei briod berson a'i gwiliws. Ac fal yr oedd efe yn gwyliaw am lawer o'r nos, efe a glywai lawer o amrafaelion gerddau yn ei gymmell i gysgu. Ac yntau, rhag ei orthrymu ef o'r cysgu, a llesteiriaw [rhwystro] ar y darpar, neidio a wnai i'r dwfr oer yn fynych, ac o'r diwedd efe a welai wr dirfawr ei faint yn wisgedig o arfau trwm cadarn yn dyfod i mewn a chawell ganddo; ac fal y gnotasai [arferasai] gynt, yn rhoddi yr holl ddarmerth o fwyd a llyn yn y cawell, ac yn cychwyn ymaith â hwynt. A phan weles Lludd hynny, bwrw naid yn ei ol a orug, ac yn wrdd [nerthol] erchi iddo aros, a dywedyd wrtho fal hyn:—"Arho," ep ef, "arho; cyd rygwnelych ti sarhadau a cholledau i mi cyn hyn, nid ei weithion oni barn dy filwriaeth yn drech ac yn ddewrach no mi." Ac yn ddianoed yntau a osodes y cawell ar y llawr, a'i aros ef attaw; ac yna ymdrech angherddawl ac ymladd a fu rhyngddynt, a newidiaw dyrnodau, a'r tân yn ehedeg o'r cleddyfau, ac o'r arfau ereill; ac wedi treuliaw eu harfau, ymafael a wnaethant yn greulon ac yn gadarn; ac o'r diwedd y dynghedfen a ragweloedd a ddamweinioedd, a'r brenin a gafodd y fuddugoliaeth, gan fwrw ei ormeswr rhyngddo a'r ddaear. Ac wedi gorfod arno, o rym ac angerdd, [nerth gweithiawl] erchi nawdd a wnaeth, a'r brenin a'i hattebodd,—"Pa wedd," eb efe, "y gallaf fi roddi nawdd i ti, gwedi cynifer colled a sarhâd a wnaethost tithau i mi?" Ac yntau a ddywed yn atteb iddo ef, "Dy holl golledau erioed ar a wnaethym itti, myfi a'u had-dalaf yn gystal ac y dyges; ac o hyn allan ni's gwnaf y cyffelyb, ac mi a fyddaf yn wasanaethwr ffyddlon i ti bellach." A'r brenin a gymerth hynny ganthaw. Ac felly y gwaredodd Lludd y deyrnas oddiwrth y tair gormes. Ac o hynny hyd ddiwedd ei oes, yn heddychol ac yn ddedwydd y teyrnasodd." ‡

‡ Er mwyn dangos y dull o eiriadaeth a llythyreniad yn yr hen ysgrifau o'r Brut, rhoddaf yr enghreifftiau canlynol allan o'r Myvyrian Archaiology:—

Dechreuad y chwedl uchod allan o'r ysgrif a elwir yno, "Brut Tisilio," yr hon sydd yn y Llyfr Coch o Hergest yn Rhydychain, ac a gynnwys y cyfieithiad a wnaeth Gwallter Archiagon o Rydychain. Gwel tudalen 2.

Y mae y chwedl hon yn ei hansawdd yn dwyn cyffelybiaeth agos i'r hen ffug-draethiadau Cymreig, a elwir y *Mabinogion*, o ba rai y mae amryw etto mewn hanfodiad, a'r sawl ydynt yn dra haeddiannawl o goffadwriaeth megys gweddillion hynafiaethol, er na's gellir eu dwyn yn mlaen fel awdurdodau hanesyddol. O ran eu cynhwysiadau, llawer o honynt, yn ddiamheuol, nid yw ddim amgen na ffrwyth brydweithiad yn unig; rhan ysgatfydd sydd afluniad a dull-newidiad o wir ddigwyddiadau; a rhai pethau a allant fod yn ddarnau o ryw draddodiadau cysgodol ac ofergoelion y Derwyddon. Ond gan ys pa fodd y dichon hyn fod, y mae un amgylchiad yn chwedl y Tair Gormes ag sydd yn deilwng iawn o sylw, sef ymryson y ddwy ddraig, am fod yr amgylchiad hwn yn perthyn i hanes Myrddin Emrys, effeithiau llenyddol pa un a nodir yn eu lle priodol.

## Y TRIOEDD.

Yr hanes arall am ddyfodiad y Cymry yw yr un a geir yn y Trioedd, y rhai ydynt gasgliad o hengofion hanesiol, deddfol, barddonol ac ofergoeliol, wedi eu cyfresi mewn trefn tribanawg, sef bod pob ban, neu driad yn cynnwys coffadwriaeth am ryw dri pheth neu amgylchiad cyfalawl. Ysgatfydd fod rhai o'r Trioedd mor hen âg amser y Derwyddon, ac wedi cael eu ffurfio gan y dysgawdwyr hynny, canys y mae genym awdurdod fod y Derwyddon yn arferyd y dull hwn o draddodi gwybodaeth. Y mae Pomponius Mela,

"Ac yna wedy talym o amser tair gormes a dygwydwys yn ynys Brydain ni welssid erioed y cyfryw cans un o nadynt oed genedl a elwit y Coraniait a chymaint oed y gwybodau ac nat oed un ymadrod ac y cyfarffuai y gwynt ac ev nas gwypynt hwy ac wrth hyny ni ellit drwc ydynt. Ar ail oed diasspat a roit bob nos glammai ywch benn pob aelwyt drwy holl ynys brydain a hono ai trwy galonnau dynion ac anifeiliait yn gymaint ac y collai y gwyr y lliw ai nerth ar gwraged y baichogi ar maibion ar merchet a gollai y synwyr ar anifailiait a dawai ev yn diffrwyth ar coedyd. Y drydyd oed er maint vai yr ordainiaeth a vai yn holl lyssoed ynys Brydain ni chait byth dim o honav ont y droylit y nos gyntav. Ac velly amlwc oed yr ormes gyntaf, ar dwy eraill nit oed neb a wypai y hystyr ac yna prydery a gofalu yn vawr a oruc Llyd am vot y ryw ormeesoed hyny yn ynys Prydain. Ac yna cwairiaw llongau a oruc ev y vynet ymwelet a Llefelys y vrawt," &c.

Yr anghraifft ganlynol a gymerwyd allan o'r ysgrif a elwir "Brut Gruffudd ab Arthur," yn ol adysgrifiad y Parch. Evan Evans (Ieuan Brydydd Hir,) o hen lyfr croen o eiddo Paul Panton, Ysw., o'r Plas Gwyn, yn Mon, a'r hon a ymddengys ei bod yn gyfieithiad o waith Lladin G. ab Arthur, neu Sieffrey o Fynwy, yn nghyda rhai ychwanegiadau a chyfnewidiadau gan adysgrifwyr.

"Ac gwedy darvot hynny y brenyn a perys arlwyaw gwled dyrvawr y meynt. ac gwedy y bot yn barawt ef a perys gossot kerwyn yn llawn o dwfyr oer ker y llaw. ac ef ehun yn y priawt person ae gwyllyws. ac val y byd yuelly yn gwyllyaw ef a klywey llawer o amravaelyon kerdeu a hun ag yn y kymell ynteu ar kyscu. ac yn y lle sef a oruc ynteu rac y orthrymmu ef or kyscu a llesteyryaw ar y darpar mynet yn y dwfyr a hynny yn vynych. Ac or dywet ynachaf gwr dyrfawr y veynt yn wyskedyc o arfeu trwm kadarn yn dyvot y mewn a chawell ganthaw. Ac megys y gnotaassey yr holl darmerth ar arlwy or bwyt ar llyn ym mewn y kawell. Ac yn kychwyn yn y ymdeyth ac ef. ac yn y lle Llud vrenin a kychwynws yn y ol a dywawt wrtho fal hyn. Arho ep ef arho kyt ry gwnelych ty sarrahadeu a cholledeu ymy cyn no hyn. nyt ey weythyon ony barn dy vylwriaeth yn trech ac yn dewrach no my. Ac

ysgrifenydd o'r canrif cyntaf, a Diogenes Laertius, o'r ail ganrif, yn mynegu hyn, ac yn adrodd rhai o'u Trioedd, fel y dangosir drachefn.

Yn yr hanes a geir yn y traddodiadau tribanawg hyn, sef Trioedd Ynys Prydain, nid oes dim son am Gaerdroia, nac am Frutus, na'r Cewri, oddieithyr mewn un neu ddau o amrywiaethau, ac yn un o ba rai y mae enw Brutus yn cael ei roddi yn lle Prydain ap Aedd Mawr, fel y mynegir rhagllaw. Yn hytrach y mae yr hanes hwn, a geir yn y Trioedd, yn dwyn pob arwyddion o wirionedd, gan ei fod yn gyfanianawl âg hanesion awdurdodol yn gyffredinol. Y cofiaethau hyn ydynt argraffedig yn y Myv. Arch., lle y dywedir iddynt gael eu crynhoi gan Thomas Jones, o Dregaron, allan o hen ysgrifau, yn 1601. Gelwir hwy yn "Drioedd cof a chadw a gwybodaeth am hynodion o ddynion ac o bethau a fuant yn Ynys Prydain, ac ar ddamwain a damcwydd i Genedl y Cymry." Mynegant fal y canlyn;—

"Tair Ciwdawd Addwyn Ynys Prydain;

Cyntaf oeddynt Genedl y Cymry a ddaethant gyda Hu Gadarn i Ynys Prydain, sef ni fynnai efe wlad a thiroedd o ymladd ac ymlid, eithr o gyfiawnder, ac yn nhangnef.

Ail oeddynt Al y Lloegrwys a ddaethant o Dir Gwasgwyn ac a hanoeddynt o brif Genedl y Cymry.

Trydydd oeddynt y Brython, ac o Dir Llydaw y doethant, a'u hanas o gyssefin Al y Cymry.

A'r tair Hedd-Giwdawd a'u gelwir am ddyfod o honynt y naill wrth fodd y llall yn heddwch a thangnef, a'r tair Ciwdawd hynny a hanoeddynt o gyssefin Genedl y Cymry, a chyfiaith cyflafar y tair Ciwdawd."—TRIOEDD, Rhif. 5,

"Tair Ciwdawd Nawdd a ddaethant i Ynys Prydain, ac yn nhanc a chennad Cenedl y Cymry y doethant, heb arf, heb ossawd:

"Cyntaf oedd Ciwdawd Celyddon yn y Gogledd,

"Ail oedd yr Al Wyddyl, ac yn yr Alban y maent.

"Trydydd, Gwyr Galedin a ddaethant yn y llongau moelion hyd yn ynys Wyth ban foddes eu gwlad, a chael o honynt Le Tir gan Genedl y Cymry, ac nid oedd iddynt Fraint o Hawl yn Ynys Prydain, namyn y Tir a'r Nawdd a rodded iddynt dan derfyneu, a dodi arnynt na's gellid Braint Cymry cynhenid iddynt hyd yn mhen y nawfed Ach."—TRI. 6.

Y mae y Trioedd hyn, yn crybwyll am ddyfodiad cenhedloedd ereill y rhai nid oeddynt o waedoliaeth Cymraeg; rhai o'r amgylchiadau ydynt grybwylledig mewn hanesion ereill, a rhai ni cheir cyfeiriad attynt ond yn y Trioedd yn unig.

yn dyannot ynteu o ossodes y kawell ar y llawr ac arhos ef attaw. Ac yna gyrat ac angerdawl ymlad a wu yr rygthunt. A newidiaw dyrnodieu ar tan yn ehedec or kledyveu ac or arveu ereyll. Ac or dywed y tyghetven ar racweles damweynnyaw y wudugolyaeth yr brenyn, kan vwrw y ormesswr yr rygthaw ar dayar. Ac gwedy gorvot arnaw o rym ac angerd erchy nawd a oruc. Ar brenyn adywawt wrthaw ynteu pa wed ep ef y gallaf i rody nawd yty. gwedy y gniver gollet a sarrahet a wnaethost tytheu ymy. ac ynteu a dywawt yn atteb ydaw ef dy holl kolledeu eyryoet or ar rywneuthum yty myvy ae hynnyllaf yn kyntal ac y dygum. Ac o hyn allan my nys gwnaf y kyffelyp. ac o hyn allan gwr ffydlawn vydaf hyt bellach. ar brenyn a kymyrth hynny y ganthaw. ac y velly y gwarawt Llud y teyr gormes hynny y ar ynys Prydeyn. ac o hynny hyt yn dywed y oes yn hedwch ac yn dedwyd y gwledychws."

"Tair Ciwdawd Ormes a ddaethant i Ynys Prydain, ac nid aethant fyth ohoni.
"Cyntaf oeddynt y Corraniaid, a ddaethant o Wlad y Pwyl.*
"Ail y Gwyddyl Ffichti, a ddaethant i'r Alban drwy For Llychlyn:
"Trydydd y Saeson.
"Sef, lle y mae y Corraniaid am Afon Hymyr a Glann Mor Tawch; ac yn yr Alban y mae y Gwyddyl Ffichti, yn Nglann Mor Llychlyn.
"A myned yn un a wnaethant y Coraniaid a'r Saeson, a dwyn Rhëal y Lloegrwys yn ogyfan â hwynt, o drais a gorfod arnynt, a chwedi hyny dwyn Coron yr Unbennaeth oddiar Genedl y Cymry. Ac nid oes o'r Lloegrwys nad aethant yn Saeson namyn a geir yn Ngherniw, ac yng Nghwmwd Carnoban yn Neifr a Bryneich.† "A chiwdawd gyssefin y Cymry a gadwasant eu Gwlad a'u Hiaith. Colli teyrnedd Ynys Prydain a wnaethant achos Brad y Ciwdodeu Nawdd, ac anrhaith y Tair Ciwdawd Ormes.—Tri. 7.

"Tair Ciwdawd Ormes a ddaethant i Ynys Prydain ac a aethant o honi.
Cyntaf y Llychlynwys, a gwedi dwyn o Urb Lluyddawg y goreuon o Genedl y Cymry o'r ynys honn: sef oeddynt eu rhif tairmil a thrugaint ac un mil o wyr cyfallawg meirch a rhyfel, a gyrru y Llychlynogion drwy For hyd yng Ngwlad yr Almaen a wnaethant y Cymry ymhen y drydedd oes.
"Ail y bu lluoedd Ganfal Wyddel a ddaethant i Wynedd, ac a fuant yno naw mlynedd ar hugain, hyd yn a'u gyrrwyd hwynt i'r môr gan Gaswallawn ab Beli ab Mynogan.
"Trydydd y bu'r Caisariaid a fuant o drais yn yr ynys hon amgen na phedwar canmlynedd yn ydd aethant i wlad Rhufain i wrthosod Cadgyffrwd yr ormes ddu, ac ni ddaethant fyth yn ol i Ynys Prydain, ac o hynny nid arhoses yn yr ynys honn namyn Gwragedd a phlant bychain y dan nawmlwydd oedran, a myned yn Gymry a wnaethant y rhai hynny.—Tri. 8.

Ni wyddys o ba hiliogaeth yr oedd y Coraniaid, ond ymddengys oddiwrth un o'r Trioedd eu bod yn yr ynys cyn dyfodiad y Rhufeiniaid, a thebygol yw, mai yr un a'r Coritani oeddynt, llwyth a enwir yn yr hanesion Rhufeinaidd, yn preswylio yn Nwyreindir yr Ynys.

"Tair Gormes gadarn Ynys Prydain a gystlynasant yn un, ac o hynny yr aethant yn un
"Ormes a ddug oddiar y Cymry eu braint a'u coron a'u tiroedd, sef,
"Y cyntaf y Coraniaid, ac ymgystlynu a wnaethant a'r Caisariaid onid aethant yn un.
"Ac ail o'r tair y bu'r Caisariaid.
"Trydydd oeddynt y Saeson, ac ymgystlynu a'r ddwy eraill a wnaethant yn erbyn y Cymry.
Ac o Dduw y bu hyn er dial o tair traha gadarn cenedl y Cymry, can na's gellid o gyfiawnder eu cynghyd."—Tri. 15.

Y trahaau hyn oeddynt ymosodiadau rhyfelgyrchol a wnaethpwyd gan y Cymry, yn ddiachos, ar drigolion y Cyfandir. Gelwir hwy y *Tair Cyforddwy*. Crybwyllir am danynt mewn man arall.

Wrth gymharu y Trioedd *hanesyddol* hyn â'r cyfansoddiadau canol-oesol yn gyffredinol, ni ellir llai na'u hanrhydeddu am y rhagoriaeth neillduol a ddangosant. Yn yr oesoedd hynny yr oedd mor lleied o gelfydd-dra yn mhlith hanesyddion Ewropa, a bod pob math o ffugiadau yn cael eu derbyn megys gwirioneddau dilys. Y Brut a sonia am Gogmagog a'r cewri, Camber a Locrinus, &c. Hanes y Gwyddelod a ddywed i'r bobl hynny gael eu galw yn Scotiaid, oddiwrth Scota, merch Pharaoh, brenin yr Aipht, oddiwrth pa un yr hanasent, &c. Ac amryw bethau disail o'r cyffelyb a geir yn ysgrifeniadau y canol oesoedd. Ond y mae y Trioedd

*Belgium, meddyliaf. † Dwyreindir Gogledd Lloegr, a Deheudir yr Alban.

hanesyddol mor neillduol rydd oddiwrth y fath hurtwch a phe cyfansoddasid hwy dan lawn lewyrch gwybodaeth hanesyddol yr oesoedd diweddar; eithr pa fodd y daethant i fod yn feddiannol ar y fath ragoriaeth, nis amcanaf ddywedyd. Mewn perthynas iddeu hiaith, a'r dull o gyfansoddiad, yn mha un y dangosant, braidd ydyw angenrheidiol i sylwi nad ydynt ond diweddar mewn cymhariad a'r amgylchiadau y sawl a gofrestrir ynddynt.

Yn y crynoad hwn dywedir i'r Cymry ddyfod yma dan dywysiad Hu Gadarn.

"Triphost Cenedl Ynys Prydain. Cyntaf Hu Gadarn a ddaeth a Chenedl y Cymry gyntaf i Ynys Prydain; ac o Wlad yr Haf, a elwir Deffrobani, y daethant, sef y lle mae Constinoblys. A thrwy Fôr Tawch y daethant hyd yn Ynys Prydain a Llydaw, lle ydd arhosasant.

Ail Prydain ab Aedd Mawr a wnaeth Wladoliaeth a Theyrnedd gyntaf ar Ynys Prydain, a chynn no hynny nid oedd o iawn namyn a wnelyd o addfwynder, na deddf namyn trecha treisied."

"Trydydd, Dyfnwal Moelmud, ac efe a wnaeth Ddosparth gyntaf ar Gyfreithiau, a Deddfau, a Defodau, a Breiniau Gwlad a Chenedl. Ac achaws y pethau hynny eu gelwid hwynt yn Dri Phost Cenedl y Cymry." —TR. 4.

Y mae y Trioedd hefyd yn mynegu am ddyfodiad cenhedloedd diweddarach i'r ynys hon, fel y canlyn:—

"Tair Bradormes ynys Prydain:
Cyntaf y Gwyddyl Coch o'r Werddon a ddaethant i'r Alban;
"Ail y Llychlynnwys; a
"Thrydydd y Saeson;
Sef y daethant i'r ynys honn yn Nhanc a Chennad Cenedl y Cymry, ac yn nawdd Duw a'i wirionedd, ac yn nawdd gwlad a chenedl, ac a wnaethant ossawd o frâd a diriedi ar Genedl y Cymry, a dwyn i arnynt a ellynt o gyfoeth teyrnedd ynys Prydain, a chydymwerinaw a'u gilydd a wnaethant yn Lloegr a'r Alban, lle yr arhosasant hyd yr awr hon, ac yn oes Gwrtheyrn Gwrtheneu y buad hynny."—TR. 9.

## ENWAU YNYS PRYDAIN.

Yr enwau cysefin wrth ba rai yr adnabyddid yr ynys hon gan ddyeithriaid yn y cynoesoedd oeddynt, *Albion* a *Britannia*. Am y cyntaf, rhai a feddyliant ei fod yn tarddu oddiwrth y Lladin *Albus*, *gwyn*, ac wedi ei roddi o achos y creigiau gwynion ag sydd ar hyd yr oror ddeheuol, gyferbyn a'r Cyfandir; ond am yr enw olaf, sef *Britannia*, braidd nad oes iddo gynnifer o darddiadau ag sydd o gynnygwyr, a hynny yn agos yn mhob iaith o'r byd cynoesol, megys *Pryd-cain*, *agwedd-teg*, a *Bri-ton*, *uwch y mor*—Cymraeg; *Braidin*, *gwlad helaeth*—Gwyddelaeg; *Brutus*—Lladin; *Berith-tan*, *gwahan-wlad*—Hebraeg; *Barat-anac*, *gwlad yr Alcam*—Pheniciaeg. Yn un o'r Trioedd dywedir yn y modd canlynol:—

"Tri enw a ddoded ar ynys Prydain o'r dechreuad. Cyn ei chyfaneddu y doded arni *Clas Merddin*, a gwedi ei chyfaneddu y doded arni *Y Fêl Ynys*, a gyrru Gwledigaeth arni y gan *Prydain ab Aedd Mawr* y doded arni *Ynys Prydain*."—TRI. 1.

Mewn amrywiaeth o'r Triad hwn dywedir—

"Ag wedy ei goresgyn o *Vryt* y dodes arni *Ynys Bryt*."

Oddiwrth hyn ymddengys fod dyrysiad rhwng yr enw Bryt, sef *Brutus*, a'r enw *Prydain ab Aedd Mawr*, yr hyn sydd yn gadarnhad o'r amrywiol ddadleuadau a ddygir yn mlaen yn y gwrthwyneb i chwedl Caerdroia.

Rhai a feddyliant mai oddiwrth lwyth y *Brython* y mae yr enw Britannia yn deilliaw, yr hwn oedd gangen o gyn-genedl y Cymry, ac wedi ei sefydlu ar hyd yr ardaloedd deheuol i'r ynys.

## HANIAD Y CYMRY.

Os ydyw dyfodiad y Cymry yn gorwedd dan y fath orchudd o dywyllwch, ni ellir disgwyl fod eu haniad cysefin yn fwy eglur. Ac felly, o ddiffyg awdurdod hanesyddol, y mae yn rhaid ymfoddloni â dychymygion yn unig. Os edrychwn ar hanes cynoesol y Cyfandir, cawn weled fod yn nwyreindir Ewropa genedl liosog o bobl yn hanfodi, y rhai a elwid y *Cimmerii*, ac oddiwrth gyffelybrwydd yr enwau, y mae lle i feithrin dychymyg eu bod o'r un haniad a'r Cymry. Yr oedd hefyd yn ardaloedd Llychlyn genedl o bobl a elwid y *Cimbri*, ac y mae un gair o'u hiaith wedi ei drosglwyddo i ni, sef enw caincfor Llychlyn, fel y deallir, yr hwn a alwent "*Morimarusa*," yr hyn, yn eu hiaith hwy, a arwyddocâai "*Y Mor Marw*."* Os ydyw cyffelybiaeth iaith yn ein hawdurdodi i ffurfio barn yn nghylch perthynas cenhedloedd, y mae yn iawn i feddwl fod y *Cimbri* a'r *Cymry* o'r un llwyth cysefin, yn enwedig pan sylwom ar gyffelybrwydd yr enwau. Ond y mae rhai yn cyrchu lawer yn mhellach na'r amseroedd yma, ac yn haeru fod y Cymry, yn nghyda'u henw, wedi deilliaw oddiwrth *Gomer*, fab Iapheth; ac y mae yn rhaid cyfaddef fod yr haeriad hwn yn meddu rhith llawn mor gytun â chywirdeb a nemmor o haeriad anawdurdodol arall. Y mae Iosephus yn dywedyd mai *Gomer* oedd tad y *Gomari*, y rhai a elwid gan y Groegiaid yn *Galatai*. Ac y mae yn brofadwy fod y bobl hyn wedi deillio o dir Gâl, ac felly o'r un tarddiad a'r Cymry.

Ond gan ys pa beth a feddylir am ddechreuad y genedl, y mae un peth yn ddiamheuol, sef eu bod ar amser dyfodiad y Rhufeiniaid, nid yn unig yn bobl liosog yn yr ynys hon, ond hefyd yn daenedig dros ran fawr o'r Cyfandir; oblegid y mae yn eithaf eglur fod y Brytaniaid a thrigolion Gâl yn hanedig o'r un gwreiddyn cysefin. Hyn a ddeallir oddiwrth eu defodau gwladol a'u hiaith; o herwydd y mae etto ar glawr amryw eiriau o hen iaith Gâl, y rhai ydynt mor gyffelyb i Gymraeg fel na ellir ameu eu cyfhaniad. Yn mhlith y cyfryw gellir rhestru y canlynol:—

*Trimarcia*—Dull o ymladd â thri o feirch, ochr yn ochr.

*Covinus*—Cerbyd; y mae yr enw hwn etto yn nghadw yn y gair *Cywain*.

* Plinius.

*Pempedula*—Llysieuyn â phump dalen.
*Petoroton*—Cerbyd â phedwar olwyn, neu rôd.
*Ratis*—Rhedyn.
*Scovies*—Pren Ysgaw.

ARFERION A DEFODAU Y BRYTANIAID.

Yr oedd amrywiol raddau o wareidd-dra yn hanfodi yn mhlith y Brytaniaid, eithr nid oedd y goreu o honynt ond gwael iawn mewn cyffelybiaeth i'r hyn a geir yn y gwledydd Cristionogol y dydd heddyw. Pobl y mordiroedd, gyferbyn i'r Cyfandir, gan eu bod yn arferol o gyfarfod â masnachwyr o wledydd pellenig, a ddilladent eu hunain ychydig yn ol dull y Cyfandir; ond trigolion yr ynys yn gyffredinol a aent agos yn gwbl noethion, a'r unig wisgiadau a arferent oeddynt grwyn anifeiliaid. Tynent luniau bwystfilod ar hyd eu cyrff, mewn lliw glas, i'r dyben o wneuthur eu hunain yn ddychrynllyd iddeu gelynion; ac ymhoffent yn fawr mewn rhyfel a brwydrau. Gwisgent eu gwallt yn hir, ac eillient eu barf, oddieithr yr hyn a dyfai ar y wefus uchaf. Yr oeddynt yn ddynion dewrion o reddf, ac yn uchel o gorffolaeth. Eu harfau oeddynt gleddyfau a gwaewffyn; ac oddiwrth y pennau saethau, o faen callestr, a geir mewn hen feddrodau, deallwn eu bod yn wybodus yn yr ymarferiad o'r bwa a'r saeth. Arferent hefyd darianau, gwedi eu ffurfio o ddellt; ond am arfau ymddiffynol ereill, ni hoffent eu dwyn, gan eu bod, o herwydd eu pwys, yn lluddias iddynt symud eu haelodau gyda'r un buandra ag y gallent pan yn rhyddion oddiwrth y fath rwystrau. Yr oeddynt hefyd yn arferyd mewn rhyfel gerbydau a phladuriau wrth echyl yr olwynion. Am driniaeth y tir, ni ofalent lawer. Y mae yn amlwg eu bod yn wybodus mewn amaethyddiaeth i ryw raddau; ac nid annichonadwy fod rhai ardaloedd yn ei gynnal gyda'r cyfrywgelfydddra ag a hanfodai yn yr amseroedd hynny; ond am drigolion y parthau tufewnol i'r ynys, y mae yn debygol mai eu hunig orchwylion oedd rhedeg yn noethion ar hyd y coedydd a'r mynyddoedd, gan hela anifeiliaid gwylltion, er ymborth, neu er difyrwch. Y bobl a berchenogent feirch a cherbydau, ni ellir eu galw yn hollol anwaraidd; a'r rhai hynny a aent yn noethion, gan ddarlunio anifeiliaid ar hyd eu crwyn, nid oedd ganddynt lawer o hawl iddeu cyfrif yn mhlith gwareiddiedigion; felly rhaid addef fod amrywiol raddau o wareidd-dra yn hanfodi yn eu plith, yn ol eu gwahanol lwythau a'u cyflyrau cymdeithasol.

Tyb y Rhufeiniaid am haniad trigolion Prydain oedd fel y canlyn:—Iulius Cæsar a haerai fod y Belgiaid yn ddyfodiaid diweddar o'r Cyfandir; ond cyfrifai drigolion canoldir yr ynys megys wedi tarddu allan o'r tir. Tacitus a ddywed fod gwallt coch, ac aelodau mawrion, y Caledoniaid yn dangos eu bod o darddiad Germanaidd; a bod gwallt crych,

neu dorchog, yr Esyllwyr, a'u hwynebau tywyll, yn peri credu tai llwyth o hen drigolion yr Yspaen oeddynt a ddaeth drwyodd o'r parthau hynny. Hefyd, dyweda fod trigolion yr ardaloedd deheuol yn ymgyffelybu i bobl cyferbyniol tir Gâl.*

## Y DERWYDDON.

Defodau crefyddol y Brytaniaid oeddynt dan oruchwyliaeth y Derwyddon; ac hefyd eu hamgylchiadau gwladol, i raddau pell; canys yr oedd y swyddogion hynny nid yn unig yn weinidogion crefydd, ond hefyd yn farnwyr rheithiol, a phrif-gynghorwyr y wladwriaeth. Yr oeddynt yn rhanedig yn dri gradd—y *Derwyddon*, y *Beirdd*, a'r *Ofyddion*. Am ddaliadau crefyddol y Derwyddon, nid oes ond ychydig yn hysbys; a'r achos o'r anwybodaeth hwn ydyw, fod defod yn eu plith yn gofyn cadw eu prif egwyddorion yn ddirgel, a pheidio traddodi eu cyfrinach trwy gyfrwng ysgrifeniad, ond trwy lafariad yn unig, rhag ofn eu datguddio i'r werin, ac i ddynion nad oeddynt aelodau o'u cymdeithas hwy.

Mewn perthynas i anian eu daliadau, y mae amrywiol dybiau yn hanfodi. Rhai a'u dyfenwant megys Paganiaid ofergoelus, gwael, a llygredig; ereill a'u dyrchafant ac a'u pleidiant gyda'r fath wresogrwydd, a haeru fod eu daliadau mor rydd oddiwrth lygredigaeth coelgrefyddol ag nad oeddynt nemmor neu ddim iselach nac eiddo y Patriarchiaid eu hunain.

Nid iawn rhoddi derbyniad i un o'r haeriadau hyn. Y mae yn debygol ddigon fod y Derwyddon, o ran eu moesoldeb, eu doethineb, a theilyngdod eu hegwyddorion, yn rhagori ar amryw ddysgawdwyr ethnig ereill; ond pan elir i gyfartalu eu daliadau a'u crefydd ag eiddo y Patriarchiaid a'r hen dduwiolion, y rhai oeddynt mewn cyfammod â Duw, a than effeithiau ei ysprydoliaeth, yr ydys yn rhedeg i ryfyg peryglus, os nid i gabledd hefyd; oblegid haeriad moel, diawdurdod, ydyw yr un a wneir o blaid y fath ardderchogrwydd ar ran y Derwyddon; ac hefyd un ag sydd yn draws i'r hyn y mae y Dwyfol Ddatguddiad yn ei fynegu am gyflwr ysprydol cenhedloedd y byd. Felly, na fydded i'n parch at ddefodau ein hynafiaid beri i ni anmharchu cymmundeb cyfammodol â Duw; eithr yn hyn, megys yn mhob peth arall, cofiwn yr ymadrodd, "*Y Gwir yn erbyn y Byd.*"

Ond tra yr ydym yn pallu caniatau yr anrhydedd haeriadol uchod i'r Derwyddon, etto ni allwn gydfyned â phawb ag sydd yn cymeryd mewn llaw eu drwgliwio; canys rhai a'u hiselant i'r fath gyflwr o waelder, a'u galw yn eilunaddolwyr gwaradwyddus a disynwyr; ac yn eu digasedd attynt, braidd yr addefant eu bod yn feddiannol ar unrhyw rinwedd pa

* Rutilæ Caledoniam habitantium comæ, magni artus, Germanicam originem asseverant. Silurum colorati vultus et torti plerumque crines, et positu contra Hispaniam, Iberos veteres trajecisse, easque sedes occupasse, fidem faciunt. Proximi Gallis et similes sunt."

bynnag. Yn awr, nid oes awdurdod idd yr haeriad hwn mwy nag idd yr un rhagflaenol. Nid oes un prawf eu bod yn addoli delwau, ac ni wyddys dan ba rith, neu â pha briodoliaethau, yr hanfodai gwrthddrych eu haddoliad. Y mae yn ddiamheuol fod y werin yn gyffredinol mewn cyflwr gwael o ran gwareiddiad; ond nid têg cyfrif hynny i lygredigaeth egwyddorion y Derwyddon. Y mae anwareidd-dra mawr iddei weled yn mhlith gwehilion y bobl, yn y wlad hon a gwledydd ereill, hyd yn nod y dydd heddyw; ac felly rhaid peidio ffurfio barn ar gau sail, gan ys pa beth a fyddo y ddadl dan ystyriaeth.

Yn y triad yr hwn a rodda Pomponius Mela, y mae arwyddocad o ddoethineb a rhinwedd, cyfartal i un peth a geir yn mhlith y cenhedloedd yn gyffredinol. Pan yn crybwyll am y Derwyddon ar y Cyfandir, y mae yn dywedyd fod un ban o'u hathrawiaeth wedi dyfod yn hysbys; sef, y canlynol:—

"Rhagori mewn rhyfel,
Bod yr eneidiau yn anfarwol,
A bod buchedd arall iddynt."*

[Buchedd corfforol ar ol angau, meddyliaf, trwy drosglwyddo yr eneidiau i gyrff ereill, yn ol yr athrawiaeth a elwir y *Metempsychosis*.]

A'r un peth a ellir sylwi ar y triad a draddoda Diogenes Laertius:—

"Addoli y duwiau,
Peidio gwneuthur drwg,
Ac arferyd gwrolder."

Yr ydym yn darllen fod Derwyddiaeth yn hanfodi mewn mwy o burdeb yn ynys Prydain nag ar y Cyfandir, a hynny i'r fath raddau, a bod pendefigion y Cyfandir yn anfon eu plant i Brydain i gael eu dwyn i fynu dan addysgiad y Derwyddon; am hynny pa lygredigaethau bynnag a hanfodent ar y Cyfandir, nid oes achos i feddwl eu bod oll yn perthyn i Dderwyddiaeth Prydain, ac nid ydyw yn debygol fod Derwyddon y Cyfandir yn rhagori mewn gwybodaeth yn gyfartal iddeu brodyr Prydeinig.

Am ddefodau Derwyddon Prydain, nid oes ond braidd dim wedi ei draddodi i ni gan hanesyddion; ac felly yr awdwyr a gymerant mewn llaw eu heglurhau, a wnant hynny yn unig trwy gyfeirio at Dderwyddon Prydain yr hyn a fynegir am rai y Cyfandir. Ond yn hyn nid ydynt yn ymddwyn gydag eithaf tegwch; canys gall fod, i'r olaf syrthio i lawer o

* Unum ex iis quæ præcipiunt in vulgus effluxit: Videlicet—
"Ut forent ad bella meliores;
Æternas esse animas
Vitamque alteram ad manes."

ddirywiau, tra yr ydoedd y cyntaf yn parhau mewn mwy o burdeb; a hyn sydd gyson âg hanes Cæsar ac ereill. Y canlynol sydd sylwedd yr hyn a ddywed Cæsar am Dderwyddon tir Gâl:—

"Y Derwyddon a oruchwyliant ar bethau crefyddol; gofalant am aberthau cyhoedd a neillduol; a dehonglant ddaroganiadau. Y mae niferoedd o'r ieuenctyd yn cyrchu attynt am ddysgeidiaeth. Hwynthwy ydynt y barnwyr agos yn mhob dadl. Ac os bydd i ryw un beidio yfyddhau iddeu deddryd, gwaharddant iddo gyfranni yn yr aberthau, yr hyn sydd yn gospedigaeth o'r trymmaf; canys y mae'r cyfryw un trwy hynny dan ysgymundod, ac ni fydd i neb ymgyfeillachu âg ef, ac ni's gall fwynhau ei fraint gwladol, nac hyd yn nod geisio cyfiawnder mewn llys cyfraith.

"Y mae pennaeth ar yr holl Dderwyddon, yr hwn sydd yn meddiannu awdurdod blaenorol yn eu plith. Pan fytho y pennaeth hwn farw, os bydd i ryw un ragori ar y lleill, dewisir ef yn ei le; ond os bydd amryw ymgeiswyr, etholir un trwy bleidlais; ac weithiau ymdrechir am y flaenoriaeth trwy gyfrwng arfau. Ar amser nodedig o'r flwyddyn, ymgyfarfyddant mewn lle cyssegredig ar gyffiniau y Carnutes, yr hon ardal a gyfrifer fod yn nghanol gwlad Gâl. Yma y cyrcha pawb ag sydd a dadleuon rhyngddynt, ac a ostyngant iddeu penderfyniadau. Meddylir i'r sefydliad gael ei ddechreuad yn Mhrydain, ac yn awr y sawl a ddymunant gael gwybodaeth fwy manol mewn perthynas iddo, a deithiant yno am ddysc.

"Nid ydyw y Derwyddon ddim yn cyrchu i ryfel, nac yn talu un dreth, ac y maent yn freiniol yn mhob peth. O achos y breintiau hyn y mae llaweroedd yn cymeryd at y swydd, ac ereill yn cael eu danfon gan eu rhieni. Dysgir hwy i adrodd nifer mawr o bennillion, fel bod rhai yn aros ugain mlynedd dan eu dysgyblaeth; a chyfrifant yn annghyfreithlawn osod y pethau hyn mewn ysgrifeniad, er eu bod mewn pethau ereill (yn gystal gwladol a neillduol) yn arferyd llythyrennau Groeg. Ymddengys i mi (medd Cæsar) eu bod wedi trefni yr arfer hyn am ddau achos, sef, er celu eu cyfrinach oddiwrth y werin, ac i gryfhau eu cof, gan y dygwydd yn gyffredinol, lle yr ymddiriedir i ysgrifeniad, fod diwydrwydd i ddysgu a nerth cof yn llesghau.

"Un o'u prif egwyddorion ydyw, nad ydynt eneidiau ddim yn marw, ond eu bod ar ol angau yn cael eu trosglwyddo i gyrff ereill; ac y maent yn credu fod yr egwyddor hon yn arwain i feithryn dewrder a chalondid, gan fwrw ymaith ofn angau. Heblaw hyn, y maent yn dadleuo llawer, ac yn dysgu i'r ieuenctyd amryw bethau perthynol i'r sêr a'u mudiadau, maintioli y ddaear, effeithiau anianol, ac yn nghylch gallu ac awdurdod y duwiau anfarwol."

"Y duw yr hwn a addolant fwyaf ydyw Merchyr; o hwn y mae llawer o ddelwau. Cyfrifant iddo ef gaffaeliad yr holl gelfyddydau, addolant ef

megys tywysydd mewn teithiau, a meddyliant mai efe yw y noddwr pennaf mewn masnach ac elwad. Nesaf atto ef y mae Apollo, Mawrth, Iau, a Minerfa; a'u tyb am y rhai hyn sydd gyffelyb i eiddo y cenhedloedd ereill yn gyffredinol. Apollo a'u ceidw rhag clefydau. Minerfa a'u cynnorthwya yn eu celfyddydau. Iau a lywodraetha'r nefoedd, a Mawrth a reola ryfeloedd; a hwn a addolant pan gyrchant i frwydyr. Pan fyddant fuddugoliaethus, aberthant yr anifeiliaid, y rhai a gymmerant; a phentyrant y pethau ereill o'r yspail yn gruglwyth mewn lle cysegredig."

Cæsar hefyd a fynega amryw bethau ereill yn nghylch Derwyddon Gâl, megys eu bod, mewn amseroedd o berygl, yn aberthu anifeiliaid, ac weithiau ddynion, ar eu halloran;—a'u bod, ar achlysuron nodedig, yn gwneuthur delun dirfawr ei faint, o wiail plethedig, ac yn ei lanw â dynion byw, ac yn ei losgi megys aberth. Y dynion a losgid a fyddent ladron a drwg-weithredwyr ereill; ond os na allesid cael gafael ar ddigon o'r cyfryw, weithiau cymmerent ddynion dieuog yn eu lle.

Y mae yn rhaid dal mewn cof fod y darluniadau hyn o Dderwyddiaeth wedi eu rhoddi gan estron, sef Rhufeinwr; ac er y gallant fod yn gywir am y sefydliad hwnnw, yn nhir Gâl, ac hefyd o ran amryw ddefodau yn Mhrydain yn gystal; etto, gwnelem annghyfiawnder â'n cenedl pe y mabwysem hwy yn hollol, yn mhob amgylchiad, megys dysgrifiad o ddaliadau ein hynafiaid. Yr oedd llwyth o Roegiaid wedi ymsefydlu yn neheudir gwlad Gâl, yn Marseilles, ar fin Mor-y-Canoldir, yn hir cyn amser Iulius Cæsar; a thebygol iawn iddynt hwy, trwy fasnach ac ymgyfathrachiad â'r trigolion, ymdaenu ar hyd y gororau hynny, ac hefyd effeithio ar ddefodau ac arferion gwladol. Nid anmhrofadwy mai oddiwrthynt hwy y cafodd y Derwyddon y llythyrenau Groegaidd, y sawl y crybwylla Cæsar am danynt; ac o'm rhan fy hun, fy marn ydyw mai oddiwrthynt hwy y cafwyd yr enwau a rodda efe i'r duwiau; a dilys genyf mai hwynthwy a ffurfient y delwau y sonir am danynt, o herwydd yr oedd y Groegiaid yn ymhoffi yn fawr, ac yn rhagori yn y gelfyddyd o ddelw-gerfiad. A meddyliaf fod llawer o lygredigaethau wedi dyfod i blith Derwyddon a thrigolion tir Gâl trwy gyfrwng y Groegiaid hyn, ac hefyd tai moesau a defodau y bobl cymysgedig hyn y mae Cæsar yn eu darlunio yn ei hanes o'r Derwyddon.

Os ydwyf gywir yn fy marn am y pethau hyn, ofer i ni geisio dysgrifiad gwirioneddol o ddaliadau Derwyddon Prydain yn mhlith awdwyr y Cyfandir; oblegid er y gall llawer fod yn atteb yn gywir i'r ddwy wlad, dichon fod llawer yn anmherthynol i'r genedl Gymraeg.

Y pethau a ymddangosant eu bod yn perthyn yn gyffredinol i Dderwyddon Prydain a'r Cyfandir ydynt y canlynol, yn mhlith amryw ereill:—

Parch i'r pren Derwen.—A hyn a ellir ei dybied oddiwrth y berthynas sydd rhwng yr enwau *Derwen* a *Derwydd*. Dichon hefyd eu bod, yn Mhrydain, yn dangos yr un parch i'r *uchelfar*, pan y caent ef yn tyfu ar y

dderwen, gan ei dorri â chrymman aur, ar amser nodedig, gyda mawrdrafn a gorfoledd o'r mwyaf.

Myfyriadau seryddol ac anianol.—Y mae lle i feddwl fod y cylchoedd meini, y sawl y gwelir eu gweddillion mewn amryw fannau yn yr ynys, megis gwaith Emrys, &c., wedi eu ffurfio gyda golwg ar gylchdroadau y planedau, a chyfrifiadau seryddiaethol. Ac y mae rhai yn barnu (a hynny nid yn ddisail) fod y Derwyddon yn meddiannu gwybodaeth o seryddiaeth lawer cywirach nac eiddo y Groegiaid a'r Rhufeiniaid: canys er cymaint oedd y cenhedloedd hynny yn rhagori mewn celfyddydau ereill, yr oedd eu tyb yn nghylch seryddiaeth yn wael ac yn blentynaidd i raddau o iseldra mawr.

Y mae yn debyg fod y Derwyddon yn aberthu ar allorau, canys y Rhufeiniaid pan oresgynasant Ynys Fon a'u cawsant gerllaw eu hallorau a'u hebyrth. A meddylir tai y cromlechau a welir yn awr yn ngwlad Môn a mannau ereill, oeddynt yr allorau Derwyddol hyn. Amryw nodau ereill o gyffelybrwydd a ellir eu cael allan, ond arweiniai y chwiliad i faethder diachos; ac felly af rhagof i sylwi ar y cyfeiriadau a geir yn ngwaith y Beirdd Cymreig at Dderwyddiaeth, ac i holi a oes ryw gyfranau o'u heiddo etto ar glawr.

### CYFEIRIADAU AT DDERWYDDIAETH YN NGWAITH BEIRDD CYMRU.

Yr oedd coffadwriaeth parchus am y Derwyddon yn cael ei gynnal yn mhlith y Beirdd hyd at y canol oesoedd; ac oddiwrth rhai ymadroddion, y mae lle i feddwl fod rhyw weddillion o'r brodoriaeth yn hanfodi hyd yn nod mor ddiweddar a hynny. Er anghraifft, cymerer y llinellau canlynol allan o waith y Bardd Cynddelw. Yn ei arwyrain i Owain Gwynedd, o gylch y flwyddyn 1150, efe a ddywed—

"A'th folant Feirddion, Derwyddon dor,*
O bedeiriaith dyfyn o bedeir or."†

* Noddawl.
† Goror.

Ac hefyd yn ei Englynion i Fadawc ap Maredydd, dywed—

"Nis gwyr namyn Duw a dewinion byd,
A diwyd Derwyddon,
O aerdorf eurdorchogion,
Ein rhif yn rhiweirth afon."

Ac etto, yn ei awdl i Owain Cyfeiliawc, dywed—

"Dysgogan Derwyddon dewrwlad."

A Phylip Brydydd, rhwng 1200 a 1250 a ddywed—

"Bydynt Derwyddyon prydyon Prydein."

Hefyd, y mae Llywarch ap Llewelyn, yn un o'i ganiadau, o gylch y flwyddyn 1200, yn dywedyd fel y canlyn:—

"Darogan Myrddin,
Dyfod Brenin
O Gymry werin,
O gamwri;‡
Dywawd Derwyddon,
Dadeni haelion§
O hil Eryron,‖
O Eryri."

‡ Gormesedig.
§ Geni etto wrolion.
‖ O eppil rhyfelwyr.

Gellir meddwl fod y parch hwn i'r Derwyddon wedi ei draddodi yn ddigyfnewidiad o amser y Cynfeirdd; canys y mae y Bardd Golyddan, o gylch y flwyddyn 600, yn crybwyll am eu daroganiadau megys pethau adnabyddus a derbyniedig yn ei amser ef.

"Dysgogan Derwyddon maint a dderfydd."

Ac hefyd Meugant, o gylch yr un pryd, a ddywed—

"Cred i Dduw nad Derwyddon darogant,"

Y mae lliaws o gyfansoddiadau dan enw Taliesin mewn hanfodiad, yn llawn o ymadroddion tywyll, y sawl a feddylir eu bod yn cynnwys rhai o egwyddorion y Derwyddon. Ond gan ei fod yn amlwg na ellir eu barnu oll o waith y Bardd, enw pa un a ddygant, ni allaf osod arnynt un pwys er profi daliadau y cynoesoedd; ond yn unig cyfeiriaf attynt i ddangos parhad o goffadwriaeth am y Derwyddon, trwy ystod y canol oesoedd.*

Yn un o'r cyfansoddiadau hyn y mae yr awdwr yn gosod yn ngenau Taliesin y geiriau canlynol:—

"Myfi wyf Taliesin
Pen beirdd y gorllewin
A wn bob gorsin
Gogof Gorthewin."

"Pob corsin yn ngogof Gorddewin," medd y Parch. E. Davies, sef "pob brigyn yn ngogof yr Archdderwydd." Ac y mae yr ysgrifenydd dysgedig hwnnw yn haeru fod yr ymadrodd yn arwyddocau ryw gyfundraeth yn mhlith y Derwyddon o draddodi eu cyfrinach trwy gyfrwng brigau coed a llysiau, a bod ganddynt fath o iaith neu egwyddoreg sylfaenedig ar anian y rhai hyn; ac hefyd meddylia efe fod y cyfansoddiad a elwir "*Cad*

* Gwêl sylwadau IDRISON ar Fabinogi Taliesin.—*Cambrian Quarterly Magazine*, vol. 1. p. 198.

*Goddeu*, neu "*Frwydr y Prenau*," yn cynnwys cyfeiriadau at hyn.

Dechreua y Bardd gyda mynegu yr amrywiol rithiau dan ba rai yr hanfodasai; a'r sawl y mae rhai yn barnu eu bod yn arwyddocau yr athrawiaeth Dderwyddol o drawsfudiad eneidiau.

" Bum yn lliaws rhith
Cyn bum dysgyfrith
Bum cleddyf culfrith
Credaf pan urith
Bum deigr yn awyr
Bum serwaw syr," &c.

Ac ar ol llawer o'r cyffelyb ddatganiadau tywyll a dyrys, efe a ddywed—

" Bum yn nghaer Fefenydd
Yt gryssynt wellt a gwydd."

Ac yna brysia iddeu henwi; er anghraifft—

" Blaen llin blaen bun
Tarddei am at gun
Nim gwneu amhellun
Gwaed gwyr * hyd an clun
Gwern blaen llin
A wnaent gysevin
Helyg a cherddin
Buant hwyr i'r fyddin
Eirinwydd ys prin
Anchwant o dynin
Keri cywrenhin
Gurthrychiad gurthrin
Ffaonwydd eithyt
Ertuyn llu o gewryt
Bedw er ei fawr fryd
Bu hwyr gwisg yssid
Gwyros gwyn ei fyd
Tarw trin teyrn byd
Morawg a moryd
Ffawydd ffyniessyd
Celyn glesiysid
Bu ef y gwrhyd
Yspyddad amnad
Heint ech i angad
Gwiwydd gorthorrad
Gorthorryssid ynghad
Rhedyn anrheithiad
Banadl rhag bragad
Eithyn ni bu fad
Er hynny gwerinad
Grug bu ddydd amnad
Dy werin swynad
Hyd gwyr erlyniad
Derw buanawr
Rhagddaw cryneu nef a llawr
Gelyn glew dryssiawr
Ei enw ym peullawr

Mewn perthynas i'r llinellau hyn, am danaf fy hun, yr unig beth a ddywedaf yw, os dyma'r dull yn mha un yr oedd y Derwyddon yn traddodi eu hegwyddorion cyfrinachol, meddyliaf mai diachos iawn oedd gwahardd eu gosod mewn ysgrifen, er eu celu rhag y werin; canys oddieithr fod cyneddfau dynion y dyddiau hynny lawer mwy treiddiol nag yn ein plith ni y dydd heddyw, gallent roddi y cyhoeddiad helaethaf iddynt, heb ofni datguddio eu hystyr.

Yn mhlith y gwaith a elwir yn eiddo Taliesin, y mae un cyfansoddiad yn cynnwys ymadroddiad nodedig iawn, am ei fod yn ymddangos fel petai

* Llysiau gwaed gwyr feddyliaf.

yn ddarn o ryw wasanaeth crefyddol o eiddo y Derwyddon. Y canlynol yw efe:—

Llad yn eurgyrn
Eurgyrn yn llaw
Llaw yn ysci
Ysci ymodrydaf
Fur itti iolaf
Buddyg Veli
A* Manhogan Rhi
Rhygeidwei deithi
Ynys Fel Feli.

* Ab.

Y mae yn rhaid cyfaddef fod dau o'r dehonglwyr godidocaf o'r cynfeirdd, a ymddangosasant yn yr oesoedd diweddar, sef y Parch. E. Davies a'r Dr. Owen Pughe, yn rhoddi gwahanol ystyrion i'r geiriau; * ond y mae pob un o'r ddau yn cytuno mor belled ag arwyddocau fod cyfeiriad yma at oesoedd ac amgylchiadau o henafiaeth mawr. Y mae Davies yn haeru mai gwasanaeth Derwyddol o addoliad i un o'r duwiau ydyw. Ond y mae y Dr. Owen Pughe, trwy ychwanegu y gair *o*, sef "*Buddyg o Veli,*" yn ymattal rhag ymddangosiad o'r fath; eithr ni welaf fod achos wrth y cyfryw gyfnewidiad, oblegid nid ydyw y gair *iolaf* yn arwyddocau *addoliad*, eithr yn hytrach *moliant*. Ond y canlynol ydynt y ddau ystyr:—

DAVIES.

Y Rhodd yn yr aur gorn,
Yr aur gorn yn y llaw,
Y llaw ar y gyllell,
Y gyllell ar flaenor y praidd;
Yn ddifrif yr addolaf dydi,
Buddroddydd Feli,
A Manhogan y brenin,
A gedwi anrhydeddau Bel,
Sef Ynys Beli.

Y DR. OWEN PUGHE.

Diod mewn aur gyrn,
Aurgyrn mewn llaw,
Llaw mewn gwaith,
Gwaith mewn cymdeithas;
Yn gyfrwys i'th foliannaf,
A'r blaenoriaeth oddiwrth Feli,
Ap Manhogan y tywysog,
A gedwi anrhydeddau,
Ynys Fel Beli.

Gan ys pa un o'r ystyrion hyn sydd iawn, y mae un peth yn amlwg, sef yw, fod coffadwriaeth parchus yn cael ei gynnal am Feli ab Manogan. Ond i ba raddau o anrhydedd y dyrchefid ef nid ymddengys, neu pa un a ydoedd yn cael ei osod yn wrthddrych addoliad. Y mae rhai pethau yn tueddu i gadarnhau y dyb ei fod felly. Y mae y gair *beli*, yn y Llydawaeg, yn arwyddocau *gallu ac awdurdod*. Dyweda'r Llydawiaid "Dre he feli," *trwy ei allu*.—Hefyd y gair am *offeiriad* yw *belec;* ond y mae yn rhaid cyfaddef fod y darnau hyn o hen farddoniaeth mor dywyll fel na ellir eu dwyn yn mlaen er profion o ddaliadau y Derwyddon, a fy unig amcan yn cyfeirio attynt, yw dangos fod rhyw weddillion o eiddo y dysgawdwyr

* Galarus yw, na ddarfu i Iolo Morganwg roddi cyhoeddiad i ragor o'i esponiadau o waith y beirdd nag a wnaeth; nid oedd neb yn fwy cynhefin a hwy, nag yn feddiannol ar gywirach barn i rannu rhwng y gwir a'r ffugiol.

hynny etto mewn hanfodiad yn ein hiaith. Galwaf hwynt yn *ddarnau*, o herwydd ei fod yn dra thebygol i mi, fod llawer o honynt wedi eu ffurfio o amryw glytiau o hen brydyddiaeth, wedi eu hysgrifenu yn rhibynau diwahanedig gan ryw un, er eu cadw rhag myned ar goll; a hynny, ysgatfydd, drwy gynnorthwy ei gof yn unig. A fy rheswm am y dychymyg hwn yw y canlynol:—yn ngwaith y cynfeirdd, yn y Myv. Arch., y mae cyfansoddiad yr hwn a elwir, "Dyhuddiant Elphin," ac a gyfrifir i Dalíesin; ond mwy na'r hanner o ba un sydd eiddo Aneurin, sef, "Gorchan Tudfwlch;" ond y mae wedi ei uno a'r gân flaenorol heb un gwahaniad, ac oni fuasai cael allan ysgrif gywirach o waith Aneurin, buasai yn colli ei eiddo yn hyn, a hynny heb ychwanegu at glod Taliesin; canys y mae yn Nyhuddiant Elphin arwyddion amlwg ei fod yn ddiweddarach nag amser y Bardd hwnnw. Ac felly oddiwrth yr anghraifft uchod, yn nghyda phrofion ereill, y mae lle i gredu fod rhan fawr o'r prydyddiaeth a geir dan enw Taliesin, naill ai yn gyfan gwbl ddiweddarach nag ef, neu wedi goddef cymmaint o lygredigaeth drwy gyfnewidiadau ac ychwanegiadau, fel braidd y mae'n ddichonadwy dywedyd pa peth sydd a berthyn iddo. Ac yma addas yw sylwi fod gwaith Taliesin a Myrddin wedi eu llygru yn y modd hyn i'r fath raddau, a bod dan enw'r olaf, lawer mwy o ffugwaith diweddar nag sydd o'i wir gysefin gyfansoddiad. A'r achos o hyn yw, fod y ddau Fardd hyn yn cael eu cyfrif yn ddewinion, ac am hynny pan geisid anfon i blith y bobl ryw ddaroganiad er hyfforddi dybenion llywodraethol neu arall, yr arfer oedd tadogi y cyfryw beth ar Daliesin neu ar Fyrddin. Yr oedd coffadwriaeth anrhydeddus am ddoniau Taliesin yn hanfodi yn y canol oesoedd, fel y gwelwn yn aml yn ngwaith y Beirdd;—er anghraifft cymmerer y canlynol o eiddo Dafydd Benfras, allan o un o'i odlau i Lewelyn ap Iorwerth, o gylch y flwyddyn 1200:—

> "Mi i'm byw be byddwn ddewin,
> Ym marddair marddawn gyssefin,
> Adrawdd ei ddaed aerdrin ni allwn
> Ni allai Daliesin."

Mewn perthynas i Fyrddin, yr oedd ei glod megys dewin gwedi lledu dros y byd gwareiddiol yn gyffredinol. Ac yn mhlith ei gydwladwyr, meddiannai enwogrwydd nid yn unig am ei ddaroganiadau, ond hefyd am ei ddoniau barddonawl, fel y gwelir yn ngwaith Elidr Sais, o gylch 1200:—

> "Ryddywawd o'i farddwawd Ferddin."

Heblaw y rhagflaenol o waith y Beirdd, y mae hefyd yn y Trioedd a'r Mabinogion, a hen ysgrifau ereill, amrywiol draddodiadau chwedleuaidd ac ofergoelus, y sawl a feddylir eu bod wedi disgyn o amser y Derwyddon.

O'r cyfryw y maent y canlynol:—

"Triwyr Hûd a Lledrith ynys Prydain:
"Math ab Mathonwy, ac efe a'i dangoses ei Hûd [swyngyfaredd] i Wdion Mab Dôn.
"A Meayw fab Teirgwaedd, a ddysges ei Hûd i Uthyr Bendragon,
"A Rhuddlwm Gawr, ac efe a ddysges ei Hûd y gan Eiddic Gorr a Choll mab Collfrewi." —TRI. 90.

Y mae crybwylliad am y cyntaf yn Ngherdd Daronwy, dan enw Taliesin. Yr awdwr a ofyn pwy bren sydd yn rhagori ar eiddo Daronwy, ac yn atteb fod Hud-lath, sef ffon ddewinol Mathonwy yn dwyn pereiddiach ffrwythau ar lan llyn neu afon y Gwyllion:—

"Hutlath Fathonwy
Yn nghoed pan dyfwy,
Frwythau mwy Cymrwy
Ar lan Gwyllionwy."

Y mae hefyd amryw grybwylliadau am Gwydion ap Don a'i swyniad, megys y mae am Fath:—

"Am swynwysei Math
Cyn bum diaered,
Am swynwys i Wydion,
Mawrnwr o Brython." CAD GODDEU.

Gwydion hefyd a restrir yn mhlith y Seronyddion.

"Tri Gwyn Seronyddion ynys Prydain: Idris Gawr, a Gwydion mab Don, a Gwyn ab Nudd. A chan faint eu gwybodau am y ser a'u hanianau a'u hansoddau y darogenynt a chwennychid ei wybod hyd yn nydd brawd."—TRI. 89.

Cyfleawl yma sylwi fod yn mhlith yr Arabiaid draddodiad am seronydd celfydd o'r enw *Edris*, yr hwn a ddywedant tai yr un ag Enoch y cynddiluwiad ydoedd; ac yn y ban olaf o'r Triad canlynol y mae cyffelybrwydd amlwg i'r traddodiad dwyreiniol yn nghylch y meini a gerfiwyd gan Enoch i'r dyben i gadw y celfyddydau rhag eu colli yn y diluw; ond pa fodd y daeth y fath draddodiadau i Gymru, ni's gwn. Y mae yn amlwg eu bod yn hanfodi yma dros amryw oesoedd; canys nid yw enw y mynydd, Cadair Idris, ddim o roddiad diweddar. Y Triad a ymddengys fel pe cynhwysai ryw frith-gofiaeth am y diluw; ac oddieithr ei fod o'r oesoedd Derwyddol, nid hawdd dangos ei haniad; gan mai eglur yw nad ydyw wedi ei gymeryd allan o'r Ysgrythyrau.

"Tri phrif orchestwaith Ynys Prydain.
"Llong Nefydd Naf Neifion, a ddug ynddi wryw a benyw o bob byw bann dorres Llyn Llion, ac
"Ychain Bannog Hu Gadarn, a lusgasant Afanc y llynn i dir ac ni thorres y llyn mwyach, a
"Main Gwyddon Ganhebon, lle y darllenid arnynt holl gelfyddydau a gwybodau y byd."—TRI. 97.

Y mae y cyfansoddiadau rhagddywededig, a geir dan enw Taliesin, yn mhlith amrywiol bethau ereill o'r cyffelyb, yn mynegu am y Derwyddon, megys yn gwrandaw ar ganiadau y gwyllion, y rhai oeddynt ryw fodau annaearol yn anneddu yn y llynoedd; ac yno, yn mrig yr hwyr, ac yn y nos, yn datgan daroganiadau a dirgeledigaethau ereill mewn cerddau, fel yr arwyddoca y canlynol, yr hwn a roddaf yn llythyreniad y Parch. E. Davies, yn nghyda'r ystyr yn yr hwn y dealla efe ef.

dydd

"Dygogan Derwydd,
A fu anudydd,
Wybr Geirionydd,
Cerddawn a genhydd
Wylliawd, eil echwydd,
Yn nhorroedd Llynydd."

"Darogana'r Derwydd, a fu wrandawydd, yn maen-gylch Geirionydd, ar y cerddau a ganent y Gwyllion, plant yr hwyr, yn eigion llynoedd."

Yn un o'r cyfansoddiadau dan enw Taliesin, y mae yr awdwr yn mynegu am ymladdfa a welodd yn y boreuddydd, yn mynyddau Eryri, rhwng Gwdion ap Don a rhyw fodau annaearol, cyffelyb i'r rhagflaenol:—

"Gwelais ymladd taer yn Nant Ffrancon
Duv Sul pryd pylgeint
Rhwng Wythaint a Gwydion
Duv Iau yn geugant ydd aethant Fôn
I geisiaw yscut gan hudolion
Arianrod drem clod a gwawr hinon
Mwyaf gwarth y marth o barth Brython
Dybrys am ei lys Enfys afon."

Sef yw, yn ol tyb Davies, "Gwelais ymladd taer yn Nant Ffrancon, ddydd Sul, bryd y cyfddydd, rhwng adar y llid a Gwdion. Dydd Iau aethant [y Gwythaint] yn ddiogel i Fôn, i geisio cafod gan ddewinion; ond Arianrod, wedd ogoneddus, gyda gwawr hindda, hi yr hon sydd gadarnaf attalydd gofid oddiwrth y Brython, a daflodd am ei lys [sef Gwdion] ddylifiad yr enfys."

Gan ys pa beth ydoedd Gwyn ap Nudd o ddechreuad, pa un ai bod corfforol, ai ynte dychymygol, y mae, er ys oesoedd bellach, wedi ei dderchafu i'r uchelfraint o fod yn Frenin y Tylwyth Teg. Pa un ai etifeddu yr anrhydedd hwn o amser y Derwyddon y mae, ai esgyn i'r orsedd yn y canol oesoedd a wnaeth, ni ymddengys; ond y mae yn amlwg ei fod yn mwynhau enwogrwydd yn mhlith ein cenedl er yn hir cyn cof. Y mae yn y Myv. Arch. gyfansoddiad a elwir "Ymryson rhwng Gwyddno Garanhir a Gwyn ap Nudd;" nid ydyw mor hen a'r chweched ganrif, ond meddyliaf y gall fod wedi ei gyfansoddi yn gynnar yn y canol oesoedd. Y

calynol sydd anghraifft o'r gwaith yn nghyd ag eglurhad mewn iaith mwy cyffredin. Y mae Gwyddno yn gofyn i Gwyn ab Nudd, o ba le y mae yn dyfod, ac yntau yr hwn a ymddengys fel rhyfelwr cadarn a'i atteb :—

| CYSEFIN. | EGLURHAD. |
|---|---|
| | GWYN AP NUDD. |
| Ban ddeuaf ogat a chymynad | Deuaf o frwydr a llanastra |
| Mawr ag aesawr in anghad | Mawr, a tharian mewn llaw |
| Briwint pennavr peleidrad | Lle briwint helmau gan ergidion gwaewffyn. |
| | GWYDDNO GARANHIR. |
| A'th gyvarchaf huysewn | A'th gyfarchaf ymdrechiol |
| Gwr ai ysewid yn anghen | Wr, a'i darian fu mewn caledi |
| Nebir gwr pan yw dyechen | A roir gwybod wr o ba le y mae dy ach ? |
| | G. AP. N. |
| Karngrwn fy march kat trabludd | Carngrwn fy march yn nghynwrf brwydyr |
| Hud im gelwir i Gwin Mab Nudd | Yd y m gelwir i Gwyn ab Nudd, |
| Gordderch Kreurdddillad merch Lludd | Carwr Creurddillad [Cordelia] merch Lludd. |
| | G. G. |
| Kanys ti Gwin gwr Kywir | Gan ys ti wyt Gwyn, gwr cywir, |
| Rhagot ni ry ymgelir | Rhagot ni'm ymgelir ; |
| Minnew Gwiddnau Garanhir | Minneu wyf Gwyddno Garanhir. |

Yr oedd coffadwriaeth am y bodolion hyn yn nghadw yn mhlith y Cymry hyd yn ddiweddar yn y canol oesoedd, megys y gwelir yn ngwaith y Beirdd. Dafydd ap Gwilym, o gylch 1450, a enwa amryw o honynt. Mewn cywydd i'r Ddylluan, efe a'i geilw yn "Aderyn Gwyn ap Nudd," o herwydd ei harferiadau gwyllaidd a nosweithiawl Gwna hefyd i'r ddylluan adrodd y chwedl ei bod hi unwaith yn fenyw, ond i Gwdion ap Don, â'i hudlath, ei throi yn ddylluan. Sonia y Bardd hwn am lawer o fodau ereill o'r un anian ; ac ymddengys fod y Prydyddion Cymreig yn arferyd yr offerynau cyntefig hyn yn eu cyfansoddiadau, yn yr un modd ag yr oedd y Groegiaid a'r Rhufeiniaid yn gwneyd â'u gau-dduwiau priodol eu hunain.

Y mae hefyd grybwylliad am Gwydion ap Don yn nghyda chwedl fer am dano, yr hon a ymddengys fel pe perthynai i un o'r Mabinogion.

"Val dyma yr Enlynion a ganwyd pan Cad Goddau, ereill a'i geilw Cad Achren, ac o achos iwrch gwyn a cheneu [ci] y bu, ac o auwn yr hanoedd hwynt, ac Amathaon ap Don a'i daliodd. Ac am hynny yr ymladdodd Amathaon ap Don ac Arawn vrenin Anwn. A gwr oedd yn y gad oni wyped ei enw ni orfyddit arno ; a gwreic oedd yn y tu arall a elwid Achren, ac oni wypid y henw ni orfyddit arnynt. A Gwidion ap Don a ddychymygodd enw y gwr ac a ganodd y ddau englyn sy yn canlyn :—

Carngraf vy march rhagotoyw
Benn Olgen gwera ar yasfoyw
Bran i'th elwir briger loyw

*Ac fal hyn*

Carngraff dy farch yn y dydd cad
Ban blaen gwern ar dy angad
Bran lorgrio a'i vrig arnad
Y gorfu Amathaon mad.

GWYDION AP DON A'I CANT.

Yn mhlith y bodau niwliol a chysgodol hyn, y mae eraill yn fwy annaearol etto, megys y canlynol:—

"Tri Tharw Ellyll ynys Prydain;
"Ellyll Giwdawl, a Ellyll Llyr Merini, ac Ellyll Gwrthmwl Wledig."—Tri. 94.

Ereill o'r un anian, a geir yn mhlith hynodion henoesol y Cymry, megys Ceridwen, neu Cêd ac Afagddu ei mab. Dôs ap Deigyr, Drych ail Cibddar, Olwen, Glinau ail Taran, Dylan ail Ton, Rhianon ferch Henefydd Hên, Ellylw ferch Niwl Cyngrog, Gair ap Geirion, yr hwn a fu yn ngharchar, Oeth ac Anoeth; heblaw nifer lliosog o'r rhai a berthynant i lys Arthur, y sawl er eu bod yn fodau dychymygol, etto a gawsant yn yr oesoedd diweddar eu cymysg a gwir wronion y brenin hwnnw, am y sawl y crybwyllir yn eu lle.

Ond, medd rhyw un neu gilydd, "Beth yw yr holl sothach hyn? A oes dim gwell iddei ddwyn dan sylw mewn hanes gwlad na'r ffolineb hyn?" Attolwg, pa beth ond *ffolineb* sydd iddei gaffael yn hanesion boreuol y cenhedloedd yn gyffredinol?—Nid oes un genedl dan y nef, ond un, nad yw ei hanesion cynnar yn llawn o bob ynfydrwydd. Hyd yn nod y Groegiaid, y callaf o ddynion, edrychwn ar eu cynhanes, byddai yn warth i hurtyn-geni ffurfio y fath ddychymygion gwael a phlentynaidd ag a geir yn hanesion y Groegiaid. Y mae hen ofergoelion y Cymry yn ddoethineb digymysg mewn cymhariaeth âg eiddo y Groegiaid; a'r un peth a ellir ei ddywedyd am danynt mewn perthynas i amryw genhedloedd ereill.

Ond yr un darllenydd siomedig a ychwanega,—"Eithr pa le y mae *hanes* ein cenedl?"—Attolwg etto, onid dyma eu hanes?—Oni chanfyddir yn y pethau hyn flaguriad y bryd, a chynrithiad y meddwl?—Oni welir yma ddelwad o'r greddf a'r anian gorddewr a safodd dros gynnifer o oesoedd yn erbyn ymosodiadau estronaidd?—Yr yspryd anorchfygadwy yr hwn, ar ol pedwar can mlynedd o lywodraeth Rhufeinig, a ymddangosodd drachefn yn ei gyntefig gynnawd. Oblegid pan y bu i'r holl genhedloedd gorllewinol ereill, dan lywodraeth Rhufain, gael eu Lladineiddio a'u dirywio i'r fath raddau a bod eu hiaith, eu meddyliau, a'u holl anianawd, gwedi eu dwyn i'r cyfryw gymmathiad a'u gormeswyr, ag nad oedd ganddynt mwyach un cynnodiad priodol; y Cymry a ddaethant allan o'r llygrawd halogawl yn eu cynhenid aniaeth, ac heb braidd un arnod o gyfliwiad estronol.—Os pan yn darllen yr hanes, disgwyliad ein cyfaill sydd am ryfeloedd a brwydrau, ymbwylled ennyd, a chaiff ddigonoldeb; bu gan y Cymry, yn mhob oes, eu cyflawn ran o hynny; ac yn wir nid yw eu hanes, dros rai oesoedd, fawr amgen na chofrestr o frwydrau, naill ai yn mhlith eu gilydd, neu yn erbyn estroniaid. Ond os wrth y gair, "hanes," ni ddeallir dim yn ychwaneg na hyn, meddyliaf fod ei ystyr yn cael ei gyfyngu yn

anaddas, a'r myfyriwr yn cael ei ymddifadu o lawer o'r budd a ddeilliai iddo trwy helaethach trafodaeth o'r testyn. Ac yn hanes y Cymry, hyderaf ddywedyd fod amlygiadau iddeu cael o egwyddorion o'r pwysfawrogrwydd mwyaf i genhedloedd y byd gwareiddiedig yn gyffredinol; canys o blith y Cymry y tarddodd y drychfeddyliau hynny y sawl a fuant offerynol i ddihuno cynneddfau y byd gorllewinol, allan o'r cwsg yn mha un y gorphwysasant dros gynnifer canrif. Ac er mor wael a diwerth y gall traddodiadau yr hen Gymry ymddangos yn ngolwg rhai o'u plant y dydd heddyw, etto nid ydynt felly yn ngolwg dyeithriaid; oblegid y mae yr hanesyddion a'r hynafiaethwyr mwyaf doniol ac anrhydeddus, yn Lloegr ac hefyd ar y Cyfandir, ar ol y chwiliad manylaf, yn cyfaddef mai at hengofion y Cymry, y mae yn rhaid dyfod am ddefnyddiau cyntaf brydweithiad yn Ewropa, yn ei chyflwr adnewyddedig, ar ol yr oesoedd tywyll. Os oes neb ynteu, yn diystyru olrheiniadau o'r cyffelyb, a'r myfyriannau a effeithir ganddynt, cynghoraf y cyfryw un i daflu heibio y llyfr hwn; gwaith ofer ac anfuddiol ydyw ei ddarlleniad iddo. Nid oes un cyd-deimlad rhwng y darllenydd a'r awdwr; ac ni's gall fod ond ychydig o gydsyniad.

Hawdd fyddai ychwanegu yn helaeth at y pigion rhagflaenol perthynol i hengofion y Cymry, ond nid attebai un dyben er taflu mwy o oleu ar ddaliadau neillduol y Derwyddon; canys rhwng pellder yr amser, a'r gofal eiddigus gyda pha un y dirgelent hwy, nid oes gobaith y gellir dyfod i un wybodaeth foddhaol o honynt megys cyfundraeth. Ond gan mai profadwy yw, fod y dysgawdwyr hynny fel pob swyddogion o'r fath, er yn celu eu cyfrinach neillduol, etto yn cyfrannu addysg i'r werin mewn pethau a berthynent i'r cyflwr gwerinol, anhawdd credu fod effeithiau cynifer oesoedd o athrawiaeth gwedi hollol ddiflannu, heb adael un rhyw ôl neu weddill yn y wlad; ac y mae yn debygol fod yr effeithiau yn ganfodadwy yn mhlith cyfansoddiadau y Cynfeirdd ar y pryd yr ailddeffrodd yspryd y Cymry ar ol ymadawiad y Rhufeiniaid. Ac yn gyson â'r sylwadau hyn y mae rhai yn barnu fod yr hen gyfansoddiadau yn y mesur a elwir Englyn Milwr yn dangos y dull yn mha un y corffolent y Derwyddon eu haddysgiadau cyffredinol; ac ysgatfydd y dichon ambell ban neu ymadrodd fod mor hen a'r oesoedd Derwyddol. Y canlynol allan o waith Llywarch Hên, rhwng 550 a 640 a ddangosant fod y dull hyn o brydyddu yn hanfodi yn mhlith y Cymry mor gynnar a'r amseroedd hynny:—

"Gorwyn blaen derw, chwerw brig ôn;
Chweg efwr; chwerthiniad tòn
Ni chel grudd gystudd calon."

crechwenus y don

Hyny yw, hardd yw blaen derw, chwerw yw brig onnen; melus yw cysgod perth; ni chel y grudd flinder y galon:—etto,

"Gorwyn blaen berwr, byddinawr gorwydd
Ceingyfreu coed i lawr
Chweryd bryd wrth a garawr."

Hardd blaen berwr dŵr, rhyfelgar y march; harddwch ydynt goed i'r ddaear; bydd llon y meddwl gyda'r un a gerir—

"Gnawd dydd a thanllwyth yn ngynllaith gauaf
Cynreinion cynrwyddiaith
Gnawd aelwyd difydd yn ddiffaith,"

Mynych bydd tanllwyth, pan delo gwlybwr gauaf, yn mhlith dewrion hyawdl; mynych bydd aelod y diffrwyth yn ddiffaith.

Gellid ychwanegu at yr uchod yn helaeth allan o waith yr un awdwr, ond ar hyn o bryd af rhagof at rai o'r oesoedd diweddarach, ac yno ceir yr un fath ddull mewn arferiad. Y canlynol ydynt yn ddienw:—

Eira mynydd, llwm brig cawn,
Ni chydfydd dedwydd * a diddawn;
Lle ni bo dysg ni bydd dawn.

Eira mynydd, pysg yn rhyd,
Cyrched garw culgrwm gwm clyd;
Gofal Dyn, Duw a'i gweryd.

Eira mynydd, miniog rhiw,
Chwannog anoeth i ymliw;
Ni wyr neb pwy pieu heddyw.

Eira mynydd, rhudd rhedyn
Gorchwiban gwynt uwch ewin †
Goreu canwyll pwyll i ddyn.

* Gwybodus. † Ewin dwfr.

Y mae amryw englynion ereill ar glawr yn y dull tribanog diarhebawl yma. Y canlynol a bigwyd allan o'r casgliad a elwir "Englynion y Clywaid," ni wyddys pwy a'u cant, ond y mae yn amlwg oddiwrth eu cynhwysiad eu bod yn ddiweddarach na'r Cynfeirdd, a dichon eu bod mor gynnar a dechreu y canol oesoedd:—

"A glyweisti a gant Kynrein
Pen cyssyl Ynys Prydein?
Ys gwell cadw nog olrein.

A glyweisti a gant Idloes,
Gwr gwar hygar ei einioes?
Goreu cynnydd cadw moes.

A glyweisti a gant Cynllwg,
Gwr llwyd llydan ei olwg?
Cafas da ni chafas ddrwg.

A glyweisti a gant Teiliaw,
Gwr a fu'n penydiaw?
A Duw nid da ymdaraw.

A glyweisti a gant Padarn,
Pregethwr cywir cadarn?
A wnelo dyn Duw a'i barn.

A glyweisti a gant Eilerw
Marchawc serchawc syberw?
Hir y cnoir tamaid chwerw.

A glyweisti a gan y Pysc,
Wrth ymdrafful yn mhlith y gwrysc?
Trech anian nag addysc.

A glyweisti a gant Cynon,
Yn ymoglyd rhag meddwon?
Cwrw yw allwedd calon."

Ond gall rhyw un ofyn i mi, paham yr wyf yn dwyn yn mlaen anghreifftiau o'r ddegfed ganrif i brofi arferion y Derwyddon yn y cynoesoedd. Y mae y gofyniad yn resymol ac attebaf ef.—Wrth gymharu y cyfansoddiadau

hyn ag eiddo Llywarch Hen, gwelaf y fath gyffelybrwydd yn y brydrediad, a'r dull o ymadroddi, fel nas gallaf ganfod digon o wahaniaeth i ddywedyd nad ydynt o'r un oes; ac felly ymddengys na wnaeth pedwar cant o flynyddau ond ychydig o gyfnewidiad yn arferion y bobl. Ac y mae gennyf achos i feddwl na fu mwy o gyfnewidiad yn y pedwar canrif cyn amser Llywarch Hen, yn enwedig pan gofiaf y trioedd rhag-grybwylledig o draddodiad P. Mela a D. Laertius, ac hefyd, nad oedd rhwysg cyfnewidiadau yn cerdded ond yn araf iawn yn yr amseroedd hynny. Os cywir fy marn yn hyn, a meddyliaf na phrofir y gwrthwyneb, dilys y gwelir yn yr englynion uchod, y dull a'r agwedd a gymerodd yr hen gyfundraeth Frytanaidd dan yr oruchwyliaeth Gristionogol. A'r englynion hyn a draethant yn eglur y modd y darfu i'n hynafiaid nid yn unig arbed eu hiaith rhag llygriad Rhufeinig, ond hefyd y modd yr ymgadwasant rhag mabwysaw drychfeddyliau estronaidd; canys y mae yr englynion rhag-grybwylledig mor belled oddiwrth anian prydyddiaeth y Rhufeiniaid ag sydd ddichonadwy i fod. A'r un peth a ellir ei ddywedyd am brydyddiaeth Cymraeg yn gyffredinol. Nid ar unwaith y diddymwyd Derwyddiaeth, ac nid o flaen Paganiaeth Rhufain y syrthiodd,—ond o flaen pregethiad yr Efengyl.

### GWEDDILLION DERWYDDOL YN AWR MEWN HANFODIAD.

Er fod daliadau crefyddol y Derwyddon wedi myned ar goll, a'u holl gyfundraeth wedi diflanu, oddieithr ryw ychydig o'u cynreithiau cyffelyb i'r rhai a ragadroddwyd; etto y mae yn ein plith amryw bethau perthynol iddynt, y sawl a ellir eu cyfrif megys tystiolaethau o effeithiau eu swyddogaeth yn ein gwlad. Yn mhlith y cyfryw y gellir rhestru y gweddillion maenawl a welir mewn cynifer o fannau. Y rhai hyn ydynt y cromlechau, maen-gylchoedd, maen-resi, meini-chwyf, meini-hirion, carneddau, cistfeini, &c., y sawl a sylwir arnynt yn olynol.

Cromlechau.—O holl weddillion y cynoesoedd, y rhai a ddygant yr arwyddion mwyaf amlwg o ffurfiad Derwyddol ydynt y *cromlechau*, canys y mae ymddangosiadau cedyrn mai allorau oeddynt; a lle y cyfodwyd ac yr arferwyd allorau o'r fath faintioli, yr oedd rhaid fod egwyddorion y grefydd yn hanfodi yn eu grym.

Y cromlechau ydynt feini mawrion, gwedi eu gosod i orphwys ar golofnau o feini ereill, ar lun allor neu fwrdd. Weithiau nid oes ond tri o golofnau, neu feini sythion, yn dal y llech, neu'r maen uwchaf: ac weithiau y mae pump neu chwech. Medddylir fod y gair cromlech yn deillio oddiwrth *crwm* a *llech*, sef maen yn crymmu neu yn gogwyddaw.

Y mae amrywiol gromlechau etto iddeu gweled yn yr ynys hon ac yn yr Ywerddon. Un o'r mwyaf o faintioli, o'r rhai cyfain, ydyw yr un

gerllaw y Plâs Newydd, yn Mon. Cyfrifir fod y maen uchaf yn pwyso dros 30 tunnell. Y mae un yn Nghemiw, a'r maen uchaf iddi yn pwyso yn agos i 800 tunnell; ond nid ydyw yn gorphwys ar gerrig dodi, eithr ar gopa craig. Ond y gromlech fwyaf nodedig yn yr ynys, ydyw yr un gerllaw Pentref Ifan, yn swydd Benfro, y maen uchaf o ba un sydd 18 troedfedd o hyd, 9 o led, a 3 o drwch; ac y mae yn pwyso ar dri o feini sythion, ac mor uchel oddiwrth y ddaear, ag y gall dyn ar geffyl farchogaeth dani heb ymgrymu, gan fod y golofn hwyaf yn wyth troedfedd o hyd.

Meddylia Davies mai at ffurfiad cromlechau yn gyffredinol y mae y ban cyntaf o'r Triad canlynol yn cyfeirio:—

"Tair Gorchwyl Gadarn Ynys Prydain: Codi maen Cetti, adeiliaw Gwaith Emrys, a thyrru Cludair Gyfrangon.—Tri. 88.

Y mae maen yn Mro Gwyr i'r hwn y rhoddir yr enw "Maen Cetti," eithr ni's gwn haniad yr enw hwnnw.

Heblaw y rhai a geir yn yr ynys hon, y mae amryw gromlechau ar y Cyfandir, yn enwedig yn Llydaw. Y Llydawiaid nid adnabyddant hwy wrth y gair cromlech, eithr yr enw a roddant iddynt yw *Tolmen*, neu *Taolmen*, sef Tafl-maen, oddiwrth y gair Taol, bord; gan eu bod yn eu llun yn dwyn cyffelybrwydd i ford, neu fwrdd; a phan arferant y gair cromlech, cyfeiriant at faen-gylch; oblegid eu bod yn cyfrif fod y gair *crwm* yn fwy addas i arwyddocau llun plygedig y rhesau yn y maen-gylchoedd. Yn gyffredinol galwent y cromlechau a'r cistfeini wrth enwau y sawl a arwyddocant Tai y Bendithymammau.

MAENGYLCHOEDD.—Nesaf at y cromlechau, o ran tebygolrwydd eu bod yn dwyn perthynas âg addoliad y Derwyddon, ydynt y maen-gylchoedd, y rhai ydynt ffurfiedig o amryw feini wedi eu gosod yn syth, ac un pen yn graff yn y ddaear, a'r cyfan o honynt yn llunio cylch. Y gorsafwaith mwyaf nodedig o'r cynnawd yma ydyw *Gwaith Emrys*, neu y *Cor Gawr*, yr hwn a elwir yn Saesonaeg *Stonehenge*, ar wastadedd Caer Caradawc, yn swydd Wilts. Y cylch hwn sydd dros 100 troedfedd o dryfesur, ac yn cynnwys yn agos i 80 o gerrig o bob maintioli, rhai yn 18 troedfedd o uchder. Y gweddillion o honynt a ddangosant eu bod, yn gysefin, yn 144 o rifedi, ac wedi eu gosod yn bedwar cylch o fewn iddeu gilydd; ac y mae rhai yn credu eu bod yn arwyddocau cylchoedd seronyddol, ac yn mynegu fod y Derwyddon yn hyddysg yn y gelfyddyd o seryddiaeth.

Ar ol Gwaith Emrys, y maen-gylch mwyaf hynod yw yr un wrth bentref Abury yn swydd Wilts; pan yn gyfan cynhwysai y cylch a'r rhesi perthynol 650 o feini, rhai o honynt o faintioli mawr, gan eu bod yn 20 troedfedd o hyd; ond blin dywedyd, nad oes ond ychydig iawn yn awr yn hanfodi, a

hynny am fod cybydd-dra atgas a dirmygus dynion anneallus ac anifeilaidd yr ardal gwedi eu tori yn ddarnau er adeiladu tai, ac weithiau er mwyn y tammaid tir oedd dan eu bonau.

Y mae amryw weddillion o'r cyfryw faen-gylchoedd yn y deyrnas, yn enwedig yn Nghemiw, ac y maent yn wasgaredig ar hyd y wlad nid yn unig yn y deheudir ond hefyd hyd ynysoedd yr Alban. Er anghrheifftiau, gellir enwi un wrth Rowldrich yn swydd Rhydychain; un gerllaw Keswick yn Cumberland, un wrth Loch Stennis yn y fwyaf o'r ynysoedd Orc yn yr Alban; ac ereill yn ynys Lewis yn yr Hebrides. Y mae hefyd weddillion o'r cyfryw yn Nghymru mewn amryw fannau, megys yr un gerllaw Braich y Ddinas, a'r Gyfylchi yn swydd Gaernarfon; ac un yn swydd Benfro, yn agos i Gastell Henry.

Y mae hefyd yr un fath faen-gylchoedd a chromlechau idd eu gweled yn yr Almaen, yr hyn a ddengys lydan daeniad y grefydd Dderwyddol, yn y cynoesoedd; a dywedir fod cromlechau yn hanfodi hyd yn nod yn yr India, yn ngoror Malabar. Ond pa un a gyrhaeddoedd ryw lwyth o Gymry yno nid oes lle i ddychymyg.

Maenresi.—Y mae ychydig anghreifftiau o'r gorsafweithiau hyn idd eu gweled yn Mhrydain, megys wrth Abury, ac yn yr Alban, ond y mwyaf nodedig ydyw yr un a elwir Carnac yn Llydaw. Y gorsafwaith hwn sydd gerllaw i dref Quiberon ar lan y mor. Cynhwysa 4000 o feini wedi eu gosod yn syth mewn 11 rhes, ac yn estyn dros ran fawr o filltir o hyd, ac yn agos i 150 llath o led. Y meini wrth bennau y rhesi ydynt o faintioli dirfawr, rhai o honynt ydynt tua 22 troedfedd uwch y ddaear, 12 o led a 6 o drwch, ac yn pwyso dros 100 tunnell; ond y maent yn lleihau tua chanol y rhesi, lle nid ydynt yn uwch na ellir cammu idd eu pennau. Y mae y dysgrifiad a roddir am y gorsafwaith hwn mor rhyfeddol, fel braidd y credaswn ef oddieithr ei weled fy hun.

Meinihirion.—Y gweddillion hyn ydynt mor aml fel nad rhaid dysgrifiad o honynt yn mhellach na dywedyd tai meini syth ydynt gwedi eu gosod yn eu sefyll yn y ddaear. Ni wyddys mo'u hanes nac achlysur eu cyfodiad. Y mae yn ddilys fod y rhan fwyaf o honynt mor hen a'r oesoedd Derwyddol. Y mae amryw ar y cyfandir, ac un o uwchder mawr gerllaw Poitiers yn Ffrainc.

Cistfeini.—Y rhai hyn ydynt ffurfiedig o lechau wedi eu gosod mewn dull pedronglog, a llechau ereill arnynt fel cloriau, megys cist. Y mae yn amlwg mai beddrodau oedd y rhan fwyaf o honynt, canys ceir hwynt o fewn i garneddau, ac yn cynwys esgyrn ac arwyddion ereill o gladdedigaethau. Diamheu fod amryw o honynt o'r oesoedd cynaraf o Dderwyddiaeth, ond y mae yn amlwg fod yr arfer o gladdu mewn carnau a chistfeini

gwedi parhau yn hir ar ol sefydliad Cristionogaeth, ond y maent oll yn hen. Dyma'r fath feddrod a gyfeirir atto yn Englynion y Beddau—

"Piau y bedd pedryfal
Ai bedwar maen amytal?
Bedd Madawc Marchawc dywal."

Pwy piau y bedd pedronglog, a'i bedwar maen am y tal? Bedd Madawc y Marchog dewr.

MEINI-CHWYF, NEU FEINI-SIGL.—Y rhai hyn ydynt feini mawrion wedi eu gosod ar greigiau, neu ar feini ereill, ac wedi eu cydbwysaw gyda'r fath gywirdeb, ag y gellir eu siglo âg un llaw; ond ni all torf o ddynion, â'u holl nerth, eu dymchwelyd. Y mae amryw o'r gorsafweithiau hyn yn yr ynys. Un yn Nghemiw a bwysa 80 tunnell. Ni wyddys eu dyben: y mae hefyd rai yn Nghymru.

CARNAU, NEU GARNEDDAU, CRUGIAU, &c.—Y gweddillion hyn a welir yn aml ar hyd y wlad, yn enwedig ar bennau y mynyddoedd, lle y gwasanaethent megys gwyddfaau i gynneu tân arnynt yn amser rhyfel, i roddi rhybudd am ymosodiad gelynion; ac hefyd yr oeddynt, o'r rhan fwyaf, yn leoedd claddedigaethau, gan eu bod, fynychaf, yn cynnwys cist-feini ac esgyrn ynddynt. Ac, ysgatfydd, eu bod hefyd yn cael eu harferyd at ryw wasanaeth Derwyddol ar brydiau nodedig.

Y carnau a ffurfir o gruglwythau mawrion o gerrig wedi eu pentyru i fynu; a phan agorir hwy, ceir yn y canol, ar wyneb y ddaear, gistfaen, yn ffurfiedig, fynychaf, o bedair llech, a chlawr, megys y crybwyllwyd uchod; ac o fewn i'r gist ystên neu gawg o bridd, yn cynnwys esgyrn a lludw, yn dangos fod arfer y Cymry, yn yr hen oesoedd, i losgi y meirw, a chladdu y lludw yn y modd hyn. Lle nid oedd cerrig yn ddigon aml i ffurfio carn, cyfodent grug o bridd, o'r un llun crwn. Y mae rhai o'r crugiau pridd hyn wedi eu cyfodi gan y Rhufeiniaid, fel y dangosa eu cynhwysiadau a'u sefyllfaoedd, megys y rhai a welir ar y maes cyffredin, gerllaw Llandrindod. Ond y mae ereill, yn ddiamheuol, yn henach na dyfodiad y Rhufeiniaid, gan eu bod yn agos i faen-gylchoedd Derwyddol, ac yn cynnwys arfau rhyfel, o gallestr, megys pennau bwyellau, a phicellau, a saethau, yr hyn a arwyddoca amser o hendra maith, cyn bod y wlad yn ddigon medrus mewn gweithiau metel iddei ddefnyddio felly. Y casgliad mwyaf nodedig o grugiau beddrodawl sydd ar wastadedd Caer Caradawc, lle y maent yn fynych iddeu gweled yn 40 llath o dryfesur, ac o 5 i 10, ac ychwaneg, o uchder. Cynhwysant gistfeini ac arwyddion claddedigaethau, ac, yn gyffredin, bydd amryw o gistfeini yn yr un crug. Y beddrodau mwyaf nodedig a welais yn Nghymru ydynt yn mhlwyf Llanelieu, yn swydd Frycheiniog, ar dir tyddyn a elwir Ffos-y-tyll. Y mwyaf o'r crugiau neu y carnau hyn sydd 45 llath o hyd, 20 o led, ac o gylch 2 o uchder,

ac ymddangosant eu bod yn llawn o gistfeini o amryw faintioli,—un o ba rai a dorwyd yn ddiweddar, er mwyn y llechau! Ond y mae digon etto yn aros i ddangos ei faintioli a'i wneuthuriad cysefin. Yr oedd yn 10 troedfedd o hyd, 5 o led, ac 8 o ddyfnder, wedi ei ffurfio o lechau mawrion, un yn mhob pen, a dwy yn mhob ochr, ac wedi ei gloriaw â llechau cyfatebol. Os bedd *un* dyn ydoedd, rhaid mai rhyw un cyfrifol ac anrhydeddus ydoedd yn y wlad. Y mae amryw angrheifftiau o feddau neu gistfeini o'r un maintioli yn Nghymru, megys Tŷ Illtud, yn mhlwyf Llanhamlwch, yn Mrycheiniog; ond weithiau nid ydynt y cistiau lawer mwy nag sydd angenrheidiol i gynnwys y cawg a'r lludw.

Ond y gweddillion o garnau a meini hirion mwyaf pennodol yn yr ynys, ydynt yn nghymydogaeth *Inverness*, yn yr Alban, mewn lle a elwir *Clava*, ar lan yr afon Nairn, a than gefndir *Culloden*. Ac y mae yn rhaid i mi ychwanegu, fod yr adfeilion hyn yn fwyaf teilwng o sylw o neb rai a welais erioed, oddieithr Carnac a Gwaith Emrys. Ymddengys oddiwrth yr olion, ar ochr maes Culloden, a'r ardal honno, fod y carnau hyn, yn gysefin, yn llawer mwy aml nag y maent yn awr, ac y mae yn amlwg fod cyfran fawr o honynt wedi eu dinystrio i'r dyben o adeiladu tai, a gwahan-furiau rhwng y caeau; ond er yr holl ddistryw, y mae cymaint etto mewn hanfodiad ag a ffurfia un o'r drychau mwyaf nodedig a ellid syllu arno. Yr holl wastadtir ar lan yr afon, dros yn agos i filltir o hyd, sydd orchuddiedig gan garnau a meini-hirion a gweddillion o'r cyfryw. Yn mhlith pa rai y mae adfeilion wyth o garnau, o faintioli a gwneuthuriad tra nodedig. Y rhai mwyaf ydynt dros 60 troedfedd o dryfesur, ac 20 o uchder. Pob un o honynt sydd yn amgylchedig â dau faengylch, un wrth ei odreu, o feini isel, a'r llall oddeutu 24 troedfedd oddiwrtho, yn cynnwys yn gysefin, o 9 i 13 o feini hirion, a'r rhai hynny o 6 i 10 troedfedd o uchder; wrth hyn gellir gweled fod pob carn yn nghyda'i faengylch allanol yn fwy na 100 troedfedd o dryfesur. Agorwyd un o'r carnau yn ddiweddar, a chafwyd oddimewn gell o 12 troedfedd o led yn cynwys bedd-gawgiau pridd, ac ynddynt ludw ac esgyrn llosg.

Wrth geisio allan yr oes yn mha un y ffurfiwyd y cyfryw feddrodau, y mae gennym le i feddwl fod y dull hwn o gladdu mewn arferiad dros ystod llawer o ganrifau, a'r rhesymau ydynt y canlynol.

Yn y flwyddyn 1813, tyddynwr yn byw ar lan yr afon Alaw, yn Môn, wrth geisio cerrig at adeiladu, a aeth i symud rhai a welai mewn crug yn agos iddo, ac a ddaeth at garnedd yn orchuddiedig â phridd, ac yn y garnedd cafodd gistfaen, ac yn y gistfaen gawg, neu ystên bridd, a'r genau i waered, ac yn llawn o ludw ac esgyrn golosg. Yr amgylchiad hwn a ddaeth i wybodaeth Offeiriad y plwyf, ac Offeiriad arall o'r gymydogaeth, ill dau yn hoffi ac yn adnabyddus âg hynafiaeth Cymraeg, a chofiasant ymadrodd yn un o'r Mabinogion, yr hwn a draetha hanes Bronwen, merch Llyr, yr

hon oedd fodryb i Garadawg ab Bran ap Llyr, sef Caractacus, y gwron yr hwn a wrthsafodd y Rhufeiniaid gyda'r fath ddewrder. Y Mabinogi, ar ol crybwyll am amryw ddigwyddiadau yn hanes Bronwen, yn yr Iwerddon a lleoedd ereill, a ddywed iddi ddyfod i Fôn lle y bu farw; ac yna canlyn yr ymadrodd rhagsylwedig, "*Bedd petrual a wnaed i Fronwen ferch Llyr ar lan Alaw, ac yno y claddwyd hi.*" A phan ychwanegir at hyn fod y fangre honno etto yn dwyn yr enw *Ynys Bronwen*, y mae awdurdod i feddwl tai beddrod priodol Bronwen ydoedd y Carn, ac mai ei lludw hi ydoedd yn y cawg, yr hwn a osodwyd yno yn nechreu y ganrif gyntaf, sef cyn i'r Rhufeiniaid gael meddiant ar un rhan o Gymru. Y bedd-gawg sydd ychydig dros droedfedd o uwchder, ac o'r un llun a gwneuthuriad a'r rhai a geir yn gyffredinol yn yr hen feddrodau. [Gwel *Cambro Briton*, II. 71.] Y mae yn awr wedi ei osod i gadw yn y *British Museum*.

Ond y mae tystiolaeth fod y dull hwn o gladdu mewn carnau a chrugiau, ar y mynyddoedd a'r meusydd, gwedi parhau yn mhlith y Cymry hyd y 6ed ganrif. Canys yn mhlith y gweddillion barddonol y mae casgliad o gyfansoddiadau, y sawl a elwir "*Englynion y Beddau*," neu cof-englynion Beddau Milwyr Ynys Prydain. Y rhai hyn a grybwyllant am fwy na dau cant o feddau, rhai o honynt yn eiddo Milwyr y sawl a wyddom eu bod yn byw yn y 6ed ganrif; ereill ydynt, ysgatfydd, lawer henach.

"Pieu y bedd yn y mynydd? †
E' lywiasai luosydd ‡;
Bedd Teyrnfael Hael ab Hywlydd."

† Neu y gorfynydd.
‡ Arweiniai luoedd.

"Pieu y bedd yn llethr y bryn?
Llawer nis gwyr a'i gofyn,
Bedd i Coel mab Cynfelyn."

"Pieu y bedd yn yr Allt draw?
Gelyn i lawer ei law,
Tarw trin, § trugaredd iddaw."

§ Brwydr.

"Pieu y bedd y dan y bryn
Bedd gwr gwrdd * yn Nghyfysgyn
Bedd Cynon mab Clydno Eiddyn."

* Cadarn mewn brwydr.

Y canlynol sydd aralliad o'r uchod, neu, fe allai, gamsyniad o enw arall—

"Bedd gwr gwawd urddin ||
Yn uchel dyddyn,
Yn isel gwelyddyn
Bedd Cynon mab Clydno Eiddyn."

|| O glod dyrchafawl.

Etto—

"Y tri bedd yn Ngefn Celfi
Awen a'e dywawd i mi,
Bedd Llinon garw ei dduael,
Bedd Cynfael, bedd Cynfeli."

"Bedd mab Osfran yn Nghamlan
Gwedi llawer cyflafan
Bedd Bedwir yn Allt Tryfan."

Y mae yr englyn olaf yn dangos i ni fod yr arfer o gladdu yn y modd hyn yn cael ei ganlyn hyd y 6ed ganrif; oblegid yr oedd Bedwir yn un o'r gwronion a ymladdasant dan y brenin Arthur.

Y mae hefyd englyn arall yr hwn sydd yn cadarnhau yr haeriad, sef englyn bedd Beli ap Benlli Gawr, yr hwn oedd dywysog, o ardal yn nghymydogaeth Dinbych, o gylch y 6ed ganrif:—

"Pieu y bedd yn y Maes Mawr?
Balch ei law ar y llafnawr; *
Bedd Beli ap Benlli Gawr."

* Arf rhyfel.

Ond blin yw adrodd tynged y gorsafwaith nodedig hwn, at ba un y cyfeiria yr englyn, a'r dinystr a ddygwyddodd iddo trwy gybydd-dra y taiogyn dirywiog a grybwyllir am dano yn yr hanes canlynol:—

"Main Hirion Maesmawr. Mae man ar y mynydd rhwng Iâl ac Ystrad Alun, uwch ben Rhyd y Gyfartha, a elwir y Maes Mawr, lle bu y frwydyr rhwng Meilyr ab ........ a Beli ab Benlli Gawr, lle y llas Beli, ac y gosodes Meirion ddau faen yn eu sefyll yn mhob pen i'r bedd; y rhai hyn a fuant yno hyd o fewn deugain mlynedd; yna y daeth dyn ysgeler, un Edward ab Sion ab Llewelyn o Iâl, a bioedd y dryll tir a gauesid o'r mynydd, yr hwn yr oedd y bedd a'r main uchod ynddo, ac y codes y main, ac a'u dodes tros bibell odyn galch; ac o dra gwres a'r pwys, ar unwaith y torasant. A gwedi eu torri ef a'u llosges yn yr odyn yn galch, y rhai a fuasent yno lawer cantoedd o flynyddoedd. A diwedd drwg a ddaeth iddo yr hwn a ddiaddurnodd fedd y milwr marw, i'r hwn y canasai y bardd ar englynion beddau Milwyr Ynys Prydain yr englyn hwn."

Ni ddymunwn orfoleddu mewn anffawd neb, ond ni wn am aflwyddiant nemmor o ddyhiryn, o gydradd drosedd, a glywn ei hysbysiad gyda llai o gyd-deimlad, nac eiddo y rhagddywededig. Y mae yn beth i alaru yn fawr o'i blegid, fod y fath ddirywiad wedi dyfod ar ein cenedl, a'u bod yn anmharchu beddrodau eu hynafiaid i'r fath raddau a'u dinystrio, i'r dyben i osod eu defnyddiau at achosion o'r arnodiad gwaelaf. Ychydig flynyddau yn ol, yr oedd, yn mhlwyf Llanfihangel Geneu'r Glyn, yn Ngheredigion, garn o fewn i faengylch a elwid *Gwely Taliesin*, yr hyn a ddeallid ei fod yn arwyddocau mai yno y gorweddai y bardd ardderchog, yr hwn a ganai glod Urien Rheged gynt, a thrwy danbeidrwydd ei awen a enynai mor effeithiol wladgarwch ei genedl i wrthsefyll rhuthriadau eu gelynion Sacsonaidd. Gellid meddwl y buasai i'r ystyriaeth ysgafnaf o'r pethau hyn ddiogelu y beddrod hwnnw rhag halogiad a chysegr-yspeiliad. Ond nid felly y bu; rhyw adyn a ddinystriodd y garnedd, ac a ddattododd y faenysgrin, a'r esgyrn o'i mewn a drinwyd fel ysgymmunbeth! Canys cafwyd yno esgyrn, ac hyd yn nod, penglog dynol, y sawl yn debygol a berthynent i Brif Fardd y Gorllewin.

Ar yr un oror, sef, yn Ardudwy, yr oedd ychydig amser yn ol weddillion nodedig a elwid *Carneddi Hengwm*, rhan o ba rai, yn debygol, a berthynent i'r Derwyddon; ac ereill, ysgatfydd, a gynhwysent esgyrn rhai o ddewrion Ardudwy, y rhai, yn yr oesoedd gogoneddaf o hanfodiad cenedl y

Cymry, a amddiffynasant eu gwlad a'u rhydd-did. Ond galarus yw'r traethiad, ni thyciodd na dewrder Ardudwy, na chlodforedd y Brython, nac archwaeth hynafiaethol, na pharch at rieni, i arbed y cofadeiliau hyn rhag dinystr a dirmyg;—dinystriwyd hwy er mwyn y cerrig a gynhwysent, i'r dyben i adeiladu gwahan-furiau tyddynawl!! Pan ymosododd Twm Robinson, a phobl taiog swydd Wilts, i ddinystrio maengylch Abury, gweithred ysgeler oedd, ac yn cyffroi digter a chasineb pawb o ddawn ac archwaeth; ond Saeson oedd y bobl hyn, ac nid oedd arnynt un ddyled, o ach neu waedoliaeth, i barchu y gorsafwaith hwnnw, yr un a gyfodwyd gan yr hen Gymry. Ond pan welom y Cymry eu hunain yn dianrhydeddu eu cyndeidiau,—y plant yn cloddio i fynu feddau y tadau, ac yn taflu ymaith eu llwch a'u hesgyrn mewn dibrisdod, yn wasarn dan draed, ni allwn lai na galaru am y dirywiad i ba un y syrthiodd ein cenedl.

Y canlynol a gynnwys goffadwriaeth am feddau rhianod, yn gystal a milwyr:—

"Y beddau yn y Morfa ys bychan ae baelwy
Y mae Sanant Syberw fun; * y mae Rhun Rhyfel Achwy
Y mae Carwen ferch Cennyn, y mae Lledyn a Llywy."

* Forwyn.

Meddyliaf fod y canlynol yn cyfeirio at feini y carn a'r gistfaen dan ba rai y claddwyd y milwr a grybwyllir am dano, ac er anghraifft o'r hen ddull o ysgrifenu yn mha un y ceir y gweddillion hyn, rhoddaf ef yn ei gyflwr cysefin yn nghydag egluriadau:—

| Y CYSEFIN. | ADLYTHYRIAD. |
|---|---|
| Bet milur mireingnaud Kelein oelav | Bedd milwr mirain, gnawd celain o'i law |
| Kin bytau y dan mein | Cyn bu taw y dan mein; |
| Llachar mab Run yg clun Kein | Llachar ab Rhun yn Nglyn Cain. |

Sef yw, Bedd Milwr hardd, oedd aml gelanedd o'i law cyn bu distaw dan y meini.

Ymddengys fod rhai beddau mor hen, a bod tu hwnt i bob cof am danynt, hyd yn nod yn yr oesoedd cynnar, yn mha rai y gwnaethpwyd y casgliad o'r englynion hyn, megys,

"Y beddau hir yn Ngwanas
Ni chafas ae dioes
Pwy fynt hwy, pwy eu neges."

Hynny yw, Pwy a'u myn, neu pwy a'u nacâ.

Ond am y canlynol, yn yr un ardal, yr oedd coffadwriaeth yn nghadw:—

"Bedd Gwrgi Gwychydd, a Gwyndodydd Ler,
A bedd Llawr Lluofydd,
Yn ngwarthaf Gwanas gwir y sydd."

Hefyd, y mae cof-englyn claddedigaeth Owain ap Urien Rheged, yn dangos fod y bedd pedryfal mewn arferiad yn y 6ed ganrif.

> "Bet Owein ap Urien ym pedryal bid
> Dan guerid llan morvael
> In Abererch Riderch Hael."

Sef, yw,—"Bedd Owein ap Urien yn Mhedryal bydd* 
Dan weryd † Llan Morfael
Yn Abererch Rhydderch Hael."

* Ydyw.
† Tywarch.

Rhai o'r englynion a gyfeiriant at yr arfer o gladdu mewn monwentydd, eithr eu bod mor hen a'r oesoedd yn mha rai yr hanfodai y gwronion y crybwyllant am danynt, ni chymeraf arnaf honni; nac ychwaith yn mha oes yr hanfodai Tarw Torment; ond meddyliaf nad ydyw yr enw yn henach na'r canol oesoedd, neu ynte fod y gair *tournement* wedi llithro i le rhyw air Cymraeg cydseiniol.

> "Bedd Ceri cleddyf-hir yn ngodir Hen Eglwys
> Yn y diffwys graeandde
> Tarw torment yn mynwent Corbre.

Etto—

> "Gwedi gwrm, a choch, a chein
> A gorwyddawr * mawr minrein
> Yn Llanheledd bedd Owein."

* Meirch.

Sef yw, Gwedi gwisgo arfau a dillad o liw glas, a choch, a gwyn, a marchogaeth ar feirch mawr hardd. Yn Llanheledd y mae bedd Owein.

Er fod yr arfer o gladdu ar y meusydd, dan garneddau a chrugiau, yn hanfodi, a bod y beddrodau yn fynych yn cynnwys lludw ac esgyrn llosgedig, etto nid oeddynt yn wastad yn llosgi y cyrff: o herwydd weithiau ceir yr esgyrn yn gyfain, ac yn eu llawn hyd, ac heb ddim nodau tân arnynt, mewn cistfeini hirion. Pa un ai i ryw raddau neu urddau pennodol o ddynion y cyflawnid y ddefod o losgi y corff, ni wyddys; neu a oedd un dull yn hanfodi o fewn i ryw oes neilltuol yn hytrach na'r llall. Ond y mae yn amlwg fod pob un o'r ddau fodd o gladdu yn perthyn i bendefigion a dynion cyfrifol yn y wlad, oddieithr, ni fuasid yn myned i gymmaint o drafferth yn y gorchestion perthynol i ffurfiad ac addurniant y beddrodau.

Oddiwrth waith Llywarch Hen, ymddengys fel pe buasent, yn y chwechfed ganrif, yn arferyd claddu mewn eirch, neu ysgriniau o estyll; canys, yn ei farwnad ar Gynddylan, y mae yn dywedyd—

> "Gan fy ngalon i mor dru *
> Cysylltu ystyllod du
> Gwynguawd Cynddylan cynran † canllu."

* Truan.
† Blaenor.

Y Cynddylan hwn oedd Dywysog ar ardal Pengwern, sef Amwythig, yn y chwechfed ganrif, yr hon ardal oedd, y pryd hynny, yn rhan o wlad Powys. Y mae cofiaeth am dano yn mhlith Englynion y Beddau.

"Gwedi gweli a gwaedlan,
A gwisgaw seirch a meirch can,
Neud yw hwn fedd Cynddylan."

Sef yw, Ar ol olwyfau a meusydd gwaedlyd, a gwisgaw march-addurniadau, a meirch gwynion. Onid yw hwn fedd Cynddylan?

Y canlynol a fynega am feddrod ar lan y môr.

"Cigleu * don drom dra thywawd
Am fedd Dysgyrnyn Dysgyfeddawd
Aches trwm angwres pechawd."

* Clyw.

Pwy oedd yr anfad, neu pa beth ei drosedd, ai bradwr iddei wlad a'i genedl, ni's gwn; neu yn mha le y mae yn gorwedd. Ond y mae yr ychydig eiriau uchod yn datgan, mewn modd arbenig, ddygn a dibaid gyhuddiad y tonnau, yn curo ar ei feddrod. Gallwn nid yn unig glywed, ond hefyd gweled y don drom a gwrmlas yn nesau at y bedd, gyda cherddediad araf, pwysig, a mesuredig; ac yno yn torri yn erbyn y garnedd, gyda dwfnlais sorriant a chyhuddiant melldithiawl.

Y mae beddau ereill yn goffaedig eu bod ar lan y môr, eithr nid gyda'r un fath ddatganiadau oerlefawl a'r uchod.

"Yn Abergenoli y mae bedd Pryderi
Yn y tereu tonnau tir
Yn Carrawc bedd Gwallawc Hir."

Etto—

"Bet Gwalchmai ym Pyton
Ir dilif y dyneton
In llan Padarn bet Kinon."

Sef yw, feddyliaf, Bedd Gwalchmai sydd yn Pyton, lle y dylifa y nawfed don. Yn Llanbadarn y mae bedd Cynon.

Y mae hyn yn cyfeirio at y dyb gyffredinol, fod un don yn mhob naw yn fwy na'r rhai ereill. Ac am hyn y mae Cynddelw yn crybwyll yn ei awdl i EFA, ferch Madawc ap Maredydd, pan ei geilw,—

"Lliw ewinfriw teg rhag ton nawfed."

Yr englynion hefyd a gynhwysant ddatganiad am feddrod Gwydion ap Don, y bôd gorhuddawg hwnnw a ymladdodd â'r Gwythaint yn Nantffrancon, ac am ba un y mae cynnifer o bethau hynod ereill yn draethedig. Y

cof-englyn hwn, oddieithr y ban cyntaf, sydd mor dywyll fel, na's rhyfygaf ei ddehonglyd. Y canlynol yw efe yn ei gyflwr cysefin:—

> "Bed Gwydion ap Dôn ym Morva Dinllen
> Dan vain dyfeillion
> Garanawc y geiffyl Meinon."

"Dan y meillion mân," medd rhai. "Dan feini a meillion," medd ereill; ac am y gair Garanawc, ni wyddys pa un ai enw priodol yw, ai nad e.

Oddiwrth rhai ymadroddion yn yr englynion hyn, y mae amryw yn dadleu fod y cromlechau yn fedd-adeiladau, ac nid yn allorau, a bod y meini hirion yn gwasanaethu i'r un dyben. Yr unig beth a ellir ei ddywedyd yw, fod mor lleied yn hysbys am danynt, ag na's gall neb wrthddywedyd y cyfryw haeriad, mwy nag y gall ei gynhalwyr ei sefydlu trwy brawf. Y mae yn amlwg ddigon fod meini hirion yn cael eu gosod wrth feddrodau, ond nid oes prawf eu bod oll felly. Hefyd, y mae yn amlwg fod rhai cistfeini mor debyg i gromlechau, a'u bod yn cael eu hystyried o'r rhyw hynny; ond meddyliaf fod y cistfeini oll, yn gysefin, yn orchuddiedig â charnau neu grugiau. Eithr nid oes un prawf na chyfodwyd rhai cromlechau uwchben beddau y milwyr; a rhai o'r gorsafweithiau a gyfrifir yn allorau ebyrth, ysgatfydd nad oeddynt namyn bedd-adeiladau.

At y gweddillion rhagddywededig, gellir ychwanegu y canlynol:—

GLAIN NEIDYR.—Y Gleiniau Nadroedd ydynt belenau bychain, yn gyffredinol, o gylch rhefder bys, a thyllau trwyddynt, megys i'r dyben iddeu gosod ar linyn. Y maent gwedi eu ffurfio o ddefnyddiau gwydraidd; y mae rhai o liw gwyrdd, rhai yn las, ac ereill yn wyn; ac weithiau y gwelir rhai yn cynnwys y tri lliw hyn, a haerir eu bod yn arwyddocau y tair gradd Derwyddol. Y dyb gyffredinol am danynt yw, eu bod yn cael eu chwythu gan y nadroedd, a bod ynddynt rinweddau dirgel, o effeithioldeb mawr. Y mae yn beth tra hynod fod y gleiniau hyn yn nghyda'r ofergoelion perthynol iddynt, gwedi bod yn nghadw yn mhlith ein cenedl er amser y Derwyddon. Y mae Plinius, awdwr Rhufeinig, yn dangos fod yr unrhyw dybiau mewn hanfodiad am danynt yn y canrif cyntaf. Pan yn crybwyll am y glain, yr hwn y mae yn ei alw yn "*ovum anguinum*," sef ŵy nadreddawl, mynega fod y Derwyddon yn haeru ei fod yn cael ei wneuthur trwy boer y nadroedd, ac yn cael ei chwythu i'r awyr ganddynt, a bod yn rhaid ei ddal mewn llen cyn syrthio i'r ddaear, ond bod gofyn i'r gwr a'i daliai, ddianc gyda'r cyflymdra eithaf, ar gefn ceffyl, oblegid y nadroedd a'i canlynai, gyda llid a gwenwyn marwol, hyd at lann yr afon nesaf. Y glain a gyfrifid, yn amser Plinius, yn effeithiol i achlysuraw llwyddiant i'r hwn a'i gwisgai. A'r prawf o'i iawndra oedd, y nofiai yn erbyn crych, hyd yn nod pan wedi ei osod mewn aur. Arferir

hyd yn nod y dydd heddyw, yr ymadrodd canlynol, pan welir dynion yn gosod eu pennau yn nghyd mewn ymddyddan,—"Ai chwythu glain y maent?"

BWYEILL CALLESTR AC EFYDD.—Gwelir weithiau bennau bwyeill a phennau gwaewffyn o faen callestr, ac o efydd, y rhai a geir yn y ddaear, ac mewn hen feddrodau. Yr offer efydd, neu yn hytrach, fettel clych, a allant fod o wneuthuriad Rhufeinig, neu (fel y tybia rhai) Pheniciaidd; ond am y rhai callestr, y mae pob tebygolrwydd eu bod o waith y Brytaniaid eu hunain, ac o hendra tra maith; ac er ei fod yn gredadwy eu bod, o'r rhan fwyaf, yn arfau rhyfel, etto, enwaf hwy yn mhlith gweddillion Derwyddol; canys dichon fod rhai o honynt yn offerynau aberth. Y mae yr arfau hyn weithiau wedi eu llyfnu a'u llathru gyda manyldra mawr.

BATHAU.—Yn mhlith gweddillion cynoesol y Brytaniaid, gellir rhestru y bathau o aur ac arian o'u heiddo. Rhai o honynt a geir yn dwyn yr enw CUNOBELINE, sef *Cynfelyn;* ac hefyd y geiriau CAMO, a TASCIA, CUNO, ac ereill; a chan fod y llythyrenau yn Rufeinig, y mae rhai yn honni mai oddiwrth y Rhufeiniaid y cafodd y Brytaniaid y gelfyddyd o fathu. Ond y mae genym dystiolaeth Cæsar eu bod yn wybodus o hyn cyn dyfodiad y Rhufeiniaid. Y mae ychydig o amrywiaeth yn ei eiriau; eithr meddyliaf pe gellid dyfod o hyd iddei waith yn ei gyflwr cysefin, y byddai yr ystyr fel y canlyn:—Arferant fathau o efydd, ac aur; a modrwyau haiarn, gwedi eu cywiriaw at bwysau neilltuol, yn lle bathau.*

Am y modrwyau haiarn, nid oes fawr o obaith am weled nemmor o honynt; canys y mae yn debygol fod y rhwd wedi eu hysu er ys oesoedd. Ond am y bathau o fetelau ereill, y mae yn ddiamheuol fod amryw etto mewn hanfodiad, yn enwedig y bathau aur a gafwyd yn mhlith y gweddillion Derwyddol yn mynydd Carnbre, yn Nghemiw. Y bathau hyn, yn gystal ag ereill o'r cyfryw, a ddangosant ar y naill ochr lun, yr hwn a ymddengys ei fod wedi ei fwriadu i arwyddocau march. Ond y mae gwahaniaeth rhyngddo a'r anifail hwnnw mewn llawer o bethau: er anghraifft, y mae ganddo ben aderyn, a chorff o lun hanner lloer, a'i goesau ydynt wahanedig oddiwrth ei gorff; ac y mae amryw luniau bychain, megys gleiniau, ar ei fwnwgl, ac o gylch iddo, ac hefyd frigau coed neu lysiau; ac ar rai bathau gwelir coesau y march, heb y corff. Oddiwrth yr ymddangosiadau hyn, y mae Davies yn barnu fod y bathau hyn yn dwyn

* Y canlynol ydynt rai o'r amrywiaethau:—"Utuntur tamen ere, ut nummo aureo, aut anulis ferreis, ad certum pondus examinatis, pro nummis." Yr argraffiad o 1469.

Arall—"Nummo utuntur parvo, et æreo aut ferreis laminis pro nummo."

Etto—"Taleis ferreis."

Hefyd—"Utuntur aut ære, aut annulis ferreis ad certum pondus," &c. Yr argraffiadau cyffredinol.

mynt ryw gyfeiriadau at ddaliadau a chyfrinach y Derwyddon, a'u bod megys swyngyfareddion; ac y mae yn dwyn yn mlaen y cyfansoddiad o eiddo Aneurin, a elwir *Gwarchan Cynfelyn*, er cadarnhad o'i farn, gan haeru fod y gair *gwarchan* yn arwyddocau cân swynoglawl, er gwarchadw rhag drygau. Ac yn wir, pan gymharom y lluniau ar y bathau â rhai o'r ymadroddion yn Ngwarchan Cynfelyn, y mae yn rhaid cyfaddef na ddylid dim gwrthod yr honiadau hyn, heb roddi iddynt ryw sylw. Y Gwarchan a ddechreu fal y canlyn:—

> "Pei mi brydwn, pei mi ganwn
> Tarddei warchan gorchegin."

*Sef* yw, "Pe prydyddwn, pe y canwn, tarddai cân swynawl brigau uchel coed."

Ac yna efe a â rhagddo i son am y "*Trychethin trychinffwrch*,"—sef y march afluniaidd, wedi ei dorri yn ddau wrth ei goesau. "*Tyllei carn gaffon*"—yr ysgeiriau a'r carnau ar ddull cyffion. "*Esgyrn fyr*"—yr ysgeiriau heb y corff. "*Fyrfach farchogion*"—y gleiniau ar gefn y march. "*Tyllei ylfach*"—sef y pen aderyn, [gylfach, gylf, gylfin—pîg.] A phan yr ychwanegom at hyn yr enw *Cynfelyn*, yr hwn a ddygwydda mor fynych yn y Gwarchan, a'r hwn a geir hefyd ar y bathau, ni ellir llai na dywedyd, os na chafodd Davies allan wir ystyr y cyfansoddiad, iddo gyfarfod â'r efelychiad mwyaf llwyddiannus a ellid dymuno ei weled. Ond gan ys pa fodd y mae hyn, un peth sydd brofadwy,—fod y Brytaniaid, yn yr oesoedd Derwyddol, yn arferyd bathau mewn masnach, a bod rhai o honynt etto ar glawr.

Coelcerth.—At y gweddillion rhagddywededig o Dderwyddiaeth, ysgatfydd y dylid ychwanegu yr arfer (etto mewn hanfodiad) o gyneu tânau ar hyd bennau y bryniau, ar nos Galangauaf, ac amseroedd ereill, yr hyn a elwir llosgi Coelcerth.

Eithr deallwn fod genym brawf mwy diamheuol o Dderwyddiaeth na'r gweddillion hyn; oblegid haerir fod yr urddau Derwyddol eu hunain etto mewn hanfodiad, ac wedi parhau yn anodor o'r prif oesoedd hyd y dydd heddyw. Ac ni's gallaf ganfod un achos i wrthddywedyd hyn. Y mae yr urddau Barddonol wedi parhau felly; a chan fod Derwyddiaeth a Barddoniaeth yn gyfranau o'r un gyfundraeth gysefin, ni's gwn paham nad allent gael eu cyd-drosglwyddo, mor belled ag y perthyn i draddodiad urddau, ac arwyddnodau cyfrinachol; ond pa faint o'r prif egwyddorion sydd etto mewn hanfodiad, neu pa gyffelybrwydd sydd rhwng Derwyddiaeth y dydd heddyw ac eiddo y cynoesoedd, ni's cynnygiaf ffurfio tyb. Ac yn awr, ar ol sylwi ar y cyfan, o'r hyn a ellir ei gasglu yn mhlith y Beirdd Cymreig a thraddodiadau Cymru, mewn perthynas i Dderwyddiaeth, a'r cyfan a ellir ei

bigo allan trwy fanwl-chwilio awdwyr pellenig, a chymharu hyn oll â'r gweddillion maenol ac ereill ar glawr, braidd y gellir dywedyd ein bod yn meddiannu mwy o wybodaeth am grefydd a defodau y Derwyddon, nac am eiddo y cynddiluwiaid A oeddynt, mewn chwerwder gelyniaeth, yn aberthu i gythreuliaid; ai a oeddynt, yn ol yr ychydig oleuni a feddiannent, yn cyfodi eu hallorau i'r Duw nid adwaenent, ac yn ceisio ymbalfalu am dano ef. O fethiant profion yn y pethau hyn, na fydded i ni ymsefydlu ein hunain yn farnwyr, rhag ofn derbyn camdystiolaeth. Digon i ni yr argyhoeddiad mai amseroedd anwybodaeth oedd y pryd hynny, ac mai o'r cenhedloedd yr oedd ein rhieni ninau megys ereill. Am hynny ymgadwn ar y naill llaw rhag barnu yn ddiawdurdodol, ac ar y llall ymogelwn rhag dianrhydeddu rhagoroldeb yr Efengyl, trwy dorri i lawr y gwahan-fur rhwng cyflwr cymmodol ac annghymmodol, a thrwy dderchafu rhinweddau anianol i gyfartalwch âg effeithiau gras.

Eithr un peth sydd amlwg; gan ys pa beth oedd ansawdd eu daliadau crefyddol, yr oedd eu sefydliad, o ran ei berthynasau gwladwriaethol, mewn un peth, os gallwn farnu oddiwrth ei effeithiau, yn haeddiannol o glod a pharch. Yr ydoedd yn meithrin ac yn cynnal gwladgarwch i'r graddau godidocaf; o herwydd ni fu i neb rhyw bobl ymdrechu yn fwy dewr a gwrol yn erbyn gormesiad estronol na'r rhai hynny a gawsant eu dwyn i fynu dan y sefydliad Derwyddol.

## Y BEIRDD.

Oddiwrth yr hyn a fynegir gan yr awdwyr Groeg a Lladin, ymddengys fod y Beirdd yn radd o ddynion tra uchel ac anrhydeddus yn y wladwriaeth. Pa berthynas oedd rhyngddynt â'r urddas Derwyddol, ni wyddys. Rhai, yn y dyddiau hyn, a haerant eu bod yn blaenori ar y Derwyddon mewn derchafiad gwladwriaethol; ac yn lle rhesu y Beirdd dan benialaeth Derwyddiaeth, mai y gwrthwyneb fyddai gywir; sef cyfrif yr urddas Derwyddol yn gangen o'r sefydliad Barddonol. Ond pan ystyriom yr hyn a hysbysir gan Cæsar ac ereill am y ddwy radd, y modd arbenig y nodir uchelfreiniau y Derwyddon, a'r ychydig a ddywedir am y Beirdd mewn cymhariaeth â hwy; ac hefyd, pan gofiom mai y Derwyddon oeddynt weinidogion crefydd, anhawdd iawn rhoddi lle i'r haeriad hwn.

Yr hyn a ddywedir am y Beirdd, yn mhlith awdwyr y cynoesoedd yw, eu bod yn brydyddion ac yn delynorion; a'u bod yn coffhau, mewn prydyddiaeth, weithredoedd anrhydeddus rhyfelwyr, ac yn datgan eu clod, ac yn cadw coffadwriaeth am eu hachau, &c. A hyn a ettyb, gyda chywirdeb neilltuol, iddeu swyddau dan Dywysogion Cymru. Ac oddiwrth bob mynegiad o'u plegid, y mae yn amlwg eu bod hwy yn urdd o ddynion anrhydeddus a phwysfawr megys cyfran o'r wladwriaeth. Ac y mae rhai yn

myned mor belled a thybied am y maen-gylchoedd, y rhai a gyfrifir yn gyffredinol yn demlau Derwyddol, eu bod yn leoedd cyfarfod i'r Beirdd, ar eu gorseddau a'u cymanfaoedd cylchynol. Nid oes un prawf na gwrthbrawf o hyn; a dichon fod y maen-gylchoedd yma yn demlau Derwyddol, ac hefyd yn lleoedd cyfarfod i'r Beirdd, fel ag y byddai achosion y ddwy urddas yn gofyn.

Mewn perthynas i'r sefydliad cysefin o Farddoniaeth, megys cyfundraeth yn mhlith y Cymry, yr unig sylwad mewn hanfodiaeth sydd gynnwysedig yn y Trioedd, fel y canlyn:—

"Tri Chynofydd Cenedl y Cymry: Hu Gadarn, a wnaeth Glud a Gosgordd gyntaf ar Genedl y Cymry; a Dyfnwal Moel Mud a wnaeth ddosparth gyntaf ar gyfreithiau, a breiniau a defodau Gwlad a Chenedl; a Thydain Tad Awen, a wnaeth drefn a dosparth gyntaf ar Gof a Chadw Cerdd Dafawd a'i pherthynasau, ac o'r drefn honno y dychymygwyd Breiniau, a Defodau dosparthus ar Feirdd a Barddoniaeth Ynys Prydain gyntaf."—TRI. 57.

Am y Tydain hwn, nid oes dim yn mhellach ar glawr, oddieithr cof am ei feddrod:—

"Bedd Tydain Tad Awen
Yn ngwarthaf Bryn Arien."

Neu—

"Yn ngodir Bron Aren."—*Ysgrif arall.*

Y Triad canlynol a fynega fod y weithred yma o eiddo Tydain Tad Awen wedi cael ei chanlyn yn mlaen gan ereill, er ffurfiad o'r gyfundraeth Farddonol; neu, ysgatfydd, crybwylla am ddiwygiad ar ol rhyw lygriad neu ddirywiad yn y gyfundraeth.

"Tri Chyntefigion Beirdd Ynys Prydain: Plennydd, Alawn, a Gwron; sef oeddynt y rhai hynny a ddychymygasant y Breiniau a'r Defodau y sydd ar Feirdd a Barddoniaeth; ac am hynny eu gelwyr y tri chyntefigion, hagen [etto] ydd oedd cyn no hynny Beirdd a Barddoniaeth, ac nid oedd arnynt ddosparth drwyddedawg, ac nid oedd iddynt na Breiniau na Defodau namyn a gaid o addwynder a syberwyd yn nawdd Gwlad a Chenedl cyn nog amser y tri hyn."—TRI. 58.

Am gyfansoddiadau y Beirdd, cyn dyfodiad y Rhufeiniaid, ni wyddys fod dim mewn hanfodiad, er ei fod yn debygol y gall rhai o'r cynreithiau, a'r englynion tribanawg, a gyfeiriwyd attynt eisioes, fod o'r oesoedd hynny. Ond gan ys pa fodd y mae hyn, fe geir yn y canrif nesaf, ar ol ymadawiad y Rhufeiniaid, amrywiol anghreifftiau o waith y Beirdd; canys ymddengys fod i ymosodiadau y Saeson, yn y 5ed a'r 6fed ganrif, gyffroi, mewn modd neilltuol, ynedd yr awen; oblegid i'r amser hwn y perthyn rhai o'r enwau godidocaf yn nghofrestr Barddas, megys Taliesin, Aneurin, Myrddin, Llywarch Hen, ac ereill. O'r amser yma i waered y mae, yn mhob oes, y tystiolaethau amlycaf o hanfodiad Barddoniaeth; ac nid yn anaml y gwelir anghreifftiau ardderchog o ddoniau prydyddawl.

Am ddefodau y Beirdd cyntefig yn mhlith y Cymry, a'u sefyllfa yn y wladwriaeth, nid oes ond ychydig ar glawr; ond gellir casglu digon oddiwrth gyfreithiau Cymru, i ffurfio dychymyg am danynt, ysgatfydd, nid pell oddiwrth gywirdeb. Yn y flwyddyn 914, Hywel Dda, Tywysog Cymru oll, a ffurfiodd gyfundraeth o gyfreithiau i'r Dywysogaeth. A hyn a wnaeth, trwy gadw rhai o'r hen gyfreithiau, ac adgyweiriaw ereill, a thrwy wneuthur rhai yn gwbl o newydd. Yn y cyfreithiau hyn y mae trefniadau perthynol i'r Beirdd, a'r rhai ydynt yn dwyn arwyddnodau amlwg nad oedd y sefydliad Barddawl o ffurfiad newydd y pryd hynny, o herwydd crybwyllir am dano megys rhywbeth adnabyddus eisioes. Y cyfreithiau hyn a ddywedant fod pedwar ar ddeg o swyddogion yn perthyn i lys y brenin, a'r wythfed oedd y *Bardd teulu*, lle yr hwn, pan yn eistedd yn y llys, oedd yn nesaf at y Penteulu, a'i delyn yn ei law. Sonir hefyd am y *Bardd Cadeiriog*, a'r *Beirdd ereill*. Ac oddiwrth ddyledswyddau Beirdd y llys, a'r cerddau ag oedd ofynol arnynt ganu, yn enwedig yr un a elwyd *Unbeniaeth Prydain*, yn nghyda'r hyn a ddywedir yn y rhagymadrodd y mae yn dra thebygol fod y swyddau hyn gwedi hanfodi yn y llysoedd yn hir cyn amser Hywel Dda; ac hefyd eu bod yn rhan o'r gyfundraeth ddeddfol a elwid cyfreithiau Dyfnwal Moelmud; gan fod Caradawc o Lancarfan yn dywedyd y darfu i Hywel Dda, wrth ffurfio ei gyfreithiau, alw yn nghyd gyngor o holl ddoethion a dysgedigion Cymru, i'r dyben i chwilio cyfreithiau gwledydd a dinasoedd ereill, ac eiddo Ymerodron Rhufain, yn yr ynys hon. "A gwedi chwiliaw a gaffad o bob gwlad a dinas, y caed yn oreuon o'r cyfan, Cyfreithiau Dyfnwal Moelmud." Y mae yn rhaid cyfaddef fod yr amser a gyfarwyddir i'r deddfroddwr hwn mor belled yn ol a pheri, nid yn unig amheuaeth mewn perthynas i wirionedd yr honiad, ond hefyd, yn mhlith rhai, gwadiad uniongyrchol; gan y dywedir ei fod yn hanfodi 400 mlynedd cyn cred; ond gan ys pa beth a feddylir am yr hawl a fwrir i'r fath hendra maith a hyn, afresymol fyddai gwadu yn hollol draddodiadau cynoesawl yn mhlith y Cymry, yn enwedig pan ystyriom gynnodiad greddfol y genedl, y modd eiddigus y glynent wrth eu harferion, ac y cynhalient eu traddodiadau. Cadwasant eu hiaith trwy holl ystod y lywodraeth Rufeinig, ac y mae yn debygol iawn tai yn ol eu cyfreithiau eu hunain y trefnwyd pethau gwladwriaethol yn mhlith y bobl wledig hyd yn nod trwy holl amser arosiad y Rhufeiniaid yn yr ynys; canys, os amgen, buasai y cyfreithiau Rhufeinig yn para yn eu plith, ar ol ymadawiad y bobl hynny, ond nid felly yr oedd. Wrth ystyried y pethau hyn, ac wrth gymharu yr hyn a grybwyllir gan Awdwyr Rhufain am y Beirdd cyntefig, a'r hyn a wyddom am gyflwr y sefydliad Barddonol yn y canol oesoedd, y mae yn ddiamheuol genyf fod yr urddas honno wedi parhau mewn cyfanoldeb yn mhlith y Cymru o'r amseroedd cynharaf o'u hanes.

Yn mhlith defodau y Beirdd, y sawl a ddisgynasant hyd yr amser presenol, gallwn bennodi yr arfer o gynnal Gorseddau ac Eisteddfodau, i'r dyben o drafod gorchwylion perthynol iddeu brodoriaeth. Y mae yr arfer hon, yn ddiamheuol, o hendra mawr. Mewn awdl o waith Iorwerth Beli, Bardd o'r 14eg ganrif, y mae coffadwriaeth am orsedd a gynhaliwyd gan Faelgwn Gwynedd, gerllaw i Gastell Dyganwy, yn y 6ed ganrif; ond y mae yr hyn a draetha y Bardd hwnnw am nofio o'r Beirdd a'r Telynwyr dros afon Conwy, mor annhebyg i wirionedd, fel na ellir gosod un hyder ynddo. Y chwedl a ymddengys megys gwneuthuriad rhyw ddigrifyn yn mhlith y Beirdd, er difriad i'r telynorion. Dywed i Faelgwn beri iddynt oll nofio dros yr afon, ac i'r telynau dderbyn y fath niwaid trwy hyn, fel na allai eu perchenogion wneuthur dim â hwy.

"Pan ddaethant i dir terfyn mor ar drai
Dimai ni's talei'r telynorion."

Ond medd efe—

"Cystal y pryda'r Prydyddion a chynt
Er y nofiesynt," &c.

Dywedir hefyd i Eisteddfod gael ei chynnal gan y Brenin Cadwaladr, yn y 7fed ganrif. Ac y mae yn amlwg fod Barddoniaeth mewn anrhydedd yn y 10fed ganrif, gan fod y *Bardd* yn un o swyddogion y llys breninol.

O gylch y flwyddyn 1100, y Tywysog Gruffydd ap Cynan a ffurfiodd gyfundraeth o gyfreithiau perthynol i reolaeth y Beirdd a'r Cerddorion, ac a sefydlodd y pedwar mesur ar hugain Cerdd Dant. Y mae y rheolau hyn etto ar glawr, ond y maent yn rhy faith i roddi hyd yn nod dalfyriad o honynt yma.

O gylch 1070, y Tywysog Bleddyn ap Cynfyn a adgyweiriodd y Cyfreithiau Barddonol, gan ffurfio rhai newyddion.

Yn y flwyddyn 1176, Rhys ap Gruffydd, Tywysog y Deheubarth, yr hwn oedd noddwr haelionus i'r Beirdd, a gynnaliodd Eisteddfodd arddechog yn Nghastell Aberteifi, ar ol blwyddyn o rybydd, fel y gwelir yn y Brut.

"Ar nadolig hwnnw y gwnaeth Rhys ap Gryffudd y wledd fawr yn Nghastell Aberteifi, i ymryson pwy oreu o gerdd tant, neu gerdd tafod, dros wyneb Cymru, a Lloegr, a Phrydyn, [yr Alban,] ac Ywerddon, a pheri gwneuthur dwy gadeir, un i'r goreu o'r telynorion, arall i'r goreu o'r beirdd. Ac o'r telynorion goreu oedd gwas ieuanc o'r llys; o'r beirdd goreu oedd rhai Gwynedd, a'r wledd honno a gyhoeddwyd flwyddyn cyn ei gwneud."

Yr oes hon, a'r rhai cyfnesol, oeddynt y mwyaf llewyrchus yn nghofiadau Barddoniaeth, oddieithr y cynoesoedd, ac, ysgatfydd, na ddylem eithaw y rhai hynny ychwaith; canys yn y talm hwn, sef, o 1120 i 1280, y cyfododd lliaws o Feirdd, y rhai a feddiannent y doniau awenyddol o'r rhyw

godidocaf, ac hefyd a fwynhaent nawdd a chynhaliad tywysogion cedyrn, haelion, a llwyddiannus. Ond yn y flwyddyn 1282, derbyniodd Barddoniaeth Cymru ergyd trwm a dygn yn narostyngiad y Dywysogaeth gan Iorwerth I., a lladdiad Llewelyn ap Gruffydd; ond ni's gallaf roddi cred i'r hyn a ddywedir am y galanastra cyffredinol a wnaeth Iorwerth ar y Beirdd y pryd hynny. Y mae yn debygol ddigon i'r gormeswr hwnnw, yn nghynddaredd ei lid, ddialu ar gynnifer o'r Beirdd ag a fuont mor anneddwydd a syrthio iddei ddwylaw, pan oedd y Cymry etto mewn arfau yn ei wrthsefyll, megys ag y gwnaeth i'r Tywysog Dafydd, brawd Llewelyn; canys diau y gwyddai yn dda fod y Beirdd yn mhlith yr offerynau cadarnaf o gyffroi y bobl i ymddiffyn eu gwlad a'u rhydd-did; ond am ladd holl Feirdd Cymru nid ydyw y fath weithred yn brofadwy. Yn y man cyntaf, ni feddyliaf fod y Beirdd yn gyffredinol mor anghall a gosod eu hunain o fewn cyrhaedd i'r gwaedgi; ac yn y man nesaf, yr oedd amryw o honynt yn fyw ac yn prydyddu yn amser Iorwerth, ac yn hir ar ol ei drancedigaeth; megys GWILYM DDU, LLEWELYN BRYDYDD HODNANT, HILLYN, IORWERTH FYCHAN, CASNODYN, ac ereill. Ac ni chawn yn ngwaith y rhai hyn, na neb ereill o'u canlynwyr, gyfeiriad at y fath gyflafan. Hefyd, gwyddom mai dyn cyfrwys oedd Iorwerth, ac nid attebai ei amcan i gyffroi y Cymry i fwy o elyniaeth; ond, yn hytrach, ceisiai eu dyddanu yn mhob modd; rhoddodd fraint ysgrifau i amryw drefydd, gan eu rhyddhau oddiwrth drethau; ac er maint ei lid tuag at y Cymry, ni feiddiai gyffwrdd â meddiannau y trigolion yn gyffredinol; ond, oddieithr un neu ddau, gadawodd hwy yn y mwynhad o'u tai a'u tiroedd; fel ag y gwelir wrth sefyllfa y tylwythau Cymreig yn gyffredinol yn ei oes ef a'r canlynol, trwy yr holl Dywysogaeth, o deulu Ifor Hael, yn Morganwg, hyd at hynafiaid Owain Tudyr, o Benmynydd, yn Môn; amryw o ba rai y ceir eu bod yn byw ar eu meddiannau priodol, megys cynt, a rhai o honynt yn cynnal eu llysoedd gyda bri a mawredd tebycach i arglwyddi, neu dywysogion annybynol, na gweddill cenedl ddarostyngedig. Ac os ydoes angen wrth un prawf yn ychwaneg o daergeisiad Iorwerth i gadw y Cymry yn llonydd, yn hytrach na'u cyffroi drachefn iddei wrthsefyll, nid rhaid ond crybwyll am y modd y darfu iddo anfon i beri iddei frenhines, a hithau yn feichiog, deithio o Loegr i Gaerynarfon ar gefn ceffyl, yn nyfnder gauaf, ar hyd ffyrdd geirwon a dyfnion yr amser hwnnw, i'r dyben iddi esgor yno, fel y byddai i'r plentyn fwynhau genedigaeth Cymroaidd. A hyn a wnaeth efe yn uniongyrch ar ol dihenyddiad Dafydd ap Gruffydd, a dim dwy flynedd ar ol lladdiad Llewelyn. Oblegid Llewelyn a laddwyd yn 1282.—Dafydd yn yr Hydref o 1283, a Iorwerth II. a aned yn Nghastell Caerynarfon, Ebrill 25, 1284.

Ond meddyliaf i Farddoniaeth dderbyn mwy o niwaid trwy ei hymddifadu o nawdd a chynhaliaeth gwladol, yn yr amser o lywodraeth Saesonig, a ganlynodd ddarostyngiad y Dywysogaeth, nag a dderbyniodd trwy un

*: Heblaw hyn, nid oedd oedd awdurdod Iorwerth yn cyrhaedd i ardaloedd Arglwyddi y Cyffiniroedd, y rhai oeddynt yn aros hollol annibynol ac yn rhy alluog iddo feiddio ymhel a hwy a'r Beirdd a oeddynt yno diogelwch.

galanastra a wnaeth Iorwerth yn mhlith y Beirdd; canys o'r pryd hwn hyd at amser OWAIN GLYNDWR, yr hwn a arfogodd yn erbyn y Saeson, yn 1400, er fod Barddoniaeth yn derbyn meithriniad gan y Beirdd yn y cyfamser, etto ni chafodd gefnogiad gwladwriaethol. Y mae yn wir fod llawer o Feirdd godidog yn byw ac yn prydyddu, yn ystod y chwech ugain mlynedd, rhwng Iorwerth I. a Glyndwr, megys TRAHAIARN BRYDYDD MAWR, DAFYDD AP GWILYM, &c., ac yr oedd iddynt noddwyr haelionus yn mhlith boneddigion Cymry. Ond nid oedd cefnogiad nac annogaeth awdurdodol iddynt; eithr yn awr dechreuodd yr awen gyfodi ei phen gyda'i chysefin hyfdra; o herwydd Owain Glyndwr a roesawai y Beirdd gyda pharchusrwydd mawr: ond ni pharhaodd ei lwyddiant ddigon hir i adsefydlu eu brodoriaeth yn yr un cyflwr derchafedig, o ran rhifedi a medrusrwydd, ag yr hanfodai yn amser y Tywysogion. Yn mhlith y Beirdd, eisioes yn coleddu yr awen, y sawl a ddaethant yn mlaen i arwyrain Glyndwr, gallwn enwi IOLO GOCH, a GRUFFYDD LLWYD AP DAFYDD AP EINION LLYGLIW.

Ond er y darfu i'r awen golli ei phriodol gynhaliaeth trwy ddychweliad y Dywysogaeth dan reol y Saeson, etto cysurus yw gwybod na adawsant o'r Cymry iddi fyned i drancedigaeth; canys yr oedd amryw Feirdd doniol yn ei choleddu yn fanwl, megys GWILYM TEW, LEWIS GLYN COTHI, GUTTO'R GLYN, ac ereill. Yn ol y rheolau Barddonawl, yr oedd defod o gynnal Eisteddfod bob tair blynedd, gan roddi rhybydd o undydd a blwyddyn. Pa un a ydoedd y ddefod hon yn cael ei chadw yn mhlith y Beirdd yn ddirwystr, yn eu brodoriaeth eu hunain, nid oes mynegiad; ond y mae yn ddilys na chawsant gefnogaeth gan y llywodraeth Saesonig yn yr amseroedd terfysglyd hynny yn mha rai y gwrthsafent eu gormesiad. Ond etto llewyrch yr awen ni ddiffoddwyd, ac yspryd y genedl ni lewygodd; canys o fewn i ychydig amser ar ol Glyndwr, cynhaliwyd Eisteddfod dan nawdd brenhinol, a chydag anrhydeddau gwladwriaethol.

Yn y flwyddyn 1450, Gruffydd ap Nicholas, gwr pendefigol, hanedig o waedoliaeth hen Dywysogion Cymru, gwedi derbyn caniatad brenhinol, a gynhaliodd Eisteddfod yn nhref Caerfyrddin, yr hon a elwir "Eisteddfod fawr Caerfyrddin," i ba un y cyrchodd y Beirdd a'r Prydyddion o bob cwr o'r Dywysogaeth, ac yn mha un y trefnwyd amryw bethau perthynol i ddefodau Barddoniaeth, yn enwedig sefydliad y *pedwar mesur ar hugain*, y rhai ydynt yn awr mewn arferiad cyffredinol trwy y Dywysogaeth, oddieithr gan Feirdd Morganwg, y sawl a nacânt eu harddel; oblegid pan gyhoeddwyd gweithrediadau yr Eisteddfod, Beirdd Morganwg a ballasant dderbyn y defodau newydd, gan ddywedyd eu bod yn droseddiad o'r hen ddeddfau Barddonawl, ac haerant eu bod hwynthwy eu hunain mewn meddiant o'r mesurau cysefin, y sawl oeddynt yn rhagori yn fawr ar y rhai newyddion; a'r terfyniad fu, peri rhwygiad parhaus yn y gyfundraeth

Farddonawl. Beirdd Gwynedd, Powys, a Dyfed, a fabwysiasant y dref newydd, a Beirdd Morganwg a gadwasant at eu hen reolau eu hunain; a felly y mae Cadair Morganwg yn ymwahaniaethu oddiwrth y tair ereill.

Cynhaliwyd Eisteddfod drachefn, dan nawdd brenhinol, yn nheyrnasiad Harri 7.; ond nid oes dim o'i gweithrediadau ar glawr.

Eisteddfod arall a gynhaliwyd yn Nghaerwys, yn swydd Fflint, yn y flwyddyn 1523, yn amser Harri 8., dan nawdd Richard ap Hywel ap Ieuan Fychan, Ysw., Syr William Gruffydd, a Syr Robert Salusbury; ac yn mha un, yn mhlith amryw enwogion ereill, yr oedd y Bardd Tudur Aled yn gydrychiol.

Yn 1567, cynhaliwyd Eisteddfod arall yn Nghaerwys, trwy awdurdod braint-ysgrif oddiwrth y Frenhines Elizabeth.

Eisteddfodau ereill a gynhaliwyd yn y Deheubarth, yn yr un canrif, un o ba rai oedd yn 1580, dan nawdd Syr Edward Lewis, ac un arall yn 1681 yn Nghastell Bewpyr, yn Morganwg, dan nawdd Syr Richard Bassett.

Yn 1798, cynhaliwyd Eisteddfod yn Nghaerwys, dan nawdd Owain Myfyr a Chymdeithas y Gwyneddigion, ar ba achlysur y buddugolion oeddynt BARDD NANTGLYN, a THWM O'R NANT.—Y cyfarfod hwn oedd dra anrhydeddus o ran doniau a rhifedi yr ymgeiswyr. Yr oedd yno 20 o Feirdd, 18 o ddatgeiniaid, a 12 o delynorion.

Oddieithr y cyfarfodydd rhagddywededig, nid oes genym wybodaeth am un cynnyg at gynnal Eisteddfod neu orsedd trwy wysiad cyffredinol, hyd at y flwyddyn 1819, pan y cynhalwyd Eisteddfod Caerfyrddin, dan nawdd ESGOB TY DDEWI; er fod meddyliau y Cymry wedi bod dan barotoad at ymddangosiadau o'r fath, lawer o amser cyn hynny, trwy ffurfiad amryw gymdeithasau Cymroaidd, megys y *Cymmrodorion*, y *Gwyneddigion*, a'r *Cymreigyddion*, yn nghydag argraffiad amrywiol gyhoeddiadau cylchynol yn yr Iaith Gymraeg, yn enwedig y SEREN GOMER, yr hon oedd Newyddlen wythnosol yn gyfangwbl yn y Gymraeg. Hefyd, yr oedd o gylch yr amser hwn amryw ddynion o wladgarwch gwresog a doniau llewyrchus, yn nghyda diwydrwydd diflino, wedi ymosod i fanwl-chwilio, argraffu, ac eglurhau y gweddillion Cymraeg; megys GWILYM OWAIN, IOLO MORGANWG, OWAIN MYFYR, a'r PARCH. E. DAVIES, yn nghydag amrai ereill myfyrwyr ac ysgrifenwyr Cymreigyddol. Ond hyd at yr amser hwn, ni fu un Gymanfa gyffredinol o lenyddion Cymreig; eithr yn awr tueddwyd yr ESGOB BURGESS i gynnal Eisteddfod yn ol ffurf a defod yr amseroedd gynt; ac felly, ar yr 8fed a'r 9fed o Orphenaf, yn y flwyddyn 1819, ar ol hysbysiad a gwys cyffredinol, ymgyfarfuodd, yn nhref Caerfyrddin, liaws o Feirdd a cherddorion, yn nghydag ereill o ddysgedigion enwog, llên a lleig, y fath ar na welwyd dros oesoedd lawer; ar ba achlysur yr oedd yn gyd-drychiol y Bardd a Derwydd urddin, Iolo Morganwg, y pryd hwnnw mewn gwth o oedran. Yr Eisteddfod hon a fu offerynol i gynhyrfu

meddyliau y Cymry yn fwy neillduol tuag at farddoniaeth a llenyddiaeth eu cenedl; ac o'r flwyddyn honno allan, cynhaliwyd amryw Eisteddfodau, mewn gwahanol ardaloedd o'r Dywysogaeth, gyda bri a mawredd anrhydeddus a chynnyddawl, yn nghyda niferoedd o gyfarfodydd Cymreigyddol a chylchwyliau, braidd yn llai eu rhwysg na'r Eisteddfodau eu hunain. Yr isod sydd gofrestr o'r Eisteddfodau diweddar:—

| | | | |
|---|---|---|---|
| Caerfyrddin | 1819 | Y Trallwng | 1824 |
| Gwrecsam | 1820 | Aberhonddu | 1826 |
| Caernarfon | 1821 | Dinbych | 1828 |
| Aberhonddu | 1822 | Beaumaris | 1833 |
| Caerfyrddin | 1823 | Caerdydd | 1834 |

Y canlynol ydyw yr hysbysiad a roddwyd oddiwrth Gadair Morganwg, darparol i gynhaliad Eisteddfod Caerdydd.



"GWIR YN ERBYN Y BYD.

"Yn enw DUW A PHOB DAIONI.

"GWAEDD UWCH ADWAEDD.

"Tri bann Lleuad ym mlaenred Gwyl yr ALBAN ELFED, 1833.

"BYDDED YN HYSBYS.

"Pan y bydd oed CRIST yn 1834, a chyfnod GORSEDD BEIRDD YNYS PRYDAIN, yng ngwyl a gwledd yr ALBAN ELFED, sef cyfnod cyhydedd Haul y Mesyryd, ar ol y GWYS A'R GWAHAWDD hynn, i GYMRU OLL, gann gorn Gwlad, o'r amlwg yngolwg; yng nghlyw GWLAD A THEYRNEDD, dann OSTEG A RHYBYDD UN-DYDD A BLWYDDYN, cynheilir EISTEDDFOD A GORSEDD wrth Gerdd, yn nhref CAERDYDD, ym Mro MORGANWG, ag hawl i bawb a geisiont Fraint a Thrwydded wrth Gerdd Dafawd a Barddoniaeth i gyrchu y Dref honno, yn awr cyntefin ANTERTH, a chynnal gan HAUL; lle ni bydd noeth arf yn eu herbyn, ac yno yn erwynebol y Tri Chyntefigion Beirdd Ynys Prydain nid amgen, PLENNYDD ALAWN A GWRON; a chyda nhwy DANIEL DDU, GWALLTER MECHAIN, TALIESIN AB IOLO, GWILYM MORGANWG, GWILYM DDU, Glann Cynon, ac ereill; a hwynt oll yn Feirdd a Thrwyddedogion, wrth Fraint a Defawd Beirdd Ynys Prydain; ac yno cynnal Barn Cadair a Gorsedd, ar Gerdd a Barddoniaeth, ac ar bawb, parth Awen, a Buchedd, a Gwybodau, a geisiant Fraint, ac Urddas a Thrwyddedogaeth; yn nawdd Cadair MORGANWG a GWENT, ac Euas ac ERGING, ac YSTRAD YW, ac wrth Fraint a Defawd Beirdd Ynys Prydain; YN WYNEB HAUL A LLYGAD GOLEUNI.

"Llafar bid lafar,

"GWIR YN ERBYN Y BYD.

"DUW A PHOB DAIONI."

Wrth edrych ar y cyhoeddiadau cadeiriol, canfyddir fod gan bob un o'r

pedair dosparth arwydd-air, neu ymadrodd priodol, â'r hwn yr arferid dechreu eu gorchwylion swyddol; y rhai hyn ydynt fel y canlyn, eithr ni's gwn pa bryd y dechreuwyd yr arfer:—

| | |
|---|---|
| *Gwynedd* ........................... | "IESU." |
| *Powys*................................ | "A LADDO A LEDDIR." |
| *Dyfed*................................ | "CALON WRTH GALON." |
| *Morganwg* ........................... | "DUW A PHOB DAIONI." |
| *Y Gorseddau yn Gyffredinol* ............ | "Y GWIR YN ERBYN Y BYD." |

[Clywais Iolo Morganwg yn dywedyd mewn perthynas i'r nod Barddonol wrth ddechreu yr hysbysiad, yr honnid ei fod yn arwyddocau *pelydr goleuni*.]

Pan gymharer difrifoldeb a dwysder yr ymadroddion hyn â'r ysgafnder a welir yn fynych mewn cyfansoddiadau prydyddol, yn nghyda nodweddiad rhai o feibion yr awen, gellir meddwl nad ydynt y Beirdd yn gofalu llawer am gysondeb. Ond cofiwn nad ydyw y gyfundraeth Farddonawl yn attebol am ymddygiad pob un a gymero at y gorchwyl o brydyddu; ac nid yn wastad y mae aelodau brodoriaeth yn ymarweddu yn gyson â'u hegwyddorion. Eithr mewn perthynas i'r arwydd-eiriau uchod, yn ddiau y maent yn dwyn arnodiad tra phwysig a difrif; ac felly yr oedd egwyddorion Barddoniaeth, heb son am y dwysder meddwl a'r pryder sydd yn cydfyned â myfyrdodau mor ddwfn ac yneddawl ag a ofynir i ganlyn Barddoniaeth gydag effeithioldeb a llwyddiant. Yr oedd yr hen Feirdd wedi eu gosod yn nghanol amgylchiadau y rhai a ychwanegent yn fawr at y dwysder a'r difrifoldeb hyn. Arnynt hwy y gorphwysai rhai o'r pwysfawrocaf o ddyledswyddau daearol, sef cyffroi eu cydwladwyr i ymddiffyniad o'u gwlad a'u rhydd-did, a'u hannog i barhau yn eu hymdrechiadau clodwiw, yn ddiflino, pa un ai mewn hawddfyd neu adfyd. Ac nid yn anfynych y byddai i'r Beirdd ddwyn arfau gyda'u cydwladwyr, a chydymladd â hwy yn erbyn eu gelynion, gan roddi iddynt anghraifft weithredawl o wladgarwch a dewrder, yn gystal ag annogaeth cynreithiol. O'r cyfryw rai yr oedd Myrddin Wyllt, yr hwn a ddywed am dano ei hun, ei fod wedi ymladd yn mrwydr Arderydd, a'r dorch aur bendefigol am ei wddf:—

"Ac yn ngwaith Arderydd oedd aur fy ngorddorch."

Ceir hefyd y geiriau canlynol yn mhlith ei waith:—

"A'm ysgwyd ar fy ysgwydd, a'm cledd ar fy nghlun
Ac yn Nghoed Celyddon y cysgais i fy hun."

Hefyd, Aneurin a fynega ei fod yn mrwydr Cattraeth, ac na ddihangodd ond tri heblaw ei hun. Am Lywarch Hen, yr oedd wedi treulio ei fywyd mewn rhyfel. Ac yn mhlith y Beirdd diweddarach, cawn yr un parod-

rwydd i wasanaethu eu gwlad yn erbyn eu gelynion. Gwalchmai, Bardd o'r 12fed ganrif, a ddywed am dano ei hun:—

"Llachar fy nghleddyf lluch ei anwyd
Yn nghad llewychedig aur ar fy ysgwyd."

Sef yw—Dysglaer yw fy nghleddyf, tanbaid ei anian mewn brwydr, llewyrchus yw yr aur ar fy nharian.

Etto—

"Gwalchmai y'm gelwyr gelyn y Saeson.——

Gwaedreidd fy nghleddyf godrudd yn nghad,
Yn nghyfranc a Lloegyr llawr nid ymgudd?
Gwelais o arfawd aerfab Gruffudd,
Rialluoedd trwch," &c.

Gwaedlyd fy nghleddyf ysgogol mewn brwydr. Mewn ymdrech â Lloegr oni chuddir y llawr â gwaed? Gwelais, oddiwrth arf-ergyd rhyfelgar fab Gruffydd, fyddinoedd tarredig, &c.

Crybwylla hefyd am amryw frwydrau yn mha rai y bu yn bresennol, megys Gwaith Aberteifi—Gwaith Maesgarnedd—Craig Gwydyr—Rhuddlan, &c. Am yr olaf dywed—

"Gwelais yn Rhuddlan rythyr fflam rhag
Owain, a chelanedd rhain * a rhudd fehyr."†

* † Gwaewffyn.

Felly, pan ystyriom agwedd yr amseroedd terfysglyd hynny, a'r dygwyddiadau dyrys a phwysig a ddamweinient yn feunyddiol, ni allwn ryfeddu fod cynhaliwyr Barddoniaeth yn edrych ar eu celfyddyd gyda meddylfryd difrifol. Yr oedd egwyddorion eu cyfundraeth, wedi planniad yr Efengyl, yn eu dysgu i edrych at y gwir a'r Hollalluog Dduw am ddoniau yr Awen, ac nid at dduwiau Paganaidd; megys y gwelir yn y gynraith ganlynol:—

"Tair sail Awen: Rhodd Duw, ymgais dyn, a damwain bywyd."

Ac yn gyson â hyn, y mae amrywiol anghreifftiau o'r Beirdd yn dechreu eu hodlau yn yr yspryd hwn, gan geisio dawn yr awen i ganu clod eu tywysog, pa un ai yn arwyrain iddo yn ei fywyd, ai ynte yn farwnad ar ol ei angeu. Ac y mae yr arfer hon yn gyson â'r cyfreithiau Cymreig, y sawl a ddywedant, mewn perthynas i lys y Brenin:—

"Pan myner canu cerdd, y Bardd Cadeiriog a ddechreu; a'r canu cyntaf o Dduw, a'r ail o'r Brenin bieufo y Llys, neu oni bydd iddo ef y caner, caned o Frenin arall. Gwedi y Bardd Cadeiriog, y Bardd Teulu piau ganu tri chanu o gerdd amgen."

Eithr nid yn y rhagymadroddion hyn yn unig y canfyddir cydffurfiad â'r gynraith hon; ond y mae etto ar glawr, yn mhlith gwaith y Beirdd, amryw gyfansoddiadau ag iddynt y rhagnodiad, "*Canu i Dduw*," ac "*Awdl i Dduw*." Y sawl a feddyliaf ydynt y rhai hynny a oeddid yn eu canu

gyda'r delyn gan y Beirdd Cadeiriol yn y Llysoedd. Ac am y canuau i'r Brenin, gwelir amrywiol o honynt dan yr enw "*Arwyrain*," a "*Dadolwch*," &c., ac yn cynnwys clodforedd yr enwogion i ba rai y cyfansoddwyd hwynt. Ac mewn perthynas i'r canuau o "Gerdd amgen," sef y rhai nid oeddynt o'r dwyfol ganuau, nac o'r rhai eu cenid i'r Pennaethiaid Teyrnawl; ond o'r drydedd radd, sef y rhai eu cenid gan y Bardd Teulu, y mae genyf ryw dyb fod Cynddelw yn cyfeirio at y cyfryw yn ei farwnad ar Gadwallawn ap Madawc.

"Dymgwallgofi Dduw ddiau-ddawn awen
Awdyl urdden amgen amgall digawn."

Tywallted Duw arnaf wir ddawnus awen, awdl ardderchog, *amgen*, gall, gyflawn.

Os cywir y tybiau hyn, y mae gennym etto ar glawr anghreifftiau o'r cyfansoddiadau a fyddid yn eu canu gan ein hynafiaid yn eu cyfarfodydd gwleddol yn gyffredinol.

Heblaw, yr oedd urdd o ddynion yn mhlith y Cymry, yn radd o'r un gyfundraeth, a elwid yr ARWYDD-FEIRDD. Eu dyledswyddau oeddynt gwasanaethu, megys cenhadon, rhwng byddinoedd gwrthwynebawl, a chofrestru achau tylwythau y Dywysogaeth. Yr oedd y radd hon o ddynion yn fuddiol iawn yn yr oesoedd gynt, i gadw cof am achau a pherthynasau, i'r dyben i ddiogelu meddiannau rhag hawl anghyfiawn. Ond ar ol sefydlu cyfreithiau i gofrestru bedyddiau, &c., nid oedd achos wrth wasanaeth yr Arwydd-feirdd yn y dosparth hwnnw. A hyn o gyfnewidiad, yn nghyda'r diystyrwch cyffredinol a ddangosid tuag at gadwedigaeth achau ac hengofion tylwythawl, yn yr amseroedd diweddar, a barodd i'r radd hon o ddynion gwbl ddiflanu. Etto, yr oedd yn mhlith ein cydwladwyr ambell i hynafieithydd yn meddiannu ac yn meithrin archwaeth at y cyfryw fyfyriadau a gorchwylion; ac yn mhlith y rhai hynny, y sawl, o ran eu hagosrwydd at y canol oesoedd, oeddynt yn meddu cyfleusderau y rhai nid ydynt mwyach yn hanfodi, ac hefyd ddoniau a diwydrwydd i drafod y cyfryw orchwylion, gallwn enwi Thomas Jones, o Dregaron, (Moetheu,) o gylch 1600, i'r hwn yr ydym yn ddyledus am yr ysgrif fwyaf perffaith o'r Trioedd, [gwel tudal. 9.] ac amryw bethau ereill gyfanian. *

* Hwn oedd *Twm Sion Catti*, yr hwn, yn ei ieuenctyd, oedd yn ddychryn i'r holl ardal oddiamgylch, gan aflonyddu y trigolion trwy ei ystranciau drygionus; ond ar ol hynny a ddiwygiodd ei fuchedd, ac a fu yn Ynad yr Heddwch, ac yn hynafiaethydd enwog. Yr englyn traddodiadol isod a ddarlunia y teimladau cyffredinol mewn perthynas iddo, pan yn dilyn rhwysg ei ynfydrwydd:—

"A welsoch chwi Dwm Sion Catti
Yn rhodio heol Llanddyfri?
Y cerrig nadd a doddai'n blwm,
Rhag ofn Twm Sion Catti."

Yn ychwanegol i'r weithred o gyffroi a meithrin gwladgarwch, yr ydym yn ddyledus i'r Beirdd am wasanaeth gwerthfawr arall;—hwy a gadwasant ein hiaith mewn cyflwr o burdeb a chyflawnder digyffelyb yn yr oesoedd diweddar. Y mae hyn nid yn unig yn anrhydedd i'n cenedl, ond y mae hefyd wedi bod yn fuddred anmhrisiadwy, a hynny yn y pethau o'r pwysfawrogrwydd eithaf; oblegid pan lewyrchodd y diwygiad Protestanaidd ar y byd, ac y bu i'r Ysgrythyrau Santaidd gael eu cynnyg i sylw cyffredinol, trwy gyfieithiadau gwerinol, yr oedd gan y Cymry yn barod, iaith goeth, odidog, a chyfoethog iddeu derbyn iddi, yn yr hon y mae y Dwyfol Air yn ymddangos mewn dull mor deilwng o'r cysefin, ag ysgatfydd, a ellir ei weled mewn un cyfieithiad pa bynag. Yr oedd yr ESGOB RICHARD DAVIES yn ddysgybl Barddonawl i LEWIS DWN, a'r Archiagon EMWNT PRYS ydoedd ei hun yn Fardd, a'r cyfieithwyr ereill oeddynt yn dra chynefin â gwaith y Beirdd, yn enwedig y DR. JOHN DAVIES. A phan sylwir ar y cyfieithiad hwn, ni ellir attal rhyfeddod wrth weled y cyflawnder o eiriau, a'r cyfoeth o iaith ac ymadrodd, a feddiannai y godidogion hynny, mewn oes nad oedd ganddynt na Geiriadur, na nemmor o'r cyffelyb hyfforddiad, iddeu cynnorthwyo.

## DULL LLYWODRAETH Y BRYTANIAID.

Trigolion Prydain, cyn dyfodiad y Rhufeiniaid, oeddynt ranedig, yn amrywiol lwythau. Yr hen hanesion Cymraeg a haerant fod y Cymry yn cynnal awdurdod gwladwriaethol ar y llwythau ereill, yr hyn a alwant UNBENAETH PRYDAIN; ac at ba un y cyfeirir yn fynych, megys yn yr ymadrodd *Cymru Benpaladr*. Ond y mae rhai yn gwadu hanfodiad y cyfryw awdurdod unbenaethol, ac yn dywedyd mai nid tebygol fod cynnifer o lwythau anwaraidd yn ufuddhau i'r un lywodraeth. Ond cyn gwrthod haeriad yr hen hanesion Cymreig, cofiwn, er fod llawer o lwythau yr ynys yn ddigon anwaraidd eu cyflwr, etto yr oedd y gyfundraeth Dderwyddol yn estyn dros yr holl Ynys; a chan fod cyffelybiaeth agos rhwng Derwyddiaeth Prydain ag eiddo tir Gâl, gallwn ffurfio rhyw farn am awdurdod y Derwyddon mewn pethau gwladwriaethol. Y mae Cæsar yn mynegu fod y radd honno o ddynion oll dan awdurdod un pennaeth, a'u bod, unwaith yn y flwyddyn, yn cyrchu o bob cwr, i le pennodol yn nghanol y wlad, a bod y trigolion yn ymgrynhoi attynt yno, lle y cynhalient frawdlys er gwrandaw a phenderfynu dadleuon. Yn awr, y mae yn amlwg fod yn rhaid i ryw awdurdod unbenaethol hanfodi yn rhyw le neu gilydd, pe amgen, ni allasai y cyfryw ymgynhulliad gymeryd lle gyda diogelwch; ond, pa un ai gyda'r Archdderwydd, neu ryw swyddog arall, y gorphwysai, ni ymddengys.

A chan fod y fath unbenaeth yn Ngâl, onid tebygol fod y cyffelyb yn Mhrydain? A phan sylwom ar y maen-gylchoedd mawrion Abury a

Gwaith Emrys, y mae lle i feddwl mai manau oeddynt o ymgynhull cyffredinol i drigolion yr ynys; oblegid nid tebygol fod y fath weitl dirfawr wedi cael eu cyfodi at achosion unrhyw lwyth neilltuol. F pan welom yr hen Gymry yn bwrw hawl i unbenaeth yr ynys, ac dangos cofrestr o enwau eu cyn-frenhinoedd, er y gall fod rhai gwall pheth annghysondeb, etto, ni ddylem wrthod y cyfan megys f wneuthuriad.

Yn yr oesoedd hyn gwlad Cymru a feddienid gan bedwar llwyth, s *Demetæ*—Dyfedwys; y *Silures*—Esyllwyr; yr *Ordovices*—Trigolic rhan fwyaf o Wynedd a Phowys; a'r *Cangi*, neu y *Cangani*—Trigo Arfon. Yr ynys yn gyffredinol a renid yn yr un modd, yn ffurfio, yn y cy o gylch pump a deugain o lwythau, y rhai ni weinient un buddioldeb pryd hwn trwy eu henwi yma. Ond os bydd i unrhyw ddarllenwr chw nych rhagor o wybodaeth o'u plegid, yn gystal ac am gyn-hanes yr yny gyffredinol, edryched yn yr *Horæ Britannicæ*, gan Y Parch. J Hughes, ac yno caiff ffrwythau blynyddoedd o ddarleniad a chwiliad l afiaethol, wedi eu crynhoi mewn dull cynhwysfawr godidog, ac h wedi eu puro oddiwrth ofergoeledd ac annghysondeb, gyda manylrw a beirniadaeth gwahanredawl na welir ond anfynych yn mhlith y sa gymerant arnynt ysgrifenu hanesion.

Er boddhad i'r sawl a ddymunant ei weled, rhoddaf yma gofrestr o f hinoedd Prydain, yn ol eu sefyllfa yn y llechres, fel ag yr ymddengys m ysgrif yn y *Cambrian Quarterly Magazine;* a dewisaf ei ailad felly yn hytrach na cheisio ei olrhain allan o'r ysgrifau cysefin, fod yr awdwr wedi cymeryd llawer o drafferth iddei gymhwyso, gysoni yr amrywiaethau sydd yn hanfodi yn y gwahanol ach-ysgrifa

1. Brutus.
2. Locrinus.
3. Madawc.
4. Membyr.
5. Efrawc Gadarn.
6. Brutus Darianlas.
7. Lleon Gawr,
8. Rhun Baladrfras.
9. Bleiddyd.
10. Llyr.
11. Rhegan ferch Llyr.
12. Seisyllt.
13. Antonicus.
14. Aedd Mawr.
15. Dyfnarth Prydain.
16. Cyrdon.
17. Cwrwyd.
18. Ennyd.
19. Dodion.
20. Dyfnwal Moelmud.
21. Beli.
22. Gwrgant Farfdrwch.
23. Cyhelyn.
24. Sytsyllt.
25. Dan.
26. Morydd.
27. Elidr.
28. Geraint.
29. Cadell.
30. Coel.
31. Por.
32. Ceraint.
33. Andryw.
34. Urien.
35. Ithel.
36. Clydog.
37. Clydno.
38. Gorwyst.
39. Meirion.
40. Bleiddyd.
41. Cafo.
42. Owain.
43. Sytsyllt.
44. Arthoael.
45. Eidal.
46. Rhodawr.
47. Rhydderch.
48. Sawl Benisel.
49. Pyr.
50. Capoir.
51. Manogan.
52. Beli Mawr.
53. Caswallawn, sef sivelaunus, yr l ymladdodd â C
54. Tenefan.
55. Cynfelyn (Cunob

Dichon fod rhai o'r enwau hyn yn gywir, megys eiddo dynion neu f hinoedd a hanfodasant; ond dyledus yw rhaghyspysu y darllenydd

ond awdurdod amheuol iawn am y rhan fwyaf o honynt. Dadl gadarn yn erbyn eu cywirdra yw, mai annhebygol ydyw fod cynnifer o deyrnion gwedi meddiannu yr orsedd, o dad i fab, neu yn yr un achen, heb odoriad; ac yn ganlynol, dywedir wrthym fod yn rhaid i ni naill ai rhoddi i fynu eu brenhindawd neu ynte eu hachau, oddieithr ein bod yn dewis ymwrthod â phob cysondeb âg hanesion a chyflyrau gwledydd y byd yn gyffredinol.

Hefyd fe ganfydda y darllenydd, yr hwn sydd gynefin ag hanesyddiaeth Cymraeg, fod amryw enwau wedi eu gadael allan yn y cofrestr hwn, megys *Ferrex*, *Porrex*, *Bran*, *Peredr*, *Blegwryd ap Sitsyllt*, *Lludd*, *Afarwy*, &c. Ond gwybydded nad ydyw yr enwau hyn ddim yn yr eglen eppiliol, yn ol cywiriad yr achau gan yr ysgrifenydd rhagddywededig, eithr eu bod yn geraint yn unig, neu yn berthynasau i'r rhai a geir yn y cofrestr yma.

## LLWYTHAU CYSEFIN PRYDAIN.

Oddiwrth yr hyn a fynegir yn y Trioedd, yn gystal ag hanesion ereill, y mae yn debygol mai y canlynol oeddynt y llwythau a breswylient yn yr ynys ar ddyfodiad y Rhufeiniaid:—

1. Y Cymry.——Y prif drigolion.
2. Y Lloegrwys. 3. Y Brython. }——O'r un haniad â'r Cymry, ac yn gyfiaith gyflafar â hwy.
4. Y Coraniaid.——Ni wyddys eu haniad, ond gelwir hwy yn Giwdawd Ormes.
5. Y Celyddon yn yr Alban. }——Ni wyddys eu haniad.

Hefyd, crybwyllir am y rhai canlynol:—

7. Gwyr Galedin yn Ynys Wyth. }——Ni wyddys eu haniad.
8. Y Gwyddyl yn yr Alban. 9. Y Gwyddyl Fichti yn yr Alban. Ni wyddys eu haniad. }——Eithr rhai a amheuant fod un llwyth Gwyddelig yn yr Alban cyn y 3edd ganrif.—Nid ydyw y Triad yn rhoddi un modd i farnu.

Y mae gwahanol dybiau am darddiad y *Coraniaid* a'r *Celyddon*, rhai a honant mai Gwyddelod oeddynt, ac eraill mai Germaniaid, ond y rhan fwyaf a gytunant nad oedd y Coraniaid o Genedl y Cymry. Eithr pa fodd bynag fal y byddo, os oedd rhai llwythau estron yn yr ynys y pryd hwnw, amlwg yw nad oeddynt ond anaml, a bychain, mewn cymhariaeth â'r Cymry.

## DYFODIAD Y RHUFEINIAID.

DAN IULIUS CÆSAR.—CYN CRED, 55.

Y cyfryw ydoedd cyflwr trigolion Prydain yn yr oesoedd cyntefig, mor belled ag y gellir dyfod i wybodaeth o honaw, trwy gyfrwng yr ychydig wreichion o oleuni hanesyddol ag a geir yn yr amseroedd tywyll hynny. Ond yr oedd amgylchiad ar ddygwydd, yr hwn oedd i effeithio cyfnewidiad mawr mewn perthynas iddeu sefyllfa y pryd hwnnw, yn gystal a'u tynged cyffredinol o hynny allan.

Yn y flwyddyn 55 cyn cred, Iulius Cæsar, wedi darostwng gwledydd cyfnesol y Cyfandir, a drodd ei olwg tuag at Brydain, gan benderfynu gwneuthur cynyg i ychwanegu yr ynys honno at eiddo y Rhufeiniaid. A'r penderfyniad hwn a wnaeth efe, o herwydd ei fod, fel y dywed ei hun, wedi derbyn hysbysiad fod gelynion Rhufain, yn ei holl ryfeloedd yn nhir Gâl, wedi derbyn cynnorthwy o Frydain. Ac y mae yr haeriad hwn o eiddo Cæsar yn cyduno â'r hyn a goffeir yn y Trioedd, am un o'r *Tair Cyfordd wy*:—

"Ail Cyforddwy a ddyweiniwyd y gan Caswallawn ab Beli ab Manogan, a Gwenwynwyn a Gwanar meibion Lliaws ab Nwyfre, ac Arianrod ferch Beli, eu mam. Ac o Arllechwedd Galedin, ac Essyllwg, ac o Gydwelyddon y Bylwennwys ydd hanoeddynt; a rhif y gwyr hynny oeddynt driugaint ac un mil: a myned a wnaethant y gyda Chaswallawn eu hewythr ar ol y Caisariaid drwy Fôr hyd yn nhir Geli Llydaw, a hanoeddynt o Rial y Cymry: ac ni ddaeth un o honynt na'u heppil yn eu hol i'r ynys honn, eithr aros a wnaethant yn ngwlad Gwasgwyn ym mysg y Caisariaid, lle maent hyd yn awr; ac ynghyrch dial yr Orddwy honno y daethant y Caisariaid gyntaf i'r ynys hon."—TRI. 14.

Felly ymddengys mai nid ymosodiad diachos ydoedd hwn o eiddo y Rhufeiniaid ar Ynys Prydain; ond fod y Brytaniaid eu hunain wedi ei annog, trwy ymgymysg yn ymrafaelion gwledydd ereill, ac ymyryd â gorchwylion na pherthynent iddynt. Ysgatfydd y dywedir fod rhyw gydgysylltiad gwladol rhyngddynt â thrigolion Gâl, ac mai eu dyledswydd oedd uno â hwy yn erbyn gelynion cyffredinol rhydd-did y byd. Ond gan nad oes genym dystiolaeth o ddim perthynol i hyn, yn mhellach nag ychydig gyfeiriadau o'r fath uchod, y mae yn rhaid gadael ystyriaeth o'r achos i orphwys lle y mae, gan ymfoddloni i haeriad Cæsar, yr hwn a fynega am ymosodiad y Brytaniaid; ac i'r Triad, yr hwn a gadarnha dystiolaeth Cæsar, gan alw y cyfryw ymosodiad yn *draha.*—Gwel tudal. 10.; ond ar yr un pryd, y mae yn rhaid cyfaddef, oddiwrth yr hyn a ddeallwn am anianawd Cæsar a'r Rhufeiniaid, fod uchelfryd a thrachwenychiad y gormeswyr hynny yn llawn ddigon cadarn i beri iddynt ymgrafangu yn eiddo eu cymmydogion heb un annogiad arall.

Ar ol dyfod i'r penderfyniad hwn, Cæsar a anfonodd long i chwilio ar hyd oror Prydain am y man cyfleusaf i dirio; ac ar yr un pryd a barotodd ar ororau Gâl, lynges i dderbyn ei filwyr. Y Brytaniaid, yn y cyfamser, wedi derbyn gwybodaeth o'i fwriadau, oddiwrth fasnachwyr, a anfonasant genhadon atto, gan geisio ammodau, a chynnyg gwystlon, ac addaw ymostwng i lywodraeth Rhufain. Y rhai hyn efe a dderbyniodd gydag hynawsder, a chan eu cynghori i barhau yn yr un feddwl, efe a'u hanfonodd adref, a chyda hwy, un o'i swyddogion, i'r hwn y rhoisai orchymyn i ymweled â chynifer o'r taleithiau ag a allai, ac i gynghori y trigolion i lynu wrth y Rhufeiniaid, ac i ddatgan, fod Cæsar ei hun yn dyfod yno ar frys. Y swyddog hwn a ddychwelodd ar y pummed ddydd, ac a fynegodd i Cæsar yr hyn a gafodd allan.

Gwedi trefnu pethau yn y modd hyn, Cæsar a gynhullodd 80 o longau mewn porthladd ar oror tir Gâl, yr hon a ddywedir oedd *Wissan*, rhwng *Calais* a *Boulogne*, wyth milltir oddiwrth Calais, a'r hon a elwid gan y Rhufeiniaid *Portus Itius*. Y llongau hyn, yn nghyd ag amryw o lestri rhwyf, oeddynt i gludaw dwy leng o filwyr. Hefyd, yr oedd 18 o longau mewn porthladd arall, wyth milltir oddiyno, sef *Calais*; gwedi eu cadw yno gan y gwynt. Y rhai hyn oeddynt i ddwyn y gwŷr meirch; ond ni ddaethant mewn pryd i dirio gyda'r lleill. Rhifedi y cyfan o'i fyddin a gyfrifir gan rai yn 12,000 o wŷr, ond meddylia eraill nad oeddynt ddim cymmaint.

Ar ol y darpariadau hyn, pan ddaeth amser cyfleus i hwyliaw, yn nghylch un o'r gloch yn y boreu, ar y 26ain o Awst, yn y flwyddyn 55 cyn geni Crist, Cæsar a ollyngodd oddiwrth y tir, wedi gorchymyn i'r gwŷr meirch fyned i borthladd Calais, i gymmeryd y llongau a'i ganlyn ef. Ond gan fod ychydig oediad yn y cyflawniad o hyn, Cæsar a'i longau a flaenorodd ar y gwŷr meirch, ac a gyrhaeddodd oror Prydain, [yn agos i *Dover*,] o gylch deg o'r gloch yn y boreu; ac yno efe a ganfyddai, ar yr holl fryniau, fyddinoedd arfawg o'r Brytaniaid yn osodedig. A chan fod ceulannau y môr yn y lle hwnnw, mor agos, ac mor uchel, ag y gellid ergydio arf tafl oddiwrthynt i'r traeth, ni farnodd yn addas dirio yno; eithr tra yr ydoedd y llongau eraill yn dyfod, efe a fwriodd angor, hyd dri o'r gloch yn y prydnhawn. Ac ar ol y trefniadau angenrheidiol, gan fod y gwynt a'r llanw yn cyd-daro at ei fwriad, rhoddodd yr arwydd, a chyfodwyd yr angorau, a hwyliwyd o gylch wyth milltir oddiyno, i fan, lle yr oedd y traeth yn wastad, ac yn agored, [sef, gerllaw *Deal*,] ac yno y bu y cyfarfod cyntaf rhwng y lluoedd; dysgrifiad o ba un a roddaf yma trwy gyfieithiad o eiriau Cæsar ei hun:—

"Y Barbariaid," medd Cæsar, "pan wybuasant amcan Cæsar, a anfonasant o'r blaen y meirch a'r cerbydau, y rhai a arferent mewn rhyfel, ac a ganlynasant gyda'r byddinoedd eraill, ac a wrthwynebasant ddisgyniad ein

gwŷr ni o'r llongau. Yr oedd yma anhawsdra mawr; y llongau, o achos eu maintioli, ni allasid eu nofio, oddieithr mewn dwfr dwfn; a'r lleoedd oeddynt yn anadnabyddus i'r milwyr, a hwynthwy â'u dwylaw yn rhwystredig, ac yn llwythawg gan bwysau mawr a thrwm o arfau, ac ar yr un pryd yr oedd yn ofynol iddynt neidio i lawr o'r llongau, a sefyll ac ymresu yn y tonnau, ac hefyd ymladd â'r gelynion; tra yr oedd y rhai hynny yn naill ai oddiar y tir sych, neu gan fyned ychydig i'r dwfr, a'u holl aelodau yn rhyddion, ac hefyd yn adnabyddus o'r lleoedd, yn ergydio eu harfau yn rhwydd, ac yn gyrru eu meirch y rhai oeddynt gynhefin â'r cyfryw driniaeth. O herwydd pa bethau ein gwŷr ni, wedi eu dychrynu, ac yn hollol anarferedig â'r dull hyn o ymladd, ni ddangosasant yr un parodrwydd ac hyfdra ag yr arferent wneud mewn brwydrau ar y tir. Yr hyn, pan ganfu Cæsar, efe a orchymynodd i'r llongau rhwyf, â bath pa rai nid oeddynt y Barbariaid yn gynhefin, a'r sawl oeddynt yn haws eu trafod, i gael eu symmud ychydig oddiwrth y llongau llwythawl, a'u gwthio â rhwyfau tua'r traeth, a'u rhesu gyferbyn â'r gelynion; ac oddiyno â pheiriant taflawl, ac â saethau, i yrru y gelynion yn mhellach draw, yr hyn beth a fu o les mawr i'n gwŷr ni; canys y Barbariaid yn cael eu cynhyrfu gan ddull y llongau, mudiad y rhwyfau, a bath anarferol yr offerynau tafl, a ymattaliasant, ac a giliasant yn ol ychydig bach. A thra yr oedd ein gwŷr ni yn oedi, yn bennaf o achos dyfnder y môr, y gwr yr hwn oedd yn dwyn eryr [y lluman Rhufeinig] y ddegfed leng, gwedi erfyn ar y duwiau i'r peth hynny fod yn llwyddiannus i'r lleng, a ddywedodd, "Neidiwch i lawr filwyr, oni ddymunwch draddodi yr eryr i'r gelynion: myfi yn ddiau a gyflawnaf fy nyledswydd i'r wladwriaeth ac i'r Ymerawdwr." * Yr hyn pan lefodd a llais uchel, efe a daflodd ei hun o'r llong, ac a ddechreuoddd ddwyn yr eryr tuag at y gelynion."

"Yna ein gwŷr ni, wedi ymgynghori yn mhlith eu gilydd, rhag i'r cyfryw waradwydd ddygwydd, a neidiasant i gyd i lawr o'r llong. Y rhai hyn, pan eu gwelwyd, a ganlynwyd gan ereill o'r llongau blaenorol nesaf, y sawl a gyrchasant tuag at y gelynion."

"Ymladdwyd ar y ddau ochr yn llymdaer, eithr ein gwŷr ni, am na allent gadw eu rhesau, na sefyll yn gadarn, na chanlyn eu harwyddlenau priodol; eithr pob un a ymresai dan yr arwyddlen gyntaf a gyfarfyddai, a derfysgwyd yn fawr. Ond y gelynion, gan eu bod yn adnabyddus o'r lleoedd bas, lle y gwelent neb rhyw unigolion yn cychwyn allan o'r llongau, a yrrent eu meirch ac a ymosodent arnynt yn eu diffyg: llawer a amgylchynent ychydig; ac ereill oddiar y traeth a ergydient eu harfau. Yr hyn pan welodd Cæsar, efe a orchymynodd lanw a milwyr badau y llestri rhwyf, yn

* "Desilite," inquit, "milites, nisi vultis aquilam hostibus prodere: Ego certe meum Reipublicæ atque Imperatori officium præstitero."

nghyd a'r llestri gwarchodawl, a pha le bynag y gwelai angen, anfonai gynnorthwy attynt. Ein gwŷr ni a gyrhaeddasant y tir sych, ac a ganlynwyd a'r cyfan o'r rhai a berthynent iddynt, a chan ruthro ar y gelynion a'u gyrasant ar ffo. Eithr ni allem eu hymlid yn mhell, am nad oedd y gwŷr meirch gwedi gallael cadw eu mordaith a chyrhaeddyd yr ynys; a hyn yn unig oedd yn eisiau ar Cæsar i gyflawni ei arferedig lwyddiant."

Gan mai hon oedd y frwydr gyntaf a ymladdwyd yn yr ynys hon, rhwng y Brytaniaid a'r Rhufeiniaid, ni allaf lai na rhoddi yma eiriau Cæsar ei hun, yn y iaith gysefin; a meddyliaf y cyfrifir hwy yn haeddiannol o sylw felly, gan eu bod gwedi ei hysgrifenu gan y llywydd ardderchog hwnnw, ei hun, yr hwn a fu yn bersonol yn y frwydr.

"Pugnatum est ab utrisque acriter. Nostri tamen, quòd neque ordines servare, neque firmiter insistere, neque signa subsequi poterant, atque alius alia ex navi, quibuscumque signis occurrerat, se aggregabat, magnopere perturbabantur. Hostes verò, notis omnibus vadis, ubi ex littore aliquos singulares, ex navi egredientes, conspexerant, incitatis equis impeditos adoriebantur: plures paucos circumsistebant; alii ab latere aperto, in universos tela conjiciebant. Quod quum animadvertisset Cæsar, scaphas longarum navium, item speculatoria navigia, militibus compleri jussit; et, quos laborantes conspexerat, iis subsidia submittebat. Nostri, simul in aridò constiterunt, suis omnibus consecutis, in hostes impetum fecerunt atque eos in fugam dederunt. Neque longiùs prosequi potuerunt, quod equites cursum tenere, atque insulam capere non potuerant. Hoc unum ad pristinam fortunam Cæsari defuit."

Gwedi'r aflwydd hyn, y Brytaniaid, yn ol tystiolaeth Cæsar, a anfonasant atto i gynnyg gwystlon, ac i geisio ammodau heddwch. Ond yn mhen pedwar diwrnod, cyfododd tymhestl fawr, yr hon a barodd lawer o niweid i'r llongau Rhufeinig, gan ddryllio amryw o honynt, yn bennodol o'r 18 y rhai oeddynt yn cludaw drwodd y gwŷr meirch, a'r sawl nid oeddynt etto wedi cyrhaedd y tir. Y Brytaniaid, gan hynny, pan welasant y cyfyngder hyn, a gymerasant arfau drachefn, ac a ymosodasant ar y seithfed leng, yr hon oedd wedi myned allan i gyniwair ar hyd y wlad am ymborth, ac a oedd y pryd hynny yn torri ŷd ac yn ei gludo at y gwersyll. A mynegwyd i Cæsar, fod ychwaneg nag arferol o lwch, iddei weled, yn nghyfeiriad yr ardal, tua pha un y cychwynasai y lleng. Cæsar gan hynny a gymerodd ddosparth o filwyr, ac a aeth tuag at y lle, ac yno efe a welai y Rhufeiniaid mewn cyfyngder mawr gan ymosodiad eu gelynion; gwedi eu crynhoi yn nghyd yn dorf, ac arfau yn cael eu hergydio attynt o bob tu. "Oblegid," meddai Cæsar, "gan fod y cwbl o'r ŷd gwedi ei fedi, yn y mannau eraill, ac un rhan yn unig wedi ei adael, y gelynion yn rhagdybied y byddai i'n gwŷr ni ddyfod yno, a ymguddiasant yn y coedydd. Yna, pan oeddynt wedi eu gwasgaru oddiwrth eu gilydd, ac wedi gosod i lawr eu harfau, ac ymaith eu gorchwyl o fedi, yn ddisymwth y cyfododd y gelynion, ac a laddasant ychydig, ac a derfysgasant y lleill, ac a'u hamgylchynasant ar unwaith a gwŷr meirch ac a cherbydau."

"Dyma eu dull o ymladd o'u cerbydau. Yn gyntaf gyrrant ar hyd pob tu, ac ergydiant eu harfau,* a thrwy ddychryn o'r meirch a chrochdrwst yr olwynion yn unig, yr ydynt yn fynych yn llwyddo i derfysgu y cadresau. Ac ar ol ymwthio eu hunain i blith tyrfaoedd y marchwyr, neidiant allan o'r cerbydau ac ymladdant ar eu traed; gyrwyr y cerbydau yn y cyfamser a giliant ychydig o'r frwydr, ac a ymsefydlant eu hunain yn y fath fodd ag y gall eu cyfeillion, os eu trechir gan eu gelynion, gael eu derbyn yn ol yn ddioed. Felly meddiannant mewn brwydr mudiadrwydd marchogion yn nghyda safedigrwydd gwŷr traed, a thrwy gynefindra, a thrafodiaeth feunyddiol, y maent mor fedrus ag yr arferant mewn lle goleddol a serth, attal y meirch gyrredig, a'u rheoli, a'u troi mewn byr amser; hefyd rhedeg ar hyd y trostan, a sefyll ar y iau, ac oddiyno dychwelyd i'r cerbyd gyda'r cyflymdra mwyaf."

"A chan fod ein gwŷr ni wedi eu terfysgu trwy yr amgylchiadau hyn a'r dull newydd o ymladd, Cæsar mewn amser prydlawn a ddygodd gynnorthwy iddynt; oblegid ar ei ddyfodiad ef, y gelynion a gydsafasant, a'n gwŷr ni a ddychwelasant allan o'u dychryn. Eithr Cæsar a farnodd y byddai rhyw amser arall yn fwy cyfaddas i annog y gelynion i frwydr, a ddychwelodd iddei wersyll.

Ar ol hyn dywed Cæsar i lawer o ddyddiau tymhestlog ddygwydd, y sawl a attaliasant y lluoedd rhag ymgyfarfod; ond y Brytaniaid yn y cyfamser, a gasglasant nifer mawr o wŷr traed a meirch, ac a ddaethant i'r gwersyll Rhufeinig. A'r Rhufeiniaid gan eu hymgyfarfod mewn brwydr a drechasant arnynt, ac wedi eu hymlid mor belled ag y gallent, a lladd amryw a thanio eu tai, hwy a ddychwelasant iddeu gwersyll.

Gwedi y dygwyddiad hyn, y Brytaniaid a anfonasant genhadau at Cæsar, ac efe gan farnu nad ydoedd gall i aros yn yr ynys hyd y gauaf, a gymerodd wystlon ganddynt, ac yn yr ychydig longau, ag a adawyd iddo gan y tymhestloedd, dychwelodd i'r cyfandir, o gylch yr 20fed o Fedi; gwedi bod yn yr ynys tua thair wythnos; eithr heb fyned ond ychydig oddiwrth fin y môr.

Yn mis Mai y flwyddyn ganlynol, sef 54 Cyn Cred, Cæsar wedi gwneuthur y darpariadau gofynol, a hwyliodd drachefn o'r PORTUS ITIUS, [*Wissan*] gyda phum lleng o wŷr traed, a dwy fil o wŷr meirch, yn cynnwys i gyd yn agos i 30,000 o filwyr, a thros 800 o longau, tuag at Ynys Prydain, a thiriodd yn yr un lle ag o'r blaen, sef DEAL; y Brytaniaid y

* Ni ellir dywedyd oddiwrth hyn, pa fath arfau tafl a oeddynt mewn arferiad gan y Brytaniaid, gan fod y gair *telum* yn arwyddocau pob fath o'r cyfryw, eithr ei ystyr blaenorol ydyw *saeth*, fel y gwelwn yn nghyfreithiau IUSTINIANUS. "Telum autem [ut Caius noster ex interpretatione legum duodecim tabularum scriptum reliquit] vulgo quidem id appellatur, quod ab arcu mittitur. Sed et omne significat quod manu cujusque jacitur."

tro hyn ni wrthwynebasant ei diriad, eithr ciliasant i'r wlad. Cæsar gwedi sefydlu gwersyll gerllaw y lle a elwir *Richborough*, a gychwynodd a rhan o'i fyddin i edrych am danynt, ac wedi teithio o gylch deuddeg milltir, daeth at eu gwersyll, gerllaw *Caergaint*, yr hwn oedd fath o Gaer yn y coedydd wedi ei hymddiffyn a phrenau torredig. Yma bu brwydr daer rhwng y lluoedd; ond o'r diwedd gorfu ar y Brytaniaid gilio allan o'u gwersyll.

Ar ol rhai dyddiau, canlynodd Cæsar y Brytaniaid yn mhellach i'r wlad, ac yno cafodd fod eu rhifedi wedi ei liosogi yn fawr. "Y pen-llywodraeth," medd Cæsar, "a threfniad y rhyfel a roddwyd trwy gytundeb cyffredinol i CASSIVELLAUNUS,* [*Caswallawn,*] tiriogaethau pa un a ranwyd oddiwrth yr ardaloedd arforol, gan yr afon a elwir TAMESIS [*Tafwys,*] o gylch 80 milltir oddiwrth y môr [deheuol.] Cyn hyn o bryd, yr oedd rhyfeloedd parhaus rhwng y gwr hwn a'r taleithiau ereill; eithr y Brytaniaid gwedi eu cynhyrfu trwy ein dyfodiad ni, a'i gwnaethant ef yn bennaeth ar yr holl ryfel a'r llywodraeth."

Tra yr oedd y Rhufeiniaid ar eu mynediad, y Brytaniaid a ruthrasant arnynt a'u cerbydau, ac a ymladdasant yn daer; eithr yn y diwedd ciliasant i'r coedydd, ac ar ol hynny, pan oedd y Rhufeiniaid yn ffurfio eu gwersyll, y Brytaniaid yn ddisymwth a ruthrasant o'r coedydd ac a ymosodasant arnynt; a hwynthwy gwedi eu brawychu gan y dull anarferol hwn o ymladd, y Brytaniaid a dorrasant trwy eu canol yn y modd mwyaf eofn, ac a ddychwelasant yn ddigolled. Y dydd hwnnw lladdwyd QUINTIUS LABERIUS DURUS, swyddog Rhufeinig o'r radd a elwid *Tribunus militum.*

"Yn y cyfan o'r dull hwn o ymladd," medd Cæsar, "yr hyn a ddygwyddodd o flaen ein llygaid, a ger bron y gwersyll, deallwyd am ein gwŷr ni, eu bod o herwydd pwysau eu harfau, canys ni allent ganlyn y rhai a gilient, ac ni feiddient ymadael a'u banieri, yn anghymwys i gyfarfod a'r cyfryw elynion. A'r gwŷr meirch hefyd a ymladdent gyda mawr berygl, o herwydd y Brytaniaid, trwy gyduniad, a gilient yn eu hol, a phan y canlynent rai o'n gwŷr ni hwy ychydig oddiwrth y fyddin, neidient allan o'u cerbydau ac ymdrechent a hwy ar eu traed, mewn ymladdfa anghyfartal. Felly, o achos y dull hyn o ymladd, yr un berygl a ddygwyddai i'r marchwyr pa un ai canlyn ai cilio a wnaent; ac heblaw hyn oll, ni ymladdent [y Brytaniaid] fyth mewn byddin grynoedig, eithr yn wasgaredig, ac agoriadau llydain rhyngddynt; yr oedd ganddynt hefyd finteioedd gwedi eu dulliaw yn y fath fodd ag y gallent gynnorthwyo eu gilydd yn rheolaidd, a'r gwŷr newyddion gymeryd lle y rhai blin a lluddedig."

Drannoeth, y Brytaniaid a safent yn mhell oddiwrth y Rhufeiniaid, gan oedi yn hwy na'r dydd o'r blaen i ymosod arnynt. Eithr o gylch

* Pennaeth y CASSI, trigolion swydd Hertford.

hanner dydd, ar ol i Cæsar anfon allan tair lleng, yn nghyd a'r holl farchwyr, i edrych am borfa, yn uniongyrchol rhuthrasant arnynt o bob parth, ond y Rhufeiniaid a'u gwrthwynebasant; ac wedi galanastra fawr, a chan eu gyrru ar ffo, ni adawsant iddynt arfod nac i ymgrynhoi, na chyd-resu, nac i ddisgyn o'u cerbydau. O achos y gorthrechiad hyn, y byddinoedd cynnorthwyol a ymadawsant, ac ar ol hynny, ni fu ar un amser i holl nerth y wlad ymgynnull yn erbyn y Rhufeiniaid. Y brwydrau hyn a gymmerasant le rhwng Caergaint a Llundain.

"Ar ol hyn," (medd yr hanes,) "Cæsar a arweiniodd ei fyddinoedd tua'r afon Tafwys, sef, at gyffiniau gwlad *Cassivellaunus*, [Caswallawn.] Yr afon nid oedd yn rydiadwy i wŷr traed, oddieithr mewn un man, ac yno hefyd gyda llawer o anhawsdra. Cæsar, pan ddaeth at y lle, a welai fyddinoedd lliosog o'r gelynion mewn ymddulliad rhyfel: ceulan yr afon hefyd oedd wedi ei hymddiffynu a pholion blaenllymion, a'r un fath bolion oeddynt wedi eu gosod dan y dwfr, yn guddiedig gan yr afon. Cæsar wedi derbyn gwybodaeth o'r pethau hyn, trwy y carcharorion a'r bradgilwyr, a anfonodd y gwŷr meirch yn y blaen, ac yn ddioed a orchymynodd i'r llengoedd ganlyn; a'r milwyr a aethant gyda y fath gyflymdra ac egni, er nad oedd ond eu pennau yn unig allan o'r dwfr, fel nad allai y gelynion sefyll yn erbyn rhuthr y llengodd a'r marchwyr; ond gorfu arnynt ymadael oddiwrth y ceulannau a ffoi." *

"CASSIVELLAUNUS, [Caswallawn] megys y dangosasom uchod, wedi bwrw ymaith bob gobaith o ymladd [ar y maes], a ymadawodd a'r rhan fwyaf o'i luoedd, gan gadw yn unig o gylch pedair mil o gerbydau, ac a wiliodd ar ein teithiau; a chan ymneillduo ychydig o'r ffordd, ymguddiodd mewn llefydd anial a choediog; ac yn yr ardaloedd hynny, trwy ba rai y gwyddai ein bod ar dramwyo, dygai yr anifeiliaid a'r dynion allan o'r meusydd i'r coedydd: a phan y byddai i'n marchwyr ni, ar unrhyw bryd, er mwyn yspeilio ac anrheithio, ymledi ar hyd y meusydd, ac yntau yn adnabyddus o'r holl ffyrdd a'r llwybrau, gyrrai ei gerbydau allan o'r coedydd, ac ymladdai a'n marchwyr, er mawr berygl iddynt; a'r ofn o hyn a waharddai i'n gwŷr ni grwydro yn mhell; felly dygwyddodd na oddefai Cæsar iddynt fyned yn mhell oddiwrth fyddin y llengodd, ac ni allent niweidio y gelynion, trwy anrheithio a llosgi, ond yn unig yr hyn a ellid ei gyflawni trwy ymdrech a theithiad y milwyr llengol."

Oddiwrth yr uchod, o gyfaddefiad Cæsar ei hun, canfyddir yn amlwg, nad oedd sefyllfa y Rhufeiniaid ond go annghysurus. Ymddengys fod Caswallawn yn flaenor dewr a medrus, ac yn deilwng o'r ymddiried a osodwyd ynddo gan ei gydwladwyr; a phe buasai y Brytaniaid mor unawl

* Dywedir mai wrth Richmond, yn agos i Lundain, y bu hyn.

â'u gilydd ag yr oeddynt galonog mewn rhyfel, nid oes amheuaeth y buasent yn y diwedd yn trechu ar fyddinoedd Cæsar; a hynny nid trwy eu hymgyfarfod mewn câd gyffredinol ar y maes, ond trwy eu dyfetha bob yn ychydig, gan eu blino a rhuthriadau, ac ymosodiadau disymwth, a'u cadw rhag myned ymaith i gasglu ymborth. Yr oedd y milwyr Rhufeinig yn amgylchynol ag arfogaeth, o'r fath cyfaddasaf at achosion teithio ac ymladd; heblaw penffestinion a llurygau, yr oedd ganddynt darianau mawrion, yn ddigon hirion i guddio y cyfan o'u cyrff, gan eu bod yn bedair troedfedd o hyd, a dwy a hanner o led. A phan ymresai y llengodd mewn dulliad rhyfel, yr oeddynt fel muriau durawg. Ac hefyd yr oedd eu dull o ymladd yn neilltuol gelfydd; ymddullient yn dri dosparth, un ychydig o flaen y llall; ac mewn brwydr, os byddai i'r dosparth blaenaf fod yn rhy wan i wrthsefyll rhuthriad y gelynion, ciliai yn ol at y dosparth canol, ac yno adnewyddent y frwydr; ac os byddai y ddau yn annalluog i sefyll eu tir, cilient yn ol at y drydedd dosparth, ac yno y cwbl o'r fyddin gan gysylltu eu holl egnioedd a wnaent eu heithaf; ac anfynych y methent lwyddo: oblegid, i allael eu gorchfygu yn llwyr, yr oedd yn rhaid eu maeddu dair gwaith, a phob tro cyfarfod ag ymladdwyr newyddion. Ond y Brytaniaid nid oeddynt yn arfogion, oddieithr a tharianau yn unig; ac nid oedd ganddynt y fath drefn gelfydd o ymresu; ac felly er eu bod yn feddiannol ar ddewrder calon a chadernid corff, etto nid rhyfedd eu bod yn annalluog i oresgyn y cyfryw fyddinoedd ag eiddo y Rhufeiniaid. Ond er hyn oll y mae yn ddiamheuol fod y Brytaniaid yn peri dychryn nid bychan i'r Rhufeiniaid, a bod eu hymosodiadau yn galonog ar brwydrau yn waedlyd; "*pugnabant acriter*," medd Cæsar, "*ymladdasant yn llym;*" ac arfera y gair olaf amryw weithiau: wrth yr hyn oll y deallwn mai nid bywyd o esmwythdra a fwynhaent y Rhufeiniaid yn mhlith y Brytaniaid y pryd hwn.

Eithr, i ddychwelyd at hanesiad Cæsar; deallwn fod brad a chynenau yn dechreu cyflawni yn mhlith y Brytaniaid, yr hyn ni allai cleddyf y Rhufeiniaid; canys yn lle cydymdrechu i ymddiffyn eu gwlad rhag rhuthr estroniaid, yr oeddynt yn ymryson â'u gilydd, ac yn bradychu eu cenedl: ac y mae Cæsar yn dywedyd fod i'r llwyth a elwid y *Trinobantes** anfon genhadon atto i geisio ammodau heddwch. A'r achos o hyn oedd, fod Caswallawn wedi gosod i farwolaeth eu brenin IMANUENTIUS, a bod ei fab MANDUBRATIUS wedi ffoi at Cæsar, am nawdd; ac i gynllun y llwyth hyn gael ei ganlyn gan amryw lwythau eraill, y rhai a anfonasant genhadon atto, yn nghyda gwystlon ac ŷd. "Oddiwrth y rhai hyn," medd Cæsar, yn traethu am dano ei hun, "cafodd wybodaeth fod tref Caswallawn ddim yn

* Trigolion swydd Middlesex.

mhell oddiyno, yr hon oedd amgaeredig gan goedydd a chorsydd; ac ynddi nifer mawr o ddynion ac anifeiliaid. *Tref*, [*Oppidum*,] a alwant y Brytaniaid le, pan yr ymgaerant goedydd dyrysdew â chlawdd a ffos; i'r hwn yr arferent ymgynnull i'r dyben i ogelyd rhuthr gelynion. Tuag yno y cyrchodd Cæsar, yn nghyda'r llengoedd. Cafodd y lle yn hynod ymddiffynedig trwy anianolaeth a llafurwaith; etto brysiodd i ymosod arno mewn dau fan. Y gelynion wedi oedi ychydig, ni allent wrthsefyll rhuthr ein milwyr, ac a ffoisant allan trwy fan arall o'r dref. Cafwyd yno nifer mawr o anifeiliaid, a llawer o'r bobl a gymerwyd yn garcharorion, a llawer a laddwyd."

"Tra'r ydoedd hyn yn dygwydd yn y lleoedd yma, Caswallawn a anfonodd genhadon i wlad Caint [*Cantium*,] yr hon yr ydym eisioes wedi mynegi ei bod ar gyffiniau y môr, yn mha ardaloedd oedd pedwar brenin yn teyrnasu, sef, Cingetorix, Carnilius, Taximagulus, a Segonax; ac efe a orchymynodd iddynt gasglu eu holl fyddinoedd, ac ymosod yn ddisymwth ar y gwersyll arforawl O'r rhai hyn, pan ddaethant at ein gwersyll, ein gwŷr ni a ruthrasant allan ac a laddasant lawer, a chan ddwyn y blaenor ardderchog Cingetorix yn garcharor, dychwelasant yn ddigolled. Caswallawn, pan wybu am y frwydr hon, gan weled ei fod wedi derbyn cynifer o golledion, a bod ei wlad yn anrheithiedig; ond yn bennaf, wedi ei gynhyrfu trwy wrthgiliad cynifer o daleithiau, a anfonodd genhadon, perthynol i ymddarostyngiad, at Cæsar, trwy gyfrwng Comius o *Arras*, [un o swyddogion Cæsar.] Cæsar, yntau, gan ei fod yn bwriadu gauafu ar y cyfandir, o achos yr aml gynhyrfiadau yn nhir Gâl; a chan nad oedd yn awr ond ychydig o'r haf yn aros, a'i fod yn deall y gallai hynny gael ei orphen yn fuan, a orchymynodd ddwyn gwystlon, ac a sefydlodd pa faint o dreth flynyddol yr oedd Prydain i dalu i bobl Rhufain. Archodd hefyd a gorchymynodd i Gaswallawn na niweidiai y Trinobantes, na Mandubratius." Ac yno, gan gymeryd gydag ef y gwystlon, a'r carcharorion, yn nghyda'i holl filwyr, efe a hwyliodd o Brydain ar ddechreu y nos, a'r boreu drannoeth tirioedd yn Ngâl, yr hyn a wnaeth yn mis Medi, gwedi bod yn yr ynys o gylch pedwar mis. Ni threiddiodd yn mhell i'r wlad, a dychwelodd yn agos ar hyd yr un ffordd ac y daeth. Oddiwrth yr hyn a gesglir am ei fynediad, deallir iddo deithio o *Deal* heibio i *Richborough*, *Caergaint* a *Rochester* hyd at *Richmond*, lle y croesodd yr afon Tafwys, ac oddiyno i *Verulam*, sef *St. Albans;* yn swydd Hertford; prif dref Caswallawn, a llwyth y Cassi; o ba le y dychwelodd trwy Llundain yn ol i Deal.

Y cyfryw ydyw hanes cadrwysc Caesar yn ynys Prydain yn ol ei fynegiad ei hun; oblegid y mae y cwbl o'r uchod ag a roddir a nodau ailadroddiad, wedi ei gyfieithu o waith Caesar, air yn air, mor agos ag y

gellid, heb dywyllu'r ystyr. Yn yr hanes hyn, y mae yn rhaid dwyn ar gof, ein bod yn gweled sylwadau gelyn; ac er ei fod yn wr anrhydeddus, etto yr oedd ei fryd mor uchel, a'i awydd am glod a mawrfri, mor annigwalladwy, ac hefyd ei hunan-serch mor reidiol, fel nas gallwn feddwl y buasai yn cofrestru yn ei hanesiad, ddim anghyson â'i gymeriad, megys milwr dewr, a llywydd celfydd. Ac er fod cynifer o filoedd yn dystion iddei ymddygiad, oddiwrth yr hyn a wyddom am anian ddynol, gallwn feddwl na fuasai y rhai hyn yn anfoddloni i'r clod, o ba un yr oeddynt oll yn gyfranogion, ac ni achwynent am gadw o'r golwg unrhyw oruchafiaeth a fwynhaed gan y Brytaniaid. A phan y pwysom yn fanol y pethau hyn, y mae lle i ffurfio tyb, nad oedd rhwysc Cæsar yn Mhrydain yn gwbl mor llwyddiannus ag yr ymddengys yn ei lyfr ei hun. Y mae y prydydd LUCANUS, yr hwn a ysgrifenodd o ddeutu can' mlynedd ar ol hynny, yn yn gosod yn ngenau POMPEIUS, ymadrodd am Cæsar, yn arwyddocau iddo "ddangos ei gefn dychrynedig i'r Brytaniaid ymlidiawl."

"Territa quæsitis ostendit terga Britannis."

Hefyd y mae TACITUS, ychydig ar ol hyn, pan yn traethu hanes CARACTACUS [Caradawc ap Bran] yn dywedyd, i'r gwron hwnnw pan yn areithio ei filwyr, cyn ei frwydr ddiweddaf, "alw enwau eu hynafiaid, y rhai a yrrasent y Penllywiawdwr Cæsar ar ffo." "*Vocabatque nomina majorum, qui Dictatorem Cæsarem pepulissent.*"

Ac yn ychwanegol i hyn, yn ol barn ASINIUS POLLIO, cydoesydd i Cæsar, yr hyn a goffheir gan SUETONIUS, nid yw haeriad Caesar ddim yn wastad yn deilwng o dderbyniad. Suetonius a fynega fal y canlyn mewn perthynas iddei ysgrifeniadau. "Y mae Asinius Pollio yn meddwl eu bod wedi eu cyfansoddi gydag ond ychydig o fanylrwydd, ac ychydig o wirionedd; gan y byddai Caesar yn credu gyda byrbwylldra, gweithredodd dynion ereill, ac hefyd yn traethu yn anmhwyllawl y pethau a wnaethpwyd ganddo ei hun, er y byddai ei gôf ond anmherffaith o'u plegid; a bwriadai ail ysgrifenu ei waith a'i gywiro.* Y mae y dystiolaeth hon, os nid yn ddigon i beri amheuaeth yn nghylch gweithredoedd Caesar ei hun, etto yn llawn ddigon cadarn i'n hawdurdodi i wrthod yn hollol, yr hyn y mae efe yn ei fynegu am arferion y Brytaniaid, a'u defodau cyfathrachol. A phan ddarllenom yn ei lyfr gyhuddiadau o anwareiddra yn cael eu dwyn yn erbyn ein hynafiaid, cofiwn y cyhyddiad yn erbyn Caesar eu hun. "*Credai yn fyrbwyll.*"—"*Temere crediderit.*"

*"Pollio Asinius, parum diligentur, parumque integra veritate compositos, putat, cum Cæsar pleraque et quæ per alios erant gesta, temere crediderit, et quæ per se vel consulto, vel etiam memoria lapsus, perperam ediderit: existimatque, rescripturum et correcturum fuisse." Suet. I.

Nid oes yr achos lleiaf i feddwl fod yr awdwyr hyn yn traethu yr hyn nid oedd gywir. Yr oedd Cæsar a'i holl filwyr erbyn hyn, wedi llwyrddiflanu, ac nid oedd angen i gelu y gwirionedd; ac yn ddiamheuol yr oedd yn yr oes honno hanesion ddigon ar glawr, naill ai ysgrifenedig neu draddodiadawl, am ryfeloedd Cæsar, heblaw ei gofiaethau ei hun. Ac yn wir, y mae ymddygiad Cæsar ei hun ar ei ymadawiad o'r ynys, yn brawf o'i annalluogrwydd i sefyll ei dir yma; ei ofn o ddyfodiad y gauaf, a'i lwyr-arweiniad o'i holl fyddinoedd ymaith, heb adael un gwersyll neu gaer Rufeinig ar ei ol. Ac hefyd, y mae Tacitus mewn man arall yn dywedyd am Cæsar, "er iddo ddychrynu trigolion Prydain mewn rhyfel llwyddiannus, a meddiannu y traeth: etto ei fod yn amlwg [potest videri] iddo *ddangos* yr ynys yn unig, ac nid ei thraddodi iddei oliaid."

Heblaw yr uchod o eiddo Cæsar, y mae genym yn y Brut, hanes arall am yr amgylchiadau rhagddywededig, ac yn ymwahaniaethu oddiwrtho mewn amryw bethau nodedig. Dichon fod y Brut, er nad ydyw yn wastad yn gyson ag hanes Cæsar, etto yn cynnwys llawer o bethau gwirioneddol; ond y mae y iaith yn rhy ddiweddar, a'r awdurdod yn rhy amheuadwy, iddei osod mewn cyfartalwch ag eiddo yr Ymherawdwr. Etto gan ei fod yn mynegi cymaint yn nghylch y dygwyddiadau dan ein sylw, nid iawn fyddai ei adael yn hollol ar y neilltu heb rhyw gyfeiriad atto. Yn ol yr hanes a geir yn y llyfr hwn, deallwn i Cæsar, ar ol goresgyn gwlad Gâl, ddyfod i'r oror gyferbyn a Phrydain, ac yno efe a wnaeth holiadau yn nghylch y trigolion, a phan clywodd eu bod hwy wedi hannu o Gaerdroia, ac o'r un hiliogaeth a'r Rhufeiniaid, efe a benderfynodd eu darostwng, a dyfod â hwy dan lywodraeth Rhufain: ac felly anfonodd genad a llythyr at Gaswallawn, iddei orchymyn i ymddarostwng a thalu teyrnged. "Eithr" medd y Brut, "ni bu deilwng gan Gaswallawn hynny, ac anfon a orug yntau lythyr at Ilcasar, [Iul. Cæsar,] a'r ymadrodd hyn ynddo. 'Caswallawn Brenin y Brytaniaid, yn anfon annerch at Ilcasar Amherawdwr Rhufain, i fynegi fod yn rhyfedd genyf fi chwant gwŷr Rhufain, a maint yw arnynt syched aur ac arian; ag na fynant hwy ein bod ni yn dyoddef perygl yn y weilgi, yn preswyliaw mewn ynys yn y môr, oddieithr terfyn y byd, heb geisio cymhell swllt arnom o'r lle y buom ni hyd hyn yn ei gael yn rhydd,' " &c.* Ac yna gyda thraethiad o ddirfawr soriant, Caswallawn a wrthododd gynygion Cæsar.

* Mewn ysgrif arall, ceir ef fal y canlyn:—"Caswallawn brenin y Brytaniaid yn anfon annerch at Wlkessar, yn nghydà'r ymadrodd hwn. Ynrhyfedd yw, Wlkessar, maint chwant a chybyddiaeth gwyr Rhufain, canys rhag maint syched arnaddynt eur ac ariant, na allant ddyoddef ein bod ni megys oddieithr y byd, yn dyoddef perygleu yr Eigion heb can ryfygu cymmell swllt y trethau arnam, o'r lle y cynaliasom ni erioed yn rhydd didreth heddwch hyd hyn," &c. Y canlynol yw y Lladin o'r uchod, o eiddo *Sieffre o Fynwy*, [Gruffydd ab Arthur]. "Cassibellanus Britonum Rex, Caio Iulio Cæsari. Miranda est Cæsar populi Romani cupiditas: quicquid est auri vel argenti sitiens; nequit nos intra

Yna Cæsar a barotodd lynges ac a ddaeth at aber yr Afon Tafwys, a Chaswallawn a ddaeth yn ei erbyn a holl gadernid yr ynys gydag ef; ac yn eu plith yr oedd Nyniaw ei frawd, a'i ddau nai, sef Afarwy ap Lludd a Thenefan Iarll Cernyw, a Chreudu Frenin yr Alban, a Gwerthaed, Frenin Gwynedd, a Brythael, Frenin Dyfed, a hwy a ddaethant at gastell Dorabel; ac yno y bu y cyfarfod cyntaf rhyngddynt â'r Rhufeiniaid. Yr oedd Cæsar eisioes wedi tirio a gwersyllu ar lan y môr, a phan nesaodd y Brytaniaid, y Rhufeiniaid a ddaethant allan iddeu cyfarfod, ac yno y bu ymladd a galanastra dirfawr. Yn y frwydr bu ymdrech law-law rhwng Nyniaw a Cæsar; ar ba achlysur Cæsar a darawodd a'i gleddyf ar darian Nyniaw ergyd mor nerthol, nes i'r cleddyf lynu ynddi, a Nyniaw a'i dygodd ymaith yn nherfysg y frwydr, a chan daflu ei gleddyf ei hun heibio, efe a ymladdodd ag un Cæsar, a lladdodd *Labienus*, swyddog Rhufeinig ag ef; y cleddyf hwn a elwid *yr angeu coch*,† a'i glwyfau oeddynt farwol, a chan i Nyniaw gael ei glwyfo ag ef, ni ellid ei iachau eithr bu farw yn mhen pymtheg niwrnod; claddwyd ef yn Llundain, gyda mawr anrhydedd, a gosodwyd y cleddyf yn ei feddrod. Yn y frwydr hon lladdwyd y rhan fwyaf o'r Rhufeiniaid; a Cæsar a giliodd o'r maes, "ac wedi dyfod y nos, efe a gyweirws ei longau, ac a aeth ynddynt; ac a fu lawen ganthaw gaffael y môr yn lle castell iddaw;" ac felly efe a hwyliodd yn ol i dir Gâl.

Ac wedi dwy flynedd, Cæsar a barotodd i hwylio i Frydain drachefn; i'r dyben i ymddial ar Gaswallawn a'r Brytaniaid; ac wedi caffael o Gaswallawn hysbysiad am hynny, efe a amgaerodd ei ddinasoedd, ac a osododd yn yr afon Tafwys bolion heiyrn, dan y dwfr, i'r dyben i frathu y llongau, a'u soddi. "Ac wedi darfod hynny, cynhyllu a wnaeth Caswallawn holl ieuenctyd yr ynys, ac yn nghylch yr arfordir, arhos dyfodedigaeth Wlkesar a'i lynges ganthaw."

"Ac gwedi darfod i Wlkesar barotoi pob peth a'r a oedd raid iddo, efe a gychwynws ar y môr yn nghydag aneirif amlder marchogion; gan darmerth ac awyddaw gwneuthur damwnedig aerfa o'r Brytaniaid; ac hynny heb amheu a wnaethai, pe elsai y llynges yn iach i'r tir. Ac wrth hynny ni allws ef ddwyn ei ddyhewyd [ddymuniad] ar weithred. Canys hyd tra yr oeddynt yn hwyliaw, ar hyd canol Themys, [Tafwys,] yn cyrchu parth a Llundeyn, hyd aeth eu llongau ar y polion heieirn, ar y dywedasom ni uchod, a chan y rhai hynny y dyoddefasant ddigyfsyd berygl angheuawl, hyd pan foddasant hyd ar filoedd o farchogion. Canys gwedi tyllu y

pericula oceani extra orbem positos pati, quin census nostros appetere presumat, quos hactenus quiete possidemus," &c. Rhoddaf yr uchod, nid oblegid fod genyf y tybiad lleiaf fod un o honynt yn awdurdodawl, ond yn unig i alluogi y sawl a ddymunant, i gymharu y gwahanol ysgrifau.

† "Crocea mors."—*G. Monemut.*

llongau ar y polion heieirn hynny, y daeth dwfr i mewn a suddaw y llongau a dan y weilgi."

Cæsar, pan welodd hyn, a frysiodd i ddychwelyd, ac ar ol brwydr waedlyd efe a hwyliodd a'r llongau â'r milwyr a adawyd, yn ol i wlad Gâl. Er gorfoledd am y fuddugoliaeth, ac er diolchgarwch i'r duwiau, Caswallawn a wnaeth wledd fawr, ar ba un y cynhaliwyd amrywiol gampau; yn mha rai y dygwyddodd i ddau lanc pendefigol fyned i ymdrechu â'u gilydd; un o honynt oedd Hirlas, nai y brenin, a'r llall oedd Cuhelyn, nai Afarwy. Ar yr ymdrech chwareuol, cynhennu a wnaethant, ac o'r diwedd llidiaw am y fuddugoliaeth; a Chuhelyn a laddodd Hirlas yn fwriadol â chleddyf. A chan fod Afarwy yn pallu rhoddi ei nai i fynu, i gael ei gospi yn gyfreithlon, Caswallawn a ddechreuodd anrheithio ei wlad: ac ar hynny Afarwy a anfonodd at Cæsar i geisio cynhorthwy.* A Cæsar unwaith etto a hwyliodd i Brydain; ac ar ol dechreu ymladd â gwŷr Caswallawn, a lladd llawer ar bob ochr, Afarwy a ddaeth â phum mil o wŷr, ac a ruthrodd ar fyddin Caswallawn o'r tu cefn; yr hyn a barodd iddo gilio i ben bryn, lle y gwarchaewyd ef gan y Rhufeiniaid, a gwŷr Afarwy. Ond ar ol bod dau ddiwrnod yn y cyflwr hyn, heb ddim ymborth, Caswallawn a anfonodd at Afarwy i geisio ganddo gyfryngu rhyngddo â Cæsar, er cael ammodau heddwch; yr hyn a wnaeth Afarwy; a chytunwyd i Gawsallawn dalu i Cæsar deyrnged flynyddol. Yna ar ol gauafu yn Mhrydain, Cæsar a gychwynodd yn y gwanwyn, ac a hwyliodd i dir Gâl; ac oddiyno efe a aeth i Rufain yn erbyn Pompeius.

Y cyfryw yw hanes dyfodiad Cæsar, fel y traethir ef yn y Brut. Gwelir ynddo dwysged o wahaniaeth oddiwrth yr hyn a roddir gan Cæsar ei hun; ond etto y mae cymaint o gysondeb mewn rhai pethau, fel na ellir ei ddiystyru yn hollol. Eithr hyn a fynega yn amlwg, fod gan y Brytaniaid, yn yr amseroedd yn mha rai y cyfansoddwyd y Brut, ryw gofieithau hanesyddol, heblaw yr hyn sydd ar glawr y dydd heddyw. Canys pwy bynag oedd Awdwr y Brut, yr oedd ganddo ryw ffynhonell i dynnu o honi heblaw llyfr Cæsar; oblegid pe hwnnw fuasai sail ei hanes, ni fuasai yn ymadael mor belled oddiwrth ei gynnwysiad, a dywedyd i Cæsar ddyfod dair gwaith i Ynys Prydain; o herwydd nid yw Cæsar ei hun yn son am fwy na dwy waith: ni fuasai, 'chwaith, yn dywedyd i *Labienus* gael ei ladd yn Mhrydain, oblegid y mae Cæsar yn crybwyll am wasanaeth y swyddog hwnnw, ar ol ymadael yn hollol â'r Ynys. Y mae yn wir fod Cæsar yn dywedyd i un o'r enw *Laberius* gael ei ladd, ar ol ei *ail* diriad; a hynny mewn brwydr, yn mhell yn y wlad; ac y mae yn ddichonadwy,

* Yn y Trioedd gelwir Afarwy yn un o'r "Tri Charnfradwr Ynys Prydain." Y ddau arall oedd Gwrtheyrn Gwrthenau, a wahoddes y Saeson yma; a Medrawd ap Llew, a drodd yn fradwr, yn erbyn y brenin Arthur.

fod cyffelybrwydd y ddau enw gwedi peri y camsyniad; ond pe yn ngwaith Cæsar y cawsai Awdwr y Brut yr amgylchiad, ni fuasai yn dywedyd mai ar y tiriad *cyntaf* y dygwyddodd ac ar y *traethau;* ac nid tebygol y buasai yn gadael allan y frwydr ar ddisgyniad y Rhufeiniaid o'u llongau, yr hon y mae Cæsar yn ei darlunio mor fanol. Ac hefyd ni allasai gael gafael ar yr enwau y sawl a draethai, megys *Rwyteu,* neu *Rutupia,* sef y Gaer Rufeinig wrth *Richborough;* a *Dorahel,* neu *Dorobellum,* ac eraill. Nid peth anghyffredin yw gweled haeriadau mai *Sieffre o Fynwy* oedd unig Awdwr y Brut; ac mai ei wneuthuriad ei hun yw y cyfan o hono; eithr meddyliaf y gellir canfod fod y cyfryw haeriad yn anghywir, oddiwrth yr hyn a geir yn llyfr Nennius, ysgrif o ba un sydd etto ar glawr o'r 10fed ganrif; canys y mae Nennius yn mynegu am dri ymosodiad o eiddo Cæsar, ac yn dywedyd i'r cyfarfod cyntaf gymeryd lle gerllaw *Dolobellum.* Gall rhai wrth edrych ar y modd y mae Sieffre yn ail adrodd y llinell o eiddo'r Prydydd Lladin Lucanus; sef, "*Terita quæsitis,*" &c., feddwl mai o'i sylwad ei hun yr ail adrodda hi; ac mai efe oedd y cyntaf iddei chymhwyso felly yn y Brut. Nid annichonadwy fod Sieffre, fel llawer o gyfieithwyr eraill, wedi rhoddi rhai sylwadau o'i eiddo ei hun, megys eglurhadau, yn gystal a choethi y dull o ymadroddi, ac yn mhlith y cyfryw bethau, wedi ychwanegu y llinell uchod. Ond y mae yn ddyledus cofio fod awdwyr y canol oesoedd gynt, yn gynhefin ddigon ag ysgrifeniadau y Rhufeiniaid; ac y gallasai gwaith Lucanus gael ei gyfeirio atto ar unrhyw bryd. Y mae Nennius yn ail adrodd gwaith *Virgilius.* Ac y mae *Alcwin* yr hwn a ysgrifenodd yn yr 8fed ganrif yn dangos ei fod yn gynhefin â'r cyfryw awduron.

"Quæ Maro Virgilius, Statius, LUCANUS et Auctor
Artis Grammaticæ, vel quid scripsere Magistri;" &c.

Ac felly rhyfygaf haeru, nad oes un awdurdod i ddywedyd fod Sieffre gwedi ffurfio un rhan o'r Brut, a barnaf mai Cyfieithydd yn unig oedd efe, megys y tystia ei hun, o'r cyfan o'r rhan hanesiol o'r gwaith.

Ond os felly, y mae un peth etto yn ol, heb ei eglurhau, a hynny yw, O ba le y cafwyd yr hanesion a draethir yn y Brut? Fy atteb yw na's gallaf ddywedyd, gyda sicrwydd, o ba le y cafwyd hwy; ond hyn sydd amlwg; yr oedd yn y cynoesoedd hanesion yn hanfodi, y sawl ydynt yn awr ar goll, er angrhaifft, y mae llawer o waith SUETONIUS ar goll. Hefyd yr oedd yn y 4edd ganrif awdwr Lladin, o'r enw AMMIANUS MARCELLINUS, yr hwn a ysgrifenodd hanes Ymerodraeth Rhufain dros 260 mlynedd, mewn 31 llyfr, o ba rai nid oes ond 18 ar glawr; ac er galar i'n cydwladwyr, y mae y rhan o'r hanes a berthyn i Brydain, yn mhlith y rhai sydd ar goll; a dichon fod hanesion eraill wedi eu colli yn yr un modd, o ba rai nid oes genym yn awr ddim cymaint a

choffadwriaeth am eu henwau; ac ysgatfydd rhai yn traethu am ryfeloedd Cæsar: ac felly y mae yn rhaid ymfoddloni trwy ddyfal chwilio y rhai sydd genym, a chywir bwyso eu cynhwysiad, geisio ffurfio y farn gymhwysaf a allom mewn pethau a ddeuant dan ein sylw.

BYR DRAETHAWD AR FYWYD CÆSAR.

Caius Julius Cæsar oedd o dylwyth pendefigol yn Rhufain, a enwyd y JULII, ac a aned yno yn y flwyddyn o adeilad y ddinas 653. Ar ol llanw amryw swyddau, anfonwyd ef i'r Yspaen, lle yr ennillodd anrhydedd mawr; ac ar ol dychwelyd i Rufain, cychwynodd i dir Gâl. Ac ar ol darostwng y wlad honno, yn gystal a llwyddo i raddau mawr yn erbyn y Germaniaid, daeth i Brydain; fel ag y traethwyd eisioes. Oddiyma dychwelodd i'r Ital yn erbyn Pompeius, lle y bu yn llwyddiannus. Oddiyno, aeth drachefn i'r Yspaen, yn erbyn plaid Pompeius, yr hon a ddarostyngwyd gantho. Yn awr, dychwelodd i Rufain, a derbyniodd anrhydeddau ychwanegol. Cychwynodd drachefn yn erbyn Pompeius i *Illyricum*, a thir Groeg; ac ar ol amryw gyfarfodydd, o'r diwedd daeth y ddwy fyddin yn nghyd mewn brwydr waedlyd ar wastadedd *Pharsalia*, lle y buddugolaethodd Cæsar, a gorfu ar Pompeius ffoi, a cheisiodd noddfa yn yr Aipht gyda Ptolemeus, eithr cafodd ei lofruddio yno trwy frad. Cæsar wedi hwylio i'r Aipht gan ymlid Pompeius, a ddechreuodd ryfela o blaid *Cleopatra* yn erbyn ei brawd Ptolemeus, ac ar ol darostwng ei gelynion, sicrhaodd hi ar yr orseddfainc. O'r Aipht aeth i'r Asia, lle y bu lwyddiannus mewn rhyfel, a dychwelodd i'r Ital; ac oddiyno i'r Afric yn erbyn *Iuba*, lle y buddugoliaethodd; dychwelodd i Rufain, ac adgyweiriodd yr amseryddiaeth: ar ol hyn aeth i'r Yspaen yn erbyn meibion Pompeius, y rhai a orchfygodd. Dychwelodd drachefn i Rufain mewn mawr anrhydedd, ond gan ei fod trwy ei uchelfryd yn cyffroi digasedd ac eiddigedd, llofruddiwyd ef yn fradychus, yn ngwydd y Senedd, gan ei hen gyfeillion, yn y 56ed flwyddyn o'i oed, a'r 42 cyn cred.

Ar ol ymadawiad Cæsar nid oes fawr o wybodaeth am helynt y Brytaniaid, dros yn agos i gan' mlynedd. Dywed y Brut i Gaswallawn farw yn mhen saith mlynedd, a'i gladdu yn Nghaerefrog, ac i Denefan fab Lludd deyrnasu ar ei ol. Ac ar ol Tenefan daeth ei fab Cynfelyn, yr hwn a ddygpwyd i fynu yn Rhufain; ac er cadarnhad o'r haeriad hyn, o eiddo'r Brut, gallwn sylwi fod arwyddion o'i feithriniad Rhufeinig iddeu canfod ar y bathau arian y rhai a geir â'i enw ef arnynt, gwedi eu ffurfio yn ol y dull Rhufeinig, a'i enw *Cunobelin* arnynt, mewn llythyrenau o'r cyfryw lun.

Bu i Gynfelyn ddau fab, *Gwydyr* a *Gweyryd*. A phan ddaeth Gwydyr i'r orsedd, pallodd a thalu teyrnged i'r Rhufeiniaid, ac o achos hyn pen-

derfynodd yr Ymherawdwr CLAUDIUS CÆSAR, anfon byddin i Brydain; ac y mae DION CASSIUS yn dywedyd iddo ddyfod i'r penderfyniad hyn trwy annogaeth Brython, o'r enw *Bericus*, yr hwn oedd gwedi gadael YNYS Prydain a ffoi i Rufain o achos bradwriaeth.

AULUS PLAUTIUS.

Y fyddin Rufeinig a osodwyd dan dywysiad blaenor medrus, o'r enw AULUS PLAUTIUS, yr hwn yn y flwyddyn 43 a hwyliodd i Brydain, ac a diriodd yn ddirwystr, gan fod y Brytaniaid, am ryw achos neu gilydd, yn peidio ei wrthwynebu; ac wedi treiddio i'r wlad, cyfarfu â byddin o'r Brytaniaid, dan dywysiad CARACTACUS, yr hwn a elwir gan y Cymry, CARADAWC AP BRAN; a bu brwydr rhwng y lluoedd: ond gan fod y Brytaniaid wedi eu gwanhau, trwy ymraniadau, cafodd y Rhufeiniaid y fuddugoliaeth. Ar ol hynny aeth Plautius yn mlaen, i swydd Rhydychain, lle y cyfarfu â byddin arall dan TOGODUMNUS, mab Cynfelyn, ac a orchfygodd honno yn yr un modd; yn dangos y drwg a'r gwendid dinystriol, sydd yn deillio oddiwrth ymranniadau gwladwriaethol. Ar ol hyn y Brytaniaid a wersyllasant ar lan afon, Tafwys, meddylir, a chan nad oedd yno ryd, hyderasant eu bod yn ddiogel oddiwrth unrhyw ymosodiad, ac felly ni chynnaliasant wyliadwriaeth addas. Ond y Germaniaid, y rhai oeddynt yn gwasanaethu yn y fyddin Rufeinig, a nofiasant yn groes i'r afon, ac a laddasant feirch y Brytaniaid, fel y bu eu cerbydau yn hollol anfuddiol iddynt. Ond er hyn oll, y Brytaniaid ni chiliasant; eithr, trannoeth, ymgyfarfuasant â'r Rhufeiniaid, lle y bu brwydr waedlyd; a thros gryn amser, yr oedd y canlyniad yn amheus, eithr yn y diwedd, y Rhufeiniaid a fuont lwyddiannus. Ar ol hyn, y Brytaniaid a fudasant eu lluoedd tuag aber Tafwys, lle y bu brwydr daer; yn mha un y collodd y Rhufeiniaid lawer o'u gwŷr. Wedi hyn yr Ymherawdwr CLAUDIUS ei hun a ddaeth o Rufain, â byddin liosog gydag ef, yn erbyn y Brytaniaid, ac wedi brwydr waedlyd, bu fuddugoliaethus. Ac yma ni allwn lai na sylwi ar y pwysfawrogrwydd a osodent y Rhufeiniaid, ar ddarostyngiad llwyth neu ddau o'r Brytaniaid, canys cyfrifent hynny yn gymmaint o beth, ag i'r Ymherawdwr ei hun deithio yr holl ffordd o Rufain, i'r dyben i fod yn gyddrychiol ynddo. Gwedi y fuddugoliaeth hon, Claudius a ddychwelodd i Rufain, gan adael Plautius yn nghyd a VESPASIANUS i ymdrechu â'r Brytaniaid; ac yn wir, nid bywyd esmwyth a fwynhasant yn hyn o beth, oblegid yr oedd ganddynt yr enwog Garadawc yn wrthwynebydd; a dywedir iddynt orfod ymladd deuddeg ar hugain o frwydrau, yn un o ba rai Vespasianus a amgylchwyd gan y Brytaniaid, ac a oedd mewn dirfawr

berygl, nes iddei fab TITUS,* trwy hyfrdra a gwrolder tra nodedig, ei gynnorthwyo.

### OSTORIUS.

Plautius wedi rhwysg llwyddiannus, a darostwng yr ardaloedd deheuol, a ddychwelodd i Rufain; ac yn y flwyddyn 50, daeth OSTORIUS SCAPULA yn ei le; yr hwn, pan diriodd, a gafodd y dalaeth Rufeinig mewn terfysg mawr, gan fod rhai llwythau wedi cyfodi yn erbyn llywodraeth Rhufain. Y blaenaf o'r rhai hyn, oeddynt yr ICENI, pobl yn preswylio yn yr ardaloedd yn nghymmydogaeth swydd Huntingdon; y sawl y mae Tacitus yn eu galw yn *genedl ddewr*, [valida gens]. Ostorius, gan hynny, a gyrchodd tua gwlad y bobl hyn, ac wedi amryw gyfarfodydd ar ei gadrwysg, daeth at eu gwersyllfa; lle y bu brwydr waedlyd: ond y Rhufeiniaid a gawsant y fuddugoliaeth. Eithr, y Brytaniaid a ymladdasant yn wrol, "ac a gyflawnasant lawer o orchestion clodfawr!"

Ostorius, ar ol hyn, a aeth yn erbyn y CANGI, neu, y CANGIANI, pobl swydd Gaernarfon, ond cyn eu cyfarfod mewn brwydr gyffredinol, gorfu arno droi yn ol i ddarostwng gwrthryfel yn mhlith y BRIGANTES, pobl yr ardaloedd yn pwyso ar yr afon HYMYR. Y llwyth hwn a ddarostyngwyd yn fuan, ac a ddychwelodd i ufydd-dod.

Hyd hyn yr oedd y Rhufeiniaid wedi bod yn cynnal y rhyfel, yn agos yn hollol, yn mhlith llwythau y rhan hynny o'r ynys, a elwir yn awr wrth yr enw Lloegr; ond weithian, cawn hwy yn troi eu meddyliau at wlad Cymru. Pobl Lloegr, fel y dangoswyd eisioes, a foddlonasant i ymostwng i'r lywodraeth Rufeinig; ond yr oedd yn yr ynys lwyth o bobl, na ellid eu dwyn i'r cyfryw ufydd-dod, na thrwy deg na thrwy hagr. A'r rhai hyn oeddynt y SILURES, neu yr ESYLLWYR, pobl Gwent a Morganwg, a'r ardaloedd cyfnesol. "*Silurum gens*" medd Tacitus, "*non atrocitate, non clementia mutabatur.*" Ac y mae efe yn eu galw hwy, "Y genedl ddewr a rhyfelgar y Siluriaid."—"*Validamque et pugnacem Silurum gentem.*" Y bobl hyn oeddynt y pryd yma dan lywodraeth y gwron Caractacus, sef, Caradawc ap Bran; a chan nad oedd diogelwch i'r Rhufeiniaid, tra yr ydoedd y fath elynion ar eu pwys, penderfynodd Ostorius fyned â'i fyddinoedd yn eu herbyn. Y Siluriaid oeddynt yn mhlith y mwyaf dewr a rhyfelgar o lwythau yr Ynys, a'u Tywysog Caradawc oedd yn rhagori me-

* Ni allasai Titus ar y pryd hyn, ddim fod ond llanc ieuanc, oblegid 20 mlynedd wedi hynny, pan gymmerodd ddinas Jerusalem, nid oedd ddim llawer dros ddeg ar hugain oed. Ei dad Titus Flavius Vespasianus a gafodd ei ethol yn Ymherawdwr. Eithr nid oedd ond o hiliogaeth isel-radd; ac ar y cyntaf yn filwr cyffredin. Dywedir i'r Rhufeiniaid roddi yr enw Vespasiana i ardal ogleddol yr Ynys, er anrhydedd i'r blaenor hwn.

Tra yr ydoedd y lluoedd yn ymbarotoi i'r maes, Caradawc gan wibio
na a thraw, a gynhyrfai ei wŷr i wrolder ac ymdrechiad. "*Hwn yw'r
ydd, a hon yw'r frwydr*," ebai efe, "*naill ai o berchenogi rhyddid,
ru ynte, o ddechreuad caethiwed tragywyddol.*"‡ Galwodd hefyd
enwau eu hynafiaid, y rhai a yrrasent Cæsar ar ffo; ac annogodd
wŷr i ganlyn eu hanghraifft, i waredu eu gwragedd a'u plant o ddwylaw
i gelynion â'u gwlad oddiwrth drethiant. A'r lluoedd wrth glywed yr
mogion hyn, a waeddasent nad ymddarostyngent. Y fyddin Rufeinig, yn
y dysgwyliant, a ymosododd ar y gwersyll, ac ar ol galanastra fawr
rth ddringo y bryn, a goddef llawer trwy arfau tafl y Brytaniaid, o'r
wedd, y milwyr a ffurfiasant yr hyn a alwent *testudo*, sef, clawr o
rianau; trwy dderchafu y cyfryw arfau uwch eu pennau, a'u huno yn
ghyd, a than ymddiffyniad y gorchudd hwn, llwyddasant i ddymchwelyd
mur o gerrig rhyddion, yr hwn a amgylchai y gwersyll; yna y bu
mladdiad gwaedlyd, ond gan fod y Rhufeiniaid yn wisgedig mewn arfau
nddiffynol, a'r Brytaniaid heb na llurygau na phenffystinion; gorfu ar
r olaf, o'r diwedd, roddi lle iddeu gelynion a chilio. Cymmerwyd gwraig
merch Caradawc yn garcharorion, a'i frodyr a ufuddhasant yn wirfoddol.‖
Ond Caradawc ei hun a ffodd at Cartismandua,§ Brenhines y Brigant-
ys, a hithau mewn modd ysgeler, a'i traddododd ef mewn cadwynau i'r
hufeiniaid, yn y nawfed flwyddyn ar ol dechreuad y rhyfel yn Mhrydain.
fenyw felldigedig yma, ar ol hyn a ddaeth i flinder nid bychan trwy ei
rferion anniwair; o herwydd ymranodd oddiwrth ei gwr VENUSIUS, a
ymmerodd un o'r enw VELLOCATUS atti yn ei le. Eithr ei gwr, wedi
nill ewyllys da y bobl a'i dygodd i gyfyngder mawr. Hithau a geisiodd
mnorthwy gan y Rhufeiniaid, a'r rhai hynny wedi amrywiol frwydrau, a
yddasant i waredu y frenhines ei hun allan o berygl: ond gorfu arnynt
hael y deyrnas yn meddiant Venusius

dymunent weled y gwr yr hwn dros gynifer o flynyddoedd a ddirmygodd ein byddinoedd. Ac nid oedd enw Caradawc yn ddianrhydedd hyd yn nod yn Rhufain. A'r Ymherawdwr, [Claudius Cæsar] tra yr oedd yn derchafu ei anrhydedd ei hun, a ychwanegodd hefyd ogoniant i'r darostyngedig. Oblegid y bobl a alwyd yn nghyd megys at ryw arddrychiad mawrygus. Y byddinoedd Ymherodrol a safent dan eu harfau yn y maes cyfnesol; yna daeth yn mlaen ddeiliaid Caradawc, a chludwyd yr arfau, a'r seirch, a'r tyrch,* a'r pethau a ennillasai efe mewn rhyfeloedd. Yn y man, daeth yn mlaen ei frodyr, a'i wraig, a'i ferch; ac yn olaf o'r cwbl ymddangosodd Caradawc ei hun. Y lleill mewn modd gwael a roisant le i erfyniadau, trwy ofn. Eithr Caradawc ni ofynodd am drugaredd, naill na thrwy ostwng ei ben, na thrwy eiriau, ond safodd ger bron yr orseddfainc, a llefarodd yn y dull canlynol: "Pe buasai mesur fy llwyddiant yn gyfartal i'm huchel fonedd a'm cyflwr genedigol, gallaswn ddyfod i'r ddinas hon, yn gyfaill, yn hytrach nag yn garcharor; ac ni fuaset tithau yn cael dy ddianrhydeddu trwy dderbyn i ammod heddwch, un wedi deilliaw oddiwrth hynafiaid clodfawr, ac yn rheoli amrywiol genhedloedd. Fy nghynged bresenol, fel ag y mae yn anffodus i mi, felly y mae yn fawrygus i tithau. Yr oedd genyf feirch, rhyfelwyr, arfau, cyfoeth; pwy ryfeddod os oeddwn yn anfoddlon iddeu colli?—Oblegid os chwychwi a fynwch lywodraethu ar bawb, a ydyw yn canlyn fod i bawb dderbyn caethrawd? Pe buaswn yn ymddarostwng yn uniongyrch, ni fuasai na fy nghyflwr i na dy ogoniant dithau yn ymenwogi, ac anghof a ganlynasai fy narostyngiad; eithr yn awr os arbedi fi yn ddiniweid, byddaf yn anghraifft dragywyddol o diriondeb."

Ar hyn, Claudius a roddodd ollyngiad iddo ef, a'i wraig, a'i frodyr, ac a'u rhyddhaodd o'u cadwynau. Ac yr oedd gorfoledd dirfawr trwy Rufain o achos ymddangosiad Caradawc yno, "Nid llai," medd Tacitus, "na phan dygwyd SYPHAX yno gan SCIPIO, a PERSES gan L. PAULUS, neu neb o'r brenhinoedd eraill a ymddangosasent yno yn garcharorion."

Yn mha iaith yr adroddodd Caradawc yr araeth nodedig hon, ni wyddys. Eithr ni allaf ymattal rhag sylwi ar y modd cyfeiliornus, yn mha un y cyfeithir hi yn gyffredinol. Yr araeth a ddechreu yn y modd hyn: "Si quanta nobilitas et fortuna mihi fuit, tanta rerum prosperarum moderatio fuisset; amicus in hanc urbem quam captus venissem," &c. A'r ystyr cyffredin a roddir i'r geiriau yw y canlynol: "Pe buasai fy *nghymmedrolder* mewn llwyddiant yn gyfartal i'm huchel fonedd," neu, "pe buasai fy *hunanreolaeth* mewn llwyddiant," &c. Yn mhlith yr holl gyfieithwyr o'r araeth hon, ac y mae amrywiol o honynt, nid oes un ar a welais erioed, nad ydyw

* *Torques;* gellir gasglu oddiwrth hyn, mai nid gan y Rhufeiniaid y dysgodd y Brytaniaid yr arfer o wisgo eurdorchau.

mewn modd annghyfiawn yn drwgliwio yr hen ryfelwr ardderchog hwn, trwy wneud iddo ei gyhuddo ei hun o anghymmedrolder; a hynny a wnant, am nad ydynt yn iawn bwyso y iaith; canys rhyfygaf haeru (er nad wyf ond un yn erbyn llu,) nad oes gan y gair *moderatio* yn yr araeth hon, un perthynas i'r ystyr o *gymmedrolder*, neu *ymogeliad gormodedd;* eithr ei fod yn arwyddocau *mesuriad* yn unig. Nid oes dim yn hanes Caradawc i beri y tybiad lleiaf ei fod erioed yn euog o ddim, a haeddai y cyfryw gyhuddiad; eithr, yn hytrach derbynia bob canmoliad, megys gwron dodwiw ac anrhydeddus. Pe ar achlysur cyffredin y buasai y cyfryw gamsyniad yn ymddangos, ni fuasai yn gofyn sylwadau mor faith; ond gan ei fod yn taflu gwarth ar enw a chymeriad gwron mor deilwng, y mae cyfiawnder yn gystal a gwladgarwch yn galw am hyn o ymddiffyniad.

Ond, cyn ymadael â hanes Caradawc, y mae yn ddyledus sylwi ar yr anghysondeb a hanfoda mewn perthynas iddei achau. Y rhai a lynant wrth yr hanesion Cymraeg, a ddywedant, Ei fod yn fab i FRAN AB LLYR LLEDIAITH; a hyn a wnant, ar awdurdod y Trioedd, a'r achau Cymraeg; eithr y rhai a roddant y flaenoriaeth i ysgrifwyr pellenig, a haerant, mai mab i GYNFELYN oedd efe, ac a gynnygant awdurdod DION CASSIUS am hyn: ac felly, i'r dyben o geisio dyfod at ryw benderfyniad, gadewch i ni ymchwilio i deilyngdod y gwahanol awdurdodau hyn.

Yn y Trioedd darllenir yn y modd canlynol:—

"Tair Gwelygordd* Santaidd Ynys Prydain; Gwelygordd Brân Fendigaid ab Llyr Llediaith, sef y Brân hwnnw a ddug ffydd yng Nghrist gyntaf i'r ynys honn o Rufain, lle y bu ef yn ngharchar trwy frad Aregwedd Foeddawg, merch Afarwy ap Lludd. Ail Gwelygordd Cynedda Wledig, a roddes Dir a Braint gyntaf i Dduw a'r Saint yn Ynys Prydain. Trydydd ydoedd Brychan Brycheiniawg, a ddug ei blant a'i wyrion ar ddysg a boneddig, fal y gallent ddangos y ffydd yng Nghrist i Genedl y Cymry, lle ydd oeddent yn ddiffydd."—TR. 18.

"Tri Gwynfendigiont Teyrnedd Ynys Prydain: Bran fendigaid ab Llyr Llediaith a ddygwys gyntaf ffydd yn Nghrist i Genedl y Cymry o Rufain, lle y bu efe saith mlynedd yngwystl ei fab Caradawc, a ddug gwŷr Rhufain yng ngharchar, gwedi ei fradychu trwy dwyll a thwyll a chyallwyn Aregwedd Foeddawg."—TR. 35. &c. &c.

Yr un peth a gyfeirir atto mewn amryw fannau eraill. Ac hefyd y mae yr achau yn cyttuno yn yr un honniad; sef yn y modd canlynol: Caradawc ap Bran, ap Llyr Llediaith, ab Paror, ap Ceri Hir Lyngwyn, ab Cadog, ab Arth, ab Meirion, ab Ceraint, ab Eidol, &c. Hefyd, y mae [illegible] Caradawc yn cael eu henwi yn gystal a'i hynafiaid.

Ar yr ochr arall Dion Cassius a fynega i'r perwyl hwn.

"Y Brytaniaid, ar diriad y Rhufeiniaid, "a giliasant i'r gwerni a'r coed-

* Llwyth. † Bendigedigion.

ydd gan obeithio trwy eu treulio ymaith, megys y gwnaethpwyd i Iulius Cæsar,* beri iddynt ymadael yn ddifudd. Felly Plautius wedi eu ceisio gyda mawr drafferth, o'r diwedd, ar ol eu cael; [nid oeddynt yn annibynol, eithr yn ddarostyngedig i frenhinoedd ereill;] yn gyntaf, a orchfygodd CATARATACOS, ac wedi hynny, TOGODUMNOS, meibion CUNOBELINOS, canys yr oedd efe [Cunobelinos] wedi marw." †

Felly gwelir mai rhwng yr awdurdodau hyn y mae yr ymryson.

Am y Trioedd, ni wyddys yn mha oes y cyfansoddwyd hwy; ac, am hynny, ni ellir honni eu gwirionedd diffuant. Ond gadewch i ni ofyn, A oes gwell hawl i gywirdra haeriad Dion Cassius?—Barnaf nad oes. Yr oedd yr Awdwr hwnnw yn byw yn y 3edd ganrif, yn agos i ddau cant o flynyddau ar ol amser Caradawc; ac a ydyw ei awdurdod mor anwadadwy mewn perthynas i amgylchiadau cenedl bellenig, na allai wybod dim o'n plegid ond trwy fynegiadau dynion eraill, a bod ei haeriad noeth yn cael ei dderbyn yn ngwrthwyneb i hanesion priodol y cyfryw genedl? Nid oes lle i wadu fod D. Cassius yn eirwyr, mor belled ag yr oedd ei wybodaeth yn cyrhaedd; ond ni ellir cyfrif iddo ef, nag i un arall, o'r hanesyddion Rhufeinig, anffaeledigrwydd. Ie, yn hytrach, yr oeddynt yn nodedig annghywir pan draethent amgylchiadau neillduol gwledydd pellenig. Er anghraifft, cymmerwn waith Tacitus, y mwyaf cywir o'r holl hen hanesyddion; ond edrychwn ar y modd gwarthus yn mha un y mae efe yn adrodd anwiredd, pan yn traethu hanes yr Iuddewon. Y mae yn dywedyd iddynt ffoi o ynys Creta, i'r Aipht; ac iddynt gael yr enw *Iudæi*, oddiwrth fynydd *Ida*, yn yr ynys honno. I Moses gael allan ddwfr yn yr anialwch trwy ganlyn mintai o asynod gwylltion, a bod yr Iuddewon yn cadw yn gysegredig, o fewn iddeu hystafelloedd, lun asyn gwyllt, er diolchgarwch. Ac amryw bethau o'r fath y mynega efe am danynt. Nid oedd gan Tacitus un esgus am y cyfeiliornadau hyn. Yr oedd lluoedd o Iuddewon yn Rhufain, ac yr oedd yr ysgrythyrau wedi eu cyfieithu i'r Groeg, oesoedd cyn ei amser, ac o fewn iddei gyrhaedd; hefyd, yr oedd yr Apostol Paul gwedi bod yn pregethu yno yn ei oes ef. Ac os yn ngwyneb yr holl gyfleusderau hyn, yr oedd hanesydd fel Tacitus yn adrodd cymmaint o anwiredd am genedl liosog gerllaw iddo; oni allwn feddwl y gallasai Dion Cassius yntau gamsynied, yn nghylch achau blaenor, mewn ynys bellenig, ddau cant o flynyddau cyn ei amser? Ond yn awr, y mae gofyniad arall yn ymgynnyg i'n sylw; sef, yw, Os nid mab i Gynfelyn oedd Caradawc, pa fodd y daeth Dion Cassius, neu yr awdwyr a ganlynai, i haeru y cyfryw beth? Attebaf fy mod yn meddwl y

* Cadarnhad ychwanegol i'r hyn a roddwyd yn nghylch aflwyddiant Cæsar yn Mhrydain.

† O eisiau llythyrenau Groeg, ni allaf roddi y cysefin yn ei iawn ddull; eithr gall y darllenydd ffurfio barn am dano, oddiwrth y cymhwysiad canlynol: *Proton men Kataratacon, epeita Togodoumnon, Kunobellinou paidas, enikesen; autos gar etethnekei.*"

gellir gweled dehongliad o hyn yn y Trioedd, lle y dywedir yn y modd canlynol:—

"Tair Gosgordd Addwyn Ynys Prydain: Gosgordd Belyn fab Cynfelyn yn nghadfel Caradawc ab Brân, a gosgordd Mynyddawc Eiddin yng Nghattraeth, a Gosgordd Drywon ab Nudd Hael yn Rhodwydd Arderydd yn y Gogledd; sef ydd elei bawb yn y rhai hynny, ar eu treul eu hunein heb aros gofyn, ac heb erchi na thal nag anrheg, y gan wlad na chan deyrn; ac achaws hynny a'u gelwid hwy y Tair Gosgordd Addwyn."—Tr. 79.

Canfyddir yma fod y Trioedd yn arddel gwasanaeth un o feibion Cynfelyn, eithr yn dywedyd mai dan dywysiad Caradawc ap Brân yr oedd; a'r amgylchiad hyn, yn ol fy marn i, a fu yn achlysur o'r camsyniad dan sylw; gan y tybiaf iddo beri i ryw hanesydd Rufeinig feddwl mai rhaid oedd, fod Caradawc yn fab i Cynfelyn, gan y gwyddai fod deiliaid Cynfelyn yn ymladd dan ei flaenoriaeth; ond nid tebygol y buasai i genedl mor gadarn a rhyfelgar a'r Siluriaid fod mor ymddifad o flaenor genedigol, a gosod eu hunain dan dywysiad dyeithryn. Ond y mae yn dra thebygol, i lwythau Lloegr, y rhai oeddynt eisioes wedi eu gwanhau trwy ymraniadau, osod eu hunain dan nawdd llywydd o lwyth enwog a rhyfelgar, a rhoddi iddo yr unbennaeth yn y modd y gwnaethasent i Gaswallawn yn amser Iulius Cæsar. Ac at y cyfryw unbennaeth y mae Caradawc ei hun yn cyfeirio yn ei araeth, pan y dywed ei fod yn llywodraethu amrywiol genhedloedd, "pluribus gentibus imperitantem." Hefyd, at y cyfryw unbennaeth, y mae y Trioedd yn cyfeirio, pan y crybwyllant am ei dderchafiad i'r sefyllfa hwnw trwy etholiad.

"Tri unbennrhaith Ynys Prydain; Un Caswallawn ab Lludd ab Beli ab Mynogan; Ail, Caradawc ap Brân ap Llyr Llediaith. Trydydd, Owain ab Macsen Wledig, sef o Raith Gwlad a Chenedl y doded arnynt yr Unbennaeth, lle nad oeddynt Hyneifiaid."—Tr. 17.

Hefyd—

"Tri Unbenn Dygynnull Ynys Prydain; Cyntaf Prydain fab Aedd Mawr pan rodded Teyrnedd ddosparthus ar Ynys Prydain a'i rhagynysoedd. Ail, Caradawc ap Bran pan ddoded arnaw ef Gattëyrnedd holl ynys Prydain er attal cyrch gwyr Rufain. Ac Owain ab Macsen Wledig pan gawsant y Cymry'r Deyrnedd ym mraint eu cenedl eu hunain y gan yr Ymherawdr Rhufein. Sef eu gelwyr y rhain y Tri Unbenn Dygynnull, am eu breiniaw felly y gan dygynnull gwlad a gorwlad dan holl derfynau cenedl y Cymry, a chynnal dygynnull ymhob Cyfoeth a Chwmmwd a Chantref yn ynys Prydain a'i rhagynysoedd.—Tr. 34.

Hefyd gelwir ef yn un o'r "Tri Chynweisiaid:"—

"Sef a'u gelwyd felly am fyned, o'u gwir fodd, holl wyr ynys Prydain o deyrn i aillt, yn wyr iddynt, wrth raid gwlad rhag rhuthr gal a difrawd," &c.—Tr. 41.

Gelwir ef hefyd yn un o'r "Tri glewion Unbennaid;" a'r "Tri Prif Gatteyrn; y Tri Bancewyddion Teyrnedd; a'r Tri Madoreilittiwr," &c.

Meddyliaf hefyd, mai at darddiad Caradawc o lwyth dyeithr, y mae Dion Cassius yn cyfeirio, pan ddywed am y llwythau y sawl a orchfygodd

Plautius ar ei diriad, nad oeddynt ddim yn "annibynol; eithr dan lywodraeth frenhinoedd eraill;" canys hyn a ddeallaf oddiwrth y geiriau, "*Esan de ouk autonomoi all' allois basileusi prostetagmenois.*" Ac er cadarnhad o hyn, gallwn sylwi fod y Trioedd yn cyfeirio at ardal Esyllwg, megys gwlad gyntefig Caradawc.

"Tri Buelydd* Gosgordd Ynys Prydain: Bennren Fuelydd yng Ngorwennydd a gedwis Fuel† Caradawc ab Brân a'i osgordd; ac yn y Fuel honno ugain mil ac un yn wartheg blithion. Ail Gwydion ap Don a gedwis Wartheg Gosgordd Gwynedd Uch Conwy, ac yn y Fuel honno ugain mil ac un. Trydydd Llawfrodedd Farfawc a fuelis wartheg Nudd Hael fab Senyllt, ac yn y fuel honno ugain mil ac un o Wartheg blithion."—TR. 85.

Etto—

"Tri Defeidydd‡ Gosgordd Ynys Prydain; Collwyn, Defeidydd Gosgordd Brân ap Llyr Llediaith yn Morganwg. Pybydd Moel, defeidydd gosgordd Tegerin Llwyth Llwydiarth ym Môn. A Gwesyn, defeidydd Gosgordd Goronwy ab Ednywain brenin Tegeingl yn Rhyfoniog; ac o'i enw ef y gelwir Gwesyn ar fygail defaid. Sef oedd rhif a gadwai pob un o'r triwyr hynny chweugain mil; ac y danynt bob un drichant o feibion eillion yn nawdd genedl y Cymry."—TR. 99.

Ond, honnir megys un o'r dadleuon cadarnaf yn erbyn fod Caradawc yn fab i Frân, nad ydyw Tacitus, er ei fod yn crybwyll am wraig Caradawc, a'i ferch â'i frodyr, etto ddim yn son am ei *dad* yn mhlith y carcharorion; a meddylir pe buasai yn eu plith, na fuasai yr awdwr hwnnw yn ei adael allan, gan ei fod mwy nag unwaith yn cyfeirio at ei dylwyth. Eithr wrth sylwi ar y Trioedd, y mae yn yr olaf a ail-adroddwyd uchod, un ymadrodd yn rhoddi achos i feddwl nad oedd Brân yn mhlith y carcharorion, pan ymddangosodd Caradawc ger bron Claudius yn Rhufain, oblegid dywed mai yn *ngwystl* ei fab yr oedd efe yno, sef megys meichiau drosto, yr hyn ni allasai fod, pe buasai eisioes mewn gafael, fel carcharor. Am hynny ni allaf lai na meddwl, mai carcharor gwirfoddol oedd Brân, gwedi rhoddi ei hunan i fynu yn wystl. Pa radd o ryddid, neu pa freintiau ychwanegol a ennillodd iddei fab trwy ymwystlo drosto, nid ymddengys; pa un ai caniatad i ddychwelyd i Frydain, neu ynte i fyw yn drwyddedog yn rhyw ran arall o'r ymherodraeth; eithr hyn sydd ddilys, fod yr arfer o dderbyn gwystlon yn gyffredin iawn yn mhlith y Rhufeiniaid, ac ar hyn o bryd, diamheu y byddent yn barod ddigon i wneuthur hynny, i ennill ewyllys da, yn mhlith cenedl ag oedd yn peri cymmaint o drafferth iddynt, ag y gwnai y Brytaniaid.

Y mae y Trioedd hefyd yn crybwyll am eppil Caradawc, yn yr un modd ag am ei hynafiaid:—

"Tri mad-Gyrfinydd Ynys Prydain; Corfinwr, bardd Ceri Hir Lyngwyn, a wnaeth Long, Hwyl a Llyw, gyntaf i Genedl y Cymry. Morddal Gwr Gweilgi, Saer Ceraint ab

* Bugail gwartheg. † Praidd gwartheg. ‡ Bugail defaid.

Greidiawl, a ddysges waith maen a chalch gyntaf i Genedl y Cymry, yn yr amser y bu Alecsander Ammherodr yn dwyn y byd y danaw. A Choel ab Cyllin ab Caradawg ab Brân, a wnaeth melin rhod ac olwyn, gyntaf i Genedl y Cymry. A thri meib beirdd oeddynt." —TR. 91.

Ac y maent hefyd yn son am fab i Llyr Llediaith, o'r enw MANAWYDAN, yr hwn a gyfrifid yn un o'r "Tri Lleddf Unben, gwedi dwyn yngharchar teulu Brân ap Llyr, ei frawd."

Ond dyledus sylwi yma nad ydyw y Brut ddim yn cyffwrdd â hanes Caradawc, ac nid yw yn cynnwys ond ychydig perthynol i'r amseroedd hynny.

Felly, os yr un gwr yw *Kataratacos* a *Caractacus*, yr hyn a ganiateir yn gyffredinol, hyderaf fynegu fy marn, fod mwy o bwys iddei osod ar hysbysiad y Trioedd mewn perthynas iddei achau, nag sydd i'r hanesydd Groeg.

Gellir meddwl fy mod wedi treulio mwy o amser ar y ddadl hon nag yr haedda, ond dylem syniaw mai nid cywiriad y peth hyn yn unig, sydd iddei ofalu am dano, ond y mae cymmeriad yr hanesion Cymraeg yn ymddibynu arno i raddau mawr, yn enwedig y mynegiadau am ddyfodiad yr Efengyl i'r ynys hon; canys os dymchwelir awdurdod y Trioedd yn y fath hysbysiad a hwn, cyrhaedda yn gryn bell i ddiddymmu eu hawdurdod yn y cwbl a draethant. Ond meddyliaf eu bod yn hyn o beth yn sefyll yn gadarn ac yn ddiysgog.

Ac heblaw y boddlonrwydd o weled gwir hanesiad yn cael ei sefydlu, yn hytrach nag un ffugiol, y mae hanes Caradawc yn galw am ymddiffyniad mewn amryw o bethau. Yr oedd yn anrhydedd i'n cenedl megys rhyfelwr dewr a thywysog gwladgar; y mae ei hanes yn dwyn perthynas agos â dyfodiad yr Efengyl i'n plith; ac y mae amrywiol dylwythau yn y dywysogaeth y dydd heddyw, y rhai ydynt, os gwir a draetha'r achau, yn dwyn yn eu gwythienau, waed y gwron clodwiw hwn.

Dylid syniaw yma fod rhai, trwy gyffelybrwydd yr enwau, yn meddwl mai yr un gwr oedd Caradawc ap Brân, a CHARADAWC FRAICHFRAS. Ond camsyniad ydyw hyn, gwahanol ddynion oeddynt; yr oedd yr olaf yn byw yn y 6ed ganrif. Crybwyllir am dano yn ei briod le. Eithr dychwelwn at y Brytaniaid a'u rhyfeliad.

Yr Esyllwyr, er eu trechu yn y frwydr, etto nid oeddynt wedi colli eu calondid a'u hysbryd annibynol. Eithr parhasant mewn arfau, ac i wneuthur ymosodiadau dibaid ar y byddinoedd Rhufeinig. "Oddiwrth hyn," medd Tacitus, "y bu aml frwydrau, ac fynychaf ar ddull lladradwaith, trwy goedydd, trwy ffosydd, fel y dygwyddai. Weithiau, yn ddisymwth, ac weithiau, yn rhagddarparus; weithiau, o achos digasedd; bryd arall, er mwyn yspail; ambell waith, trwy orchymmyn y blaenoriaid, a phryd

arall yn ddiarwybod iddynt. Ac yn bendifaddeu o herwydd ystyfnigrwydd yr Esyllwyr, y rhai a gynhyrfwyd trwy fygythiad y Penllywydd Rhufeinig, y byddai iddo lwyr ddileu enw yr Esyllwyr fel ag a gwnaethpwyd i'r *Sugambri* gynt," * [llwyth yn Germania.]

Yn ystod yr amser hyn anfonwyd dau lu o Rufeiniaid allan i geisio yspail, a hwynthwy a orchfygwyd ac a ddyfethwyd gan yr Esyllwyr. A'r llwythau ereill a ddechreuasant gyfodi yn erbyn y Rhufeiniaid, a'r blinder a'r dygwyddiadau hyn yn nghyda thrafferth y rhyfel a effeithiodd gymmaint ar Ostorius, a pheri ei farwolaeth.

## A. DIDIUS.

Ar ol marw Ostorius, daeth AULUS† DIDIUS GALLUS yn flaenor ar y byddinoedd Rhufeinig, yn y flwyddyn 53, a chafodd yr Esyllwyr mewn arfau, ac yn gwneuthur ymosodiadau ar eu gelynion; ac yn mhlith gorchestion eraill, yr oeddynt wedi gorchfygu lleng gyfan mewn brwydr. Didius a ymladdodd amryw frwydrau yn erbyn Venusius, eithr yn ddilwydd; ac yn mhen ychydig amser dychwelodd i Rufain.

Rhai a dybiant mai oddiwrth *Didius* y deillia enw *Caerdydd;* eithr nis gallaf gydfyned â hyn, oblegid nid wyf yn credu fod gan y Rhufeiniaid un sefyllfa yn ngwlad yr Esyllwyr, ar y pryd hwn; o herwydd nid oedd y genedl honno wedi ei darostwng, dros yn agos i ugain mlynedd ar ol hyn. Ac yn lle gallu adeiladu caer, yn ngwlad y fath lwyth rhyfelgar, a phobl Essyllwg, yn ystod yr ychydig amser y bu yn yr ynys, y mae yn amlwg oddiwrth eiriau Tacitus, fod gan Didius ddigon o orchwyl i wrthsefyll eu rhuthradau hwy yn y caerau a adeiladwyd eisioes, yn yr ardaloedd gorchfygedig.‡ Ac heblaw hyn oll, er fod yr enw *Caerdydd*, iddei weled mewn rhai ysgrifau o Frut y Tywysogion, etto mewn eraill, *Caerdyf* ydyw y gair. Ac yn yr ysgrifau henaf yn mha rai y ceir yr enw, sef yn ngwaith Giraldus Cambrensis, yr hwn a ysgrifenwyd o gylch y flwyddyn 1190, *Caerdyf* ydyw y llythyreniad o hono; megys yn y canlynol, "*Fluvio Remni transcurso, ad nobile super aquam Taf de Caerdyf castrum pervenimus.*"‖

* "Crebra hinc prœlia, et sæpius in modo latrocinii: per saltus, per paludes, ut cuique sors aut virtus; temerè, provisò; ob iram, ob prædam; jussu, et aliquando ignaris ducibus. Ac præcipuâ Silurum pervicaciâ, quos accendebat vulgata imperatoris Romani vox: ut quondam Sugambri excisi: ita Silurum nomen penitus extinguendum."

† Gelwir ef AVITUS mewn rhai ysgrifau.

‡ Dywed Tacitus, "Didius Gallus parta a prioribus continuit, paucis admodum castellis in ulteriora promotis." Ac hefyd, "Nam Didius senectute gravis, et multa copia honorum, per ministros agere et arcere hostem satis habebat."

‖ "Ar ol croesi yr afon Rhymni, daethom at Gastell ardderchog Caerdyf, a'r ddwfr Taf."—Nid ymddengys pa un ai sain y *v* neu yr *ff* a rydd Giraldus i'r lythyren *f;* canys nid ydyw yn canlyn un gyfundraeth sefydlog, megys y gwelir yn y geiriau canlynol, Cantref, Hafren, Llanymddyfri, Dinevor, Aberfrau, Gruffinus, &c.

Y rhaglaw Didius a oedd mewn gwth o oedran, ond yn wr anrhydeddus; eithr o herwydd ei oedran yn anaddas iddei sefyllfa. Dychwelodd i Rufain heb gyflawni un weithred nodedig yma.

### VERANIUS.

Ar ol ymadawiad Didius, daeth VERANIUS i flaenori ar y byddinoedd Rhufeinig, o gylch y flwyddyn 57. Gwnaeth rai ymosodiadau bychain ar y Siluriad, ond ni chyflawnodd ddim yn haeddianol o goffadwriaeth; eithr ymffrostiodd lawer. Bu farw o fewn i flwyddyn ar ol ei ddyfodiad.

O gylch yr amseroedd hyn, os oes sail i'r hyn a draethir gan RICHARD o CIRENCESTER, trawsfudodd ran o lwyth y Cangi a llwyth y Brigantwys o Brydain i'r Iwerddon, ac a ymsefydlasant yno.*

Yn mha gwrr o'r Iwerddon yr arhosodd y bobl hyn, nis gwn, eithr meddyliaf weithiau, fod GOLYDDAN, bardd o'r 7fed ganrif, yn cyfeirio at ryw lwyth gwahanol i'r gwaedoliaeth Wyddelaeg, ar yr oror o gylch dinas *Dulyn*, [Dublin,] pan y mae yn ei gyfansoddiad a elwir *Arymes Prydain Fawr*, yn dywedyd yn y modd canlynol:—

> "A chymod Cymry a gwyr Dulyn
> Gwyddyl Iwerddon, Môn a Phrydyn,†
> Cernyw a Chludwys,‡ eu cynwys genhyn."

### SUETONIUS PAULLINUS.

Gwedi marwolaeth Veranius, anfonwyd Suetonius Paullinus yn raglaw, i Brydain, o gylch y flwyddyn 58. Gwr medrus a rhyfelgar. Y blaenor hwn yn gynnar ar ol ei ddyfodiad a gychwynodd tuag Ynys Môn; "Ynys gadarn ac yn noddfa ffoedigion." Ac i'r dyben i drosglwyddo ei filwyr dros gulfor Menai, efe a ffurfiodd fadau â gwaelodau gwastad, at gludo y gwŷr traed, a pherodd i'r marchwyr fyned drwodd naill ai trwy gael allan ryd, neu ynte trwy nofiaw. "Yno," medd Tacitus, "safai ar y traeth dyrfa o wŷr arfog, a menywaid yn rhedeg yma a thraw yn eu plith, megys gwyllion, mewn dillad galarwisgaidd, a'u gwallt yn daenedig, gan ddwyn ffaglau o dân. Y Derwyddon hefyd, gan sefyll oddiamgylch â'u dwylaw yn dderchafedig tua'r nefoedd, a dywalltent weddiau dygnawl ac erchyll. Y milwyr a darawyd â syndod gan newydd-dra yr olygfa; ac fel pe buasai eu haelodau wedi eu glynu, goddefent eu cyrph i aros yn annysgogwal dan eu dwyfau. Ar ol ychydig amser, trwy gynhyrfiadau eu blaenoriaid, a hwynt-

* "Circa hæc tempora, relicta Brittania, Cangi et Brigantes in Hiberniam commigrarunt, sedesque ibi posuerunt."

† Yr Alban. ‡ Pobl Strathclyd, yn yr Alban.

hwy eu hunain yn annog eu gilydd i beidio cael eu harswydo gan dorf fenywaidd, a ddygasant yn mlaen eu bannerau, ac a ddymchwelasant y rhai a safent ar eu ffordd, ac a'u bwriasant iddeu tanau eû hunain."

"Gosodwyd llu gwarcheidawl ar y gorchfygedig, a thorrwyd i lawr y llwyni ag oeddynt yn gyssegredig iddeu coel-grefydd ffyrnig a chreulon; canys cyfrifent yn addas, i boethoffrymu ar eu hallorau, waed caethion; ac i ymgynghori â'r duwiau trwy gyssegr-chwilio ymysgaroedd dynion."

Cytunir yn gyffredinol i'r amgylchiad hyn gymmeryd lle yn nghymmydogaeth *Llanidan*; ac y mae etto gerllaw, amryw weddillion Derwyddol, megys cromlechau, a meini hirion, iddeu gweled; ac y mae yn ddilys fod llawer ereill wedi eu dinystrio. Y rhai hyn a feddylir oeddynt yr allorau y rhai y crybwylla Tacitus am danynt, ar ba rai y dywed, fod y Derwyddon yn aberthu dynion. Y mae yn debygol ddigon, mai allorau ydoedd rhai o'r cromlechau hyn; eithr cyn caniatau eu bod yn cael eu harferyd, at gyflawni y cyfryw ddefodau gwaedlyd, gadewch i ni holi ychydig, a ydyw Tacitus mor haeddiannol o gred, a bod i ni dderbyn ei dystiolaeth yn erbyn ein hynafiaid, megys pe bai yn hollwirioneddol yn ei haeriadau. Hyderaf fy mod wedi rhoddi digon o brofion eisioes o annghywirdeb yr awdwr hwn, mewn perthynas i amgylchiadau neillduol gwledydd dyeithr, yn yr hyn a ddangosais am ei fynegiadau annwireddol yn ei hanes o ddefodau yr Iuddewon. A thra byddo y cyfryw gyfeiliornadau atgas o flaen fy llygaid, nis gallaf lai na datgan fy marn yn eofn, nad yw Tacitus ddim yn haeddianol o gred, pan yn traethu am ddefodau neillduol cenhedloedd pellenig.

Am yr haeriad fod y Brytaniaid yn dihenyddio carcharorion, meddyliaf y gallai hynny fod yn wir, heb eu bod hwy yn euog o fwy o greulondeb, na holl wledydd Ewropa y dydd heddyw; oblegid tebygol yw, mai *drwgweithredwyr* oedd y cyfryw garcharorion, ac nad oedd eu dihenyddiad ddim ond cyflawniad dedfryd y gyfraith, yn yr un modd ag y cospir troseddau y dydd heddyw. A phan sylwir ar y torfeydd a ymgynhullant yn nheyrnas Lloegr, i weled rhyw ddyhiryn yn dyoddef ar y grogbren, neu yn Ffrainc i syllu arno yn cael ei wthio dan y torfynyglyn, a ellir cyhuddo o greulonder yr hen Frytaniaid, am eu bod hwynthwy hefyd yn cynnal rheolau deddf a chyfraith, trwy gospi drwgweithredwyr yn ol defodau eu gwlad.

## BOUDICEA.

Pan oedd Suetonius yn y modd hyn yn canlyn goresgyniad Môn, clywodd fod y dalaeth Rufeinig o'r ynys wedi cyfodi mewn gwrthryfel. Yr achos o hyn oedd, fod Prasutagus, brenin yr Iceni, yn ei ysgrif ewyllys, wedi gwneuthur yr Ymherawdr yn etifedd iddo; gan feddwl y buasai hynny yn noddi ei deyrnas, a'i deulu rhag camwedd. Ond y gwrthwyneb

a ddygwyddodd, canys anrheithiwyd ei deyrnas gan swyddogion, a'i dŷ gan gaethweision, ei wraig BOUDICEA* a fflangellwyd, a'i ferched a ddianrhydeddwyd.

Y Frenhines yma a gynhyrfwyd trwy y sarhadau hyn, i annog ei chydwladwyr i gyfodi yn erbyn eu gormeswyr, ac a gasglodd fyddin o chwech ugain mil o wŷr. Y fenyw hon ydoedd o hiliogaeth frenhinol, ac o ysbryd tra derchafedig; "yr ydoedd o gorpholaeth uchel a hardd, o wynebpryd gerwin, tremiad sarug, a llais gorarw; yr oedd ei gwallt melyn hir yn cyrhaedd hyd ei chlynau, a dygai [am ei gwddf] dorch aur fawr; dilladwyd hi hefyd â gwisg amryliw, a thros honno, bilyn trwchus; a thyna y modd yr ymwisgai yn wastadol. Yno, [gwedi esgyn i areithfa] gan afaelyd mewn gwaewffon, megys er brawychu pawb, cyfarchodd hwy yn y modd canlynol:"—

"Y mae yn adnabyddus i chwi, yn awr, pa faint y mae rhyddid yn rhagori ar gaethwasanaeth; canys os bu neb o honoch gynt, yn anwybodus pa un sydd oreu, gan gael ei dwyllo trwy addewidion gwenieithus y Rhufeiniaid; yr awr hon yn ddiau, gan brofi yr hyn sydd oreu, yr ydych wedi dysgu pa mor belled y cyfeiliornasoch, gan barchu gormesiad estronol uwchlaw defodau eich gwlad, yr ydych yn wybodus faint y mae y tlodi y rhyddfreiniol yn rhagori ar olud y caethwas. Pa beth sydd fwy gwaradwyddus, pa beth yn fwy blin, na'r hyn a ddyoddefasom er y pryd yr edrychasant hwy gyntaf ar Brydain? Onid ein difuddir o'n holl feddiannau goreu a helaethaf, ac o'r gweddill, oni thalwn dreth? Onid ydym heblaw hyn oll, yn aredig ac yn trin y tir iddynt hwy, ac yn talu trethiad corphorol yn flynyddol iddynt?"

"Pa faint gwell a fyddai, unwaith ymddarostwng i angau, na pharhau dan ffugiol enwau rhyddid? Pa faint well gael ein llwyr ddyfetha, na dwyn oddiamgylch bennau trethedig? Eithr paham y llefaraf yn y modd hyn? Nid oes rhyddhad oddiwrth drethiad i'r trancedig, ond y mae hyd yn nod y meirw yn drethedig. Yn mhlith dynion eraill y mae angau yn rhyddhau oddiwrth drethiad; eithr gyda y Rhufeiniaid y mae y meirw yn byw tuag at eu trethu,"† &c.

"Eithr nyni ein hunain, os dywedaf wirionedd, a oeddym yr achlysur o'r drygau hyn oll; y rhai, yn y dechreuad, a oddefasom iddynt esgyn i'r ynys, ac na yrrasom o honynt ymaith yn ddiattreg, megys y gwnaethpwyd i *Iulius Cæsar;* ac fel y gwnaethom i *Augustus* ac i *Gaius Caligula;* gan ddangos iddynt mai peth ofnawl oedd ceisio mordwyaw yma."‡

* Gelwir hi hefyd *Boadicea*, a *Voadica*, ac yn y Groeg *Boundouica;* eithr y Cymry a'i galwant *Buddig*.

† Meddyliaf y cyfeiria yma at y modd y bu i'r Rhufeiniaid ymddwyn mewn perthynas i Ysgrif ewyllys ei gwr Prasutagus.

‡ Y mae lle i feddwl oddiwrth hyn, i'r ddau Ymherawdr yma, nid yn unig *fwriadu* gwneuthur ymosodiad ar ynys Brydain, ond hefyd gynnyg cyflawni y cyfryw fwriad.

Ar ol amryw sylwadau i'r un defnydd, y frenhines a frysiodd i fyne( y modd yr oedd ei chydwladwyr yn rhagori ar y Rhufeiniaid. "Hwyn hwy," ebai hi am y Rhufeiniaid, "ni allant gan bwys eu harfau, nag ymli na ffoi; ac os cyrchant allan ar un ryw bryd; yn y man, ffoant i ryw nodedig, ac yno y gyrrir hwy gennym, ac a'u caeir, megys mewn ffa Ac yn enwedig yn y pethau hyn, y maent o lawer yn waelach na nyni sef, na allant oddef na newyn na syched, nag oerni na gwres fel nyn eithr arnynt hwy y mae angen am dai a dillad, ac ŷd maluredig, gwin ac olew; ac os na fwynhant y pethau hyn, trengu a wnant. Eithr nyni, pob llyseuyn a phob gwreiddyn sydd fara, pob gwlybwr sydd olew pob dwfr sydd win, a phob pren sydd dŷ. Ac hefyd, y mae yr holl leoed yn adnabyddus i ni, ac yn gyfeillion a chydryfelwyr; ond iddynt hwy maent yn ddyeithr ac yn elyniaethol. Nyni yn noethion a nofiwn y afonydd; eithr hwynthwy braidd y croesant mewn llongau. Am hynn ymosodwn arnynt yn hyderus ac yn llwyddiannus; dangoswn iddynt m ysgafarnogod a chadnoaid ydynt yn ceisio llywodraethu ar gwn a bleidd iaid."

"A chan ddywedyd y geiriau hyn, hi a ollyngodd o'i mhynwes ysgyfa nog, er gweinyddiaw argoel; a phan redodd honno mewn modd a ddarc ganai lwyddiant iddynt, yr holl dyrfa a floeddiasant rhag gorfoledd. Boudicea, gan gyfodi ei dwylaw tua'r nef, a ddywedodd, "Yr wyf yn diolc i ti, O *Andraste!* a galwaf arnat, tydi fenyw addfwyn, &c. &c.—tydi y hon wyt yn Arglwyddes wastadol i ni." Ar ol areithio ei byddinoedd yn modd hyn, Boudica a'u harweiniodd yn erbyn y Rhufeiniaid. A'r Bry aniaid ar yr achlysur yna, a ddangosasant eondra ac ymdrech tra nodedig rhuthrasant yn orwyllt ar eu gelynion, trwy yr holl wlad; dinystriasa ddwy ddinas Rufeinig, sef *Camalodunum,** a *Verulamium.*† Yn gyntaf o'r rhai hyn, dymchwelasant y deml a gyfodwyd er anrhydedd Augustus, gan eu bod yn edrych arni, megys arwyddnod o gaethiwe diderfyn. A phan, er ceisio attal eu rhwysg, daeth y milwyr Rhufeini iddeu cyfarfod, y Brytaniaid a oresgynasant leng gyfan o honynt, ga ladd yr holl wŷr traed; a'r marchwyr yn unig a ddiangasant. Ac achos y fuddugoliaeth hon gorfu ar Catus Decianus, yr hwn oedd we bod yn ormeswr creulon arnynt, ffoi yn waradwyddus i'r cyfandir. Mc echryslon oedd yr alanastra, ac y bu i *dri ugain mil a deg* o'r Rhufeiniai a'u cyfeillion gael eu dyfetha;‡ a'r ynys yn agos iawn a lwyrgollwy ganddynt.

Dyweda yr Awdwyr Rhufeinig, fod arwyddion uwchnaturiol yn rhag fyned yr amgylchiadau ofnus hyn. Delw y dduwies *Victoria,* [Buddug oliaeth] yn y deml, yn Camalodunum, a syrthiodd i lawr heb un acho

* Colchester. † St. Albans. ‡ Neu, yn ol cyfrif arall, bedwar ugain mil.

adnabyddus, a'i gwyneb wedi troi ymaith; megys pe buasai yn ffoi oddiwrth ei gelynion. Clybwyd yn y nos, sain torfawl yn nghyntedd y Brytaniaid, gyda dirfawr chwerthiniad; ac hefyd, yn nghample y Rhufeiniaid, llais wylofain a galar, pan nad oedd neb yn un o'r lleoedd, yn llefaru nag yn wylo. Hefyd, llais menywod mewn gwylltineb yn canu am y dinystr neshaol. Gwelwyd hefyd yn aber yr afon Tafwys, lun adeiladau [dymchweledig] dan y dwfr, megys yn rhagddangos dymchweliad yr anneddfaoedd Rhufeinig. Y môr hefyd rhwng Prydain a'r Cyfandir a ymddangosodd yn waed; ac ar y trai, gadawid luniau cyrph dynion ar y traeth.

Suetonius pan glywodd am y cyfryw derfysg a galanastra, a gychwynodd o Fôn gyda ei wŷr, ac a deithiodd yn ddiwyd tua Llundain; ac oddiyno aeth i wrthsefyll rhuthr y Brytaniaid. Ac ni bu yn hir, nes i'r ddau lu ddyfod i ymgyfarfod. Y Brytaniaid a ddygasant gyda hwy eu gwragedd i ganfod yr ymladdfa. A Boudicea, gan ddwyn gyda hi ei dwy ferch yn ei cherbyd, a areithiai ei gwŷr; gan ddywedyd, ei fod yn beth arferol gan y Brytaniaid gael eu harwain i ryfel gan fenyw, eithr yn awr, nid oedd hi ddim yn eu blaenori, megys un wedi hannu oddiwrth hynafiaid ardderchog, er ennill ei theyrnas a'i chyfoeth; eithr megys un o'r werin, er dialu am ffrewylliadau ei chorph, a'i sarhadau ei hunan, a'i mherched. Yr oedd y duwiau eisioes wedi dangos y cospid y cyfryw annghyfiawnder. Yr oedd un leng eisioes wedi syrthio, yr hon a ryfygodd ddyfod i'r frwydr, a'r lleill naill ai ymguddient o fewn iddeu caerau, neu ffoent ymaith. Gan ys pa beth a ddygwyddai, ei bwriad hi y dydd hwnnw ydoedd, naill ai buddugoliaethu neu syrthio; dyna oedd ei phenderfyniad fel menyw. Am y gwŷr, os dewisent yn hytrach; byddent fyw yn gaethweision.

Suetonius ynte, nid oedd yn ddiegni, eithr areithiodd ei fyddinoedd, gan eu hannog i beidio cael eu harswydo gan derfysg y barbariaid; ond i ymwroli.

Yna y lluoedd a gydruthrasant i'r frwydr. Y Brytaniaid a ddaethant yn mlaen gyda bloeddiadau croch, eithr y Rhufeiniaid mewn dystawrwydd a threfn; nes dyfod yn ddigon agos i daflu eu picellau, ac yno y bu rhuthr echryslon. Y milwyr traed o bob tu a ymdrechent â'u gilydd, a'r marchwyr yn yr un modd. Y saethyddion Rhufeinig a ergydient at y cerbydau Brytanaidd, a'r rhai hyn a yrrent i blith y Rhufeiniaid; eithr y Brytaniaid, gan eu bod heb lurygau, a ddyoddefasant niwed mawr oddiwrth y saethyddion. Yn mhen ychydig aeth y maes yn fwy terfysglyd; y gwŷr traed a'r gwŷr meirch a ymgymmysgent, ac weithiau y saethyddion a gilient, a phryd arall dychrynent eu gwrthwynebwyr; ac ar ol treulio hir amser yn y cyflwr hyn, o'r diwedd arfau a threfniant, y Rhufeiniaid a drechasant ar eu gelynion, a gorfu ar y Brytaniaid ffoi; ar ol colli dim llawer llai na

phedwar ugain mil, rhan fawr o ba rai yn ddiamheu oeddynt wragedd a phlant, am y dywedir nad arbedodd y milwyr ddim o'r cyfryw; ac os gallwn goelio y mynegiad, neu os nad oes unrhyw gamsyniad, y Rhufeiniaid ni chollasant ond braidd, pedwar cant wedi eu lladd, a dim llawer rhagor wedi eu clwyfo.

Y mae Dion Cassius yn dywedyd i laweroedd o'r Brytaniaid ffoi yn ddiangol, y rhai ar ol hynny a ymbarotoent i ryfel drachefn. Ond Boudicea yn y cyfamser a fu farw o glefyd,* a'i chydwladwyr a'i claddasant hi gyda pharch ac anrhydedd o'r mwyaf. Y mae yn ddilys fod y fenyw hon yn berchenog ar gynneddfau godidog, yn gystal a gwresogrwydd gwladgarwch, onite ni fuasai ddim cymmaint o sylw yn cael ei wneud o honi, a chymmaint o le yn cael ei roddi i draethiad o'i gorchestion, ac i adroddiad o'i hareithiau, yn yr hanesion byron o'r amseroedd hynny, a roddir i ni gan yr awdwyr Rhufeinig.

Yn y maeddedigaeth hwn, derbyniodd llwythau Lloegr ergyd gorchfygol, o dan effeithiau ba un ni ddarfu iddynt erioed gyfodi a gwrygio. Ond pan ystyriom yr holl amgylchiadau perthynol i'r anffawd hwn, ni allwn lai na chyfaddef, fod y canlyniad, er mor annedwydd i'n cydwladwyr, etto ddim amgen i'r hyn a allasent ddysgwyl, megys taledigaeth am eu hymddygiad blaenorol. Canys y Frenhines Boudicea, ar ol darostwng yr ardaloedd Rhufeinig, a fu euog o'r creulonder mwyaf echryslon tuag at y trigolion, gan eu lladd a'u poeni trwy arteithiau arswydus; ac hyd yn nod y menywaid ni ddihangasant oddiwrth ei llid; ar ol crybwyll am y creulonderau hyn o gyflawniad y Brytaniaid, yr ysgrifenydd Groeg a ychwanega, "A hyn oll a wnaethant yn ddirmygus, ar y pryd yr oeddynt yn aberthu, ac yn gwledda yn eu llwyni cyssegredig; yn enwedig yn eiddo ANDATE; canys felly y galwent *Buddugoliaeth*, a honno a addolent yn bennodaf."

Y mae yn debygol mai yr un dduwies a feddylir wrth ANDATE ac ANDRASTE; ac y mae rhai yn tybied y gallant ganfod yr olaf, yn y gair *Andras*, yr hwn sydd etto mewn hanfodiad, ac yn cael ei arferyd i arwyddocau *dyhiryn ysgeler;* ac weithiau, yr ysbryd drwg ei hun. Ond yr wyf yn cael fy nhueddu i feddwl mai o wreiddiau eraill y mae y gair hwnnw yn tarddu, sef, oddiwrth *an-ras*, hynny yw, *di-ras*. Ac heblaw hyn, y mae y fath wahaniaeth rhwng *Andraste* ac *Andate*, a'i fod yn dileu pob ymddiried yn llythyreniad a sain y geiriau, ac yn ychwanegu at yr hyn a ddywedais eisioes am annghywirdeb ysgrifenwyr pellenig, pan yn crybwyll am ddefodau neillduol ein hynafiaid. Ac er y gall yr hanes uchod fod yn gyson â'r gwir, o barthed y dygwyddiadau adroddedig yn gyffredinol, etto os gofynir arnom dderbyn megys gwirioneddau dilysedig, y cwbl o hono,

* Dywed Tacitus iddi farw trwy gymmeryd gwenwyn.

yn ei fanylrwydd, a chredu fod yr araeth a osoda yr hanesydd yn ngenau Boudica, air yn air fel ag y traethwyd hi ganddi; byddai yn fwy nag y mae amgylchiadau yn awdurdodi; yn enwedig pan ystyrier nifer y dwylaw, trwy ba rai y traddodwyd yr hanes, yn ei ddisgyniad at ein hoes ni. Yr hanes a ysgrifenwyd gan Dion Cassius, yn y Groeg, a chan ei fod ef yn byw yn y 3edd ganrif, y mae yn rhaid ei fod wedi derbyn defnyddiau ei hanes, oddiwrth ryw ysgrifenydd blaenorol; ond nid yw y rhan hynny o waith Dion Cassius, a gynnwysa hanes Boudicea, ddim ar glawr, oddieithr yn y talfyriad o hono, a wnaethpwyd gan IOANNES XIPHILINOS, ysgrifenydd Groeg yn y 12fed ganrif; ac o ba un y cymmerwyd yr araeth uchod o eiddo Boudicea, yn nghyda rhan fawr o'i hanes yn gyffredinol, a'r hyn a geisiais ei roddi, mor agos ag y medrwn yn ol y cysefin. Ac os bernir y iaith yn wael ac yn anystwyth, ac yn annghyfartal ag eiddo yr awdwr, fy amddiffyniad yw, fy mod yn tybied y byddai yn fwy boddhaol gael cyfieithad cywir o eiriau yr awdwr, er mewn iaith dogymaidd, na cholli ei ystyr o achos ceisio gormod coethiad ymadroddion, trwy efelychu hyawdledd y cysefin.

### PETRONIUS TURPILIANUS.

Er iddo ennill y fath fuddugoliaeth, ni chafodd Suetonius ond ychydig fwynhad o'i ffrwythau; oblegid pa un ai trwy gamdrefniad o'i raglawiaeth, ai anaddasrwydd iddei sefyllfa, neu ynte trwy genfigen ei gydwladwyr, mynegwyd i'r Ymherawdr na fyddai un terfyn i'r rhyfel yn Mhrydain, oddieithr adalw Suetonius o'r ynys; ac felly gorchymmynwyd iddo ddychwelyd; ac anfonwyd PETRONIUS TURPILIANUS, i raglawiaethu yn ei le, yn y flwyddyn 62. Y gwr hwn oedd o anian lonydd, ddiegni, ac ni chyffrodd y Brytaniaid i fudiadau gelyniaethol, ac felly ni ddygwyddodd dim nodedig yn ei amser ef.

### TREBELLIUS MAXIMUS.

Ar ol ymadawiad Petronius Turpilianus, daeth TREBELLIUS MAXIMUS yn rhaglaw, o gylch y flwyddyn 65. Y swyddog hwn, fel ei ragflaenor, ydoedd yn hoffi llonyddwch yn fwy nag ymdrechiadau rhyfel; a lwyddodd i gadw y Brytaniaid yn heddychlon; eithr ei filwyr ei hun, gan eu bod cyhyd o amser yn segur, a ddechreuasant wrthgodi yn ei erbyn; a gorfu arno ymadael a'r ynys.

### VECTIUS BOLANUS.

Y rhaglaw nesaf oedd VECTIUS BOLANUS, yr hwn a ddaeth iddei swydd o gylch y flwyddyn 69. Yr oedd yntau hefyd trwy yr un anian

lwfr, yn cadw y Brytaniaid yn llonydd, ac yn rhoddi i'r milwyr achlysur i wrthgodi yn yr un modd a'i ragflaenor.

### PETILIUS CEREALIS.

Pan ddaeth y rhaglaw hwn i lywodraethu o gylch y flwyddyn 71, am ryw achos neu gilydd dechreuodd ryfela yn erbyn llwyth y Brigantwys; a bu amryw frwydrau rhyngddo â hwynt, a rhai o honynt oeddynt gyfarfodydd gwaedlyd.

### IULIUS FRONTINUS.

Er nad oes gennym hanesiad am y brwydrau a ymladdodd y rhaglaw hwn yn Mhrydain, etto y mae yn ddilys eu bod yn aml ac yn waedlyd; oblegid yn ystod ei flaenoriaeth yma, darostyngodd y "genedl ddewr a rhyfelgar y Siluriaid," yr hyn nis gallasai gyflawni trwy ychydig ymdrech.

### IULIUS AGRICOLA.

Yn y flwyddyn 78 daeth CNÆUS IULIUS AGRICOLA i lywiaw y byddinoedd Rhufeinig. Yr ydoedd wedi dysgu egwyddorion y gelfyddyd o ryfela dan Suetonius Paullinus, a gwasanaethodd dan Cerealis. Pan ddaeth Agricola i'r ynys, efe a gafodd y trigolion mewn cyflwr o derfysg. Ychydig cyn ei ddyfodiad, yr oedd yr ORDOVICES, pobl Gogledd-dir Cymru wedi dyfetha llu o farchwyr Rhufeinig, y rhai oeddynt wedi eu sefydlu ar eu hymylau; ac Agricola a benderfynodd arwain ei wŷr yn eu herbyn, a chan na allai gael gan yr Ordovices ddisgyn iddeu cyfarfod ar y gwastad-tir, gorfu arno ymosod arnynt yn eu sefyllfa eu hunain; a'r canlyniad oedd y fath fuddugoliaeth ar ran y Rhufeiniaid, a bod i lwyth yr Ordovices gael yn agos ei lwyr ddyfetha.

Ar ol hyn, Agricola a benderfynodd wneuthur ymosodiad ar ynys Môn, a chan nad oedd ganddo na badau na llongau, gorchymmynodd iddei wŷr meirch nofio dros gaincfor Menai. Y trigolion, y rhai oeddynt yn dysgwyl am ddyfodiad llynges i drosglwyddo y milwyr Rhufeinig, pan welsant hwy yn croesi ar unwaith yn y modd hwnnw, a gawsant eu brawychu i'r fath raddau, ag y bu iddynt ymddarostwng ac erfyn am heddwch.

Agricola oedd wr doeth a deallus, "Yr oedd efe," medd Tacitus, "yn adnabyddus o anianawd y Brytaniaid, ac wedi cael ei ddysgu trwy brofiadau eraill, nad oeddid yn ennill ond ychydig trwy rwysg arfau, os byddai gormesiad yn canlyn; ac am hynny penderfynodd ddileu achlysurau rhyfel. A chan ddechreu gyda ei deulu ei hun, y peth cyntaf a wnaeth oedd eu gosod hwy dan reolaeth, yr hyn oedd i'r rhan fwyaf o raglawiaid, ddim llai

awdurdodd na rheoli y wlad ei hunan; ni chaniataai i neb gorchwylion llywodrawl gael eu trefnu gan ei gaethweision; ac ni osodai neb o'r milwyr mewn swyddfaoedd, o ran pleidgarwch, neu trwy erfyniad; eithr am eu rhinweddau neillduol; gan farnu mai y cyfryw oeddynt debycaf i ymddwyn gyda ffyddlondeb. Mynnai wybod pob peth, eithr ni fynnai yn wastad gospi pob bai; byddai yn maddeu troseddau bychain, ac yn cospi yn llym y rhai mawrion. Yr oedd yn well ganddo wobrwyo yr haeddiannol, na chospi yr euog; tynnodd i lawr dreth yr ŷd, ac a'i gwnaeth yn fwy cyfiawn; o herwydd cyn ei ddyfodiad, yr oedd y trigolion yn gorfod gwerthu a phrynu yr ŷd, yn ol y pris a osodai y Rhufeiniaid arno; ac hefyd yn gorfod teithio i ardaloedd pell iddei werthu, o ba achos yr oedd yr hyn a ddylai fod yn aml gyda phawb, yn cael ei wneuthur yn achlysur o elw i ryw ychydig."

Trwy ddileu y troseddau hyn, Agricola yn y flwyddyn gyntaf o'i raglawiaeth a wnaeth yr heddwch yn glodwiw; oblegid cyn hyn, trwy gamymddygiad y rhai a'i blaenorent ef, yr oedd y trigolion yn ofni heddwch ddim llai na rhyfel. Bu hefyd yn dra diwyd yn nhriniaeth ei fyddinoedd, ac ar brydiau gwnelai ymosodiadau ar y trigolion, ac ar ol hynny, dangosai iddynt fuddioldeb heddwch; a thrwy hyn llawer o' ardaloedd a roisant heibio eu gelyniaeth, ac a ymheddychasant âg ef. Ac yntau a sefydlodd gaerau trwy y wlad gyda chymmaint o fedrusrwydd, na allai un cwrr ddianc yn ddianafedig.

Mewn perthynas i'r gweithrediadau hyn o eiddo Agricola, er mai gan ei fab-yn-nghyfraith Tacitus, y traethir hwy, etto y mae yn debygol eu bod yn gyson â'r gwirionedd. Y mae yn ddiamheuol, fod y rhaglaw hwn yn rhagori mewn callineb, yn gystal a dewrder, a rhyfelgarwch; a thrwy ei gyfrwysder, bu yn alluog i wneuthur mwy tuag at ddarostwng y Brytaniaid, nag oedd ddichonadwy trwy rwysg arfau; fel ag y tystiolaetha y canlynol o eiddo Tacitus:—

"Y gauaf canlynol a dreuliwyd yn y trefniadau mwyaf llesiol; oblegid i'r dyben i ddynion gwasgaredig ac anwar, ac am hynny yn dueddol i ryfel, gael ei dwyn i gyflwr o lonyddwch, ac esmwythder, trwy ymarferyd a moethusrwydd; annogai hwy yn gyfrinachol, a chynnorthwyai hwy yn gyhoeddus i adeiladu temlau, a llysoedd, a thai; trwy ganmol yr egniol a cheryddu y llwfr; ac felly cydymdrechiad am anrhydedd a oedd iddynt megys angenrhaid. Hefyd yr oedd yn trefnu i blant y pendefigion gael eu haddysgu yn y celfyddydau, ac i gynneddfau y Brytaniaid gael y flaenoriaeth ar eiddo y Galiaid yn yr athrofaoedd, fel ag y bu i'r rhai unwaith a wrthodent y iaith Rufeinig, yn awr chwennych meddiannu hyawdledd iddi. O hyn canlynodd fod ein cydwladwyr [y Rhufeiniaid] yn anrhydeddus, a'r *Toga* [pilyn Rhufeinig] yn aml yn eu plith. Bob yn ychydig aethant ar ol hudoliaethau drwg-nwydau, cynteddau cyfarfod, ymolch-

feydd, a moethusrwydd yn eu gwleddau. Yr hyn, a alwai y bobl anghall yma, yn *wareidd-dra;* tra nad oedd ond sylwedd *caethiwed.*"

Yn awr, bydded i ni sylwi ychydig ar ymddygiad y Rhufeiniaid tuag at y Brytaniaid, fel y mae yr hanesydd hwn mor ddiymgudd yn ei fynegi. Ni allasent eu llwyrorchfygu trwy rym arfau, ac felly ymosodasant at y gwaith o'u denu i ymddarostwng iddeu llywodraeth, trwy feithrin archwaeth at lythineb a moethusrwydd, i efelychu gwisgoedd ac arferion y Rhufeiniaid, ac i ymfalchio yn yr arferiad o'u hiaith. A hyn oll, tra yr oedd y Rhufeiniaid yn gorfoleddu yn ei gyflawniad, yr oeddynt ar yr un pryd, yn ei gyfrif megys arnod caethiwed, ar y dirmygedigion hynny y rhai a fabwysent y cyfryw ynfydrwydd. Ysgatfydd pe adolygem holl nodau darostyngiad, ni chaem un yn fwy arwyddocaol, o ddwfn a gwasarnawl sathriad, na bod y goresgynedig yn ymadael a'u hiaith enedigol, i ddysgu ac ymhoffi yn eiddo eu goresgynwyr.

Ond gan y darfu i gynnifer o drigolion Prydain, er gwarth iddeu cenedl, gyflawni yr atgaswaith hwn, mor gynnar ar ol dyfodiad y Rhufeiniaid; a chan fod y trigolion gynnifer o oesoedd ar ol hynny dan eu llywodraeth, ac yn ddiamheu yn canlyn yr un arferion gwarthus; y mae un gofyniad pennodol yn ymgynnyg i'n sylw, a hynny yw, Pa fodd na chollwyd iaith Prydain yn llwyr, ac na phlanwyd y Iaith Ladin yn ei lle? Oblegid ar y Cyfandir, ni a welwn i'r Lladin wthio allan yn llwyr yr hen ieithoedd, a pherchenogi eu lle; eithr yn Mhrydain ni a gawn ar ymadawiad y Rhufeiniaid, y Gymraeg yn hanfodi, yn agos heb dderbyn un halogiad trwy gymmysg Lladinaidd, o barthed gystrawen y iaith. Nis gallaf atteb hyn oddieithr trwy gynnyg sylwad, fod y llwythau Cymraeg yn feddiannol ar fwy o egni anianol, na'r cenhedloedd eraill dan ein hystyriaeth. Ac mewn perthynas i'r Brytaniaid hynny, y sawl oeddynt mor barod i dderbyn iau y Rhufeiniaid, ac i ymuno â hwy yn ardal Camalodunum, a'r lleoedd cymmydogaethol; dichon y gallent fod o ryw waedoliaeth arall, heblaw eiddo cenedl y Cymry. Ac y mae yr ystyriaethau hyn yn fy arwain at hysbysiad y Trioedd, a meddyliaf y gwelir yno ryw gadarnhad o'r dychymyg, lle y mynegir am Giwdawd y *Coraniaid.*

Ond gan fod amryw ddychymmygion wedi eu ffurfio gan hanesyddion, mewn perthynas i darddiad y Coraniaid, ac etto heb fawr neshad at benderfyniad boddhaol o'u plegid; braidd y cyflawnwn fy nyledswydd, heb ychwanegu yma, y cyfryw ddadleuon ag a ymgynnygiant i'm sylw ar y testun hwn, gan ragfynegu fy marn, mai yr un oeddynt a'r Belgiaid, a grybwyllir am danynt yn yr hanesion Lladin; a'u bod trwy gymmysgiad estronol wedi eu dirywio, neu ynte trwy hir ymraniad oddiwrth trigolion Prydain, wedi ymddyeithrio oddiwrthynt yn eu harferion a'u hanian i'r fath raddau, ag nad oedd ynddynt mwyach yr un fath reddf ag a arnodai y gwaedoliaeth Gymraeg.

Dangoswyd eisioes [tu dal 10.] fod y Trioedd wrth fynegu am boblogiad cysefin yr ynys, yn crybwyll am y *tair Ciwdawd Ormes;* ac yn dywedyd yn y modd canlynol:—

"Tair Ciwdawd Ormes a ddaethant i Ynys Prydain, ac nid aethant fyth o honi.
"Cyntaf oedd y Corraniaid, a ddaethant o wlad y Pwyl.
"Sef y mae y Corraniaid ar yr Afon Hymyr a glan Môr Tawch.—Ac ymgystluni a wnaethant a'r Caisariaid onid aethant yn un."

Hefyd dywedir am danynt:—

"A myned yn un a wnaethant y Coraniaid a'r Saeson," &c.

Hefyd y mae yr hen chwedl am *y Tair Gormes yn amser y Brenin Lludd;* a roddwyd eisioes allan o'r Brut, yn ymddangos fel pe cynnwysai ryw goffadwriaeth am darddiad estronol y bobl hyn.

Ac y mae Cæsar yn crybwyll am ddyfodiad diweddar o'r fath, pan yn traethu am drigolion Prydain, ac yn dywedyd, fod "yr ardal arforol yn gyfanneddedig gan y rhai hynny, y sawl er mwyn anrhaith, neu o achos rhyfel, a ddaethant drwodd o *Belgium.*"

"Maritima pars ab iis qui prædæ ac belli inferendi caussa, ex Belgio transierant."

Wrth gymharu yr awdurdodau hyn, y mae yn ddiamheuol gennyf, mai yr un bobl a grybwyllir am danynt yn y ddau ac mai *Belgium* yw *Gwlad y Pwyl.*

Am y bobl hyn y mae Richard o Cirencester yn dywedyd yn y modd canlynol, pan yn traethu am y flwyddyn 53. "Rhai dinasoedd yn mhlith y Belgiaid a ganiatawyd gan y Rhufeiniaid i Cogibundus, fel y gallai sefydlu teyrnas iddo ei hun yno."

"Cogibundo urbes quædam apud Belgas a Romanis concessæ, ut inde sibi conderet Regnum."

Yn ddiau, y mae y caniatad hyn ar ran y Rhufeiniaid yn ymddangos yn gymmwynasgar a chyfeillgar, ac nid yn hollol gyson ag arferion y bobl ynglyfeithus hynny, y rhai nid oeddynt barod iawn i sefydlu teyrnasoedd i ddynion eraill. Ond y mae Tacitus mewn modd amlwg yn dangos i ni achlysur yr holl diriondeb hyn, pan yn mynegi am yr un amser, "Rhai dinasoedd," medd efe, "a roddwyd i'r brenin Cogidunus.* Hwn a barhaodd yn dra ffyddlon hyd o fewn ein cof ein hunain. Hyn a wnaeth-

* Yr un a Cogibundus, yn ol cytuniad cyffredinol.

pwyd yn ol yr hen a sefydledig arfer y Rhufeiniaid, fel y gallent gael, hyd yn nod frenhinoedd yn offer caethwasanaeth."

"Quædam civitates Cogiduno rege donatæ. Is ad nostram uque memoriam fidissimus mansit, vetere ac jam pridem recepta populi Romani consuetudine, ut haberet instrumenta servitutis et reges."

Wele yma fynegiad eglur am ymddygiad y bradwr hwn, yn gystal a'r rhai a ufuddhaent iddo; ac am y dirmyg gyda pha un yr edrychai y Rhufeiniaid, ar y rhai hynny a ymwerthent iddeu gwasanaethu. Ac y mae yma, hefyd, gadarnhad nodedig o'r hyn a ddywedir yn y Trioedd am y Coraniaid yn uno â'r Rhufeiniaid, "*Ac ymgystluni a wnaethant a'r Caisariaid onid aethant yn un.*"

Y mae sylwad ar y cydymgyrchau hyn yn yr amrywiol hanesion, yn peri ynwyf syniad tra dwys ar ansawdd a chynnwysiad y Trioedd, yn nghyda pharch cynnyddol at yr hen awdurdodau hynny; ac ar yr un pryd, rhyfeddu mwy na mwy yn nghylch eu cyfansoddiad, a phwy mewn oesoedd tywyll a fedrai osod yn nghyd draethiadau mor gyson ag hanesyddiaeth awdurdodol.

Y Belgiaid uchod a feddiannent ran o Hampshire, yn swydd Wilts, a'u prif ddinas oedd *Venta Belgarum*, [Winchester.]

Y mae rhai, wrth sylwi ar yr enw Coraniaid, a'r hysbysiad fod y bobl hyn yn anneddu ar yr afon Hymyr, [Humber] yn meddwl mai yr un oeddynt a'r *Coritani*, y rhai a oeddynt yn yr ardaloedd hynny. Os felly yr oedd llwythau o'r Ciwdawd hyn, wedi ymwthio i mewn yn amryw leoedd ar hyd oror Lloegr. Eithr nis gallaf gael allan paham y gelwid hwy yn *Belgiaid* mewn un man, ac yn *Goraniaid* yn y llall. Ond er nas gallaf foddhau fy hun yn y gofyniad hwn, etto y mae gennyf gymmaint o ymddiried yn nghywirdeb y Trioedd, a'i fod yn ddiamheuol gennyf fod rhyw achos anwadadwy am hyn oll, yr hwn ysgatfydd a gaiff ei eglurhau gan ryw un mwy treiddiol, a mwy llwyddiannus ei chwiliad na myfi.

Am ddeilliad ac helynt y Belgiaid, nis gallaf ffurfio barn mwy boddhaol am danynt, na'r hyn a gaf yn ngwaith y Parch. J. Hughes, yn yr Horæ Britannicæ, sef eu bod yn gysefin o darddiad Cymraeg; ond trwy fyw yn hir yn nghymmydogaeth y llwythau Germanaidd ar y cyfandir, i lawer o gymmysgiad gymmeryd lle yn eu plith.* A meddyliaf iddynt ar ryw amseroedd annedwydd o derfysg ac ymraniadau gwladol yn mhlith y Lloegrwys, y rhai a ddygwyddent yn rhy aml, lwyddo i dirio yn yr ynys, a chadw meddiant ar rai o'r ardaloedd arforol.

Eithr gan ys pa beth oedd dechreuad y Belgiaid neu y Coraniaid, neu pa iaith bynag y siaradent ar eu dyfodiad i'r ynys, y mae yn brofadwy mai

* Y mae R. o Cirencester yn cadarnhau y dyb hon am eu hanniad, pan yn dywedyd am danynt, "et suam a Celtis Belgisque originem traxere."

Cymraeg oedd iaith ardaloedd Lloegr yn gyffredinol yn y cynoesoedd, ac os ydoedd yn yr ynys, ryw iaith estronol, y mae yn rhaid ei bod yn cael ei chyfyngu i ryw gwrr, neu gyrrau bach ac annghyfrifol. Hyn y mae enwau lleoedd a threfi yn ei fynegi. Canys os edrychwn ar gyflwr Lloegr, o ran enwau priodol, ar ol dyfodiad y Saeson, cawn eu bod yn aml yn ymddangos yn Gymraeg eglur. Edrychwn, er anghraifft, yn Hanes Gweithredoedd y Brenin Saesonaeg ALFRED, yr hwn a ysgrifenwyd gan ASSER MENEVENSIS, o gylch y flwyddyn 893, ac yno cawn weled fod yr awdwr yn fynych yn esponio ystyr geiriau yn y fath fodd a dangos eu bod yn Gymraeg. Pan yn crybwyll am gyrchiad byddin y Daniaid, y mae yn dywedyd:—"In Merciam venit, et Scnotengaham adiit, quod Britannice Tigguocobauc interpretatur, Latine autem Speluncarum domus." "*Daeth i wlad Mercia, ac a aeth i Nottingham, yr hwn yn y Frythonaeg a gyfieithir* TY GOGOFAWG, *ac yn y Lladin Ty gogofau.*" Yr oedd Nottingham yn ngwlad y Coritani. Ac oddieithr fod y Gymraeg yn cael ei harferyd yn yr ardal, ni allaf weled pwy achos oedd rhoddi enw Cymraeg i'r lle hwnnw; canys yr oedd Asser yn ysgrifenu yn Lladin, ac yn byw yn mhlith y Saeson yn llys Alfred. Felly y mae yn rhaid fod y Coraniaid o haniad Cymraeg, neu ynte fod y Lloegrwys wedi ail-ennill y rhan hynny o'r wlad,

Y mae yr un awdwr hefyd yn rhoddi enwau amryw leoedd eraill yn Lloegr, yn y Frythonaeg; ac felly yn dangos yn amlwg mai honno oedd iaith yr ardaloedd hynny. Er anghraifft, dywed am ddinas *Exeter*, "Lle a elwir yn y Saesonaeg, *Eaxanceastre*, yn y Frythonaeg, *Cairwisc*, ac yn Lladin, *Dinas Ex.**

Y mae hefyd yn crybwyll am le yn ngwlad yr Hâf, [swydd Somerset] "ac sydd yn yr ochr dwyreiniol o'r coed, a elwir Selwood, ac yn Lladin, y Coed Mawr, ac yn y Frythonaeg, *Coetmawr*.†

Ac y mae hefyd yn dywedyd am dref *Cirencester*, mai ei henw Brytanaidd oedd *Caer Ceri*.‡

## YR ALBAN.

Ond i ddychwelyd at fudiadau y Rhufeiniaid. Agricola, gwedi llonyddu trigolion deheudir yr Ynys, ac wedi eu dwyn i ufudd-dod i lywodraeth Rhufain; ac hefyd wedi adeiladu amrywiol gaerau ar hyd y wlad; Yn awr a ddechreuodd a throi ei feddwl tuag at ddarostwng y gogledd-dir,

* "Locum, qui dicitur, Saxonice Eaxanceastre, Britannice *Cairwisc*; Latine quoque civitas Exæ, quæ in orientali ripá fluminis Wysc sita est."

† "Quæ est in orientali parte saltus, qui dicitue *Selwdu*, Latinè autem Silva magna, Britannice *Coitmaur*."

‡ "Cirenceastre adiit, qui Britannice *Cairceri* nominatur."

yr hyn a elwir yr Alban; ac yn y drydedd flwyddyn o'i raglawiaeth, sef B. A. 80, cyrhaeddodd mor belled a'r afon *Tay;** a'r bedwaredd flwyddyn, sef B. A. 81, a dreuliwyd mewn ymdrechiadau i sicrhau meddiant ar yr ardaloedd hynny, y rhai a ennillasai; yr hyn a wnaethpwyd mor belled a'r afonydd CLYDE a FORTH,† gan osod rhes o warchad-gaerau rhwng aberoedd yr afonydd hyn a'u gilydd, a chadw y gelynion megys mewn ynys arall yn y tu gogleddol i'r terfyn hwnnw.

Yn y bummed flwyddyn o'i ryfeliad, sef B. A. 82, Agricola gan fyned drwodd, yn y gadrwysc gyntaf a wnaethpwyd ar fôr, a oresgynodd lwythau anadnabyddus hyd y pryd hynny, mewn amryw a llwyddiannus frwydrau; ac a blannodd filwyr yn yr ardaloedd gyferbyn a'r Iwerddon. Y cysefin yw —"Quinto expeditionum anno nave prima transgressus, ignotas ad id tempus gentes crebris simul ac prosperis prœliis domuit." Y cyfieithad cyffredinol a roddir i'r geiriau ydyw, "yn y 5ed flwyddyn o'r cadrwysgau, croesodd yn y llong gyntaf." A thrwy y camsyniad hyn o'r iaith, rhyfeddir beth y mae yr awdwr yn ei feddwl pan ddywed iddo groesi yn y llong gyntaf. Ond y mae yn ddilys gennyf, mai yr ystyr yw, iddo yn y 5ed flwyddyn o'i ryfeliad, wneuthur y cadfudiad *llyngesawl* cyntaf yn erbyn y Brytaniaid; a barnaf nad oes un achos i feddwl fod yn angenrheidiol iddo gychwyn yn yr Alban, gallasai hwylio o Loegr a myned ar hyd yr oror orllewinol tua'r gogledd hyd ardal Galloway.

Yn yr hâf o'r 6fed flwyddyn, sef B. A. 83, Agricola, gan glywed fod mudiadau cyffredinol wedi dechreu yn mhlith y llwythau ar yr ochr arall i'r Fforth, a anfonodd ei lynges yn mlaen ar hyd yr oror, ac a ganlynodd ar y tir gyda ei fyddinoedd, ac a gafodd amryw gyfarfodydd â'r trigolion. Ac yn awr, llwythau CALEDONIA [Celyddon] a ddechreuasant ymgynnull ac ymarfogi, a thrwy ymosod ar wersylloedd y Rhufeiniaid, a barasant gymmaint o ddychryn, a bod rhai ofnawl yn cynghori i ddychwelyd. Agricola yn y cyfamser, yn gwybod fod y Celyddon yn bwriadu rhuthro arno â llawer o fyddinoedd, a ranai ei wŷr yn dri dosparth. Yr hyn, pan wybu y Celyddoniaid, newidiasant eu penderfyniad ac ymosodasant ar y nawfed leng, yn y nos; a rhwng cwsg a dychryn, cawsant gyfle i ladd y gwilwyr a rhuthro i mewn; ac yn awr yr oeddynt yn ymladd, hyd yn nod yn nghanol y gwersyll. A phan wybu Agricola hyn, efe a anfonodd gynnorthwy o wŷr meirch a thraed, ac yno y bu ymladdfa ffyrnig; ond y Celyddoniaid a orfuant gilio, a cheisio amddiffynfa yn y gwerni a'r coedydd.

Y canlyniad o'r frwydr hon, oedd, fod y Rhufeiniaid yn ymfalchio yn eu dewrder, a'r Brytaniad hwythau yn meddwl fod i'r lleill ennill y fuddugoliaeth, nid trwy rinwedd dewrder, eithr trwy ddygwyddiad yn unig. A'r ddwy blaid a ymbarotoent drachefn i ryfel.

* "Taus." † Glota et Bodotria.

Yn yr hâf canlynol, B. A. 84, Agricola a anfonodd ei lynges drachefn tua gororau gwlad Celyddon, ac efe ei hun a ganlynodd gyda ei fyddinoedd; ac er gwarth tragywyddol i'w henw, yr oedd rhai Brytaniaid yn gwasanaethu yn mhlith y milwyr Rhufeinig, ac yn cynnorthwyo i oresgyn eu cydynysyddion.

Meddyliaf mai rhai o ddeiliaid dirywiedig *Cogidunus*, brenin y Belgiaid, y gallasai y dyhirod hyn fod, am y datgana Tacitus eu ffyddlondeb i'r Rhufeiniaid, yn yr un fath ymadroddiad canmolawl ag ymddygiad y bradwr anfad hwnnw ei hunan. Geiriau yr awdwr hwn ydynt, "*Cui ex Britannis fortissimos et longa pace exploratos addiderat.*" Sef yw i Agricola ychwanegu at ei fyddin, "Y dewraf o'r Brytaniaid, a'r rhai a brofwyd trwy hir ymheddychiad."

GALGACUS.

Agricola a deithiodd nes dyfod at fynydd a elwid *Grampius*,* lle yr oedd y Celyddonwys yn wersylliedig, oblegid yr oeddynt heb eu digaloni gan eu hanffawd diweddar, eithr yn llwyrfwriadol i ymdrechu hyd yr eithaf dros eu gwlad a'u rhyddid.

"Gellid gweled eisioes," medd Tacitus, "dros ddeng mil ar hugain o wŷr arfog, ac hefyd yr oedd yn dylifo i mewn yr holl ieuenctyd, yn nghyd a'r hynafwyr heinyf, y rhai oeddynt enwog mewn rhyfel, a phob un yn dwyn ganddo ei arwyddnodau anrhydeddus; pan yn mhlith amrywiol henoriaid, yr oedd un o'r enw GALGACUS† yn rhagori ar y lleill, o ran dewrder a bonedd, a dywedir iddo gyfarch y dyrfa cynnulledig yn y modd canlynol:"‡

"Mor fynych ag y syllaf ar achlysurau y rhyfel, a'n cyflwr ein hunain, y mae ynwyf feddylfryd cryf, y bydd y dydd heddyw trwy eich cydymdrech fod yn ddechreuad rhyddid i holl Brydain. Canys yr ydym ni oll etto yn rhyddion oddiwrth gaethwasanaeth, ac nid oes dim tir tu hwnt i nyni, i gilio iddo; ac nid ydyw hyd yn nod y môr ei hun yn ddiogelfa tra fyddo y llynges Rufeinig yn gwibhwylio ar ein gororau; ac felly brwydrau ac arfau, tra y maent bob amser yn anrhydeddus i'r gwrolion, felly yn awr hwy a gynnygiant yr unig ddiogelwch hyd yn nod i'r llyfrion." Ac ar ol gosod o'u blaen holl flinderau caethwasanaeth, efe a derfynodd,

* Nid oes un sicrwydd yn nghylch sefyllfa y mynydd hwn, y mae yn mhell yn yr Alban, un o fynyddau a elwir y *Grampians*, ond cyrhaeddant dros filltiroedd maith ar bob tu, fel na ellir ffurfio un math o dyb am wersyll y Celyddonwys. Ac heblaw hyn, y mae llawer o hynafiaethwyr yn haeru, mai nid yn y rhes hyn y bu y frwydr, eithr mewn ardal arall o'r wlad ac wrth fynydd arall o'r un enw.

† Rhai a ddywedant mai GWALLAWC oedd ei enw yn y Frythonaeg.

‡ Y mae yr araeth yn rhy faith ei rhoddi yn gyfan yma.

gan ddywedyd am danynt, "pa rai naill ai eu dyoddef yn dragywydd, neu ynte ymddialu arnynt yn ddiattreg, sydd raid ei gyflawni ar y maes hwn; am hynny cyrchwch i'r frwydr, a meddyliwch am eich hynafiaid a'ch eppil."

Y milwyr a dderbyniasant y cyfarchiad hwn gyda bywiogrwydd, ac a fynegasant eu parodrwydd yn ol eu harferiad, trwy ganiadau, a bloedd-iau, a chroch lefau oerseiniol. "Ac yn awr yr oedd ymddulliad byddin-oedd, a lluchediad arfau, a'r dewraf yn brysio i'r blaenres; a'r lluoedd a ymdrefniwyd ar yr un pryd."*

Agricola yntau a gyfarchodd ei filwyr, gan eu hannog i ymddwyn gyda gwrolder. "Hon yw yr wythfed flwyddyn, fy nghydryfelwyr," ebai efe, "er pan trwy eich dewrder eich hunain, a than noddiant yr Ymherodraeth Rufeinig, yr ydych wedi goresgyn Prydain," &c. Ac ar ol araeth faith, yn cynnwys amrywiol annogaethau, terfynodd gan alw arnynt i ddangos iddeu gwlad, nad ellid cyfrif i'r fyddin naill nag estyniad y rhyfel, nag achlysur gwrthryfeliad.

Gwedi y cyfarchiad hwn, y milwyr Rhufeinig a ymddangosent lawn mor barod i'r frwydr a'u gwrthwynebwyr; a'r ddwy fyddin a safent gyferbyn a'u gilydd, wedi ymddulliaw i'r cyfarfod. Y Rhufeiniaid a oeddynt wedi eu dulliaw mewn modd celfydd, yn ol eu harfer, a'r Brytaniaid a safent ar ochr y bryn, a'u mheirch a'u cerbydau a lanwent ganol y maes. Y frwydr a ddechreuwyd trwy arfau tafl. A'r Brytaniaid mewn modd celfydd, a'u cleddyfau mawrion a tharianau byrion, a ymogelent arfau y Rhu-feiniaid, neu eu bwrient heibio, tra yr oeddynt hwy eu hunain ar yr un pryd yn tywallt ar eu gelynion ddirfawr gafod o arfau. Yna y gwŷr traed a ymgyfarfuant, ond gan fod cleddyfau mawrion y Brytaniaid yn annghyfleus iddeu trafod mewn terfysg o'r fath, y Rhufeiniaid â'u cledd-yfau byrion, a lwyddasant i beri iddynt gilio. Yn y cyfamser, os cywir ddeallwn ddysgrifiad Tacitus, y cerbydau Brytanaidd a ruthrasant ar y marchwyr Rhufeinig, ac a'u terfysgasant i'r fath raddau ag iddynt orfod

* Y geiriau cysefin yn hanes Tacitus ydynt y canlynol:—"Iamque agmina, et armorum fulgores, audentissimi cujusque procursu: simul instruebantur acies."

Nis gallaf ymattal rhag sylwi ar y cyffelybrwydd a ymddengys i mi rhwng y geiriau hyn, a dechreuad un o gyfansoddiadau Aneurin, sef *Gorchan Tutfwlch*.

"Arf ynghynnull,
Yn nghymandull,
Twrf yn agwedd;
Y rhag meiwedd
Y rhag mawrwedd
Y rhag madiedd."

Ystyr yr hyn yn ol fy nhyb i ydyw, "Yn awr ymgynhullir mewn arfau—ymddullir y byddinoedd—y mae y terfysg yn ymnesbau. Yn y blaenres y mae yr hardd-wedd filwyr—yn y blaen y mae y mawr-wedd—yn y blaen y dewrion."

ffoi, a'r Brytaniaid a'u hymlidasant i ganol y rhesau Rhufeinig; yno y rhai hyn a unasant yn nghyd drachefn, ac a ymosodasant ar y cerbydau; ond yma bu terfysg dychrynllyd; y meirch yn orwyllt a ruthrent trwy ganol y byddinoedd, gan ddymchwelyd pawb a fyddai yn eu ffordd, a'r holl faes oedd mewn cymmysgiad aruthr. Eithr yn awr, ymddangosodd rhagorolder y ddysgyblaeth Rhufeinig; oblegid gan fod y Rhufeiniaid yn arferol o ymladd mewn trefn, ac hefyd yn berchenogion ar arfogaeth, llawer mwy addas at y cyfryw ymosodiadau, nag eiddo y Brytaniaid, yr olaf oeddynt yn dechreu cael eu maeddu. Ond weithian, y Brytaniaid y rhai oeddynt yn sefyll ar bennau y bryniau, yn edrych ar yr ymdrech ac yn dirmygu bychandra nifer y Rhufeiniaid, a ddechreuasant ddisgyn i gynnorthwyo eu cyfeillion. Ond Agricola a anfonodd lu o farchwyr iddeu cyfarfod; ac yn awr gwelwyd drych erchyll a brawychus; rhai yn ffoi, a rhai yn ymlid; rhai yn cymmeryd carcharorion, ac yn y man yn eu lladd, pan ddelai eraill yn eu ffordd. Weithiau, torfeydd o'r Brytaniaid a gilient, ac weithiau ymosodent ar eu gelynion; ar bob tu gwelwyd arfau a chyrff, ac aelodau clwyfedig, a llawr gwaedlyd; hyd yn nod yn mhlith y gorchfygedig gwelwyd etto yn hanfodi llid a gwrolder. O'r diwedd y Brytaniaid a giliasant, ar nos a derfynodd y frwydr. Lladdwyd deng mil o'r Brytaniaid: ond ar rhan y Rhufeiniaid, ddim ond tri chant a thri ugain, gan ddangos rhagoriaeth arfogaeth dda a threfniad celfydd. Drannoeth ni chanfyddwyd dim un o'r trigolion; yr oedd dystawrwydd dwfn trwy yr holl wlad, ac ni welwyd ond bryniau anial, a mwg tai llosgedig, y rhai yr oedd y Brytaniaid eu hunain wedi eu dyfetha tra yn ffoi o'r ardal.

Agricola ar ol hyn a arweiniodd ei luoedd i wlad yr *Horesti*;* ac ar ol anfon ei lynges i hwylio o amgylch yr ynys, efe ei hun yn nghyd â'i filwyr a ddychwelodd tua'r deheudir.

Pan ddaeth hysbysiad o'r llwyddiant hyn i Rufain, yr Ymherawdr DOMITIANUS, a gyffrowyd gan eiddigedd tuag at Agricola, o herwydd y mawrglod yr ydoedd wedi ennill, ac efe a'i gorchymmynodd i roddi i fyny rhaglawiaeth Prydain, ac i ddychwelyd i Rufain, a'r hyn a wnaeth; a bu farw yno, B. A. 93, yn bedair a deugain oed.

Gellir dywedyd mai hon oedd y fuddugoliaeth oresgynol olaf a ennillodd y Rhufeiniaid yn ynys Prydain, oblegid gosodasant derfyndir eu llywodraeth wrth y gwarchod-res caerau, rhwng y Clyde a'r Forth. Eithr i'r tu gogleddol, nid oedd y llwythau yn arddel eu rheolaeth, ond yr oeddynt yn byw yn annibynol yn eu mynyddau a'u coedydd, fel cyn dyfodiad yr estroniaid, ac ni ddarostyngwyd erioed o honynt; ond y mae rhai yn haeru eu bod yn fwy dyledus i dlodi eu gwlad am y rhyddid hwn, nac iddeu

* Pobl swydd *Fife*.

galluoedd priodol; canys pe buasai eu gwlad werth y drafferth o'i goresgyn, meddylir na fuasai i'r Rhufeiniaid fwy o anhawsdra i dreiddio iddei heithafoedd, nag yr oedd i fyned mor belled ag y gwnaethant. Ond, gan ys pa gywirdra sydd yn y dychymmyg hwn, y mae un peth yn eglur, fod i drigolion gogledd-dir yr Alban ryw fodd neu gilydd, gadw eu gwlad a'u rhyddid rhag gormesiad y Rhufeiniaid; er iddynt mewn oesoedd diweddarach oddef cymmaint o anrheithiad a difrodiad, trwy gadgyrchiadau estronol, a chymmaint o gymmysgiad, trwy sefydliad dyeithriaid yn eu plith; fel nas gellir dywedyd gydag un fath o sicrwydd yn mha gwrr o'r wlad y mae gweddill yr hen Gelyddonwys yn hanfodi. CHALMERS a feddwl mae hwynthwy a oeddynt y bobl a ymddangosent yn yr oesoedd canlynol, dan yr enw *Pictiaid*, a'u bod o waedoliaeth Cymraeg; ac eraill a amheuant hyn oll, ac a haerant mai *Gwyddelod* oeddynt, ac o'r un hanniad ag ucheldirwyr yr Alban; ac eraill etto a fynant mai o darddiad *Germanaidd* yr oeddynt. Y mae yn wir, nad ydyw yn hawdd dyfod i un penderfyniad, yn mhlith cynifer o ddaliadau annghyson; ond gan mae caniataol ydyw yn gyffredinol, tai Cymry oedd trigolion deheudir yr Alban, hyd yr afon *Clyde*, nid annhebygol mai o'r un hiliogaeth oedd y llwythau cyfnesol ar yr ochr arall i'r afon. Ac ar ol pwyso yn fanol yr hyn a ddywedir gan y gwahanol ymddadleuwyr, y mae yn rhaid cyfaddef fod yr awdurdodau a roddir gan Chalmers, dros darddiad Cymraeg y Celyddonwys, yn ymddangos mor gedyrn fel na ellir eu dymchwelyd, oddieithr cael allan ryw hysbysiadau nad ydynt etto wedi eu mynegu.

Dros ddeng mlynedd ar hugain ar ol amser Agricola, ni chawn un crybwylliad am helynt ynys Prydain yn mhlith yr ysgrifeniadau Rhufeinig; ac yn ystod yr amser hwnnw gallwn edrych ar lywodraeth y Rhufeiniaid, yn y rhan a oedd yn eu meddiant, sef yn y deheudir, megys yn gyflawn ac yn sefydledig; eithr y mae yn peri syndod nid ychydig, pan ystyriom y modd y darostyngwyd y wlad gan lu o bobl estron, er fod y trigolion yn eu gwrthsefyll mor galonnog ac mor ddiysgog. Ond yr oedd rhagosodiad yn hyn oll. Yr oedd rhaid i'r bwystfil ofnadwy ac erchyll, â'r dannedd haiarn, pan yn ysglyfaethu y ddaear, osod ei balf ar ynys Prydain hefyd, a bwyta a dryllio. Etto yn ddiamheuol yr oedd ryw gamymddygiadau yn mhlith ein hynafiaid yn gofyn am y cyfryw ymweliad, a rhyw beth yn galw am y fath gospedigaeth. Yr oedd, ni a wyddom, yn eu plith, ryfeloedd cartrefol, a gelyniaeth rhwng llwyth a llwyth, cyn dyfodiad eu gelynion estronaidd; ac ar ol dyfodiad y rhai hynny, yr oedd ymraniadau, eiddigedd, a bradwriaeth yn hanfodi i raddau mawrion a gwarthus. A'r llwythau hynny, y sawl ni fynnent fyw yn heddychlon dan reol undeb â brawdgarwch, yn eu rhyddid genedigol, a gawsant ymostwng trwy gymhelliad a thrais, i fyw dan draws-lywodraeth cenedl estron. Ond y goresgyniad hwn, er mor annymunol

yn ei ansawdd, etto nid oedd heb ei ganlyniadau daionus; canys bu yn foddion i ddarparu ffordd i ddyfodiad yr efengyl i'r ynys hon, ac i droi y trigolion oddiwrth y cyflwr o dywyllwch yn mha un yr hanfodent; a thrwy ddealldwriaeth o ieithoedd Groeg a Rhufain ddyfod â hwynt i feddiant o'r moddion i gael iddynt eu hunain wybodaeth o gynnwysiadau yr Ysgrythyrau Santaidd. Ond yn awr meddyliaf, y clywaf ryw un yn fy nghyhuddo o annghysondeb, am fy mod ond ychydig o du dalennau yn ol, gwedi bod yn llymgeryddu y Brytaniaid am eu hawydd i ddysgu iaith y Rhufeiniaid. Eithr i'm amddiffyn fy hun, a fy egwyddorion, amlygaf yma fy meddyliad nad oedd ddim yn angenrheidiol er ennill gwybodaeth o'r ysgrythyrau, a derbyn Cristionogaeth, i'r trigolion ymadael a'u hiaith enedigol, a mabwyso arferion llygredig y Rhufeiniaid. A hyn a allaf ei brofi trwy angrhaifft gwledydd eraill: Yn y man cyntaf edrychwn ar yr Iwerddon; yr oedd yr ynys honno yn foreu iawn yn dra llewyrchus gan oleuni Cristionogrwydd, a'i gweinidogion yn dra dysgedig megys difinyddion; etto nid oedd erioed dan lywodraeth y Rhufeiniaid, ac ni chawsant erioed feddiant ar droedfedd o dir yno. Etto yr oedd yr Efengyl yn llewyrchu, a dysgeidiaeth ysgrythyrol yn hanfodi i raddau helaeth yn yr Alban, mewn mannau na fuont erioed yn meddiant y Rhufeiniaid. Hefyd, yn Nghymru, yr oedd yr Efengyl wedi derbyn llwyddiant mawr yn mhlith y trigolion yn y cynoesoedd, ac yr oedd dysgeidiaeth ysgrythyrol yn hanfodi yn eu plith, ond ni a wyddom yn dda oddiwrth amgylchiadau diamheuol, na ddarfu i'r Cymry ddim fwrw ymaith eu haith enedigol, pan yn gwneuthur eu hunain yn hyddysg yn ieithad yr ysgrythyrau. Felly nid oes un sail ei fod yn beth angenrheidiol a dihebgor, i'r Brytaniaid Lloegraidd fabwyso y Lladin, nag un iaith arall, er colli eu heiddo eu hunain, y mae yn ddiamheuol y gall fod i goegfalchder y Brytaniad a'u moethusdra, gael yn y canlyniad, eu troi yn achlysurau o ddaioni; ond nid ydyw hynny yn cyfiawnhau y beiau gwaradwyddus yma. Yr unig beth a allwn ei ddywedyd, yw, y gall Rhagluniaeth beri i ddaioni darddu o ddrwg; ond ar yr un pryd, dyledswydd dynion yw ymogelyd y drwg; ac yn ddiamheuol, drwg ydoedd yr ymddygiad rhag-grybwylledig, canys yr oedd Rhufeiniaid yr oes honno yn llygredig yn eu moesau, i raddau o ddirywiad ac iseldra o'r dyfnaf; ac meddyliaf mai nid dadleuon disail, neu ddychymmygol, ydynt yr unig rai a ellir eu dwyn yn mlaen ar y testun hwn, ond fod amgylchiadau anwadadwy yn eu cadarnhau yn gyfangwbl. Canys trigolion y Cyfandir, y rhai a gollasant eu hiaith, a gollasant eu hegni hefyd, yn nghyd â'u gwladgarwch, ac a syrthiasant yn ysglyfaeth esmwyth iddeu gelynion, a'u gwlad a wnaethpwyd yn anrhaith, pan dorrodd y llwythau gogleddol drosti. A barnaf fod y Lloegrwys wedi syrthio i'r un fath ddirywiad i fesurau mawr, pan eu goresgynwyd gan y Saeson; ac felly, a barwydd colli yr unig gyfrwng, trwy ba un y gallasent gynnal eu gwlad-

garwch cynenid, ac o herwydd meithrin arferion dirywiol, yr oeddynt yn annalluog i ymddiffyn eu breintiau a'u rhyddid; ac hefyd ysgatfydd trwy eu llygredigaeth yn anhaeddiannol o honynt. Mewn gair, y mae yn ddilys fod llawer o drigolion Lloegr, trwy fabwyso iaith ac arferion Rhufain, felly wedi uno eu hunain â'i chyfundraeth, a thrwy hir faethiad o'i nwydau, wedi iasu eu hanian â'i heiddo, fel pan ddaeth amser ei chwymp a'i chospedigaeth, daethant dan yr un ddedfryd oresgynol.

## IWERDDON.

Gan fod y Rhufeiniaid wedi goresgyn y rhan fwyaf o Ynys Prydain, ac wedi canlyn eu rhwysg llwyddianus yno dros y fath amser maith, a chan fod Ynys yr Iwerddon yn feunyddiol o fewn iddeu golwg, y mae holiad yn ymgynnyg i'n sylw mewn perthynas i helynt y wlad honno. Ac yn yr holiad hwn cawn ganlyniad nodedig iawn, sef na ddarfu i'r Rhufeiniaid erioed oresgyn yr Iwerddon, na gwneuthur un cynnygiad at hynny. Ond y mae yn amlwg fod Agricola yn bwriadu gwneuthur ymosodiad ar yr ynys honno, ac hefyd yn ymddarparu tuag at hynny, pan yn hwylio ar hyd oror orllewinol yr Alban; ac yr oedd wedi derbyn i rith o gyfeillgarwch un o frenhinoedd y wlad honno, yr hwn a alltudiwyd o achos rhyw derfysg cartrefol, ac yn ei gadw gydag ef, erbyn y dygwyddai cyfleusdra i ymosod at y gorchwyl o oresgyniad. Ac yr oedd yn ddilys ganddo fod hynny yn beth hawdd iddei gyflawni. "Mynych y clywais ganddo," medd ei fab-yn-nghyfraith, Tacitus, "y gallesid âg un leng,* ac ychydig o filwyr cynnorthwyol, oresgyn ac ennill yr Iwerddon."†

Ond Agricola a alwyd o Brydain cyn cyflawni ei fwriadau, ac ni wnaeth ei oliaid ond yn unig cadw meddiant ar yr hyn oedd eisioes wedi ei ennill, yn lle ceisio helaethu terfynau yr Ymherodraeth. Felly y bwystfil Rhufeinig, pan yn ei rwysg milwraidd, ac yn ei gynallu haiarnaidd, y drylliodd ardaloedd Prydain, ni chyffyrddodd â'r Iwerddon, eithr gadawodd hi yn ngweddill Ond rhai oesoedd ar ol hynny, pan ddisgynoddd ei nerth, oddiwrth ei ben iddei waelach aelodau, sathrodd y gweddill hwnnw dan ei draed mewn modd gormesol.

## Y LYWODRAETH RUFEINIG.

Ar ol sefydlu eu hawdurdod yn y Deheudir, a llonyddu y trigolion, y Rhufeiniaid megys llywodraethwyr cyfrwys, a afaelasant ar bob offeryn iddeu cadw yn y cyflwr hynny. Dangoswyd eisioes, eu bod yn arferyd

* Lleng a gynnwysai o gylch 6000 o filwyr.

† "Sæpe ex eo audivi, legione una et modicis auxiliis debellari obtinerique Hiberniam posse."

pob moddion o hudoliaeth, iddeu denu i ymhoffi yn moethusrwydd Rhufain, i'r dyben iddeu llesghau, a darostwng eu hysbryd rhyfelgar. Hefyd sefydlent gaerau trwy yr holl ynys, yn nghyda ffyrdd neu heolydd o un i'r llall; a chadwent fyddinoedd yn wastad yn barod yn y caerau hyn, i wrthsefyll unrhyw gyffroad yn mhlith y trigolion. Ac hefyd adeilasant ddinasoedd a threfydd godidog, yn mha rai yr efelychent mawrfri Rhufain ei hun, trwy gampleoedd neu chwareufeyddd, ac adeiladau hardd; a chan fod gweddill y gweithrediadau hyn iddeu gweled yn aml yn y wlad, hyd y dydd heddyw, nid annghyson fydd taflu golwg arnynt dros ychydig enyd, i'r dyben i allael canfod anian y bobl hynny, a fuont unwaith yn llywodraethu mor unbennol yn ein plith.

### Y CAERAU RHUFEINIG.

Y mwyaf amlwg o weddillion y Rhufeiniaid ydyw eu caerau. Yr ymddiffynfeydd hyn a adnabyddir yn fynych wrth eu henwau, sef bod y gair *caer* yn unol â hwy, megys *Caerlleon*, *Caerfyrddin*, &c.; ond yn Nghymru nid yw y rhagenw hwn ddim yn wastad yn arwyddocau castell Rhufeinig, am ei fod yn cael ei arferyd am leoedd ymddiffynol mewn oesoedd diweddarach; ond yn Lloegr, y mae *Chester*, neu *Cester*, sef, llygriad o'r Lladin, *Castra*, yn agos yn ddioddieithr yn nodi allan gaer Rufeinig, megys *Winchester*, *Colchester*, *Gloucester*, *Worcester*, &c. Gwelir yr un peth yn yr enw *Doncaster*, ac ereill o'r fath.

Fe welir wrth hyn fod y Saeson yn cadw sain y gair Lladin yn fwy na'r Cymry; nis gallaf ddychymmyg yr achos o hyn oddieithr trwy dybied fod trigolion dwyreindir yr ynys, i blith pa rai y daeth y Saeson gyntaf, gwedi eu Lladineiddio i lawer helaethach graddau na'r Cymry gorllewinol; a bod y rhai hynny wedi arferyd galw eu dinasoedd wrth yr enw Lladin, *Castra*, tra yr oedd y lleill yn cadw at yr hen air Cymraeg, *Caer*, yn hwn, y mae yn ddilys gennyf, nid ydyw yn deillio oddiwrth y gair Lladin, eithr ei fod o wreiddyn cysefin Cymraeg, ac o'r un hanniad a'r gair *cae*.

Y mae gwahaniaeth mawr rhwng y caerau Rhufeinig ag eiddo y Brytaniaid mewn amryw bethau. Y caerau Brytanaidd ydynt, fynychaf, ar fryniau neu dir uchel; ond eiddo y Rhufeiniaid ar diroedd isel a gerllaw nant neu afon. Y caerau Brytanaidd ydynt o lun crwn neu gylchog, eithr eiddo y Rhufeiniaid yn bedair-onglog, â'u conglau yn bwl, neu yn gylchaidd. Caerau y Brytaniaid ydynt wedi eu ffurfio o ffos, ac o glawdd pridd, neu gerrig rhyddion; eithr y rhai Rhufeinig ydynt wedi eu murio yn dda â cherrig neu briddfeini, ac â chymmrwd calch. Y priddfeini ydynt yn deneuach ac yn lletach, nag a wneir y dydd heddyw, ac yn galetach, ac o lawer gwell gwneuthuriad; gwelir rhai o honynt a llythyr-

enau arnynt, yn arwyddocau y lleng gan yr hon y gwnaethpwyd hwy, megys, LEG. II. AVG., sef, *Legio Secunda Augusta;* yr hyn a geir wrth y *Gaer*, gerllaw Aberhonddu; gan ddangos fod rhan o'r ail leng yn sefydledig yno, prif wersyllfa pa un oedd yn Ngaerlleon-ar-Wysc. Weithiau gwelir y caerau Brytanaidd âg amryw ffosydd a chloddiau amgylchawl; eithr y Rhufeiniaid ni arferent ond un ffos allanawl, ac un mur tufewnol; gan hyderu yn nysgyblaeth y milwyr yn hytrach nag yn nghadernid eu hymddiffynfeydd. Gellir gweled anghreifftiau o honynt etto mewn llawer o fannau yn Nghymru, megys wrth *Y Cwm*, yn Llanŷr, yn swydd Faesyfed; y *Gaer*, yn Nghwmdu, yn Mrycheiniog; y *Gaer*, gerllaw Aberhonddu; *Caerwent* a *Chaerlleon-ar-Wysc*, yn swydd Fynyw. Y maent o wahanol faintioli, ond fynychaf yn tynnu at 250 o latheidiau o hyd, a 200 o led. Y mae Caerwent yn 505 llath, ger 353, o fewn i'r muriau. Yr oedd gan y Rhufeiniaid hefyd gaerau ar bennau y bryniau, eithr y rhai hyn nid oeddynt wedi eu hamgylchu â muriau saernïawl, fel eu cestyll yn y dyffrynoedd, gan mai gwersyllfaoedd gwarchadawl oeddynt, ac nid anneddau parhaus.

## FFYRDD RHUFEINIG.

Rhai o'r gweddillion mwyaf nodedig o eiddo y Rhufeiniaid ydynt, eu ffyrdd, neu eu heolydd cyffredinol. Arwyddoceir hanfodiad un o'r cyfryw yn Nghymru, fynychaf trwy yr enw *Sarn*, ac weithiau *Ystrad;* yr olaf a ymddengys fel llygriad o'r Lladin *Strata*. A gellir eu hadnabod yn hawdd, a chanfod y gwahaniaeth rhyngddynt â heolydd ereill, wrth graffu ar eu harnodiadau. A'r nôd mwyaf neillduol yw, eu bod yn cerdded yn uniawn neu yn gymmwys trwy y wlad, heb droi na gwyro oddiwrth yr un cyfeiriad dros filltiroedd o hyd, oddieithr fod rhyw rwystr annghyffredin i beri iddynt gyfnewid eu cyrchiad. Oblegid y bobl drefngar, y rhai a'u ffurfient, ni throeint oddiwrth eu hamcan er ychydig anhawsder; ie, dringent fryniau, neu, torrent trwyddynt, llanwent gymmydd ac adeiladent bontydd, yn hytrach nag ymadael â'u hegwyddor o fyned yn gymmwys o gaer i gaer. Y mae yn wir eu bod yn mhlith mynyddau Cymru, yn gorfod ymddarostwng i uchelder y clogwyni, a theithio o amgylch eu godreon; ond etto y mae yn dra haeddianol o sylw, y modd y cynnalient eu serch at gymmwysder, hyd yn nod yn mlith yr holl rwystrau a gyfarfyddent yma. Y ffyrdd hyn oeddynt yn gyffredinol o gylch pumtheg troedfedd o led, a cherrig ar yr ochrau o gryn faintioli, a'r canol wedi ei gyfodi yn uwch na'r tir cyfnesol, trwy hanau o dywod a cherrig mân. Y mae amryw weddillion o'r cyfryw iddeu gweled yn Nghymru; megys wrth *Gaersws*, yn swydd Drefaldwyn; wrth y *Gaer*, gerllaw Aberhonddu; ar faes cyffredin Llandrindod, yn swydd Faesyfed; yn agos i

a a gweithiau haiarn a delidau eraill. O'r rhai hyn, gallwn sylwi ar aryw yn Nghymru, megys y gweithiau plwm, yn mlwyf Caio, yn swydd aerfyrddin, y rhai a elwir yn awr y *Gogofau;* hefyd, y gweithiau haiarn i Llanfrynach, yn swydd Frycheiniog, i ba le y cludent y mwyn o'r ynyddau iddei doddi; o achos amlder y coed yn y dyffryn, er tanwydd. ithr y mae yn amlwg na fedrai y Rhufeiniaid ddim tynnu y delid allan r mwyn, mor hollol ag y gwneir y dydd heddyw, canys o fewn i'r hydig flynyddau, cludwyd ymaith amrywiol fen-lwythau o'r ffwrnsorod deu toddi drachefn, gan gymmaint o haiarn a adawyd ynddynt gan y hufeiniaid; ac mai y Rhufeiniaid a berchenogent y gweithiau hyn sydd liamheuol, oddiwrth yr adfeilion adeiladol a gafwyd yno, megys palmant rdd amryliw, a darnau o golofnau o gerrig nâdd, &c.; oll yn dwyn nodiad Rhufeinig.

MEINI CERFIEDIG.—ARIAN FATHAU, &C.

Y mae hefyd amrywiol feini, a phriddfeini, â cherfiadau, â llythyrenau hufeinig arnynt yn Nghymru a Lloegr; ac hefyd ceir yn fynych arian thau y Rhufeiniaid, o aur, ac arian, ac efydd, yn agos iddeu caerau, ac ewn lleoedd eraill; ac arnynt ddelwau yr Ymherawdwyr, y rhai a lywnethent ar y pryd; ac at y gweddillion hyn, gallwn ychwanegu, rdrwyau a thlysau aur ac arian, ac hefyd gleddyfau a phennau gwaewa. Ond y mae yn ddyledus sylwi yma, mai efydd ydynt yr arfau hyn a mwyaf, o herwydd fod y rhai dur a haiarn wedi eu llwyrddifa gan rwd. id y mae un peth yn peri dyryswch nid bychan mewn perthynas i hyn; sef ', paham yr oedd y Rhufeiniaid yn defnyddio efydd at wneuthuriad au awch, a hwynthwy yn meddiannu cymmaint o haiarn. Nid ydyw

bobl hynny. Am y gweddillion yn awr mewn hanfodiad, argraffwyd hwy ar y tir a'r meini, ac elfynau cyfanian, ac y maent etto yn ganfodadwy; ond am y cyfreithiau, y defodau, a'r iaith, y rhai a ddaethant yma gyda yr estroniaid, gan mai arddodiadau cynneddfol oeddynt, ni adawsant braidd un ôl o'u gallu cyntefig yn ein plith. Canys mor gynted ag y symmudwyd ymaith wasgfa llywodraeth y Rhufeiniaid oddiar y wlad, greddf y bobl a ymuniawnodd drachefn, eu hysbryd cysefin a ddwyreodd iddei le, ac ysgarasant y iau estronaidd a fu mor drwm a llwythog ar eu gwarrau dros gynnifer o flynyddau. Yn hyn y mae gwahaniaeth mawr rhwng y genedl Gymraeg a'r cenhedloedd eraill, a fuont dan lywodraeth y Rhufeiniaid; sef, bod y lleill oll yn dwyn arnodiad anwadadwy o'r iau Rhufeinig yn eu defodau a'u hiaith, eithr y Cymry, ni arddelant un argraff o'r cyntaf; sef o ddefodau y Rhufeiniaid, ac ond ychydig iawn o'u hiaith. Canys llawer o'r geiriau Lladin, y rhai a geir yn y Gymraeg, nid ydynt o blanniad Rhufeinig, eithr o darddiad Eglwysig yn unig; ac er cadarnhad o'r haeriad hyn, ceir yr un fath eiriau yn y Wyddelaeg, er na fu pobl Iwerddon erioed dan lywodraeth byddinoedd ac Ymherodraeth Rhufain; eithr y cyfryw eiriau a arweiniwyd i'r iaith trwy gyfrwng defodau a myfyrdodau Eglwysig; ac felly yn mhlith y Gwyddelod yn gystal a'r Cymry, nid ydynt y cyfryw eiriau yn arwyddion o oresgyniad milwriaethol, eithr o dderbyniad Cristionogaeth â ffurfiad defodau Eglwysig.

Mewn perthynas i gyfreithiau Rhufeinig, ni wyddys ond ychydig am eu hansawdd tra yr oedd Prydain dan eu rheol. Y gyfundraeth enwog o eiddo Iustinianus, nid oedd wedi ei ffurfio dros amseroedd maith ar ol ymadawiad y Rhufeiniaid o'r ynys; felly nid gwiw edrych am effeithiau honno yma. Ac am gyfundraeth Theodosius, yr oedd Prydain yn agos yn golledig i Ymherodraeth Rhufain pan ffurfiwyd honno, felly ni ellir dysgwyl un ôl o honi hithau. Yr un peth a ellir ei ddywedyd am eiddo Valentinianus. Eithr, os oes y dydd heddyw un gyfran o ddeddfroddiad Rhufain, mewn hanfodiad yn yr ynys hon, y mae yn debygol mai yn rhai o'r sefydliadau dinasyddol, y rhai a elwir y *Bwrdeisiadau*, neu y *Bwrdeisdrefydd* y mae. Gall fod i rai o'r hen ddinasoedd, a'r hen fwrdeisdrefydd, gadw eu cymdeithasau trefol yn annhorredig o amser y Rhufeiniaid, a bod eu ffurflywodraeth priodol yn barhad o'r hyn a sefydlwyd gan y Rhufeiniaid, dan yr enw *Municipalis;* eithr rhaid cyfaddef nad oes ond dychymmyg am hyn oll.

Y sefydliadau dinasyddiol hyn, oeddynt yn wladwriaethol, ac yn rhannau o'r lywodraeth Rufeinig. Pa un a oes rhyw ddarnau o honynt etto yn bod, ni ellir ei brofi; ond y mae yn ddiamheuol etto mewn hanfodiad, rai sefydliadau ereill, y sawl a gawsant eu dechreuad, tra yr oedd y byddinoedd Rhufeinig yn y wlad; er nas tarddasant oddiwrth y lywodraeth honno, ac nid oeddynt yn ffurfio un ran o'r gyfundraeth Ymherodrawl. A'r cyfryw

sefydliadau Eglwysig, y rhai a ddihangasant mewn modd rhyfeddol rhol y chwyldroadau gwladwriaethol, a'r ymosodiadau estronol, hyd ad heddyw. Ac er y bu iddynt yn fynych oddef gormes, trwy erlediau; megys yn amser Diocletianus, a than gadruthiadau y Saeson a'r Daniaid paganaidd, etto ni ddiddymwyd hwynt, eithr adgynnullent eu haelodau drachefn, ar y cyfleusderau cyntaf; a chynnalient eu gwasanaeth fel o'r blaen. O'r cyfryw rai a ddiangasant felly yn Lloegr, gallwn enwi, yn ol pob tebygolrwydd, Ynys Afallon, *Glastonbury*,—Verulamium, *St. Albans*,—Caerefrawc, ac ysgatfydd Llundain, ac amryw ereill. Ond gan ys pa beth a ganiateir am y sefydliadau hyn yn Lloegr, lle y bu i'r Saeson ddifrodi cymmaint ar y wlad a'r eglwys, etto y mae yn ddiamheuol fod y cyfryw mewn hanfodiad yn Nghymru; oblegid ni chafodd na'r Saeson na'r Daniaid un awdurdod yn y wlad yma, na gallu i ffino yr eglwys; oddieithr trwy ambell i gyrchiad ysglyfaethus ar y goror-au, lle llosgent yr adeiladau, ac y llofruddient y cyfryw fyfyrwyr ag a fyddent mor annedwydd a syrthio iddeu gallu. Ond am gorff yr eglwys, ni ddaeth dan eu hawdurdod, a'i sefydliadau, a arhosant heb eu dileu hyd y dydd heddyw. O'r cyfryw ydyw sefydliad Ty Ddewi, ac ysgatfydd y gallwn ychwanegu Llandaf, Llanilltud, ac amryw ereill.

Pan fyddom yn canlyn ystyriad o'r amgylchiadau hyn, y mae un peth tra nodedig yn ymgynnyg i'n sylw, sef yw fod y Sefydliadau Eglwysig, y rhai a gawsant unwaith eu herlid gyda y fath chwerwder gan Ymherodraeth Rhufain, gwedi bod ar ol hynny, yn mhlith yr effeithiolaf foddion, os nid yr unig rai, o gadw gwybodaeth o'i hanfodiad, ac arbed ei iaith rhag ei llwyrgolli. Oblegid oni buasai i fyfyriadau llenyddion Eglwysig, ni fuasai yn awr fwy o wybodaeth am hanes Rhufain, nag sydd am hanes Caerhûn, neu Gantre'r Gwaelod; ac ni fuasai fwy o son am ei hiaith, nag sydd am iaith Carthago, neu iaith Memphis yn yr Aipht.

Yn yr oesoedd diweddaraf o'u llywodraeth yn yr ynys, y Rhufeiniaid a rannent eu meddiant o honi yn bump dosparth; y rhai oeddynt fel y canlyn:—

| | |
|---|---|
| Britannia Prima.......... | *Yr ardal ar y tu dehau i Dafwys.* |
| Britannia Secunda........ | *Cymru.* |
| Flavia Cæsariensis........ | *Y wlad rhwng Tafwys a Hymyr.* |
| Maxima Cæsariensis ...... | *Rhwng Hymyr a'r Tyne.* |
| Valentia ................ | *O'r afon Tyne hyd y Clyde a'r Forth, yn yr Alban.* |

[illegible] yr oedd ganddynt unwaith ardal ar y tu gogleddol i'r Forth, a [illegible] Vespasiana ond ni chadwasant hi yn hir. Nid ydyw cyffiniau y da-

laeth hon adnabyddus. Dywedir ei bod yn cyrhaedd hyd Inverness, ond gan ys pa fodd yr oedd hyn, y mae yn ddiamheuol, oddiwrth amrywiol weddillion, fod y Rhufeiniaid unwaith, mewn meddiant o ran fawr o'r wlad, ar y gororau dwyreiniol, yn y parthau hyn. Eithr hyn a ymddengys yn bennaf oddiwrth eu ffyrdd; canys er y gallasent gyfodi caerau mewn gwlad gelyniaethol, wrth ryfela yno, ond ni ffurfient ffyrdd ac heolydd, oddieithr mewn gwlad dan eu llywodraeth.

Yr ardaloedd hyn a oeddynt bob un dan lywodraeth ei phennaeth priodol, eithr y cwbl o honynt dan un rhaglaw yr hwn oedd dros yr holl wlad. Yr oedd hefyd ynddynt yn agos i gant a hanner o drefydd caerog, o enwau pa rai ni attebai un dyben osod cofrestr yma; eithr gall fod yn foddhaol gweled enwau rhai o'r mwyaf pennodol yn Nghymru, sef *Britannia Secunda*, ac felly nodaf hwy yma, mor belled ag y cytunir am danynt gan hynafieithwyr; canys y mae amryw farnau am lawer o honynt.

| | |
|---|---|
| VENTA SILURUM ................ | *Caerwent.* |
| ISCA SILURUM .................. | *Caerlleon-ar-Wysc.* |
| MARIDUNUM ................... | *Caerfyrddin.* |
| HERIRI MONS .................. | *Tommen y mur, Ffestiniog.* |
| SEGONTIUM ..................... | *Caer Seiont, gerllaw Caerynarfon.* |
| CONOVIUM ...................... | *Caer Rhun, gerllaw Conwy.* * |
| DEVA ............................ | *Caerlleon Gawr.* |

Y caerau yn yr ardaloedd ar gyffiniau Cymru oeddynt,

| | |
|---|---|
| GLEVUM ......... ............ | *Caerloyw.* |
| BRANNOGENIUM ............. | *Caerwrangon.* |
| URICONIUM .................. | *Wroxeter.* |
| MANCUNIUM ................ | *Manchester, &c.* |

Y mae yn debygol bod rhai o'r trefydd Rhufeinig gwedi eu hadeiladu ar sefyllfaoedd hen drefydd Brytanaidd, ac yn cadw yn agos yr un enwau. Ond adnabyddir y caerau Rhufeinig yn wastad wrth eu llun pedryfal; ac os nad ydynt yn rhy adfeiledig, gwelir yn wastad yn un o'r conglau, seiliau y *Prætorium*, anneddle y cadfridog.

Yn yr amser am ba un y traetha Richard o Cirencester, yr oedd yn Mhrydain 92 o ddinasoedd, o ba rifedi yr oedd 33 yn rhagori ar y

* Gelwir y lle gan rai *Caer Hên*, ac *Caer Hûn*. Ond y tyb cyffredinol yw, fod yr enw yn deilliaw oddiwrth *Rhûn ap Maelgwn Gwynedd*, tywysog o'r 6ed ganrif. Cafwyd yma lawer o weddillion Rhufeinig.

ereill o ran anrhydedd. Yr oeddynt yn ddosparthedig yn mhedair gradd. Yr oedd dwy a elwid *Municipia*, sef VERULAMIUM, *St. Albans;* ac EBORACUM, *Caerefrawc*—Naw *Coloniæ*; yn mhlith pa rai oedd LONDINIUM, *Llundain;* ISCA, *Caerlleon-ar-Wysc;* a DEVA, *Caerlleon Gawr*—Deg a oeddynt *Latio jure donatæ*, sef a'r fraint i ffurfio eu trefllywodraeth yn eu plith eu hunain, o'r cyfryw yr oedd THEODOSIA, *Caer Alclwyd;* [Dunbarton ;] a LUGUBALIA, *Caerlliwelydd;* [Carlisle;] y naddwy hyn oeddynt yn wlad y Cymry gogleddol. Ac yr oedd deuddeg *Stipendiariæ ;* yn mhlith pa rai yr oedd *Caerwent*, *Caerseiont*, a *Chaerfyrddin*.

Heblaw y rhagenwedig, y mae amryw gaerau ereill yn y Dywysogaeth, am y sawl y mae eu lluniau a'u gwneuthuriad yn tystiolaethu eu hachau Rhufeinig, ond am enwau cyntefig pa rai nid oes yn awr un sicrwydd. O'r cyfryw y mae y gaer yn Nghwmdu, yn Mrycheiniog; a'r un wrth Llanfair-ar-y-Bryn, gerllaw Llanymddyfri; yr un wrth Llanio Isaf, yn Ngheredigion; Caer Gai, gerllaw y Bala; Caergybi, &c. Y mae hefyd enwau rhai ereill ar glawr, y sawl y gwyddus yr ardal lle yr hanfodent, ond o ba rai nid oes dim gweddillion iddeu cael; megys BLESTIUM, *Trefynwy*,—GOBANNIUM, *Y Fenni;* &c. ac y mae crybwylliad am rhai caerau Rhufeinig na wyddus yn mha gwrr o'r wlad yr hanfodent; mor llwyr y diflanodd pob gwybodaeth am eu helynt.

### MILWYR RHUFEINIG.

Yn mhlith y milwyr y sawl a wasanaethent yn y byddinoedd Rhufeinig, ac a warcheidwent y caerau hyn, yr oedd amryw o honynt yn enedigion o Rufain ac o'r Ital; ond yr oedd rhan fawr wedi eu cymmeryd o blith y cenhedloedd ereill, y rhai a oresgynnwyd gan y Rhufeiniaid. Y cyfryw filwyr a elwid yn *Auxiliares*, [cynnorthwyawl.] Arfer y Rhufeiniaid oedd cymmeryd trigolion un wlad i gynnorthwyaw at orchfygu gwledydd ereill, ac yn Mhrydain canlynasant yr un drefn; oblegid ni a gawn iddynt, yn ystod eu llywodraeth, yma, gynnull amrywiol fyddinoedd y sawl a wasanaethent mewn amryw wledydd pellenig. Y mae CAMDEN, yn rhoddi enwau deuddeg o'r cyfryw fyddinoedd, o ba rai y canlynol a roddir er engrhaifft :—

| | |
|---|---|
| Ala Britonum IV. in Ægypto. | Y 4edd fyddin y Brytaniaid yn yr Aipht. |
| Cohors VII. Britonum in Armenia. | Y 7ed fyddin o'r Brytaniaid yn Armenia. |
| Britones cum Magistro Equitum Gallicarum. | Y Brytaniaid gyda blaenor Marchogwyr Gâl. |
| Invicti Iuniores Britones intra Hispanias. | Yr Anorchfygedig Brytaniaid ieuainc yn Yspaen. |
| Britones seniores in Illyrico. | Yr hen fyddin o'r Brytaniaid yn Illyricum. |

O'r ffyrdd Rhufeinig yn Nghymru, gallwn nodi allan bump neu chwech o brif ffyrdd, yn cerdded trwy y wlad ar hyd ac ar led; un o ba rai a elwid y *Via Iulia*, yr hon oedd yn myned o Gaerwent ar yr oror ddeheuol i'r wlad hyd Mynyw, [Tŷ Ddewi.] Ac er angrhaifft o'r modd, yr oedd y Rhufeiniaid yn gosod allan fesuriad o'u ffyrdd; rhoddaf yma y canlynol, fel ag y gwelir yn ngwaith Richard o Cirencester,* yn dangos mesuriad y ffordd rhagddywededig. Eithr nid ydyw y cyfrif yn atteb yn gywir o le i le.

| Y CYSEFIN. | | CYFIEITHAD AC EGLURIADAU. | MILLTIROEDD RHUFEINIG. |
|---|---|---|---|
| Iter—Ab Aquis per Viam Juliam Menapiam usque sic: | | Y Daith—O Gaer Badon ar hyd y Via Iulia i Menapia [Mynyw] yn y modd hyn: | |
| Ad Abonam | M. P.† VI. | At Abona<br>Caer ar afon Caerodor, yr hon afon a elwir *the Avon*. | 6 |
| Ad Sabrinam | VI. | At Hafren | 6 |
| Unde trajectu intras in Brittaniam Secundam et stationem Trajectum | M. P. III. | Oddiyno yn croesi wrth y Ceubalfa i Gymru, a'r sefyllfa a elwir Trajectus [Ceubalfa.] | 3 |
| Venta Silurum | VIII. | Caer Went | 8 |
| Isca Colonia | IX. | Caerlleon-ar-Wysc | 9 |
| Unde fuit Aaron Martyr | | O ba le yr oedd Aaron y Merthyr | |
| Tibia Amne | M. P. VIII. | Yr afon Tibia‡ | 8 |
| Bovio | XX. | Lle anadnabyddus‖ | 20 |
| Nido | XV. | Cas' Nedd | 15 |
| Leucario | XV. | Llwchwr, [meddylir] | 15 |
| Ad Vigesimum | XX. | Anadnabyddus<br>Eithr Castell Fleming meddylir. | 20 |
| Ad Menapiam | XIX. | At Tŷ Ddewi | 19 |

* *Richard o Cirencester*, a alwyd felly oddiwrth le ei enedigaeth. Monach ydoedd efe yn Westminster, yn y 14eg ganrif. Y mae yn dywedyd iddo ffurfio ei deithiadur, [Itinerarium,] allan o rai gweddillion o waith rhyw flaenor Rhufeinig; ac hefyd iddo gymmeryd rhai pethau o lyfrau ereill.

† Millia passuum—milltiroedd.

‡ Ni wyddus am y lle hwn, ond meddylir mai yr afon Taf ydyw Tibia, a mai gerllaw Caerdydd [Caerdyf] ydoedd y lle.

‖ Y mae Sir R. Hoare yn barnu ei fod gerllaw Ewenny; ond y mae yr enw yn fy mhueddu i feddwl gallai fod gerllaw y Bontfaen, [*Pontfón*, medd rhai,] *Cowbridge*; gan fod y geiriau *Món*, *Cow*, a *Bovis*, mor gyfystyr. Ni ellir gosod un hyder yn rhifiau y milltiroedd i'n cyfarwyddo at sefyllfa y gaer hon.

Y canlynol, yn dangos rhan o'r un ffordd a gymmerwyd allan o'r Daithlyfr a elwir *Itinerarium Antonini*—ni wyddus pwy ydoedd yr awdwr. Ymgatfydd i'r annghysondeb yn y rhifau ddamweinio trwy gamysgrifiad.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Iter a Muridono Viroconium | M. P. CLXXXVI. | Y daith o Gaerfyrddin i Wroxeter<br>Gerllaw yr Amwythig. | 186 |
| Leucarium | M. P. XV. | Llwchwr | 15 |
| Nidum | M. P. XV. | Cas' Nedd | 15 |
| Bomium | M. P. XV. | Anadnabyddus | 15 |
| Iscam Leg. II. Aug. | M. P. XXVII. | Caerlleon-ar-Wysc, sefyllfa yr ail leng | 27 |
| Burrium | M. P. IX. | Brynbiga, meddylir | 9 |
| Gobannium | M. P. XII. | Y Fenni, tebygol | 12 |
| Magnim | M. P. XXII. | Kenchester<br>Yn swydd Henffordd. | 22 |
| Branonium | M. P. XXIV. | Gerllaw Lentwardine | 24 |
| Viriconium | M. P. XXVII. | Wroxeter | 27 |

*Etto, y daith o Wroxeter i Gaerynarfon, o lyfr Richard.*

| | | | |
|---|---|---|---|
| Banchorio | XXVI. | Bangor Iscoed | 26 |
| Deva Colonia | X. | Caerlleon Gawr | 10 |
| Fines Flaviæ et Secundæ | | Cyffiniau Flavia Cæsariensis a Chymru | |
| Varis | M. P. XXX. | Bodfari, meddylir | 30 |
| Conovio | XX. | Caer Rhûn<br>Tebygol, sef ar yr afon Conwy. | 20 |
| Seguntio | XXIV. | Caer Seiont [Caerynarfon] | 24 |

*Etto*—

| | | | |
|---|---|---|---|
| A Seguntio Viriconium usque | M. P. LXXIII. | O Gaer Seiont i Wroxeter | 73 |
| Sic | | Fal hyn. | |
| Heriri monte | M. P. XXV. | At fynydd Eryri<br>Tommen y mur. | 25 |
| Mediolano | XXV. | Anadnabyddus<br>Ar yr afon Tanad, tebygol. | 25 |
| Rutunio | XII. | Anadnabyddus<br>Eithr Rowton, meddylir. | 12 |
| Viriconio | XI. | Wroxeter | 11 |

Yr oedd hefyd ffordd arall yn arwain o Gastell Nedd heibio i Aberhonddu, ac at Gaersws, ac oddiyno tua Chaerlleon Gawr. Gwelir y ffordd hon ar y gwastadle gerllaw Castell Nedd, y tu gogleddel i'r afon.

Gwelir hi drachefn wrth *Lletty'r Afel*, ac oddiyno arweinia i'r bryn a elwir *Cefn-hir-Fynydd*, ac at *Gelli-ben-Uchel*, *Banwaun*, *Ton-y-fil-dra*, ar gyffiniau Brycheiniog; ac felly heibio i *Gefn-Ucheldref* i *Blaen Nedd*, ac yn agos i faen hir a elwir *Maen Llia*. Gwelir hi hefyd ar y tu deheu i'r afon *Senni*, ac wrth *Blaen-Gwrthyd*, yn Llanspyddid. Y mae y ffordd yma yn dra amlwg ar y bryniau mewn amryw fannau; ac oddieithr ei bod yn orchuddiedig â hân o dywarch a glaswellt, ymddengys mor gyflawn ag yr oedd pan dramwywyd hi gan ei gwneuthurwyr.

Y ffordd hon a arweiniai at *Y Gaer*, gerllaw Aberhonddu, ac oddiyno at y gaer yn Llanŷr; ac y mae yn debygol iddi groesi yr afon *Wy*, gerllaw *Llechryd*; o gylch dwy filltir uwchlaw Llanfair-yn-Muallt. Oddiwrth lun pedrongawl Castell Llechryd, meddyliaf ei fod yn gysefin yn gaer Rhufeinig; ac yn enwedig, am fod darnau o'r ffordd iddeu gweled mewn amryw fannau yn nghyfeiryd y lle hwnnw; ac ar faes cyffredin Llandrindod, y mae yn dra amlwg. Ac yn yr ardal hon, heblaw y gaer fawr wrth y *Cwm*, y mae yn agos i ugain o gaerau bychain yn wasgaredig ar hyd y wlad, oll o lun pedryfal, yn dangos eu ffurfiad Rhufeinig. Cefais allan y gweddillion hyn amryw flynyddau yn ol; wrth dramwyaw y meusydd yma; ac wedi hynny derbyniais gadarnhad o'm barn, perthynol iddynt, gan amryw o hynafieithwyr dysgedig. O'r Cwm i Gaersws nid oes braidd ddim o'r ffordd hon yn adnabyddus; ond o Gaersws tua'r gogledd, y mae yn fwy amlwg, neu ysgatfydd, cafodd hynafieithydd fwy medrus iddei olrhain a'i nodi allan, sef y Parch. Walter Davies, o *Manafon*. Yn ol y dysgrifiad a roddodd y gwr dysgedig yma i Sir Richard Hoare, a'r hyn sydd ynargraffedig yn ei *Giraldus Cambrensis*, gelwir y ffordd hon *Sarn Swsan*, yn yr ardal ogleddol. Ac y mae yn ganfodadwy mewn amryw fannau, gan ddechreu ar faes *Gwynfynydd*, megys ar *Fynydd Llyn Mawr*, *Pant-y-Milwyr*, *Foel Fach*, *Cors-Uath-yr-Eirion*, *Esgair Llyn Hir*, *Llyn-y-gogor*, *Bwlch y-Drum*, dros yr afon *Fyrnwy*, wrth *Maes-y-Felin-fach*, *Craig-y-go*, *Pontystyllod*, gerllaw *Dolanog*, ac yn mlaen tua'r afon *Tanad*, lle y meddylir yr oedd y gaer a elwid Mediolanum.

Y ffordd hon a elwir yn rhai mannau *Sarn Helen*, yr hwn enw a roddir i ereill o'r ffyrdd Rhufeinig. Dywedir iddynt gael eu galw felly oddiwrth *Helena*, merch *Coel Codebog*, a mam yr Ymherawdr *Constantinus*; ond ereill a feddyliant mai llygriad ydyw yr enw o *Sarn y lleng*. Rhoddir hyn o ddysgrifiaid o'r ffordd hon, oblegid ei bod mewn gwell cadwraeth, ac yn fwy amlwg nag un arall yn y dywysogaeth. Ond os dymuna neb weled hanes mwy cyflawn o honi, yn gystal ag o'r ffyrdd a'r caerau Rhufeinig yn Nghymru yn gyffredinol, edryched yn y gwaith rhagenwedig o eiddo Sir R. Hoare.

Yr oedd hefyd amryw ffyrdd ereill, yn croesi y wlad o gaer i gaer, o ba

rchenogent.

A thra fyddom yn myfyrio ar yr adfaelion hyn, y mae synniadau tra dedig yn ymgynnyg i'n sylw, sef ar y modd y bu i genedl ddewr oresawl, ymwisgedig yn holl arfogaeth Ymherodraeth y byd, gilio ymaith a hannu allan o'r wlad, a hynny hefyd gyda mwy o frys nag y daeth i mewn. , mor llwyr dilewyd yn agos bob coffadwriaeth am dani, fel yn fynych y fynir eithaf treiddiad yr hanesydd diwydaf i nodi allan arwyddion ei hanfod. Ei ffyrdd godidog, ar hyd pa rai y tramwyent y llengodd haiarnlwn, a ydynt yn awr yn orchuddiedig dan dywarch a grug, neu ynte di eu troi i fynu er ys oesoedd gan erydr y llwythau y rhai a ormesai. 'r caerau mawrwych a chedyrn, yn mha rai yr anneddai y llengodd dychllyd hyn, a ydynt yn fynych mor hollol ddymchweledig, ag aros yn ddilw, ac yn annghoffaol, oddieithr fod i ryw dramwywr damweiniol, trwy ffa ar ddarn o hen briddfeinyn, neu y *Llysiau gwaed gwyr*, gael ei lau i chwilio yn mhlith y drain a'r mieri am weddillion cynoesawl.

Y mae y gweddillion hyn hefyd yn cynnyg i'n sylw fyfyrdodau tra wysfawr a difrifol, ac hefyd o dueddiad tra llesiol, os derbyniwn hwy ly. Y maent yn y man cyntaf yn foddion, o gyffroi ynom deimladau o tyngeiddrwydd, megys nodau o lywodraeth estronaidd, i ba un y darosgwyd ein cenedl gan Ragluniaeth, a hynny, yn ddiau, er cosp am ryw weddau yn ei erbyn. Y mae y caerau hyn, a'r ffyrdd, yn greithiau ar y gwlad; olion y fflangelliad a dderbyniodd gan yr offerynau ofnawl a ddwyd at y dyben hynny. Meddyliaf, pan yn y gweddillion hyn, y syllom synodiadau y cadernid aruthrawl, yr hwn unwaith a arglwyddiaethai nom, ei fod yn tueddu i beri ynom deimladau o ostyngeiddrwydd a galar. d pan welom y bri a'r mawredd hyn yn ddymchweledig yn y llwch, ac orchuddiedig dan ddrysni ac eithyn y maes, fel y mae y dydd heddyw,

wyllau a sarhadau." Ac y mae yn ddiamheuol fod amryw o'r caerau a'r heolydd Rhufeinig, a welir yn yr ynys, yn cynnwys ffrwythau y caethwasanaeth blin a gwrthun hwn.

### Y BRUT.

Gallasem ddysgwyl y buasai i hanes, mor faith ag ydyw y Brut yn gyffredinol, roddi i ni lawer o amgylchiadau perthynol i'r amseroedd pwysfawr o'r rhyfeloedd Rhufeinig. Eithr nid ydyw yn cynnyg ond ychydig iawn i'n sylw, a'r ychydig hynny sydd mor annghyson a'r hanesiad Rhufeinig mewn amryw bethau, fel nas gellir ei dderbyn megys awdurdod. Dywed y Brut i Gaswallawn farw ar ol saith mlynedd gwedi ymadawiad Cæsar, ac iddei nai, TENEFAN AP LLUDD, [*Tennancius*,] Iarll Cernyw, ddyfod i'r orsedd. Ac ar ol Tenefan, iddei fab yntau, CYNFELYN, [*Kymbelinus*,] deyrnasu, yr hwn a fagesid dan nawdd yr Ymherawdr. Ac o achos ei gariad at y Rhufeiniaid, nid attaliodd y deyrnged oddiwrthynt; eithr ei fab GWYDYR, [*Guiderius*,] pan ddaeth yn frenin, a ballodd dalu y deyrnged, o ba achos Gloew Kesar, [Claudius Cæsar,] yr Ymherawdr, a ddaeth i Brydain, ac gydag ef raglaw o'r enw Ieuliws Haymo,* [Lelius Hamo,] ac a gymmerasant *Caer Peris*, [Portchester,] ond GWEIRYD [*Arviragus*,] brawd Gwydyr, a gyfarfu â hwynt mewn brwydr, ac a laddodd Haymo yno, a'r lle a elwid *Porth Hamwnt* oddiwrth hynny, yn awr *Southampton*.

Ar ol hyn Claudius a ymheddychodd â Gweiryd, ac a roddodd iddo ei ferch GENYLLES, [*Gennissa*,] yn wraig; a'r Ymherawdr, er coffadwriaeth am hyn, a adeiladodd ddinas ar lan Hafren, yr hon a elwid *Caer Gloew*, eithr "ereill a ddywedant," medd y Brut, "mai gan *Loyw Wlad Lydan*, mab Gloew Kesar, y ganed yn y ddinas honno gwedi hynny, y cafas y ddinas ei henw." Yna Claudius a ddychwelodd i Rufain, gan adael llywodraeth Prydain yn nwylaw Gweiryd.

Ond yn awr Gweiryd, o herwydd ei fawr gadernid, a ddechreuodd a dirmygu gallu Rhufain, ac a attaliodd y deyrnged. Felly Claudius a anfonodd *Vaspasyan* yn ei erbyn; yr hwn a ddaeth at borth Rutuby, ar fedr tirio, eithr Gweiryd a'i rhwystrodd. Oddiyno hwyliodd i Totness, lle y tiriodd, ac a aeth hyd at Caer Penhwylgoed.† Ond Gweiryd a'i cyfarfyddodd yno, lle bu brwydr waedlyd, heb i un ochr drechu. Ar ol hyn ymheddychasant, a Vaspasyan a ddychwelodd i Rufain. A Gweiryd a deyrnasodd mewn tangnefedd, ac yn ei hen oedran a ddangosodd fwy o

* Pwy a feddylir wrth yr enw hwn, ni wyddys; dichon fod *Ieuliws* yn gamroddiad o *Aulus*, sef Aulus Plautius, yr hwn oedd yn blaenori yn Mhrydain ar y pryd; ond am *Haymo*, nis gwn o ba le y mae.

† *Oxonia*, mewn un ysgrif o eiddo Sieffrey o Fynwy, "Kaerpenvhelgoet quæ Oxonia vocatur." Eithr amlwg yw mai *Exonia* a ddylai fod, sef Exeter.

barch a gostyngeiddrwydd i Senedd Rhufain. Ac yr oedd clod Gweiryd mor fawr a bod y prydydd IUVENALIS yn crybwyll am dano yn y modd canlynol:—

> "Regem aliquem capies, aut de temone Britanno
> Decidet Arviragus."*

Wrth edrych yn ngwaith Iuvenalis, ni a ganfyddwn yr ymadrodd yno, yn nghyda geiriau ychwanegol, oll yn arwyddocau enwogrwydd Arviragus; ac gan fod y traethwr yn eu cyfeirio at yr Ymherawdr, megys cymmediw, mewn cyfarchiad gwenieithus, mae yn amlwg tai nid ffugiant o eiddo awdwr y Brut ydyw yr hyn a grybwyllir am anrhydedd y Brython. Y canlynol ydyw yr ymadrodd cyfan:—

> "Et ingens
> Omen habes, inquit, magni clarique triumphi:
> Regem aliquem capies, aut de temone Britanno
> Excidet Arviragus."

*Y mae gennyt yma argoel anfeidrawl o fuddugoliaeth fawr, a chlodwiw; deli yn garcharor ryw frenin, neu Arviragus a syrth allan o'i gerbyd Brytanaidd."

A phan edrychaf ar hyn o gynnwysiad y Brut, y mae yn cadarnhau fy nhyb, fod yn y canol oesoedd, amryw hen hanesion mewn hanfodiad, y rhai nid ydynt mwyach ar glawr. Pe yn y Brut yn unig y gwelsid enw Arviragus, buasid yn ei gyfrif megys ffugiad hollol; ond ni a welwn fod awdwr Rhufeinig yn crybwyll am dano, mewn modd i gadarnhau yr hyn a draethir yno. Fe a ddylai hyn fod yn achlysur o beri i ni bwyllo ychydig, yn gwrthod yr hanesion Brytanaidd, er nad oes yn wastad gadarnhad iddynt mewn llyfrau Rhufeinig. Nis gwn ar ba egwyddor y caniateir i awdwyr pellenig y cyfryw anffaeledigrwydd, a bod i ni roddi cred i'r cwbl a draethant, tra'r amheuir y cwbl o darddiad cartrefol.

### HELYNT Y RHUFEINIAID O B. A. 84 HYD AT 446.

Yr ydym eisioes, wedi canlyn helynt y Rhufeiniaid yn yr ynys, hyd at y flwyddyn 84, pan galwyd Agricola yn ol i Rufain, yn nghanol ei rwysc buddugoliaethus, yn ei ryfeloedd yn erbyn y trigolion. Yr ydoedd gwedi darostwng y llwythau deheuol, ac yn canlyn milwriaeth llwyddianus yn erbyn y rhai gogleddol. Ac yr oedd yn ymddangos fel pe na fwriadai orphwys, hyd nes y byddai iddo ddarostwng yr holl ynys. Eithr ei ymadawiad fu yn achlysur i osod terfyn i estyniad meddiant y Rhufeiniaid [illegible]

[illegible] y llinellau hyn ddim yn y Brut Cymraeg, eithr yn y Lladin.

Ni wyddys ond ychydig am enwau y rhaglawiaid a'i canlynasai eithr y mae yn ddilys fod yr ynys mewn cyflwr o heddwch cyffredinol eu llywodraeth ; am na chlywir am ddim o'u hamgylchiadau dros o g deng mlynedd ar hugain. Y tawelwch hwn, ysgatfydd, a ellir ei gyf ddau achlysur; anian fwy heddychlawn yn y rhaglawiaid, ac effeithia maeddiant diweddar yn argraffedig ar feddyliau y trigolion. Ond gyfododd cenhedlaeth newydd i fynu, yr hon ni phrofasai awchusrwyd arfau Rhufeinig, dechreuodd rai o'r llwythau annibynol, yn Ngogledd Celyddon, aflonyddu y Rhufeiniaid, trwy ymosodiadau ar eu taleithi Dinystriasant rai o'r caerau rhwng y Forth a'r Clyde, a gorthrechs fyddin Rhufeinig mewn bwydr.

HADRIANUS.

O gylch yr amser hyn, yr oedd annhrefn mawr wedi cyfodi yn mhl swyddogion Rhufeinig; a'r gorthrymiad a arferent, a achlysurai anf lonrwydd yn mhlith y trigolion, ac felly rhwng pob peth, tyfodd y derfysc yn yr ynys, ac a barodd i'r Ymherawdr HADRIANUS ei hun dd drwodd iddei ostegu, yr hyn a wnaeth yn y flwyddyn 121. Ac ar ol i'r Celyddonwys gilio, efe a gyfododd warchadglawdd, neu fur o bridd afon *Tyne* hyd at y *Solway*, yn 80 milltir o hyd, er ymddiffynfa yn e rhuthr y llwythau gogleddol.*

LOLLIUS URBICUS.

Ar ol marw Hadrianus daeth ANTONINUS PIUS i'r orsedd, yn y flwyd 138. Yn amser ei deyrnasiad, dechreuodd y llwythau Celyddon aflonyddu yr ardaloedd Rhufeinig drachefn ; a'r Ymherawdr a anfon drwodd LOLLIUS URBICUS, yn rhaglaw, yn y flwyddyn 140 ; ac y a yrrodd yn ol y gelynion, ac a adeiladodd fur arall, o bridd neuo dyws ar sail o gerrig, rhwng y Forth a'r Clyde, ar hyd yr un tir a rhes ca

* Hadrianus oedd yr Ymherawdr, yr hwn a gyflawnodd wasgariad yr Iuddewon. flwyddyn 130, gorchymmynodd ail-adeiladu dinas Ierusalem, a chyfododd yno deml i *I Capitolinus*, ac a gyfnewidiodd enw y ddinas, gan ei galw yn *Ælia Capitolina*. Eit Iuddewon yn mhen ychydig amser a gyfodasant mewn gwrthryfel, a derbyniasant anno mawr oddiwrth un a enwai ei hun *Barcocab*, ac a gymmerai arno mai efe oedd y M Eithr Hadrianus a anfonodd ei fyddinoedd yn eu herbyn, ac ar ol dwy flynedd o ryfe a'u goresgynodd, yn mha un y dinystriodd 50 o'u caerau cadarnaf, 985 o'u trefydd p ac a laddodd mewn brwydrau yn agos i *chwech can' mil* o wŷr, heblaw y rhai a drenga newyn a chaledi. Ac yno alltudiodd y cwbl oll o'r genedl allan o Iudæa, ac a ffu ddeddf i wahardd neb o honynt ddyfod byth o fewn golwg i'r wlad honno. Hyn a w yn y flwyddyn 134 ; sef 63 mlynedd ar ol dinystr y ddinas gan Titus. Erlidiodd y Cri ogion hefyd yn chwerwdost yn ystod ei deyrnasiad.

Agricola. Y mur hwn oedd dros 30 milltir o hyd, yn 20 troedfedd o uchder, a 24 o led. Yr oedd ffos ar y tu gogleddol iddo, yn 40 troedfedd o led, a 20 o ddyfnder. Ac yr oedd ffordd lydan dda ar y tu deheuol, i'r milwyr dramwy o gaer i gaer, o ba gaerau yr oedd 19 ar hyd y mur. Y fath weithredoedd rhyfeddol a gyflawnwyd gan y Rhufeiniaid yn y gwledydd dan eu llywodraeth, er diogelu eu meddiant. Y wlad rhwng y muriau, sef Ddeheudir yr Alban, [*Valentia*,] a warchadwyd yn y modd cyfyngaf gan y Rhufeiniaid. Yr ydoedd yn llawn o ffyrdd milwraidd yn ei chroesi yn mhob cyfeiryd, a chaerau aml, yn warchedawg gan filwyr Rhufain. A hyn oedd ei chyflwr, dros yn agos i dri chant o flynyddoedd; ac etto er syndod dirfawr, ni a gawn fod y trigolion, sef Cymry Strathclyd, ar ol ymadawiad yr estroniaid hyn, mewn meddiant o'u hiaith gysefin, ac mor llwyr oddiwrth bob ymddangosiad o gymmysgedd Rhufeinig, a phe na fuasent erioed dan lywodraeth y bobl hynny; fel ag y canfyddir yn ngwaith MYRDDYN WYLLT, ANEURIN, a LLYWARCH HEN, y rhai oeddynt o'r wlad honno a'r ardaloedd cyfnesol.

## SEVERUS.

O amser Antoninus, bu amrywiol gyfarfodydd rhwng y Rhufeiniaid a'r Celyddonwys, o ba rai ni attebai un dyben i roddi hysbysiad; ond gallwn yn unig fynegi, fod y llwythau hyn yn gwasgu ar y Rhufeiniaid, gyda chymmaint o bwys, a gorfod arnynt, yn amser AURELIANUS, yn nghylch 170, adael eu caerau ar y tu gogleddol i'r Forth, yn nghyda'r dalaeth a elwid Vespasiana. Mor flinderus oedd ymosodiadau y Celyddonwys wedi myned, a pheri i'r Ymherawdr SEVERUS ddyfod i'r ynys i drefnu moddion iddeu gwrthsefyll. Ac yn nghylch y flwyddyn 208, efe a ymosododd at y gorchwyl o gospi y Celyddonwys, gan arwain byddin liosog iddeu gwlad. Ond ar ol ymdrafferthu yn fawr rhwng y mynyddoedd a'r coedydd, a'r corsydd, heb weled gelyn, oblegid yr oedd y Celyddonwys yn gallach na dyfod i gyfarfod â'r Rhufeiniaid mewn brwydr, pan y gwyddent fod amgylchiadau ereill yn cydweithio iddeu gorthrechu, ac ymgadwasant allan o'u ffordd, efe a ddychwelodd yn agos yn yr un cyflwr ag y cychwynodd, oddieithr y colledion a oddefodd. Dion Cassius a draetha am ei anffawd yn y modd canlynol: "Tra yr ydoedd yn treiddio trwy'r wlad, cafodd drafferth annhraethadwy, gan dorri coedydd, ac iselu bryniau, gwneuthur cloddiau dros y corsydd, a phontydd dros yr afonydd; ond ni ymladdodd frwydr, ac ni welodd fyddin o'r gelynion; eithr hwyntHwy a osodent ddefaid a gwartheg ar y ffordd, fel pan crwydrai y milwyr ar ... iddeu dal, y maeddwyd hwy yn hawdd; blinwyd hwy hefyd yn ddirfawr gan y dyfroedd, a chan ymwasgaru oddiwrth eu gilydd, y caent eu

maglu; a rhai yn annalluog i ganlyn eu taith, a laddwyd gan eu cyfeillion, fel na syrthient i ddwylaw y gelynion. Ac yn y modd hyn trengodd *deng mil a deugain* o filwyr." Severus a oedd y pryd hyn mor fethiedig yn ei aelodau gan y gymhalwst, a bod yn gorfod cael ei ddwyn oddi amgylch mewn cludai. Ond cymmaint oedd ei egni cynneddfawl yn gystal a'i awydd am ddarostwng y Celyddonwys, ac iddo yn y modd hyn dreiddio hyd eithafodd yr ynys; ond yn lle cyflawni y cyfryw oresgyniad, ni wnaeth ddim yn ychwaneg na'u llonyddu dros ennyd, a pheri iddynt ymheddychu âg ef. Ar ol hyn dychwelodd i Gaerefrawc, ac a adgyweiriodd fur Hadrianus, gan ei ffurfio oll o gerrig, yn lle tywarch; yr hyn a ymddangosai yn fath orchestwaith, a'i fod yn cael ei gyfrif yn un o ogoneddau pennaf ei deyrnasiad; eithr mewn gwirionedd, yr anrhydedd a honaw a berthynai iddei elynion, y rhai a'i cymhellent i ffurfio y fath ymddiffynfa, er diogelu ei feddiant rhag eu cadruthradau.

Ond y mae yn debygol nad oedd y Celyddonwys yn gofalu llawer am alluoedd yr Ymherawdr, canys yn mhen ychydig ar ol hynny, cyfodasant yn erbyn y Rhufeiniaid drachefn. A Severus a alwodd ei filwyr ynghyd, ac a'u gorchymmynodd i ymosod ar wlad y Celyddonwys, a lladd a difetha pawb oll ag a gyfarfyddent, heb arbed. Eithr cyn cyflawni hyn, Severus a fu farw yn Nghaerefrawc, yn y flwyddyn 211; a'i fab CARACALLA, a oedd yn rhy ofalus yn nghylch yr Ymherodraeth, i fyned i ymdrafferthu ar ol y Celyddonwys, felly cawsant lonyddwch drachefn.

## PRYDYDDIAETH OSSIAN.

Yn y flwyddyn 1760, MR. MACPHERSON, gwr o uchelder yr Alban, a ddechreuoddd gyhoeddi, yn y iaith Saesoneg, rai darnau o gyfansoddiadau, y rhai yr haerai eu bod yn gyfieithiadau o'r Gwyddelaeg Albanaidd, neu y *Gaelaeg*, fel y galwant y iaith honno. Ac ar amryw brydiau ar ol hynny, cyhoeddodd ereill o'r un anianawd, y cysefin o ba rai y dywedai eu bod yn eiddo OSSIAN, bardd yn mhlith y Celyddonwys yn y 3edd ganrif, a mab i FINGAL, yr hwn yr haerai hefyd ei fod yn frenin cadarn yn yr Alban, ac yn rhyfela yn erbyn y Rhufeiniaid dan Caracalla, mab Severus, ac yn erbyn CARAUSIUS. Ond wrth edrych i mewn i deilyngdod yr haeriadau hyn, gwelwn fod achos cryf iddeu gwadu yn hollol, ac i osod y cyfansoddiadau yn gyfan gwbl ar y neilldu, megys awdurdod hynafiaithol. O herwydd yn lle fod gennym hanesion o weithrediadau y Gaeliaid yn yr Alban, mor gynnar a'r flwyddyn 210, nid oes un prawf fod y bobl hynny mewn meddiant o un rhan o'r wlad, dros flynyddau ar ol hynny; canys dywedir mai yn y flwyddyn 258 y daeth y llwyth Gwyddelaeg cyntaf, o'r Iwerddon i'r Alban. Ac yn lle bod prydyddiaeth Gaelaeg yn hanfodi yn

ydd. Ond ar ol llawer o ddadleuad ac ymryson llëenyddiol, mewn perthynas brydyddiaeth Ossian, yn awr yn mhen yn agos i bedwar ugain mlynedd, r ydys gwedi dyfod i benderfyniad cyffredinol o'i blegid, ac sydd, ysgatydd, yn agos at y gwirionedd, sef fod Macpherson ar ol cael gafael ar ryw darnau o hen brydyddiaeth yn y iaith Wyddelaeg, wedi eu ffurfio iddeu ull presennol, gan eu cyfnewid, ac ychwanegu attynt, fel y gwelai yn addas, r dyben iddeu cymmhwyso at archwaeth yr oes; ond nad ymddangossant erioed yn y cyflwr hwn cyn iddo ef eu cyhoeddi yn y Saesonaeg. Ac er cadarnhad, ni amcanodd erioed ddangos ysgrif o'r cysefin, er y lywedai fod y cyfryw yn ei feddiant, ac weithiau arwyddocai iddo gael ran o'r gwaith yn mhlith rhyw hen feirdd yn yr Ucheldiroedd, yn draddodol ganddynt o oes i oes, yn ddiysgrifiad er y 3edd ganrif.

Pan ymddangosodd y prydyddiaeth hwn yn y Saesonaeg, y cyfryw oedd dyeithrwydd ei anianawd yn gystal a theilyngdod ei awenyddiaeth, ag iddo beri cynnwrf tra nodedig yn mhlith llëenyddion yn gyffredinol. Rhai a wadent ei ddiffuantrwydd; ereill a'i amddiffynent yn haerllug; amryw ereill a arhosent mewn amheuaeth; ond yn agos pawb a arddelent teilyngdod y gwaith. Ac felly i'r dyben i foddhau yr amheüus, yn gystal ag i ddiogelu rhag anghof y cysefin, anfonwyd i Ucheldiroedd yr Alban i chwilio am yr hen feirdd, y rhai a adroddent y cyfryw gyfansoddiadau godidog; ac am yr hen ysgrifau, yn mha rai yr oeddynt yn gadwedig. Eithr ar ol llawer o drafferth, ni chafwyd dim ond siomedigaeth; nid oedd yno neb ryw hen feirdd yn medru dim yn atteb i gyhoeddiad Macpherson. Lluoedd a glywsent son am Ossian, ond nid oedd neb yn gallu rhoddi boddlonrwydd am ei brydyddiaeth. Ac am yr hen ysgrifau, ni chafwyd dim ond rhai darnau o farddoniaeth, o'r canol oesoedd, y sawl oeddynt mewn rhai pethau yn cytuno â gwaith Macpherson, ond am haniad pa rai, ...dd y Gwyddelod yn haeru mai o'r Iwerddon y daethant, a bod Ossian

Y sylwadau perthynol i gywyddau Ossian, hyn a wneir, er dangos yr anaddasrwydd o'u dwyn yn mlaen megys awdurdod hanesyddol, gan ei fod yn ddilys nad oes un prawf fod un rhan o honynt yn henach na'r canol oesoedd. Ond wrth sylwi arnynt megys cyfansoddiadau prydyddol, y mae yn rhaid cyfaddef eu bod yn dangos awenyddiaeth, nid yn unig ardderchog, ond hefyd *diyyffelyb*; oblegid perchenogant ddrych-feddyliau cysefin a neillduol, ac o arnodiad na chanfyddwyd cyn eu hymddangosiad. Ac er cadarnhad o'u rhagoroldeb, y maent wedi eu cyfieithu yn agos i holl ieithoedd Ewropa, ac wedi derbyn sylwad cyffredinol; ac hefyd y maent i raddau wedi cael effaith ar brydyddiaeth yr oes yn gyffredinol, yr hyn a welir weithiau mewn efelychiadau o'u hiaith, ac weithiau yn nghanlyniad o'r brydrediad. Ond gan ys pa beth a feddylir am eu teilyngdod awenyddol, nid oes iddynt un hawl pa bynnag i awdurdod hanesyddol.

O'r amser hyn hyd yn agos i gan' mlynedd, nid oes dim o bwys yn adroddedig yn yr hanesion Rhufeinig perthynol i ymdrechiadau y Brytaniaid yn erbyn eu rheolwyr pellenig. Dywedir yn unig fod yn amser yr Ymherawdr GALLIENUS, yr hwn a ddechreuodd deyrnasu yn 259, i wrthgyfodiad mawr gymmeryd lle yn mhlith y milwyr trwy yr holl ymherodraeth, a bod cymmaint a deg ar hugain o ymgeiswyr am yr orsedd, ar yr un pryd; o ba rai y dywedir fod chwech yn ynys Prydain. Ac y mae lle i feddwl fod rhai o honynt o waedoliaeth Brytanaidd. Y mae teyrnasiad yr Ymherawdr hwn yn nodedig am ddau amgylchiad perthynol i Brydain. CARAUSIUS, ei lyngesydd, a wrthryfelodd; a chan gyhoeddi ei hun yn Ymherawdr, a afaelodd ar lywodraeth Prydain, ac a'i trawsfeddiannodd dros saith mlynedd. Yr oes hon hefyd a fu nodedig am yr erlidigaeth cyffredinol cyntaf o'r Cristionogion yn yr ynys hon; yr hwn a fu dan yr Ymherawdr DIOCLESIANUS, ac am yr hwn y traethir drachefn pan ddeuir at hanes yr Eglwys.

## Y PICTIAID.

Hyd hyn, yr ydym gwedi bod yn ystyried ymdrechiadau y Rhufeiniaid, yn erbyn hen drigolion yr ynys, y rhai oeddynt, yn ol pob tebygolrwydd, o waedoliaeth Cymraeg. Ond yn awr, ymddangosa ar y maes elynion newydd, neu ysgatfydd, yn ol eu cysefin hanfodiad, hen elynion dan enw newydd. Y bobl hyn oeddynt y PICTI, neu fel y gelwid hwy gan y Cymry, mewn oesoedd diweddarach, Y GWYDDYL FFICHTI. Y Picti a ymddangosant gyntaf megys gelynion i'r trigolion Rhufeinaidd, yn amser CONSTANTIUS, yr hwn a fu farw yn Nghaerefrawc, yn y flwyddyn 306. Ac wedi hynny cawn hwy yn blino eu cymmydogion deheuol dros amryw oesoedd. Ond y gofyniad yw, O ba genedl

aedoliaeth oedd y Pictiaid? Rhai a fynnant mai Gwyddelod nt, ereill mai Cymry, ac ereill etto mai pobl Germanaidd oeddynt. an ys pa beth a benderfynir am eu gwaedoliaeth, y mae un peth mor a bod y rhan fwyaf yn cytuno arnaw yn gyson, sef mai yr un bobl nt a'r Caledoniaid, neu y Celyddonwys; canys gosodir hwy gan ddion, yn yr un ardaloedd ag eiddo y Celyddonwys, ac yn yr un d hefyd. Ac y mae EUMENIUS yn ei araeth o flaen CONSTANTINUS, flwyddyn 310, yn arwyddocau mai yr un bobl oeddynt, pan y cryam y "*Caledoniaid a'r Pictiaid ereill.*" [" Caledonum aliorumctorum."]* Ac yn wir pe na fuasai gennym yr awdurdod hwn, nid fuasai credu bod i'r fath genedl ryfelgar a'r Celyddonwys ymadael d yn ddisymwth, ac i'r Pictiaid lithro i mewn yn eu lle, yn ddyswmwth ac i hyn oll gymmeryd lle heb neb o'r Rhufeiniaid cymmydogol yn d dim o'i blegid, nac yn sylwi arno mewn hanes. Canys yn y yn 210, y mae crybwylliad am y Caledoniaid, ac yn y flwyddyn 296, Eumenius yn enwi y Pictiaid, mewn araeth a wnaeth yn y flwyddyn , ac ni a wyddom fod y Rhufeiniaid yn y cyfamser yn meddiannu awr o'r Alban, fel na allasai y fath gyfnewidiad o'r trigolion gymlle yn ddiarwybod iddynt. Felly nid yw anngenrheidiol treulio neg o amser i brofi mai yr un bobl oedd y Pictiaid a'r Caledoniaid. ir gofynir, Pa fodd y daethant i dderbyn yr enw *Picti*? Barn hanesyddion oedd, iddynt gael yr enw hwn gan y Rhufeinoddiwrth eu harferiad o liwio eu cyrff, gan dynu lluniau arnynt, gwnaent y Brytaniaid yn gyffredinol, cyn eu dwyn dan lywodr Rhufeiniaid. O'r farn hon yr oedd CAMDEN, ac y mae efe yn yn mlaen waith ISIDORUS, er cadarnhad, yr hwn a ddywed am t fod eu henw yn cytuno â'u dull corffolaidd, am eu bod yn eu cyrff â sudd llysiau, gan eu nodi yn gyntaf yn amryw lunphigiadau mân, âg offeryn blaenllym. Gellid ychwanegu amrywiol dodau i'r un perwyl.†

arddiad hwn o'r enw *Picti*, er mor gyson ag amgylchiadau, ac er mor edig ei fabwyswyr, etto yn yr oesoedd olaf, a gafodd ei wrthod gyda ariad nid bychan, a hynny gan ddynion, rhai o'r sawl, a oeddynt yn dedig am hunan dyb a choeg-ddadleuaeth, nag am degwch a chywir-

* "Neque enim ille tot tantisque rebus gestis, non dico Caledonum, aliorumque Pictorum, et paludes, sed nec Hiberniam proximam neo Thulen ultimam," &c.

† mae yr arferiad hyn yn hanfodi yn mhlith ynysyddion Môr y Deheu y dydd r, y rhai a nodant eu hwynebau yn y modd yma. A'r enw a roddant iddo yw *tattw*. chefyd yr un peth yn mhlith morwyr yn gyffredinol, y rhai a dynnant ar eu dwylaw lubion luniau angorau, a môr-forwynion, &c. yn yr un modd ag y mynega Isidorus Pictiaid. Y mae Herodianus yn dywedyd fod y Brytaniaid yn darliwio eu crwyn luniau amrith anifeiliaid, ac yn peidio a gwisgo dillad, fel na chuddient y lluniau ar eu cyrff.

drabarn, ac yn ei le aethpwyd i chwilio am darddiad i'r enw yn mhlith llwythau y Cyfandir, a hyn oll er gwrthbrofi hanniad Cymryaidd y Pictiaid; ac felly cludwyd ynghyd gruglwyth o eiriau anmherthynasol, megys *Vic*, *Vicveriar*, *Vit*, *Veoght*, *Peocht*, *&c.* A thrwy gyfnewid a gwasgu sillau, a thrawsfudo llythyrenau, ceisiwyd ffurfio yr enw *Pict*, neu ryw beth cyffelyb iddo.* Ond os cymmer y darllenydd y drafferth i edrych am awdurdod yr enwau hyn, caiff weled fod rhan fawr o honynt yn rhy estronaidd i haeddu yr ystyriaeth lleiaf, ac nad oes un awdurdod pa bynnag iddeu cyfeirio at y Pictiaid Albanaidd; a'bod y rhai ereill megys *Peoght*, *Pecht*, &c. o o ddechreuad diweddar iawn, gan nad ydynt ond y dull Saesonaidd o ymadroddi y gair Lladin, *Picti*. A chofied y darllenydd nad oes un awdurdod cynoesawl am un dull o'r gair hwn, oddieithr yr hyn a geir yn y Lladin, neu mewn deilliadau o'r Lladin. Ac felly ar ol yr holl ymdrech aflwyddiannus a wneir i gael allan ryw darddiad o'r fath, nis gallaf lai na dychwelyd at yr hen ddehongliad o'r enw, a dala mai oddiwrth y gair Lladin, *Pictus*, y deillia. Ac meddyliaf fod y Rhufeiniaid yn rhoddi i'r Brytaniaid annibynol, y rhai a aent yn noethion gan liwio eu cyrff, yr enw hwn, i'r dyben o wneuthur gwahaniaeth rhyngddynt a'r Brytaniaid Rhufeinaidd, y rhai oeddynt wedi eu gwareiddio, ac wedi dechreu arferyd dull wisgoedd eu llywodraethwyr. Ac felly y mae yn ddilys gennyf fod yr enw *Picti* yn gyfystyr â *Barbari*, ac yn arwyddocau dynion anwaraidd, neu y llwythau ag oeddynt yn byw yn annibynol, ac mewn gelyniaeth i'r Rhufeiniaid, neu heb ymddarostwng i dderbyn eu llywodraeth; ac fod y gair hwn yn arferedig yn mhlith y Rhufeiniaid megys arnodiad o'r Brytaniaid yn eu cyflwr cysefin, sydd amlwg oddiwrth yr ymadrodd *Pictis Britannis*, a'r cyffelyb, y rhai a welir yn fynych yn y Lladin. Ond os hyn oedd dechreuad yr enw, a hanniad y bobl, gellir gofyn, Pa fodd y mae yn cysoni â'r haeriadau yn nghylch eu dyfodiad diweddar i'r Alban? Canys dywedir gan BEDA, gan gyfeirio at y flwyddyn 270, iddynt ddyfod o Scythia† i Ogledd-dir yr Alban, am fod y deheudir yn anneddedig gan y Brytaniaid. Ac y mae y Trioedd yn eu rhestri megys yn ail o'r "Tair Ciwdawd Ormes," ac yn dywedyd am danynt, "Ail y Gwyddyl Ffichti a ddaethant i'r Alban drwy fôr Llychlyn.—Ac yn yr Alban y mae y Gwyddyl Ffichti, yn nglann môr Llychlyn." Mewn perthynas i haeriad Beda, y mae yn rhy laes, a'r awdwr yn byw yn rhy bell oddiwrth yr oes am ba un yr oedd yn ysgrifenu i haeddu un fath o hyder. Ac am y Triad, y mae yn rhaid sylwi ei fod wedi ei gyfansoddi ar ol dyfodiad y Saeson, ac yn cyfeirio at y llwythau dyfodawl, y rhai yn yr oesoedd hynny a aent dan

* Gwelir anghraifft o'r ynfydrwydd hyn yn ngwaith PINKERTON, yr hwn nid arbedai un fath o drawshaeriad pa bynnag, er mwyn sefydlu ei achos.

† Germania.

wyddyl Ffichti. Ac y mae hyn yn amlwg, gan eu bod yn eu lann *Mor Llychlyn*, ac felly yn gwneuthur gwahaniaeth rhyng-hen drigolion Celyddon, y rhai a feddiannent y canoldir yn gororau, yn y cynoesoedd. Ac yn hyn gwelaf ragoriaeth tra ı y Triad, yr hwn a wahana rhwng y dyfodiaid diweddar â'r hen ıyd yn nod ar ol bod yr hanesyddwyr Rhufeinig wedi eu cym-ıghyd blith-draphlith, yn y cynoesoedd. Ac y mae yn ddilys l yn yr amser y ffurfiwyd y Triad hwn, amrywiol lwythau Llych-redi tirio yn yr Alban, y rhai gan ymgystluni â'r Picti, ac ymladd wdd yn erbyn y Brytaniaid Rhufeinaidd, a gawsant eu rhesi enw, yr hwn a arwyddocai *Barbariaid.*

ɟennym anghraifft am y fath estyniaid o enw neillduol yn eiddo riaid. Yr oedd yr enw *Saracen* yn y cysefin yn arwyddocau ia yn unig; eithr yn rhwysc amser arferwyd ef am bob dynion, nt Cristionogion, o ba wlad bynnag yr oeddynt. Ac er cadarn-eriad fod y llwythau Llychlynaidd yn aflonyddu y Brytaniaid edd hyn, gallwn ddwyn yn mlaen awdurdod Ammianus Macel-hwn a ddengys fod hyd nod y Saeson gwedi dechreu blino ynys yn gynnar iawn, ac yn hir cyn amser Hengist a Horsa, ed yr awdwr hwnnw, wrth grybwyll am y flwyddyn 364,—"Y r Saxoniaid, a'r Scottiaid a'r Attacotti, a flinasant y Brytaniaid â adau dibaid."*

lwi ar y cwbl a berthyn i'r ymryson yn nghylch y Pictiaid, y mae cyfaddef na welir yn fynych un ddadl yn fwy anhawdd ei phen-canys nid oes ond *un gair* o'u hiaith ar glawr; ac er ychwanegu :h, hwnnw a ellir ei ddehonglyd mewn amryw ieithoedd. Y w tref, yr hon a hanfodai wrth derfyniad mur Antoninus. Beda a yr enw *Peanvahel*, ac mewn un ysgrif o waith Nennius,† yr lebygol, a grybwylla am yr un mur, rhoddir yr enw *Pengaaul.* an fod y gair hwn yn atteb cystal i'r Gymraeg *Pen-gwal*, gallem fuasai achos myned at un iaith arall am ei ddehongliad. Ond adant waedoliaeth Cymryaidd y Pictiaid, a attebant fod *Vahel* r oddiwrth y Lladin *Vallum*, a bod *Pean* yn air Gothaeg. Ond fod yr ysgrif ragenwedig o eiddo Nennius yn terfynu y ddadl, dlu y gair yn Gymraeg, ac yn ganlynol fod y Pictiaid yn Gymry. awdwr fod y mur Rhufeinig yn cael ei alw yn y iaith Frytanaidd o sermone] *Gaaul;* a'i fod yn estyn "oddiwrth *Pengaaul*, yr elwir yn y Scotaeg *Cenail*, ac yn Saesonaeg *Peneltun*," &c. "*A l, quæ villa Scotice Cenail, Anglice vero Peneltun dicitur.*"

* Saxonesque, et Scotti, et Attacotti, Britannos ærumnis vexavere continuis."

† Gale's Nennius.

Yr enw a roddwyd i'r Pictiaid gan y Gwyddelod yw *Crutheni. Cruthinei*, a *Cruithne;* yr hyn a ddywedir ei fod yn y Wyddelaeg yn arwyddocau *Bwytawyr gwenith*, gan mai y gair Gwyddelaeg am wenith yw *Cruithneachd*. Ond y mae yn rhaid sylwi, na welwyd erioed ddehongliad mwy annghyfattebol. O herwydd, yn lle bod yn nodedig am fwynhau y moethusrwydd o fara gwenith, yr hyn a ofynai radd o gelfydd-dra amaethyddol annghyffredin yn yr amseroedd hynny, nid tebygol fod trigolion gwylltion Celyddon, yn ymdrafferthu llawer i drin y ddaear, hyd nod am arwach ffrwythau. Ac felly rhyfygaf gynnyg dehongliad arall i'r gair, sef mai y dull Gwyddelaeg o seinio yr enw *Prydeiniaid* yw, gan fod y Gwyddelod yn ymhoffi arferyd yr C yn lle y P, fel y gwelir yn y geiriau canlynol:—

| GWYDDELAEG. | CYMRAEG. | GWYDDELAEG. | CYMRAEG. |
|---|---|---|---|
| CRAN............ | *Pren.* | CEITHIR ......... | *Pedwar.* |
| CRIADH .......... | *Pridd.* | CUID ............ | *Pump.* |
| CLANN .......... | *Plant.* | COIRE ........... | *Pair.* |
| CEANN .......... | *Pen.* | CAISG ........... | *Y Pasc.* |

Ysgatfydd y dywedir fod *Cean* yn atteb i'r Gymraeg *Cyn*. Poed felly; etto y mae yn amlwg fod y *P* yn cael ei gyfnewid yn y gair *Caisg*, yr hyn a ddengys amcan a thuedd y iaith perthynol i'r llythyrenau hyn.

Y mae yr hanesion Gwyddelaeg yn gosod llwyth o'r enw *Crutheni* yn yr Iwerddon, yn ffurfio teyrnas annibynol, dan eu brenhinoedd neillduol; eithr ni wyddys o ba le yr hanasent. Ond meddyliaf y gallent fod o hiliogaeth y Brytaniaid y rhai a fynegir iddynt fyned drwodd i'r Iwerddon yn y cynoesoedd. Y Pictiaid a barhasant yn deyrnas annibynol yn yr Alban hyd y flwyddyn 843, pan eu darostyngwyd gan KENETH MAC ALPIN, brenin y Scotiaid. Y mae hen gofrestr a elwir *Chronicon Pictorum*, yr ysgrif o ba un sydd o'r 14eg ganrif, yn cynnwys enwau brenhinoedd y Pictiaid, y rhan ddiweddaraf o ba un a all fod yn wirioneddol; ond am ei ddechreu, y mae yn estyn yn rhy bell i'r prifoesoedd, i gael ei gyfrif yn amgen nag yn chwedleuaidd. Dywed mai eu brenin cyntaf oedd *Cruthen*, tad y Pictiaid; dros fil o flynyddau cyn cred!

Yr hyn a ddywed y Brut am y Pictiaid sydd fel y canlyn:—

"Ac yn ol Gweyryd y deuth Meyryc y vap ynteu yn vrenyn, gwr anryfed y pryder oed hwnnw ae doethynep. Ac ym pen yspeyt gwedy hynny a Meuryc yn gwledychu yr ynys, Rodryc [*Londricus*] brenyn y *Ffychtyeyt* y deuth a llyghes vawr kanthaw o Scythya ac a dyskynnws yg gogled yr ynys hon y lle a elwyr yr Alban. A dechreu anreythiaw y wlat a oruc."*

Fe welir yma fod y Brut yn gosod hanfodiad y Pictiaid yn yr ynys hyd nod yn gynnarach na Beda. Ond y mae yn rhaid dywedyd nad oes ond

* Myf. Arch. Cyfieithad o waith Lladin Gr. ap Arthur.

der yn ddyledus i un nag arall, nac ychwaith i neb ryw hanes gymmer mewn llaw nodi allan ddyfodiad y bobl hyn, gan mai i yr un oeddynt a hen drigolion yr Alban. Y canlyniad i'r o destun sydd gyffelyb i eiddo Beda, a llawn mor anhaedd-r. Ni fyddai ond colli amser i helaethu ar un na'r llall.

## Y SCOTTI, NEU Y GWYDDYL.

'd nesaf, yr hon, yn nglun â'r Pictiaid, a flinai drigolion Prydain, ydoedd y SCOTTI; hanniad a gwaedoliaeth pa rai dnabyddus, ag nad oes ond ychydig o ymddadleuaeth o'u 'lad gysefin y bobl hyn oedd yr Iwerddon, yr hon ynys, yn y a elwid SCOTIA; ac er fod yr enw hwn yn awr yn cael ei Alban, etto cymhwysiad diweddar iawn yw hynny; ni adna- · Alban wrth yr enw *Scotia*, neu *Scotland*, hyd ar ol y 9ed . i'r Scottiaid ennill y lywodraeth oddiar y Pictiaid.

rbwylliadau cyntaf am y Scottiaid, dan yr enw hwnnw, a geir Ammianus Marcellinus, dan y flwyddyn 364; lle y dywed eu ı nghyd â'r Pictiaid, a'r Saeson, a'r Attacotti, yn blino y [gwel tu dal. 121.] Y mae awdwr arall yn eu henwi mor lwyddyn 361. Ar ol yr amseroedd hyn y mae amrywiol perthynol iddynt, fel gelynion i'r trigolion Rhufeinaidd; un sicrwydd am eu dyfodiad cyntaf. Y mae y Trioedd yn yr *Al Wyddyl* yn yr Alban, yn mhlith y Ciwdodau Nawdd. ldys ddim am eu hiaith, na'u hanniad, nac am amser eu dyfod-r gwaith anfuddiol fyddai ffurfio dychymmygion o'u plegid. erir gan rai mewn perthynas i ymddangosiad cyntaf y llwyth yr Alban, yw i lwyth o Wyddelod, a elwid y DALREUDINI, IADWYS, ddyfod drwodd i'r Alban, dan dywysiad blaenor o'r neu CARBRE RIADA, o gylch y flwyddyn 258, ac iddynt wedi au cant o flynyddoedd, gael eu gyrru yn ol i'r Iwerddon, gan ac yn mhen o gylch triugain mlynedd, iddynt ddychwelyd i'r ymsefydlu yno. Eithr ereill a haerant nad oedd un llwyth yn yr Alban mor gynnar a 258.

ryddiadau oesoedd mor derfysglyd, ac mor ymddifad o hanes-oes ond dychymmygion yn unig iddeu ffurfio; ac ofer fyddai r ar hynny, canys er cymmaint ag a ysgrifenwyd ar y testun s fawr ragor o oleuni wedi ei daflu arno. Ond hyn sydd fod crybwylliad am deyrnas y Dalriaid, yn yr Alban, yn y ilynol, mewn modd na ellir amheu ei gywirdeb. Y mae adau am ddechreuad yr enw. Rhai a ddywedant mai oddi-

wrth y blaenor Riada y deillia, ereill mai enw ardal yn yr Iwerddon ydoedd. Ond am fy hun, rhyfygaf gynnyg dychymmyg arall am dano; mai enw ydyw yn arwyddocau arnodiad corphorol y llwyth; sef eu gwallt coch, a'i fod yn deilliaw oddiwrth y geiriau Gwyddelaeg, Dal, *llwyth*, a Ruadh, *coch*, neu yn hytrach *pengoch*. Ac fe'm arweinir at yr ystyr hwn gan un o'r trioedd, yr hwn a fynega am y "*Tair Bradormes*," o ba rai y dywed mai y gyntaf oedd y "*Gwyddyl Coch o'r Werddon a ddaethant i'r Alban*." [Gwel tu dal. 11.] Ac felly barnaf fod y gair *Dalriad*, neu *Dalruadh*, yn arwyddocau *y llwyth pengoch*. Ac nid oes dim yn y dychymmyg hwn nad ydyw yn hollol gyson âg arnodiad agweddol, amryw genhedloedd yn y cynoesoedd, yn gystal a'r dydd heddyw. Canys y mae Tacitus wrth grybwyll am arnodiadau trigolion Caledonia, yn enw eu gwallt coch, "*rutilæ comæ*." Ac y mae yn hanfodi y dydd heddyw rai, llwythau yn mhlith trigolion anwaraidd Ymherodraeth Russia, yn nodedig am wallt coch.* Am hynny meddyliaf mai nid annhebygol fod y Gwyddyl Coch, neu y Dalriaid, o'r un arnodiad corfforawl, ac iddynt dderbyn eu henw oddiwrth hynny.

Y mae yn debygol tai at y bobl hyn y mae Ammianus Marcellinus yn cyfeirio pan sonia am y Scotti yn y flwyddyn 368. Ond heb geisio cymhwyso yr amseriadau annghyson, a roddir, perthynol i'r dyfodiadau cynnar hyn, gallwn ddywedyd gyda phob tebygolrwydd o gywirdra, fod i lwyth lliosog a chadarn o Wyddelod, dan yr enw *Scotti*, ddyfod drwodd, ac ymsefydlu yn yr Alban, o gylch y flwyddyn 496; yr hyn a fynegir iddo gymmeryd lle dan dywysiad blaenor o'r enw Fergus, mab i Erc, un o frenhinoedd yr Iwerddon. Ac ar ol yr amser hwn, cawn amryw deyrnasoedd bychain Gwyddelaidd ar hyd gorllewin yr Alban; megys Dalriada, Loarn, a Galwedia.

Teyrnas Dalriada a gynnwysai y rhan ddeheuol o swydd Argyle, yr hon wlad a gafodd ei henw oddiwrth ei goresgynwyr Gwyddelaeg, sef *Ard-Gael*, neu fel y ceir y gair mewn rhai hen ysgrifau, *Argathel*, ac *Argail*.

Teyrnas Loarn a oedd ar y tu gogleddol i'r rhagflaenawl, gyferbyn ag ynys *Mull*. Cafodd yr enw oddiwrth ei brenin cyntaf, Loarn, brawd Tergus. Yn mhen ychydig o oesoedd unwyd y ddwy deyrnas.

Am *Galwedia Galwegia*, neu *Gallewathia*, ei safle oedd yn y cwrr deheu-orllewinol i'r Alban, a elwid ar ol hynny *Galloway*. Ni wyddys ond ychydig am helynt y deyrnas neu y dywysogaeth hon; ond y mae yn amlwg mai Gwyddelod oedd y trigolion amlaf yn y canol oesoedd. Ac ymddengys mai dynion tra anwaraidd oeddynt yn yr amser hwnnw, am eu bod yn cael eu henwi "*The wild Scots of Galloway*." Cynnyddodd

* Teithiau Pallas.

y llwyth Gwyddelaeg yn yr Alban dros amryw oesoedd; ac o gylch y flwyddyn 843, dan yr enw Scottiaid, ennillasant lywodraeth y wlad yn gyffredinol, dan eu brenin KENNETH MAC ALPIN, yr hwn a ddarostyngodd y Pictiaid, ac a gymmerodd feddiant o'r orsedd, megys brenin yr Alban; sef yr holl ardal ar y tu gogleddol i fur Antoninus. A thyma ddechreuad teyrnas yr Alban, yr hon ar ol amryw chwyldroadau, o'r diwedd a lwyr-ddiffodwyd trwy ei huniad â theyrnas Lloegr; yr hyn a achlysurwyd ar ol esgyniad y Brenin IAGO, etifedd y Frenhines ELIZABETH i orsedd Lloegr, yr hwn oedd y 6ed o'r enw yn yr Alban, eithr y 1af yn Lloegr. A'r ol i'r Scottiaid feddiannu llywodraeth yr Alban, y iaith Wyddelaeg oedd iaith y llys, hyd amser MALCOLM CANMORE, [*Pen Mawr*,] yr hwn a esgynodd i'r orsedd yn y flwyddyn 1057. Y brenin hwn oedd o waedoliaeth Scott-aidd, a'i iaith enedigol oedd y Wyddelaeg, ond ei frenhines oedd Saesones, ac yr oedd ef ei hun yn bleidgar i'r Saeson; llawer o ba rai a ffoisant i'r Alban, rhag gormes y Normaniaid, yn amser Gwilym y Goresgynydd; ac felly o'i deyrnasiad ef allan, y Wyddelaeg a syrthiodd i anarferiad yn y llys, ac y mae yn awr yn gyfyngedig i rannau o'r Ucheldiroedd a'r ynys-oedd gerllewinol yn unig, lle y gelwir hi y *Gaelaeg*, ac hefyd yr *Erse*, h. y. *Irish*.

Hanes y Scottiaid Albanaidd a geir yn wasgaredig mewn amrywiol hen ysgrifau. Y mae cofrestr o'u brenhinoedd iddei weled yn y *Cronica Regum Scottorum*. Eithr yr ysgrif henaf ar glawr perthynol i'r achos, yw y *Duan*, neu yr hen gywydd Gwyddelaeg a gyfansoddwyd yn amser MALCOLM CANMORE, gan Fardd y Llys, fel y tybir yn gyffredinol. Cynnwysa 112 llinnell, a dechreua yn y modd canlynol:—

| DUAN ALBANACH. | Y CYWYDD ALBANAIDD. |
| --- | --- |
| A eolcha Alban uile, | O chwi ddysgedig Albaniaid oll, |
| A shluagh feta foltbhuidle; | O y llu dysgedig gwallt-felyn; [aeth hwy, |
| Cia ceud ghabhail an eol duibh, | Pwy gyntaf a gafaelasant iddeu gwybod- |
| Ro ghabhsadar Alban bruigh. | A gawsant froydd Alban. |

Hwn yw yr anghraifft henaf o'r iaith Gaelaeg, neu y Wyddelaeg Alban-aidd, ag a wyddys am ei hanfodiad.*

* Pwy bynnag a ddymuno weled y cyfan o'r awdl hyn, edryched yn llyfr PINKERTON, lle y caiff hefyd lawer o gyfeiriadau gwerthfawr, tuag at ei gynnorthwyo yn ei chwiliadau Albanaidd. Ond ar yr un pryd, gocheled dderbyn un peth pa bynnag ar air yr awdwr yn unig; oblegid y gwr hwnnw, er y rhoddai yr awdurdodau hynafieithol a'r cyfeiriadau gyda chywirdeb, etto ymdrechai â'i holl egnioedd iddeu camddefnyddio, a gwyrdroi eu hystyr i wasanaethu ei ddybenion ei hun, y sawl oeddynt i ddifrio ac iselu y genedl Geltaeg, ac i ddyrchafu yr na Gothaeg. A chymmaint oedd digasedd y dyn hwn at y Cymry a'r Ucheldirwyr, fel bod ei haeriadau yn ymddangos yn fwy tebyg i eiddo ynfydyn, nà dyn yn ei iawn bwyll. Y mae hefyd grynhoad gwerthfawr o hen hanesion yr Alban, o waith RITSON, yr hwn, er ei fod yn llawer mwy teg a phrydferth na Pinkerton, etto nid ydyw yntau yn hollol rydd oddiwrth bleidgarwch.

Y mae un sylwad tra nodedig yn cyfodi oddiwrth ystyriaeth o'r hyspysiadau hyn perthynol i'r Albaniaid; sef y cyfnewidiad a gymmerodd le yn eu harnodiadau corfforawl, yn rhwysg amser. Yn y canrif cyntaf, yr oeddynt yn ddynion pengoch. Hefyd, onid wyf yn camddeall y Triad, yn gystal ag ystyr yr enw Dalriad, yr oedd y dyfodiaid Gwyddelaeg, yn y 4edd ganrif, yn ddynion pengoch. Ond, oddiwrth yr hyn a ganfyddir yn y Duan, yn yr 11eg ganrif, yr arnodiad hwn nid oedd mwyach yn perthyn i'r Gwyddelod Albanaidd, canys gelwir hwy yn "Wallt-felyn," "*folt-bhuidle.*" A'r dydd heddyw, pwy bynnag a gymmero y drafferth i wneuthur sylwadau ar drigolion yr Alban, a gaiff weled nad ydyw na gwallt coch, na gwallt melyn, yn mhlith arnodiadau y bobl, naill nag yn yr Iseldiroedd, gwlad y Caledoniaid, nac yn yr Ucheldiroedd, gwlad y Gwyddelod, ond yn hytrach gwallt o dywyllach lliw nag un o'r ddau. Deallwn hefyd fod y Brytaniaid deheuol yn y cynoesoedd yn benfelyn; ond yn awr, anaml y gwelir yr arnodiad hwn yn mhlith dynion wedi tyfu i fynu. Yr oeddynt hefyd, drigolion tir Gâl yn fwy penfelyn na'r Brytaniaid, fel y mynega STRABO, ond y dydd heddyw y maent yn dywyllach. Pa beth a achlysurodd y cyfnewidiadau hyn, nid hawdd dywedyd, ond tebygol yw mai gwahaniaeth ymborth, ac arferiadau a'i gwnaeth. Y mae hefyd yr un fath gyfnewidiad wedi cymmeryd lle yn agweddau corfforawl ereill. Er anghraifft, yr hen Galedoniaid a oeddynt nodedig am aelodau mawrion, "*magni artus.*"* Ond y dydd heddyw braidd y gallant ymgystadlu yn hynny â rhai o'n cymmydogion Seisnigaidd. Ac yn ddiau nid ydynt yn rhagori mewn maintioli eu haelodau. Etto, yr oedd y Brytaniaid cynoesawl yn ddynion uchel o gorffolaeth. Y mae Strabo, yr hwn a ysgrifenodd yn nechreu y canrif cyntaf, yn dywedyd iddo weled rhai o honynt yn Rhufain, yn uwch, o hyd hanner troedfedd, na phobl ereill. Arnodiad yr hen Siluriad yn amser Tacitus, oedd gwynebau tywyll a gwallt crych neu dorchog. "*Colorati vultus, et torti plerumque crines.*" Ac yr oeddynt yn hyn, yn amrywiaw cymmaint oddiwrth y llwythau ereill, a pheri cred, mai rhai o hen drigolion yr Yspaen oeddynt; ond y dydd heddyw nid ydynt yn dwyn un arnodiad trwy ba un y gellir eu gwahanu oddiwrth drigolion ardaloedd ereill o'r deyrnas. Ac yn ychwanegol i hyn oll, y mae Giraldus Cambrensis yn dywedyd fod y Brytaniaid, sef y Cymry, hyd yn nod yn ei amser ef, [y 12ed ganrif,] yn dywyllach eu gwedd na'r trigolion Saxonaidd, yr hyn, medd efe, a arwyddocai eu hanniad o Gaerdroia. Ond y dydd heddyw nis gwn am un gwahaniaeth, o ran lliw gwynebpryd na lliw gwallt, trwy yr hwn y gellir adnabod Cymro oddiwrth Sais. Ymddengys, i mi, mai yr achos o'r gwahaniaeth cysefin, a'r cyffelybrwydd presennol rhwng

* Tacitus. Gwel tu dal. 14.

y Cymry a'r Saeson, yw y canlynol. Yr oedd y Cymry gwedi bod oesoedd maith yn yr ynys hon, cyn dyfodiad y Saeson, ac felly gwedi teimlo effeithiau awyrnaws y wlad, yr hwn a dueddai i gyfnewid lliw eu gwallt oddiwrth ei felyni cysefin, a pheri ei dywylliad. A'r Saeson, y rhai nid oeddynt ond ychydig oesoedd gwedi gadael awyrnaws oer Llychlyn a Germania, nid oeddynt etto wedi hollol golli eu harnodiad cyntefig; ac felly yn felynach eu gwallt nag hen drigolion yr ynys, ac yn cadw mwy o'r agweddiad hynny, o liw gwynebpryd, ag sydd yn cydfyned â gwallt coch neu felyn. Ond y dydd heddyw, y maent hwy, mewn rhwysg oesoedd, trwy effeithiau yr awyrnaws, ac arferion mwy gwaraidd, gwedi dyfod dan yr un arnodiad a'r hen drigolion; ac yn awr, gwallt tywyll yw arnodiad pobl ynys Prydain yn gyffredinol, pa un ai o'r gwaedoliaeth Cymraeg, Saxonaidd, neu Wyddelaeg yr hannant. Felly ni a welwn fod arnodiadau corfforawl cenhedloedd, yn cyfnewid yn y pethau hyn yn gymmesur â chyfnewidiadau eu cyflwr cymdeithasawl.

Ymddengys oddiwrth y Trioedd i lwyth o Wyddelod wneuthur ymosodiad ar ran o wlad Cymru mor gynnar a'r ganrif nesaf cyn Cred; canys yn y mynegiad am "y Tair Ciwdawd Ormes, a ddaethant i ynys Prydain, ac a aethant o honi;" [t. d. 10.] dywedir,—

"Ail y bu Lluoedd Ganfal Wyddel a ddaethant i Wynedd, ac a fuant yno naw mlynedd ar hugain, hyd yn a'u gyrrwyd hwynt i'r môr y gan Gaswallawn ab Beli ab Mynogan."

Mynegir hefyd am yr un amgylchiad yn y 12 Triad :—

"Tair Haint Echrys Ynys Prydain: Cyntaf, Haint o Gelanedd y Gwyddyl a laddwyd yn Manuba gwedi gormesu o honynt ugain mlynedd a naw ar wlad Wynedd."
"Ail Haint y Fad felen o Rôs, ac achos celaneddau lladdedigion y bu hono, ac od elai neb o fewn eu gwynt cwympo'n farw yn ddioed a wnelai.
"A'r drydydd Haint, y Chwys drewllyd achos llygru yr yd gan wlybaniaeth yn amser Gormes y Normeinwyr, y gan William y Bastardd."

Y mae yr hanesiad hwn, am oresgyniad y Gwyddyl gan Caswallawn, yn cadarnhau y mynegiad perthynol i Unbenaeth Prydain. Y mae Cæsar yn hyspysu fod Caswallawn wedi cael ei ethol yn ben-llywydd yn erbyn y Rhufeiniaid; ac ymddengys oddiwrth y Triad ei fod yn meddiannu awdurdod cyffredinol, neu ynte o helaethrwydd mawr yn yr ynys. Ac er fod yr amgylchiad hwn yn cael ei enwi yn yr un Triad gydag un arall, mor ddiweddar a'r 11eg ganrif; nid ydyw hynny yn gwanhau awdurdod y Trioedd, mwy nag y gwanheir awdurdod llyfrau colledig Dion Cassius, trwy y talfyriad a wnaethpwyd o honynt gan Xiphilinos, yn yr 11eg ganrif, neu awdurdod yr hen ysgrifau Rhufeinig colledig, trwy nad oes genym yn awr ond yn unig y crynhoad a wnaethpwyd allan o honynt, gan Richard o Cirencester, yn y 14eg ganrif. Ni welaf ond ychydig wahaniaeth rhwng awdurdod Richard o Cirencester ag awdurdod y Trioedd hanesiol.

Yn mhlith gelynion y Brytaniaid Rhufeinaidd, canfyddwn yr enw ATTACOTTI. Ni wyddys dim am haniad y bobl hyn; eithr meddylir mai yr un a'r Scotti oeddynt, gan fod eu sefyllfa yn y wlad yn cael ei osod yn yr un ardaloedd. Ni fynegir nemmawr am danynt, oddieithr eu bod yn ddynion tra anwaraidd eu cyflwr.

Gan ein bod yn awr, wedi canlyn mor belled helynt y genedl Wyddelaeg yn yr ynys hon, ac gan y bydd angenrhaid o bryd i gilydd, grybwyll am y bobl hyn drachefn; ysgatfydd mai nid annghyfleawl yma, fydd rhoddi ychydig o fynegiadau am danynt, yn eu gwlad gysefin.

## POBLOGIAD YR IWERDDON.

Yr ydym wedi canfod eisioes, yn ngwaith Sieffrey o Fynwy, a'i chwedlau yn nghylch Caerdroia, i fath raddau o hyrtwch y gallai ddynion syrthio yn yr oesoedd gynt, pan yn traethu ar amgylchiadau hanesiol, ond ni welir mo'r naill hanner o'u hynfydrwydd hyd, nes edrychwn i'r traddodiadau Gwyddelaeg. Pan fyddo amgylchiadau hanesiol yn cael eu traddodi mewn iaith gysgodawl, ac mewn ffug draethodau, yr ydym yn derbyn y cyfryw yn ol y dull y bwriedir, ac yn ceisio, trwy fân chwiliad, a thremiad i'r cyfnos, gael allan sylwedd y pethau a orchuddir felly; ac nid yw y gwir yn goddef trais trwy y fath ymddygiad. Ond yn hen hanesion yr Iwerddon, y mae yr amgylchiadau mwyaf annghredadwy, yn cael eu gosod allan megys gwirioneddau noeth, heb un arwyddocad o gysgodiaith na ffug-ddarluniad, oddieithr mewn un neu ddau o enwau, a'r rhai hynny yn dra annghyson. Y canlynol ydynt y dyfodiadau haeredig :—

MERCHED CAIN.—Rhai a gyrchant mor bell i eithafoedd hynafiaeth, a mynegu am drigolion y wlad honno cyn y diluw! Dywedant i dair merch i *Cain* ddyfod yno.

CÆSARA, NITH NOAH.—Ereill a ddywedant i CÆSARA, nith i NOA, ddyfod yno ychydig cyn y diluw, yn nghyda'i thad *Beth*, yr hwn wedi i Noa ballu ei dderbyn i'r arch, a ffurfiodd long ac a hwyliodd i'r Iwerddon.

TRI PHYSGOTTWR.—Ar ol hyn hyspysir am dri o bysgottwyr, o'r Yspaen, megys y cyntaf i dirio yno.

PARTHOLAN.—Ar ol hyn mynegir i PARTHOLAN, [*Bartholomew*,] y chwechfed oddiwrth *Magog*, ddyfod yma, yn nghyda'i lwyth; ond ar ol lliosogi dros rai oesoedd nes, cyrhaedd y rhifedi o naw mil o bobl, iddynt oll, bob un, farw o'r pla.

NEMEDIUS.—Ar ol hyn etto, gwedi bod yr Iwerddon yn annghyfannedd dros 30 mlynedd, NEMEDIUS, un arall o hiliogaeth Magog, a gychwynodd o Scythia, ac a hwyliodd i'r ynys honno; ar ol iddei lwyth fod yno dros rai oesoedd difethwyd hwy oll yn gyfan-gwbl gan y *Foghmoraicc.*

Y FOGHMORAICC.—Y rhai hyn oeddynt môr-ladron, o hiliogaeth CAM, ac yn anneddu yn yr Affrica, o ba le y daethant i'r Iwerddon.

Y FIR BOLG.—Y bobl hyn a ddeilliasent o Thracia; eu pen-cenedl oedd SIMON BREC. Daethant i'r Iwerddon a gorchfygasant yr ynys. Rhai a feddyliant oddiwrth yr enw, mai llwyth o genedl y *Belgæ* y gallent fod. Gorchfygwyd hwy gan y *Tuatha de Danann.*

Y TUATHA DE DANANN, neu y *Tuath de Danan,* [seinir yr enw *Thwha de Dannyn.*]—Y llwyth yma oedd wedi hannu oddiwrth Nemedius. Trigasant ennyd yn nhir Groeg, lle y dysgasant y gelfyddyd o ddewiniaeth. Trwy eu gwybodaeth o'r gelfyddyd hon, medrent anfon gythreuliaid i gyrff meirwon eu milwyr lladdedig, iddeu hadfywhau hwy, fel yr ymladdent â'u gelynion drachefn. Ond y Syriaid pan ganfyddasant fod cyrff y rhai hynny y sawl a laddasant ar y maes, etto drannoeth yn eu cyfarfod mewn brwydr, a ymgynghorasant â'u hoffeiriaid oblegid y peth; a hwy a'u cynghorasant i drywanu corff pob un a laddent o'r cyfryw, â pholyn cerddinen, gan fynegi, os mai eu hadfywhau gan gythreuliaid a gent, y byddai iddynt yn ddiatreg droi yn bryfed. Ond os yn cael eu hadfywhau yn iawn ac yn wirioneddol yr oeddynt, na fyddai iddeu cyrff ddim llygru. Y weithred hon a barodd i'r Syriaid fuddygoliaethu, a gorfu ar y Tuath De Danan ffoi; ac aethant i wlad Llychlyn, ac oddiyno i'r Alban. Ar ol aros saith mlynedd yn yr Alban, y Tuath De Danan a fudasant i'r Iwerddon, ac yno, ar ol tirio, gorchuddiasant eu hunain â niwl lledrithiawl, dros dri diwrnod; yn mha ystod y teithiasant i ganol yr ynys. Ac yno anfonasant genhadon at frenin a phendefigion y Firbolg, i ofyn am y lywodraeth, neu ynte i brofi eu nherth mewn brwydr. Y brenin a ddewisodd yr olaf, ac a gollodd gan' mil o wyr trwy hud a dewiniaeth y bobl hyn. Ar ol hynny gorchfygasant y Foghmoraicc.

Yr oedd ganddynt, yn mhlith pethau ereill o uchel werth, y maen hwnnw a elwid yn y Wyddelaeg *Liag fail,* h. y. maen tynged, ar ba un ar ol hynny y coronid brenhinoedd yr Iwerddon, a'r hwn ar yr achlysurau hynny, a roddai allan sain rhuadawl, ac am ba un y credid, pa le bynnag yr arhosai, y byddai i frenin o'r waedoliaeth Scottaeg deyrnasu yno. Pan sefydlodd Fergus ei lwyth yn yr Alban, o gylch 503, anfonodd at ei frawd, brenin yr Iwerddon, am y maen hwn, iddei arferyd ar ei goroniad. Cadwyd ef yn nghastell Dunstaffnage, yn swydd Argyle, hyd 843, pan y dygodd

Kenneth Mac Alpin ef i *Scone*, ar ol darostwng y Pictiaid. Ac oddiyno, yn y flwyddyn 1296, Iorwerth y I. ar ol darostwng yr Alban, a'i cludodd ef i Lundain, ac a'i gosododd dan y gadair goronawl yn Monachlog Westminster, lle y mae y dydd heddyw. Dywedant mai hon oedd y garreg a osododd Jacob dan ei ben yn Bethel, pan gysgodd yno. Y canlynol ydynt hen linellau Gwyddelaeg perthynol iddei rhinwedd:—

"Cioniodh Scuit saor an fine,
Man ba breag an Faisdine,
Mar a bh' fhuighid an Lia-fail,
Dlighid flaitheas do ghabhail."

Y rhai a gyfieithwyd yn y modd canlynol gan Hector Boethius:—

"Ni fallit fatum, Scoti quocunque locatum
Inveniunt lapidem, regnare tenentur ibidem."*

"Oddieithr y twylla tynged, y Scottiaid a deyrnasant, pa le bynnag y cânt y garreg hon."

Afreidiawl ydyw treulio amser i ddangos twyllodrusrwydd y dynged hon.

Y MILESIAID.—NIUL, mab FENIUS FARSA, o hiliogaeth Magog, a anfonwyd i'r Aipht gan ei dad, i ddysgu y iaith; yno efe a briododd SCOTA, merch Pharaoh, brenin yr Aipht; ac oddi wrthi hi y cafodd ei hiliogaeth yr enw *Scottiaid.* Bu iddynt fab o'r enw *Gaodhal*,† ac oddiwrtho ef y galwyd y genedl y *Gwyddelod.* Yn amser Moses y bu hyn; ac ar ryw bryd, sarph a frathodd Gaodhal; a'r clwyf a iachawyd yn uniongyrchol, trwy gyfrwng gwialen Moses, yr hwn a ragfynegodd na fyddai i un creadur gwenwynllyd hanfodi yn y wlad a gyfaneddid gan eppil y llanc hwnnw; yr hyn a gyfrif am y rhyddid oddiwrth y cyfryw greaduriaid, a fwynheir gan yr Iwerddon.

Yn mhlith hiliogaeth y tylwyth hyn, yr oedd IBHER, oddiwrth ba un y cawsant yr enw *Iberi*, ac hefyd MILESIUS, yr hwn a roes ei enw yntau iddynt. Yr olaf a ddaeth i'r Iwerddon gyda byddin liosog i oresgyn y wlad, ond methasant dirio, am fod y Tuath de Danan wedi taenu niwl lledrithiawg dros yr ynys; gwedi hyn cawsant hysbysiad i ddychwelyd at ryw borthladd a enwid, a myned yn ol i'r môr dros naw tòn, ac ar ol hynny os gallent dirio, y buddugoliaethent. Eithr yn awr, y Tuath de Danan a gyfodasant dymhestl aruthrawl, yr hon a ddinystriodd lawer o'r Milesiaid; ond yn y diwedd yr olaf a diriasant, a chan gyfarfod â'r Tuath de Danan mewn brwydr, trechasant arnynt, ac a'u alltudiasant o'r ynys. Ac eppil y Milesiaid ydynt drigolion presennol y wlad.

* Gwel CAMDEN. † Neu GATHELUS.

Y cyfryw ydynt y defnyddiau allan o ba rai y ffurfir hanes cyntefig yr Iwerddon. Y maent oll mor chwedleuaidd, ac mor anhebyg i hanesyddiaeth gwirioneddol, fel na ellir gafaelyd ynddynt, hyd nod i geisio gwneuthur pigion o honynt, er seiliau dychymmygol. Felly, y mae yn rhaid eu gosod yn gyfan-gwbl ar y neilltu, megys defnyddiau hollol ddiwerth, ac edrych at awdwyr pellenig am ryw ychydig o oleuni ar y testun hwn.

Yr enwau dan ba rai y crybwyllir am yr Iwerddon gan yr awdwyr Groeg a Lladin ydynt, *Iris*, *Ierne*, *Iuvernia*, *Hibernia*, *&c.* Y trigolion a'u galwant yn y iaith Wyddelaeg *Erin*; ac yn yr oesoedd cynnar ar ol Cred, galwyd hi *Scotia*. Tebygol i'r ynys hon dderbyn ei phoblogrwydd cyntefig, o ynys Prydain, yn ac o'r Cyfandir. Y trigolion, ar ddyfodiad y Rhufeiniaid i Brydain, nid oeddynt yn amrywio ond ychydig yn eu harnodiadau, oddiwrth y Brytaniaid, megys y tystiolaetha Tacitus. Y mae Richard o Cirencester, yn dywedyd i amryw lwythau Brytanaidd fyned drwodd i'r Iwerddon, megys y *Cangi*, a'r *Brigantes*, yn amser y rhyfeloedd Rhufeinig; ac hefyd i lwyth o'r Brytaniaid gael eu gyrru allan o'u gwlad gan y Belgæ, o gylch 350 mlynedd cyn Cred, ac iddynt fyned i'r Iwerddon, ac o'r pryd hynny allan gael eu galw yn *Scotti* Ond gan ys pa lwythau Brytanaidd a aethant drwodd, y mae yn ddilys mai o waedoliaeth Gwyddelaeg oedd y rhan amlaf o drigolion yr Iwerddon, gan mai y Wyddelaeg oedd y iaith gyffredinol yn y cynoesoedd; ac nid oes hysbysiad fod un arall yn lafaredig yn y wlad.

Y mae yr hanesion Gwyddelaeg yn parhau yn annhorredig o eithafoedd y prif-oesoedd hyd yr amseroedd presennol, heb un math o wahaniaeth rhwng y gau a'r gwir, yn y cyfryw fodd ag nad yw ddichonadwy dywedyd pa le y mae y ffugiol yn diweddi, a'r gwirioneddol yn dechreu. Ond y mae yn debygol fod y traethodau am yr oesoedd nesaf ar ol Cred yn cynnwys peth gwirioneddau yn gymmysg â ffugiadau disail; a bod gwir hanesyddiaeth yn ffynnu, yn yr un mesur ag yr oedd goleuni Cristionogaeth yn ymhelaethu yn y wlad. Eithr o achos y brithiad hyn o wir a gau, ni ellir rhoddi hyder i un gyfran o'r hanesion cynnaraf, er derbyn un rhan o honynt megys hanesyddiaeth awdurdodawl, oddieithr y ceir cadarnhad o'r cyfryw mewn ysgrifau gwledydd ereill. Yr unig amgylchiad o bwys, a geir, perthynol i'r Iwerddon, yn y cynoesoedd, ydyw troedigaeth y wlad i Gristionogaeth. Y mae yn brofadwy fod yr Efengyl wedi cael ei dwyn i'r ynys hon yn gynnar yn y cynoesoedd, ond ni chafodd ddim taenedigaeth helaeth yn y wlad hyd y 5ed ganrif, pan aeth SANT PADRIG drwodd. Y gwr hwn ydoedd Frython, ond pa un ai o Strathclyd neu o Gymru, nid hawdd penderfynu. Cymmerwyd ef yn garcharor pan yn llanc, gan y Gwyddelod, yn un o'u hymosodiadau ar ynys Prydain, a chludwyd ef i'r

Iwerddon, lle y bu dros rai blynyddau yn gaethwas. Diangodd oddiyno, ac or ol teithio dros amryw wledydd, yn mhen amryw flynyddau, dychwelodd i'r Iwerddon, i'r dyben i bregethu yr Efengyl i'r trigolion Paganaidd; a chafodd y fath lwyddiant yn ei lafur a bod o gylch y flwyddyn 430, i Gristionogaeth gael ei sefydlu yn y wlad. Ac o'r pryd hynny allan, dros amryw oesoedd, yr oedd crefydd yn dra llewyrchus yno, a'r ynys yn enwog trwy'r byd, am fyfyrwyr a dysgedigion duwiol ac anrhydeddus.

Y digwyddiad nesaf o bwys, perthynol i'r ynys honno, ydyw dyfodiad y DANIAID, neu yr OSTMANIAID, [h. y. *Eastman*, gwyr dwyreiniol,] i'r wlad, y rhai a elwir yn yr hanesion Cymraeg, y *Llu Du*, ac yn y Wyddelaeg *Dubh Ghal*, ac weithiau gelwid hwy *Northman*, sef *Gwyr Gogleddol*, ac yr oeddynt o'r un gwaedoliaeth a'r *Normaniaid*. Y bobl hyn, oeddynt yn anneddu yn ngwlad Denmarc, a'r gwledydd cyfnesol; dechreuasant flino y Gwyddelod yn yr 8ed ganrif. Ac yn y flwyddyn 799, daethant â llynges gref, a byddin liosog, a thiriasant yn yr Iwerddon, ac a ymsefydlasant eu hunain yno; lle y buont yn arglwyddiaethu yn y modd mwyaf gorthrymawl, heb ond ychydig luddiant, hyd nes darostyngwyd hwy gan y brenin BRIAN BOIROMHE, yn mrwydr *Clontarf*, yn y flwyddyn 1014.

Ond er y rhyddhawyd yr Iwerddon oddiwrth ormesiad y Daniaid, ni bu y wlad annedwydd honno ddim yn hir nes goddef ymwelediad arall, os nid mor flin a'r un Danaidd, etto llawer mwy parhaus. A hwnnw oedd darostyngiad y wlad gan y Saeson, yr hyn a gymmerodd le yn y modd canlynol:—

Y Normaniaid, gwedi goresgyn Lloegr, a estynasant eu dwylaw tuag at Gymru, ac wedi ennill rhan o'r Deheubarth, a adeilasant Gastell Penfro, ar ba un y gosodwyd un o'r enw GERALD DE WINDSOR, yn geidwad; yr hwn a ennillodd ewyllys da y Cymry mor belled a phriodi NESTA, merch RHYS AP TEWDWR, Tywysog y Deheubarth, a bu iddynt fab o'r enw MAURICE FITZ-GERALD, sef yw yn yr hen Ffrangaeg *Mab Gerald*, [fitz. h. y. filius.] Ar ol marw Gerald, Nesta a briododd bendefig arall o hanniad Normanaidd, o'r enw STEPHEN CONSTABLE, a bu iddynt fab, o'r enw ROBERT FITZ-STEPHEN, yr hwn a wnaethpwyd yn geidwad Castell Aberteifi. O gylch yr amser hyn, yr oedd pendefig Normanaidd arall, o'r enw RICHARD STRONGBOW, Iarll *Striguil*, [*Is-Trogi*, yn Ngwent,] mewn meddiant o diroedd yn Nyfed, y rhai a ennillasai ei dad, Gilbert Strongbow, Iarll Clare; hwn, sef Richard Strongbow, a gafodd ei daer erfyn gan DERMOD, brenin alltudiedig o'r Iwerddon, i ddyfod iddei gynnorthwyo i ail-ennill ei deyrnas; ac ar ol penderfynu cymmeryd y gorchwyl mewn llaw, efe a lwyddodd gael gan y ddau frawd, Maurice Fitz-Gerald, a Robert Fitz-Stephen, ymuno âg ef. A hwynthwy a ammodasant â Dermod, gael derbyn cyfrannau o'r wlad megys tâl am eu gwasanaeth, os byddai iddynt

lwyddo iddei had-ennill iddo, a'i osod drachefn ar ei orsedd. Felly y brodyr hyn, o herwydd eu perthynasoedd Cymraeg, gan mai wyron Rhys ap Tewdwr oeddynt, a gyfodasant fyddin o Gymry, ac yn y flwyddyn 1168, hwyliasant i'r Iwerddon, gyda Strongbow a rhai canlynwyr Normanaidd; ac ar ol llawer o ymladd, llwyddasant i ymsefydlu eu hunain yn y wlad, ac wedi derbyn cynnorthwyon o Loegr, goresgynasant ran fawr o'r ardaloedd dwyreiniol. Ac y mae llawer o'u hiliogaeth yno hyd y dydd heddyw, rhai o'r sawl a ddygant yr enw *Fitz-Gerald*, amryw o ba rai ydynt yn ddynion cyfrifol a phendefigol.

Ar ol y goresgyniad hyn o'r wlad, Henry II. Brenin Lloegr, a ddaeth yno, a chan ddywedyd fod ganddo awdurdod oddiwrth y Pâb, efe a gymmerodd feddiant ar yr ynys, ac o'r amser hynny ni bu yr Iwerddon erioed allan o ddwylaw y Saeson.

Ysgatfydd y gall rhai feddwl mai gweithred annghyfiawn oedd hyn o ymosodiad ar yr Iwerddon o eiddo'n cydwladwyr; ond cofiwn mai eu gwahodd gan un o frenhinoedd y wlad a gawsant ar y dechreuad, ac iddynt dderbyn eu tiroedd megys taliad am eu gwasanaeth. Ond, poed hyn fel y bytho, y mae un peth yn eglur, sef yw, nad oedd y Cymry yn yr ymosodiad hyn, ddim ond yn talu'r pwyth i'r Gwyddelod am yr amrywiol ormesau trwy ba rai y blinwyd hwy a thrigolion Prydain gan y genedl Wyddelaeg o bryd i gilydd yn yr oesoedd rhagflaenol. Ac o gyffelyb sylwedd y mae y gyfran helaethaf o hanesyddiaeth cenhedloedd y ddaear. —Cofrestr o droseddau a chospedigaethau; o sarhad a chamwri ar y naill law, ac ymddialiad ar y law arall. Weithiau ceryddiad buan a dioed; ac weithiau, pechodau yn ymbentyrru dros oesoedd, hyd nes llanw i fynu eu mesur, a dwyn ymweliad dygnawl ac ofnadwy ar ryw genhedlaeth drofaus a gwargaled, i'r hon y perthyn trwy etifeddiaeth, yn gystal ag ymarweddiad priodol. Cenedl y Cymry yn fynych a gafodd brofiad o'r pethau hyn. Am ba un o'i chamweddau gwladol, neu am ba draha pennodol, y mae yn dyoddef ei darostyngiad a'i difreiniad presennol, sydd guddiedig i mi; eithr y mae lle i ofni ei bod dan farn.—**Na chofia, Arglwydd, ein hanwiredd, nac anwiredd ein rhieni.**

Y mae amryw yn haeru mai Gwyddelod oeddynt brif drigolion Prydain, ac iddynt gael eu gyrru ymaith i'r Iwerddon gan y Cymry. A'r haeriad hyn a wneir ar awdurdod dychymmyg yn unig, o eiddo Llwyd. Canys y mae y gwr dysgedig hwnnw yn sylwi fod amryw hen enwau lleawl yn Mhrydain y sawl ni ellir eu dehonglyd, oddieithr trwy gyfrwng y Wyddelaeg, megys *Wyse, Llwch, Cynwy, Ban, Drum, a Llechlia.* Ond gyda phob parch i'r awdwr anrhydeddus, meddyliaf nad ydynt ei ddaliadau ddim yn gywir yn hyn; canys barnaf fod rhai o'r geiriau hyn etto yn nghadw yn y

Gymraeg, naill ai yn eu cyfanoldeb, neu yn eu gwreiddiau, neu mewn cyfansoddiad. Y gair *wysc*, *dwfr*, meddyliaf y gwelir etto yn y gair *gwysgi*, ac yn yr ymadrodd "*Yn wysc ei ben*," &c. yn arwyddocau anianawd rhedegog dwfr.——*Cynwy*, sydd air o gyfansoddiad Cymraeg diamheuoi, y syll *cyn* sydd dra adnabyddus, a'r gair *wy*, *dwfr*, er nad ydyw mewn arferiad cyffredinol, etto a ffurfia gyfran o amryw eiriau cyffredin, megys *gwydd*, *gwylan*, *gwymon*, *hwyad*, &c.——*Ban*, yw y gair Gwyddelaeg am *mynydd*. Nid ydyw yn cael ei arferyd yn y Gymraeg i arwyddocau mynydd mewn ystyr cyffredinol, er ei fod yn ffurfio enwau priodol amrywiol fynyddau, megys *Bannau Brycheiniog*, *Pen y Fan*, *Fan Tringarth*, *Fan Gyhirych*, &c. Ond y mae y gair yn arferedig yn ei ystyr cysefin a phriodol, yn arwyddocau *uchel*, megys y gwelir yn marddoniaeth Llywarch Hên, "*Eryr Eli, ban ei lef.*" Rhyfeddaf na fuasai Llwyd yn ystyried hyn.——Y gair *Drum*, neu *Trum*, hefyd a adweinir yn dda, megys gair Cymraeg, ac arferir ef felly ar amryw achosion, megys "*drum y ty*," *rhych a thrum*,"* &c.——Am y gair *Llwch*, nis gwn a ydyw etto yn nghadw yn y Gymraeg, ond beth os nad ydyw? Nid hwn yw'r unig air sydd ar goll o eiddo ein cyniaith.——Am *Llechlia*, nis gwn ei ystyr. Y mae Llwyd hefyd yn dwyn yn mlaen y gair *corlan*, megys un na ellir ei ddeall, oddieithr trwy gyfrwng y Wyddelaeg; ond yn y iaith honno, dengys fod *caor* yn arwyddocau *dafad*. Ac felly y mae yn ddilys gennyf yr oedd hefyd yn y Gymraeg, ar ryw bryd neu gilydd, onite ni fuasai ddim yn cael ei uno â geiriau Cymraeg, megys *corlan* a *corgi*.

Er nad oes prawf mai y Wyddelaeg oedd iaith gyntefig Prydain, etto y mae yn rhaid cyfaddef ei bod yn cynnorthwyo i daflu goleu ar amryw hen eiriau Cymraeg, y rhai ydynt yn awr wedi syrthio i anarferiad, megys y dangosir yn y gair corlan; ac hefyd meddyliaf fod yr arferiad o'r gair *ban*, yn mhlith y Gwyddelod, yn eglurhau ystyr enwad Cymraeg ag sydd wedi dyrysu llawer, ac hynny yw "*Yr Ychain Bannawg*," a sonir am danynt yn yr hen draddodiadau. *Ychain Mynyddawg*, medd rhai; *Ychain Ardderchog*, neu *Uchel*, medd ereill; ond os awn at y Wyddelaeg, ni gawn weled fod *beannach*, yn arwyddocau *corniog*, oddiwrth *beann*, *corn*. Ac nid oes gennyf un amheuaeth fod y gair Cymraeg *bannawg*, unwaith yn arwyddocau yr un peth.

## MOR TAWCH A LLYCHLYN.

Dywedir yn yr hanesion Cymraeg, i'r Cymry ddyfod i'r ynys hon dros *For Tawch;* ac hefyd fod y Coraniaid yn trigo ar lann Môr Tawch. A phan edrychwn am sefyllfa y môr hwn, canfyddwn mai yr un yw a'r môr Germanaidd, *Oceanus Germanicus*. Ond yr hanesyddion Cymraeg, er y

* Gwel Geiriadur y Dr. Owen Pughe.

cytunant mewn perthynas iddei sefyllfa, etto ni roddant un dehongliad boddhaol o'r enw. Yr ystyr a rodda y DR. OWEN PUGHE iddo, a'r hwn a fabwysir yn gyffredinol ar ei awdurdod ef, yw "*Y Mor Ni wliawg*, gan fod yr awdwr yn dywedyd fod y gair *Tawch*, yn arwyddocau *niwlach*.* Ac y mae efe yn dwyn yn mlaen ymadroddion allan o waith amryw brydyddion er prawf. Ond gyda phob teimlad parchus tuag at yr awdwr a'i lyfr gwerthfawr, a'r dysgedigion y rhai a'i canlynant, ni allaf lai na mynegi fy marn, fod y prydyddion uchod yn llawer rhy ddiweddar i sefydlu ystyr yr enw, gan nad oedd yr henaf o honynt, TUDYR ALED, ddim yn gynharach nar 15ed ganrif; a meddyliaf iddynt gymmeryd y gair oddiwrth yr enw priodol, mewn anwybodaeth o'i ystyr, gan dybied mai Cymraeg oedd *Tawch*. Ond y mae yn ddilys gennyf mai enw priodol ydyw; a chan y gelwir yr un môr, "*Mare Germanicum*," ac "*Oceanus Germanicus*," a chan fod Germania yn myned dan yr enw *Dacia* yn y canol oesoedd, y mae yn ddilys gennyf mai *Mor Dacia*, yw *Mor Tawch*.

Y mae amrywiol awdwyr yn crybwyll am yr Almaen, dan yr enw Dacia, ac yn ei roddi yn bendant i wlad y Daniaid, yn mhlith pa rai y gallwn nodi y canlynol:—

"Magna Dacorum exercitus depopulans Wintoniam," &c.

Byddin fawr o'r Daciaid [Daniaid] yn anrheithio Winchester, [Caerwynt.]

"Magna Dacorum classis apud Eastangliam appulit," &c.

Llynges fawr o'r Daciaid [Daniaid] a ddaeth hyd East Anglia, &c.

RANULPH HIGDEN, yn y 14eg ganrif.

Ac at yr un peth y cyfeirir yn yr ymadroddion canlynol, allan o hen gyfansoddiad ar hanes yr Alban:—

"In bello pugnans Dacorum corruit armis."

Ac etto,—

"Dacorum gladiis protinus occubuit."

CHRONICUM ELEGIACUM, yn y 13eg ganrif.

Hefyd, y mae Gryffudd ap Arthur, yn y 12ed ganrif, yn crybwyll am y Daniaid dan yr un enw, ac yn galw eu gwlad yn *Dacia*, fel y dangosir maes o law.

Y mae POLYDORUS VERGILIUS, yn dywedyd fod y *Daciaid* wedi mudo o ganol yr Almaen i'r gororau gyferbyn a Lloegr; eu bod hwy yn anneddu ar lann y Môr Germanaidd, ac oddiyno yn blino y Saeson âg ymosodiadau beunyddiol; "Oblegid," medd efe, "nid oes llawer o fôr rhwng Dacia a Lloegr." "*Hæc itaque gens ferox, quæ Germanicum nunc Oceanum accolit.——Haud enim Dacia longo Oceani maris intervallo, ab Anglia discreta est.*"

* Yr ystyr cyffredinol i'r gair Tawch, mewn rhai mannau, yw *sawyr, neu arogl anhymunol*. Ac y mae y Wyddelaeg yn tueddu at yr un ystyr, sef *Tochd, arogl*.

Ac yn ngwaith HEYLYN, ysgrifenydd o'r 17eg ganrif, gwelwn fod un o'r enwau a geir yn Naearyddiaeth Ptolemæus, yn cael ei gyfeirio at wlad Denmarc yn y fath fodd, ag y cawn ynddo hyd yn nod y sain attebol i'r gair Cymraeg, mor agos ag y gellir ddisgwyl am dano, mewn iaith mor wahanol; canys wrth grybwyll am Denmarc, y mae yr awdwr yn dywedyd am y Deheudir, mai yr hen drigolion oeddynt y GUTÆ a'r DAUCIONES, ac ac yn ail-adrodd y mynegiad yn y modd canlynol:—"*Meridionalia tenent Gutæ et Dauciones.*"

Yn awr, hyderaf fy mod wedi cael allan wir darddiad yr enw *Tawch*, sef mai gwlad Germania ydyw, neu y rhan ogleddol o honi, yr hon a adnabyddwyd yn y canol oesoedd dan yr enw *Dacia*. Meddyliaf fod yr enw hwn o *For Dacia* gwedi ei fabwysaw gan y Cymry, a'i gymhwysaw i *For Tawch*, yn ol anian eu hiaith, cyn yr arfer o gyfnewid sain yr *C*, i eiddo yr *S*. Canys y mae yn amlwg eu bod yn y cynoesoedd yn seinio yr *C* fel *K*, megys y gwelir yn y Brut yn yr enw *Wlkesar*, sef, Iul Cæsar.

LLYCHLYN.—Yn yr hen hanesion Cymraeg, y mae aml grybwylliadau am wlad a thrigolion Llychlyn. Yr ystyr cyffredinol a roddir i'r enw ydyw yr un a *Scandinavia*, a deallir wrtho, yr ardaloedd cyfnesawl i'r cainc-for a elwir y *Baltic*. Ond oddiwrth y modd y traethir am wlad Llychlyn, y mae yn amlwg fod yr enw yn ei wir a'i neillduol ystyr, yn arwyddocau y wlad a elwir *Norway*. Hyn a ymddengys oddiwrth y Brut, lle y mae yr enwau hyn yn atteb iddeu gilydd yn y Gymraeg a'r Lladin. Er angrhaifft, Gryffudd ap Arthur a ddywaid yn y Lladin,—

"Octavius,—navigio Norwegiam adivit."

Ac yn y Gymraeg cawn yr un mynegiad, fal y canlyn:—

"Eudaf en y longeu a aeth hyd yn Llychlyn."

Ac y mae gwahaniaeth yn cael ei osod rhwng Norway a Denmarc, yn y modd canlynol:—

"Emergunt iterum prædicti duces,—cum cæteris cuneis Scotorum, et Pictorum, et cum Norwegensibus, Dacis, et cæteris quos conduxerant." —G. ap A.

"E dynevassant eylweyth er racdywededygyon,—ar Escotyeyt ar Ffychtyeyt ar Llychlynwyr a gwyr Denmarc y gyt ac wynt."—Y BRUT CYMRAEG.

Ac yn gyson â hyn Môr Llychlyn a elwir y Môr rhwng yr Alban a Norway.

Y tyb cyffredinol am yr enw *Llychlyn*, yw ei fod yn arwyddocau Môr y *Baltic*, ac yn gyfansoddedig o'r geiriau *Llwch* a *Llyn*. Ond, y mae yn rhaid i mi fynegi fy anfoddlonrwydd i arddel y tarddiad hyn, am na allaf ganfod ond ychydig o synwyr yn y gosodiad yn nghyd, o ddau air cyfystyr,

yn y modd yma. Ac y mae ynwyf dueddiad cryf i feddwl fod y gair yn arwyddocau *Helgoland*, yn Norway, yr hon oedd ardal boblogaidd, ac yn deyrnas annibynol, gan y crybwyllir am ei brenhinoedd priodol yn y canol oesoedd; megys yn y *Chronicon Manniæ*, dan y flwyddyn 1196, lle y dywedir i un o'r enw Harald, ar ol cael caniatad gan frenin Norway, i hawliaw ynysoedd Orc, ddwyn gydag ef *Sigurt Murt*, o Helgoland, ac amryw ryfelwyr ereill. "*Adduxit secum Siwardium Murt de Higland, et alios multos bellatores.*" Ac yr oedd y deyrnas hon yn enwog yn yr oesoedd cynnaraf o hanes Norway, fel y gwelir yn y nodiadau i'r *Lodbrokar-Quida*, lle y mynegir am un o'u brenhinoedd;—"Hildam filiam Hognii regis Halogalandiæ in Norvegia." Y mae hefyd ynys o'r enw *Heligoland*, neu *Heiligland*, gyferbyn ag aber yr afon *Elbe*, yr hon oedd gynt yn dra nodedig am ei phorthladd, yr hwn oedd yn loches i'r môr-ladron, y rhai a anrheithient ororau Ewropa yn yr amseroedd hynny; a dichon fod yr ynys hon, o herwydd cyffelybrwydd yr enwau, yn cael ei hystyried megys yr un wlad a Helgoland, yn Norway, ac felly yn cyfrannu tuag at gynnal enwogrwydd Llychlyn.

Ysgatfydd y dywedir fod y gair Llychlyn yn rhy annhebyg yn ei sain i Helgoland, i'n hawdurdodi i ddywedyd ei fod yn deillio o'r enw hwnnw. Ond meddyliaf nad oes mwy o gyfnewidiad yma nag y mae anian y Gymraeg yn ei ofyn, pan yn cymhwyso geiriau estronaidd at ei seiniad priodol. Ac hyderaf ddywedyd fod gennym, yn feunyddiol, anghreifftiau o'r cyfryw ger ein bron; megys *Rhufain*, oddiwrth *Roma;* ac yr *Aipht*, oddiwrth *Ægyptus*, &c. Yr enw Gwyddelaeg i Lychlyn yw *Lochlyn;* ond weithiau llythyrenir ef *Lochlan*, yn mha ddull, ni a welwn, fod y sill olaf yn dwyn perthynas agos i'r cyfryw un yn Helgoland.

Y mae y Trioedd yn mynegi fod y Llychlynwyr gwedi bod mewn undeb a chyfeillgarwch â'r Brytaniaid mewn rhyw oesoedd gynt.

"Tair Cyforddwy a aethant o ynys Prydain: cyntaf, yr un a aeth y gan Ur [Yrp] ab Erin Luyddawg o Lychlyn; ac efe a ddaeth i'r ynys honn yn amser Gadial ab Erin i erchi cymmorth yr ynys honn, dan adduned na chaisiai o bob Prifgaer namyn y rhif a ddelai ganthaw iddi; ac ni ddelai ganthaw amgen nag un i'r Gaer gyntaf, namyn ei hun a'i was Mathatta fawr, ac o honno, cael dau, ac o'r eilgaer, pedwar, ac o'r drydygaer myned yn wyth, ac o'r nesaf, unarbumtheg; a herwydd hynny o gyfredyd o bob caer arall, hyd onid o'r gaer diweddaf nis gellid eu rhif yn yr holl ynys. A chydag ef y daeth teirmil a thrugaint ac un mil, ac nis gellid iddo fwy no hynny yn yr holl ynys o wyr cyfalleu, gan nad oedd namyn plant a henawgwyr ar ei ol. A llwyra llüydd a fu erioed oedd Ur ab Erin Luyddawg: ac ar ddiystyrdod y bu gan genedl y Cymry roddi hynny iddaw dan adduned anagorawl, canys o hynny y cafas y Corranniaid le i ddwyn cyrch gormes i'r ynys honn. Ac o'r gwyr hynny ni ddaethant drachefn yr un onaddynt, nag o lin, nag o eppil iddynt. Sef ydd aethant ar gyrch Cyforddwy hyd ym Mor Groeg, ac aros yno yn nhir Galas ac Afena hyd heddyw a myned yn Roegiait." [Am yr ail a'r drydedd gwel tu dal. 56 a 141.]

Ond pa un ai o'r genedl Gothaeg neu yr un Geltaeg yr oeddynt y Llychlynwyr a grybwyllir am danynt felly, nis gwn, neu yn mha oes y dygwyddodd yr amgylchiad. Wrth edrych yn yr hanesion Rhufeinig, ni allaf

ganfod ond un cadgyrchiad yn dwyn tebygolrwydd perthynas â hwn, sef yr un o eiddo'r CIMBRI, yr hyn a wnaethpwyd ganddynt o gylch can' mlynedd cyn Cred. Y bobl hyn a breswylient yn y wlad a elwir yn awr Denmarc, ond y pryd hynny *Cimbrica Chersonesus*, h. y. *Y Gorynys Cimbraidd;* ac am ryw achos neu gilydd, mudodd llu mor anfeidrol o honynt allan o'u gwlad, fel y gallwn feddwl na adawyd ond ychydig o'r genedl ar ol; ac wedi crwydro ar hyd y gwledydd deheuol dros ddeuddeg mlynedd, yn nglŷn â'r *Teutones*, a diffeithio Gâl a'r Yspaen, gorchfygwyd hwy gan y blaenor Rhufeinig MARIUS.

## Y RHUFEINIAID.

Gan ein bod ni yn awr gwedi taflu golwg ar y gelynion newyddion, y rhai oeddynt wedi cyfodi yn erbyn llywodraeth Rhufain, y mae weithian yn bryd dychwelyd at y Rhufeiniaid eu hunain. Gwelsom fod yr Ymherawdr Severus, wedi gadael iddei fab Caracalla, y gorchwyl o ddarostwng y Celyddon, ond hwnnw a hoffai yn fwy foethusdra Rhufain, na bywyd o drafferth yn mhlith cenedl o Farbariaid; ac felly efe a ymheddychodd â hwy, ac a dynnodd ei fyddinoedd allan o'u gwlad, gan foddloni ei hun a'r rhan o'r ynys ar y tu deheuol i fur Antoninus. Ac effeithiau y cyfryw ammodiad ydoedd llonyddu y Celyddonwys, fel na chlywn am eu hymosodiadau ar yr ardaloedd Rhufeinig, dros yn agos i gan' mlynedd. Ond yn amser Constantius, yr hwn a fu farw yn 306, gwelir hwy drachefn ar y maes yn nglŷn â'r Pictiaid, neu fel y barnaf fy mod eisioes wedi ei brofi, ymddangosant dan yr enw newydd hwnnw. Ac o'r amser hwn allan, nid oes mynegiad am y Caledoni mwy na phe baent wedi llwyr ddiflanu; a'r Pictiaid a feddianant eu lle.

Dywedir hefyd i'r Ymherawdr CONSTANTINUS, [*Cystenyn,*] mab i'r uchod, wrthgyrchu y llwythau gogleddawl ychydig flynyddau ar ol hynny.

Yn y flwyddyn 360, y Pictiaid yn nglŷn â'r Scottiaid, a anrheithiasant yr ardaloedd Rhufeinig cyfnesol, ac a barasant ddirfawr aflonyddwch i'r trigolion. Ac o'r pryd hyn hyd dros amryw flynyddau ni pheidiasant a'u rhuthriadau genlyniaethol; canys gyferbyn a'r flwyddyn 364, dywed Ammianus Marcellinus fod y "Pictiaid, a'r Sacsoniaid, a'r Scottiaid, a'r Attacottiaid, yn blino y Brytaniaid â gorthrymiadau dibaid." [Gwel t. d. 121.] Ac i'r fath raddau o eofndra yr oeddynt wedi cyrhaedd yn y flwyddyn 368, a'u bod yn cyrchu i'r ardaloedd deheuol o'r ynys, ac yn anrheithio y wlad hyd nod mor belled a chymmydogaeth Llundain. Ond yr Ymherawdr VALENTINIANUS a anfonodd fyddin gref yn eu herbyn dan dywysiad blaenor o'r enw THEODOSIUS, [tad yr Ymherawdr o'r un enw,] yr hwn a diriodd wrth *Richborough*, ac ar ol maeddu y lluoedd Barbaraidd, a'u hymlidiodd tua'r gogledd, gan eu gyrru yn ol, iddeu llochesau yn

Nghelyddon. Adennillodd hefyd y dalaeth rhwng y muriau allan o'u dwylaw, ac a roddodd iddi yr enw VALENTIA, er cymediw i'r Ymherawdr a'i frawd VALENS; ac y mae yn ddilys mai y pryd hyn y derbyniodd Caer Alclyd, neu Dunbarton, yr enw THEODOSIA.

## MACSEN WLEDIG.

Wedi marw Valentinianus, daeth ei fab *Gratianus* i orsedd Orllewinol Rhufain; canys yr oedd yr Ymherodraeth weithian er ys talm, wedi ei rhannu yn ddau ddosparth; yr Orllewinol dan oruchwyliad Ymherawdr Rhufain, a'r Ddwyreiniol dan Ymherawdr Constantinopolis. Gratianus a ddechreuodd ei deyrnasiad mewn modd tra anrhydeddus; ond gan mai llanc ieuanc heb fawr o egni cynneddfol oedd efe, cyn hir syrthiodd i gyflwr o fuchedd ofer ac anfuddiol, gan dreulio ei amser mewn helwriaeth, yn yr hyn yr ymhoffai yn fawr; ac a ddangosodd ei hun yn hollol anaddas i'r gorchwyl dwys o gynnal yr Ymherodraeth, yr hon oedd yn awr yn cael ei gwasgu ar bob tu gan ei gelynion barbaraidd. Ac yn yr amser hyn, dygwyddiad a gymmerodd le, yr hwn a gyfrannodd i wanhau yr awdurdod Rhufeinig yn Mhrydain, i'r fath raddau ag na fu iddo fyth adennill ei gadernid cysefin.

Yr oedd ar y pryd hyn yn llywydd ar y byddinoedd Rhufeinig yn Mhrydain, swyddog o'r enw CLEMENS MAXIMUS, yr hwn a elwir yn yr hanesion Cymraeg, MACSEN WLEDIG, genedig o'r Yspaen, yn ol haeriad rhai; eithr yn ol ereill, wedi ei eni yn yr ynys hon, ac o waedoliaeth Cystenyn. Milwr dewr ydoedd efe, ac wedi gwasanaethu gyda chlod ac anrhydedd dan y blaenor Theodosius, mewn amryw ryfeloedd. Maximus, neu Macsen, ydoedd o anianawd tra uchelfrydus, a phan welodd fod Gratianus gwedi derchafu Theodosius, mab Valentinianus, i fod yn Ymherawdr y Dwyrain, ei eiddigedd a'i ddigasedd a enynwyd yn ei erbyn, a phenderfynodd gymmeryd iddo ei hun y goruchafiaeth, yr hwn a feddyliai y dylesid ei roddi iddo megys o deilyngdod; ac felly yn y flwyddyn 383, efe a ymdynnodd oddiwrth ei ufudd-dod i Gratianus, ac a gyhoeddwyd yn Ymherawdr gan y byddinoedd dan ei awdurdod, sef y rhai oeddynt yn Mhrydain.

Ac yn awr, Macsen, gwedi myned mor belled a hyn mewn gwrthryfel, a wyddai yn dda na allai ddim cadw ei sefyllfa yn hir, gyda meddiant o ynys Prydain yn unig, ac felly daeth i'r penderfyniad i afaelyd ar yr Ymherodraeth Orllewinol yn gyfan oll.

Yr hanesion Cymraeg a ddywedant ei fod gwedi priodi HELEN, merch EUDAF, [Octavius,] pendefig cadarn o Gaerseiont, neu Gaerynarfon. Yr oedd i'r bendefiges hon frawd o'r enw CYNAN, Arglwydd MEIRIADAWC, yn awr ardal Dinbych, yr hwn a elwid CYNAN MEIRIADAWC. A thrwy

gynnorthwy y blaenor hwn, cyfodwyd lluaws nifeiriol o Gymry, y rhai a chwanegasant eu gwasanaeth at eiddo y byddinoedd rheolaidd; a Macsen ynghyd â'i alluoedd a hwyliodd i'r Cyfandir, ac a diriodd yn Llydaw, ac ar ol rhai cyfarfodydd â byddinoedd Gratianus, cyrchoedd yn ddioed tua dinas Paris, lle yr oedd Gratianus, a'r hwn, yn ol yr hanesyddwyr Rhufeinig, oedd rhy ofalus yn nghylch ei ddyfyrwch helwriaethol i fod wedi ymbarotoi i dderbyn ei wrthwynebwr. Ac felly, ar ol cael ei orchfygu mewn brwydr, a'i adael gan ei filwyr, Gratianus a ffodd tua'r Ital; ond goddiweswyd ef yn neheudir Gâl, gan rai o wyr Macsen, a llofruddiwyd ef.

Dyweda'r hanesion Cymraeg i Macsen yn awr roddi i Gynan Meiriadawc a'r Brytaniaid dan ei flaenoriaeth, diroedd yn Llydaw, yn lle iddynt ddychwelyd yn ol i Brydain, ac mai hwynthwy oeddynt y sefydlwyr Cymraeg cyntefig yn y wlad honno. Macsen ei hun ar ol hyn, a gyrchodd tua'r Ital gyda'i fyddinoedd. Yr oedd yn awr yn feddiannydd ar wledydd Prydain, Gâl, a'r Yspaen; ond nid ymfoddlonai i hynny, eithr ceisiai ennill yr Ital hefyd. Ac felly Theodosius, Ymherawdr y Dwyrain, a ddaeth yn ei erbyn â byddin gref, ac a'i gorchfygodd, ac a'i dihenyddodd, yr hyn a ddygwyddodd yn y flwyddyn 388.

Y cyfryw ydyw hanes Macsen Wledig, yn ol y cysoniad goreu a allaf wneuthur o'r ysgrifau Cymraeg a Lladin. Y mae yr awdwyr Rhufeinig yn rhoddi hanes am wrthryfeliad Maximus, a'i gadgyrchiad gyda'i fyddinoedd o Brydain, a'i oruchafiaeth ar Gratianus; ond nid ydynt yn son am Gynan Meiriadawc, nac am y sefydliad o'r Brytaniaid yn Llydaw. Ond y mae yr hanesion Cymraeg yn traethu yn helaeth am y dygwyddiad hwn; ac felly barnaf yn oreu iddeu rhoddi yma mewn modd neillduedig.

Y Brut, ar ol traethu am amryw ddygwyddiadau perthynol i hanes Prydain hyd at amser CARON, [*Carausius*,] a ddywed i ALECTUS gyfodi yn erbyn y llywydd hwnnw, a'i orchfygu mewn brwydr, a'i ladd. Ac i ASCLEPIODOTUS gyfodi yn ei erbyn yntau yn yr un modd, a'i ladd, a chymmeryd arnaw ei hun y lywodraeth; ac yn ei oes ef y dechreuodd yr erledigaeth dan yr Ymherawdr Diocletianus.

Gwedi hyn cyfododd COEL CODEBAWC, Iarll Caercoelin, [Colchester,] yn erbyn Asclepiodotus, ac a'i lladdodd, ac a gymmerodd feddiant o'i deyrnas. A'r Rhufeiniaid gan weled y terfysg a hanfodai yn yr ynys, a anfonasant y blaenor CONSTANS [h. y. *Constantius*] yno i adferyd trefn a rheolau. A Choel yn ofni ei gyfarfod mewn brwydr a anfonodd genhadon atto, gan geisio ammodau heddwch, yr hyn a ganiatawyd. Yn fuan ar ol hyn bu farw Coel Codebawc, a Constantius a gymmerodd goron y deyrnas; ac a briododd HELENA, neu HELEN LUYDDAWC, merch Coel, a bu iddo fab o honi, i'r hwn y rhoddwyd yr enw CONSTANTINUS. [Hwn a fu yn Ymherawdr, ac a alwyd Constantinus Magnus, sef Cystenyn Fawr. Efe

oedd yr Ymherawdr Cristionogol cyntaf, ac oddi wrtho ef y bu i ddinas Constantinopolis gymmeryd ei henw. Dywedir iddo gael ei eni yn Nghaerefrawc.]

Cystenyn, er trefnu gorchwylion yr Ymherodraeth a aeth i Rufain, ac a gymmerodd gydag ef dri ewythr iddei fam Helena, nid amgen Llewelyn, Trahaiarn, a Meyric, y rhai a urddws efe â Seneddawl Urddas. "Ac yn yr amser hwnnw y cyfodes EUDAF, [Octavius,] Iarll Ergyng, ac Euas, [yn Lladin, Dux Wisseorum,] yn erbyn y tywysogion, ar y adawsai Cystenyn, er cynnal yr ynys wrth Rufeiniawl teilyngdod." Ac Eudaf a orchfygodd y rhai hynny, ac a gymmerodd arno y lywodraeth. Cystenyn a anfonodd Trahaiarn yn ei erbyn. Ond ar ol amryw ddygwyddiadau, na thal eu hadrodd, Eudaf a lwyddodd i ladd Trahaiarn, ac a gynnyddodd yn fawr mewn galluogrwydd.

Dywed y Brut fod gan Eudaf ferch o'r enw HELEN, a nai o'r enw CYNAN MEIRIADAWC, ac i'r ferch briodi MAXIMUS ; ac i'r nai, ar ol peth rhyfela, ymheddychu â Maximus, a'i ganlyn i'r Cyfandir, ac iddo dderbyn gwlad Llydaw yn wobr am ei wasanaeth yn mhlaid ei flaenor. Ac ar ol amryw frwydrau yn erbyn y trigolion cyfnesawl, iddo lwyddaw i sefydlu ei deyrnas mewn diogelwch. Ond gan nad oedd y Brytaniaid yn dymuno ymgyfathrachu â phobl y wlad honno, anfonasant i Brydain am wragedd ; ac yn ganlynol iddeu cais, hwyliodd tywysoges o'r enw URSULA, yn nghydag 11,000 o forwynion pendefigol, a 60,000 o rai o isel radd, tua gororau Llydaw, ond cyfododd tymestl fawr, a drylliwyd amryw o'r llongau, a'r lleill a yrrwyd ar hyd y moroedd, nes iddynt syrthio i ddwylaw GWYNWAS, brenin yr Huniaid, a MELWAS, brenin y Pictiaid, gan ba rai y cawsant y morwynion eu llofruddio. Ac mewn chwedlau ereill dywedir i hyn ddygwydd ar oror Germania, a dangosir esgyrn y lladdedigion hyn yn ninas Cologne. Y mae yn wir fod cruglwyth anfeidrol o esgyrn iddeu gweled yn un o'r eglwysi yno, ond casgliad ydynt o esgyrn wedi eu cyfodi o bryd i'w gilydd wrth gladdu, ac wedi eu gosod mewn esgyrnfa, fel y gwelir mewn amryw fannau ereill.

Y mae chwedl arall yn un o ysgrifau Nennius, yn dywedyd i'r Brytaniaid briodi gwragedd o'r wlad, ac iddynt, i'r dyben na ddysgent iaith estronaidd iddeu plant, dorri ymaith eu tafodau, o herwydd paham y galwyd hwy "*Letewicion i. e. Semitacentes*," *hanner mudion*. Yr hyn, meddyliaf, nid yw ond cynnygiad trwsgl i roddi tarddiad y gair Llydaw.

Y Trioedd a grybwylliant am gadgyrchiad Macsen a Chynan yn y modd canlynol :—

"Tair Cyforddwy a aethant o ynys Prydain, [am y gyntaf a'r ail gwel tu dal. 137 a 56.] Trydydd Cyforddwy a ddyweiniwyd o'r ynys honn y gan Elen Lüyddawg a Chynan ei brawd, Arglwydd Meiriadawc, hyd yn Llydaw, lle y cawsant Diroedd a Chyfoeth a Theyrnedd y gan yr Ymmherawdr Macsen Wledig, am ei ganllofi [gynnorthwyo] yn erbyn gwyr

Rhufain. A'r gwyr hynny a hannoeddyn o Dir Meiriadawc, ac o Dir Seisyllwg, ac o Dir Gwyr, a Gorwennydd; ac ni ddaeth yn eu hol yr un o honynt, eithr aros yn Llydaw ac yn Ystre Gyfaelawg a wnaethant hwy, gan wladychu yno. Ac achos hono o Gyforddwy y bu wanhâd a diffyg gwyr arfawc ar Genedl y Cymry, onid aethant y Gwyddyl Ffichti yn ormes arnynt; ac o hynny y gorfu ar Wrtheyrn Gwrthenau gyrchu Saeson i ladd [ymladd] yr ormes honno. A'r Saeson yn gweled gwendid y Cymry, a droesant yn Fradormes drwy gystlyniad y Gwyddyl Ffichti a'r gwyr difrawd a hwynt a dwyn eu tiroedd oddiar y Cymry, a dwyn hefyd oddiarnynt eu braint a'u coron.

"A *Thair traha gadarn* Cenedl y Cymry y gelwir y tair Cyforddwy yma, a hefyd y *Tri Ariannllu*, achos dwyn o honynt o'r ynys honn yr aur a'r ariant hyd y gellid eu cael o dwyll a dichell a difrawd, yn gystal ac o iawn a bodd; a'r *Tair Annoeth Luyddawd* a'u gelwir; am wanhau drwyddynt yr ynys honn gymmaint ag y rhoed lle drwy hynny i'r Tair Gormes Gadarn, sef y Corraniaid, a'r Caisariaid, a'r Saeson."

## BREUDDWYD MACSEN WLEDIG.

Heblaw yr hanesion uchod, y mae, yn mhlith y Mabinogion, chwedl a elwir *Breuddwyd Macsen Wledig*. Y mae yn hollol ddiawdurdod o ran hanesyddiaeth, ac nid ymddengys yn henach, o ran cyfansoddiad, na'r 14eg ganrif; ond y mae yn dangos fod mewn hanfodiad y pryd hwnnw, draddodiad am y dygwyddiad crybwylledig, amgen i'r hyn a geir yn y Brut, gan ei bod yn dywedyd fod Cynan Meiriadawc yn frawd i Helen, ac nid yn gefnder. Rhoddaf yma rai pigion o'r chwedl, eithr nid o achos sylwedd y cynhwysiad, ond o herwydd y iaith, yr hyn sydd yn dra choeth, ac haeddianol o sylw, megys yn dwyn arnodiad yr oes yn mha un y cyfansoddwyd hi. Dechreua fal y canlyn:—[Gwel Y GREAL, 1806.]

"MAXEN WLEDIG oedd yn Amherawdyr yn Rhufain, a thecaf gwr oedd, a doethaf, a gorau à weddai yn Amherawdyr o'r a fu cyn nog ef.

"A dadlau brenhinedd a oedd arno ddiwrnod; ac ef a ddywawd i'w ymwyliaid: Myfi, heb ef, a vynaf eforu fyned i hela. Tranoeth y bore, ef a gychwynodd a'i nifer, ac a ddaeth i ddyffryn afon a ddygwydd i Rufain. Hela y dyffryn a wnaeth, hyd pan fu hanner dydd. Ydd oedd gydag ef hagen deuddeg brenin ar ugaint o freninedd coronawg yna yn wyr iddo. Nid er digrifwch hela ydd helai yr Amherawdyr yn nghyd a hyny, namyn i wneuthur yn gyfurdd gwr ag y bai Arglwydd ar y sawl freninedd hynny.

"A'r haul a oedd yn uchel ar yr awyr uwch eu pen, a'r gwres yn fawr; a chysgu a ddaeth arno; sef a wnaeth ei weision sefyll, a chastellu eu tarianau yn ei gylch ar beleidyr gwaewawr, rhag yr haul; tarian eurgrwydyr a ddodasant tan ei ben.

"Ac felly y cysgwys Maxen; ac yna y gwelai freuddwyd, sef breuddwyd a welai ei fod yn cerdded gwladodd tecaf a gwastataf a welsai dyn erioed, o'r parth arall i'r mynydd; a phrif afonydd mawr a welai, o'r mynydd yn cyrchu y môr; ac i'r rhydiau ar yr afonydd y cerddai. Pa hyd bynag y cerddai felly ef a ddaeth i aber prif afon fwyaf o'r a welsai neb, a phrif ddinas a welai yn aber yr afon, a phrif gaer yn y ddinas: a phrif dyrodd aml amliwiog a welai ar y gaer; a llynges a welai yn aber yr afon, a mwyaf llynges oedd honno ar y welsai erioed; a llong a welai yn mhlith y llynges, a mwy o lawer, a thecach oedd honno no'r rhai ereill oll a welsai ef. Uwch y môr o'r llong, y naill ystyllen a welai ef yn euraid a'r llall yn arianaid. Pont a welai o asgwrn morfil o'r llong hyd y tir, ac ar hyd y bont y tebygai ei fod yn dawed i'r llong. Hwyl a dderchefid ar y llong, ac ar fôr a gweilgi y cerddid a hi. Ef a welai ei dawed i ynys decaf o'r holl fyd. A gwedi y cerddai ar draws yr ynys o'r môr bwygilydd, hyd yr ymyl eithaf, cymau a welai a diffwys, a cherig uchel eithyr agarw amddyfrwys, ni rywelsai erioed ei gydryw."

Y chwedl a ddywaid iddo dramwyaw ar hyd yr ynys nes dyfod at brif gaer ardderchog, ac yn y gaer, neuadd hardd odidog.

"Ac yn mon colofyn y neuadd y gwelai wr gwynllwyd y mywn cadair o asgwrn eliphant, a delw dau eryr arni o ruddaur. Breichrwyau aur oedd am ei freichiau a modrwyau aml am ei ddwylaw, a gorddorch aur am ei fwnwgyl a rhagtal aur yn cynal ei wallt, ac ansawdd eiddryn arno; clawr o aur a gwyddbwyll* rhag ei fron, a llath aur yn ei law, a llif ddur, ac yn tori gwerin gwyddbwyll. A morwyn a welai, yn eistedd rhag ei fron y mywn cadair o ruddaur: mwy nog ydd oedd hawdd dysgwyl ar yr haul pan fai tecaf, nid oedd haws disgwyl arni hi rhag ei theced. Crysau o sidan gwyn a oedd am y forwyn, a chaeau o ruddaur rhag ei bron a swrcwd† o bali euraid amdani, a rhagtal o ruddaur am ei phen, a rhuddem a gem yn y rhagtal, a main merierid [perlau] bob eilwers ag Amherodron fain, a gwregys o ruddaur am dani, ac yn decaf golwg o ddyn edrych arni."

Ac yno yn uniongyrch pan yn y mwynhad o'r dedwyddwch o gyfannerchiad cyfeillgar a chariadus â'r forwyn,—

"Rhag angerdd y cwn wrth eu cynllyfanu, ac ysgwyddau y tarianau yn ymgyhwrdd yn nghyd, a pheleidyr y gwaewawr yn cyfladd, a gweryrad y meirch, ac eu pystylad [llamniad] deffroi a wnaeth yr Amherawdyr; a phan ddeffroes, hoedyl nac einioes, na bywyd nid oedd iddo am y forwyn a rywelsai trwy ei hun."

Gwedi ymflino yn hir o herwydd ei freuddwyd, o'r diwedd yr Ymherawdr, trwy gyngor ei ddoethion, a anfonodd genhadon trwy'r gwledydd i chwilio am y forwyn. A hwynthwy, wedi teithio yn hir, a ddaethant i *Aber Sain*, [Caerynarfon,] lle y cawsant bob peth, fel ag y gwelsai yr Ymherawdr yn ei freuddwyd. Ac EUDAF AP CARADAWC, tywysog yr ardal, oedd yr hen wr, ac ELEN ei ferch oedd y forwyn. Yna y cenhadon a'i cyfarchasant, gan fynegi eu nheges, a cheisio ganddi gymmeryd ei dewis, naill ai dychwelyd gyda hwy i gael ei gwneuthur yn Ymherodres Rhufain, neu i'r Ymherawdr ddyfod hyd Gaersain iddei chymmeryd yn wraig iddo. Ac hi a'u hattebodd, gan ddywedyd,—

"Ha wyrda!—Amhau yr hyn a ddywedwch chwi nis gwnafi, na'i gredu hefyd yn ormodd; namyn os myfi a gar yr Amherawdyr, deued hyd yman i'm hol."

Y cenhadon a ddychwelasant i Rufain, a Macsen Wledig a ddaeth i Brydain, ac a briododd Elen. Ac yn mhlith pethau ereill, tra fu yn yr ynys, dyweda'r chwedl—

"A diwrnod ydd aeth yr Amherawdyr i hela i Gaer Fyrddin, ac add aeth hyd yn mhen y Trevawr, a thynu pebyll a wnaeth yr Amherawdyr yno, a *Chadair Faxen* y gelwyr y bebyllfa hono er hynny hyd heddyw."

Hefyd, Elen a berodd ffurfio amryw ffyrdd, ar hyd yr ynys, ac o'r achos hynny y gelwid hwynt *Ffyrdd Elen Luyddawg*.

Ar ol bod Macsen saith mlynedd yn Mhrydain, gwyr Rhufain a wnaethant Ymherawdr arall.

* Offer y chwareuaeth a elwir *Chess*, neu gyffelyb iddo.

† Y mae y geiriau estronaidd yn y cyfansoddiad hwn yn dangos fod y cyfryw lygriad o'r iaith wedi dechreu yn gynnar ar ol uniad Cymru â Lloegr.

"Ac yna y gwnaeth hwnw lythyr bygwth ar Faxen. Nid oedd hagen o lythyr namyn. *"O deui di, ac o deui di byth i Rufain."* Ac hyd yn Nghaer Llion y daeth y llythyr hwnw ar Faxen a'r chwedlau. Ac oddiyna ydd anfones yntau lythyr ar y gwr a ddywedai fod yr Amherawdyr yn Rhufain. Nid oedd yn y llythyr hwnw hefyd ddim namyn. *Od af innau i Rufain, ac od af.*"

Yna yr aeth Macsen tua Rhufain, ac a warchaeoedd ar y ddinas. Ond ar ol treulio blwyddyn nid oedd nes iddei hennill na'r dydd cyntaf. Ac yno y daeth CYNAN ac ADEON, brodyr Elen, atto, a llu o wyr o Brydain, a thrwy eu cynnorthwy hwy, ennillodd y ddinas. A Macsen, er gwobr am eu gwasanaeth, a gynnygodd iddynt y rhan a ddewisent o'r Ymherodraeth yn feddiant i drigo yno. A Chynan a'i lu a arhosodd yn Llydaw; ond Adeon a ddewisoedd ddychwelyd adref i Brydain.

Rhai a amheuant gwirionedd yr hanes hwn am Gynan Meiriadawc, ac a ddywedant na fu un sefydliad o Frytaniaid yn Llydaw cyn y flwyddyn 458, pan aeth RIWAL a'i ganlynwyr drwodd. Y mae yn wir fod y Brut a'r Freuddwyd mor llawn o ffugiadau, a rhoddi achlysur digonol i wadu y cyfan o'u cynhwysiad; a phe na fuasai gennym un awdurdod gwell na'r cyfryw, nid call fuasai dywedyd llawer o blaid yr amgylchiad, gan y buasai y cwbl yn cael ei gyfrif megys un o gelwyddau Sieffrey o Fynyw. Ond y mae yr un hanes am y cadgyrchiad iddei weled yn ngwaith Nennius, yn yr hen ysgrif o'r 10fed ganrif; canys y mae yr awdwr hwnnw yn dywedyd i'r Ymherawdr MAXIMIANUS, [felly yr ysgrifena yr enw,] fyned o Brydain gyda'r holl filwyr Brytanaidd, a lladd Gratianus, brenin y Rhufeiniaid, a mwynhau Ymherodraeth y cyfan o Ewropa. Ac na fynnai anfon adref ei gyfeillion rhyfelgar Brytanaidd at eu gwragedd, a'u plant, a'u meddiannau, eithr rhoddodd iddynt yn helaethlawn lawer o ardaloedd, oddiwrth y llyn, yr hwn sydd ar warthaf *Mons Iovis*, hyd at y ddinas a elwir *Cant Guic*, ac at y crug gorllewinol, h. y. *Cruc Occident*. "Y rhai hyn," medd Nennius, "ydynt y Brython Armoricaidd, ac yno yr arhosasant hyd y dydd heddyw. O achos eu habsennoldeb, Prydain a oresgynwyd gan genhedloedd estronawl, a'i hetifeddion a fwriwyd allan, *hyd nes caniateir cynnorthwy oddiwrth Dduw*."*

MONS IOVIS oedd enw y mynydd a elwir *St. Bernard Fawr*, yn mynyddoedd Mynnau; ac y mae llyn bychan o ddwfr ychydig oddiwrth

* "Ipse perrexit cum omnibus militibus Brittonum a Bryttannia, et occidit regem Romanorum Gratianum, et imperium obtinuit totius Europæ. Noluitque dimittere belligeros suos comites Brittones, ad uxores suas, et filios, et ad possessiones suas; sed multas illis largitus regiones a stagno quod est super verticem Montis Iovis usque ad civitatem quæ vocatur *Cant guic*, et usque ad Tumulum Occidentalem, id est *Cruc Occident*, Hi sunt Bryttones Armorici, et illic permanserunt usque in hodiernum diem. Propter illorum absentiam, Bryttannia superata est ab alienigenis gentibus et heredes ejecti, usquequo a Deo auxilium largiatur."

ei sael, er nid ar ei goppa, yn atteb i'r mynegiad hyn; ond nis gallaf ganfod pa berthynas sydd rhyngddo a'r sefydliad Llydawaeg. CANTGUIC, a ddywedir yw *Cantavic*, yn *Picardy*. Ac hyderaf gynnyg dychymmyg mai CRUC OCCIDENT yw y crug gorfawr hwnnw a elwir *Mont St. Michel*, ar bwys gweddillion Derwyddol *Carnac*, gerllaw *Quiberon*, yn Llydaw.

Y Triad [tu dal. 142] a ddywed i'r Brytaniaid hyn aros "*yn Llydaw ac yn Ystre Gyfaelawg.*" Y mae yr enw olaf wedi peri dyryswch nid bychan i'r sawl a geisiant esponiaw yr hen awdurdodau yma; ac nid oes neb yn cynnyg unrhyw eglurhad o honaw. Ond rhyfygaf amcanu am dano mai *yn Neustrie ac Valois* yw yr enw. *Neustrie*, neu *Neustria*, oedd hen enw talaeth *Normandy*, yr hon oedd yn cyffiniaw â Llydaw; ac *Valois* oedd y dalaeth nesaf at Normandy, rhwng honno a *Picardy;* felly y mae hyn yn atteb i fynegiad Nennius am Cantguic. Yr oedd *Valois* yn dalaeth dra chyfrifol, ac yn un o Ddugiaethau Ffrainc. A phan ystyrir y modd y cyfnewidir sain geiriau estronaidd, trwy eu cymhwysaw at anian y Gymraeg, a'r modd yr anffurfir eu llythyreniad mewn ysgrifau, meddyliaf mai nid anhebygol yw, mai gwir a chysefin ddull yr ymadrodd "*yn Llydaw, ac yn Ystre Gyfaelawg,*" yw "*yn Llydaw, ac yn Neustrie, ag y Valois.*"

Ac weithian, i geisio pwysaw yr amrywiol haeriadau perthynol i'r ymgylchiad hwn o gadgyrchiad y Cymry, yn amser Macsen Wledig, a'u sefydliad yn Llydaw ar y pryd hwnnw. Yn y man cyntaf, ni a welwn fod y traddodiad yn hanfodi yn amser Nennius, yn y 9ed ganrif, neu ar y lleiaf yn y 10ed. Yn y man nesaf, yr oedd gan gyfansoddwyr y Brut a'r Trioedd ryw awdurdodau heblaw gwaith Nennius, canys nid oes cymmaint o gyffelybrwydd rhwng y cyfansoddiadau hynny, a pheri tybieu bod y naill wedi deillio oddiwrth y llall. Hefyd, y mae annghyttundeb rhwng y Trioedd a'r Brut, yr hwn a ddengys na thynnodd y gwahanol awdwyr o'r un ffynhonell; yr hyn oll sydd yn arwyddocau, fod rhyw hen awdurdodau neu draddodiadau mewn bod, yn y cynoesoedd, oddiwrth ba rai y cymmerwyd yr hanesion hyn, heblaw y rhai ag sydd y dydd heddyw ar glawr.

Yn mhlith y rhai a amheuant hanes Cynan Meiriadawc, gallwn enwi megys y pennaf o ran pwysfawrogrwydd, y dysgedig a'r diwyd LOBINEAU. Ei ddadleuad am y cyfryw farn ydyw, fod yr haeriad am y sefydliad Brytanaidd yma, yn amser Maximus, yn annghyson â chyflwr y wlad yn yr oesoedd canlynol. Eithr gan nad ydyw yn helaethu ond ychydig ar hyn, diachos fyddai treulio amser mewn gwrthddadleuad o honaw; ac felly ymfoddlonaf yn awr, gyda phob parch i'r awdwr, yn unig fynegi fy amheuaeth o gywirdeb ei ddaliadau; a dywedyd mewn byr eiriau, na allaf ganfod un achos da pa bynnag i wadu sefydliad Cynan Meiriadawc yn Llydaw.

Ysgatfydd y gall ryw un haeru mai annhebygol yw fod y fath dywysogion neu bendefigion cedyrn ag Eudaf a Chynan, yn hanfodi yn Mhrydain tra yr oedd dan lywodraeth y Rhufeiniaid. Ond y mae yn rhaid i ni gofio mai arfer y Rhufeiniaid oedd gadael rhai o bendefigion y gwledydd goresgynedig, mewn meddiant o'u hawdurdod cysefin, ond yn unig ymddarostwng i lywodraeth Rhufain. Y mae Tacitus yn mynegi hyn yn amlwg, [gwel tu dal. 92,] pan yn crybwyll am sefydliad COGIDUNUS yn ei frenhiniaeth, ac yn dywedyd eu bod hwy yn ymfalchio, fod hyd nod brenhinoedd yn ddarostyngedig iddynt. Ac heblaw hyn, yr oedd amseroedd terfysglyd gwedi bod yn Mhrydain ychydig cyn amser Macsen Wledig, ac amryw drawsdeyrnedd gwedi cyfodi yno. Ac y mae yn ddilys gennyf, fod awdurdod y Rhufeiniaid gwedi gwanhau cymmaint yn yr oesoedd hyn, nad ydoedd ddim yn eu gallu, ddarostwng na chospi neb ryw bendefigion cedyrn, y rhai a gyfodent mewn gwrthryfel. Ac yn y ganrif nesaf, ni a welwn fod brenhinoedd y Brytaniaid mewn cymmaint o alluogrwydd annibynol, a bod hyd nod y Rhufeiniaid eu hunain yn ceisio eu cynnorthwy yn erbyn eu gelynion ar y Cyfandir, canys y mae IORNANDES yn dywedyd fod i EURICUS, brenin y Visigothiaid, o gylch 458, wrth ganfod y chwyldroadau parhaus yn mhlith y Rhufeiniaid, geisio afaelyd ar dir Gâl; "Yr hyn pan welodd yr Ymherawdr ANTHEMIUS, maes o law, efe a ofynodd gynnorthwy gan y Brytaniaid. Oddiwrth ba rai y daeth y brenin RIOTHIMUS, gyda deuddeg mil o wyr mewn llongau ;" ac a gyrchodd at ddinas *Bourges ;* ond Euricus, â llu anfeidrol, a gyfarfu âg ef, cyn y gallasai ymuno â'r Rufeiniaid; a Riothimus, ar ol colli y rhan fwyaf o wyr, a ffodd gyda'r rhai a allent, i wlad y Burgundiaid, y rhai oeddynt, y pryd hynny, mewn ammod â'r Rhufeiniaid.* Pa beth a ddaeth o'r gwyr hyn, ni fynegir, ond y mae SIDONIUS APOLLINARIUS, yn son am y Brytaniaid y rhai oeddynt ar lannau yr afon Loire, o gylch 468.† Felly, ni welaf un achos pa bynnag i wadu tebygolrwydd hanes Cynan Meiriadawc, ond ar y gwrthwyneb meddyliaf fod y gyfran hyn o honaw yn hollol gyson âg amgylchiadau yn gyffredinol.

Y mae yn rhaid cyfaddef nad ydyw yn debygol y gallasai y fath anibynrwydd hanfodi yn mhlith y pendefigion Brytanaidd pan oedd Ymherodraeth Rhufain yn llawnder ei chadernid.—Pan oedd y LEGIO VALENS VICTRIX,‡ yn anneddu yn *Nghaerlleon Gawr*, a'r LEGIO SECUNDA

* "Anthemius Imperator, protinus solatia Britonum postulavit. Quorum Rex Riothimus cum duodecim millibus veniens in Bituricas civitatem Oceano e navibus egressus, susceptus est," &c. † "Britannos supér Ligerim sitos," &c.

‡ LEG. XX. V. V.—"*Legio Vicesima Valens Victrix.*"—"*Yr Ugeinfed Leng, Gadarn, Orchfugawl.*" Hon a sefydliwyd yn Nghaerlleon Gawr. A dywedir gyda chywirdra, mai oddiwrthi hi y cafodd y ddinas honno ei henw —*Legio Valens*, yw yn y Gymraeg *y leng gadarn*, ; neu *y leng gawr.*

AUGUSTA, yn *Nghaerlleon-ar-Wysc*, a'u canghenau yn daenedig trwy'r ardaloedd cyfnesawl, gyda mawrfri a galluogrwydd gorchfygwyr y byd, nid hawdd fuasai i'r fath ddynion ag Eudaf a'i gyfeillion gynnal hawl i awdurdod neillduol. Ond yr oedd yr amseroedd hyn wedi myned heibio; ac yr oedd cyflawn arfod i'r pen-teuluoedd hynny, y sawl, trwy ganiatad Rhufeinig, neu trwy barch eu cydwladwyr, a gadwasent eu cyflyrau pendefigol, yn awr gyfodi i hawliaw eu hetifeddiaeth. Ac o'r cyfryw, meddyliaf, oedd Eudaf, a Chynan, a Choel Codebawc, &c.

### Y RUFEINIAID.

Y mudiad hyn o gynnifer o filwyr allan o Brydain gan Maximus, a adawodd yr ynys mewn cyflwr o wendid, i'r fath raddau ag nad oedd ynddi nerthoedd ddigon i wrthsefyll rhuthradau y barbariaid, y rhai a ddechreuasent, yn ddioed, ei blino drachefn. Ond gan fod yr ynys hon, gwedi bod ym mhob oes, er ei goresgyniad, yn cael ei chyfrif gan y Rhufeiniaid, yn un o'r rhannau gwerthfawrocaf o'r Ymherodraeth, nis gadawent fyth o honi, heb wneuthur yr eithaf yn eu gallu iddei hamddiffyn rhag ei niweidio gan genhedloedd estron, neu rhag gwrthryfeloedd cartrefol; ac felly yr Ymherawdr THEODOSIUS a anfonodd drwodd gynnorthwyon, trwy ymdrechiadau pa rai, gorfu ar y Scottiaid a'r Pictiaid, unwaith etto, ffoi tua'r gogledd-wlad. A thrwy ystod teyrnasiad yr Ymherawdr call a grymus hwnnw, cafodd y trigolion Rhufeinig lonyddwch oddiwrth eu gelynion.

Ar ol marwolaeth Theodosius, yn y flwyddyn 395, daeth ei fab ieuangaf, HONORIUS, i'r orsedd pan ond 11 oed. Llanc oedd hwn o gynneddfau gweinion, ac yn hollol anaddas i lywiaw yr Ymherodraeth, yn yr amseroedd terfysglyd hynny; oblegid yr oedd cynhyrfiadau tra dychrynawl yn awr wedi dechreu ymddangos yn y byd yn gyffredinol. Yr oedd yr amser wedi neshau i ddryllio y cadwynau haiarnaidd hynny â pha rai y cadwyd y gwledydd mewn caethiwed dros gynnifer o oesoedd. Tra yr oedd llwythau barbaraidd ereill yn blino yr Ymherodraeth ar y Cyfandir, yr oedd y Pictiaid a'r Scottiaid yn adnewyddu eu hymosodiadau yn Mhrydain; ond y tro hyn etto anfonodd STILICHO, y llywydd Rhufeinig, leng o filwyr drwodd, yr hon a yrrodd y barbariaid yn ol iddeu llochesau gogleddol. Yr oedd un o'r enw VICTORINUS, yn llywodraethu yn Mhrydain o gylch yr amser hwn. Tra yr arhosodd y fyddin Rufeinig yma, cafwyd llonyddwch oddiwrth y gelynion barbaraidd; ond cyn hir, galwyd hi yn ol, i amddiffyn rhannau ereill o'r Ymherodraeth, yn nes at y brif ddinas; ac yn uniongyrch, y barbariaid gogleddol a ymosodasant ar drigolion Rhufeiniaidd yr ynys, yn ol eu harfer.

Yn awr y Brytaniaid a anfonasant at Honorius i ofyn am gynnorthwy ond yr unig atteb a gawsant oedd, mai annichonadwy ydoedd i'r Rhufeiniaid anfon dim milwyr drwodd; a'u bod yn lle hynny yn cynghori y Brytaniaid i ymarfogi ac amddiffyn eu hunain. Yn ganlynol i hyn y Brytaniaid, gan weled nad oedd ganddynt ddim iddei ddysgwyl oddiwrth y Rhufeiniaid, a ffurfiasant lywodraeth annibynol yn eu plith eu hunain ac a etholasant un o'r enw MARCUS, yn Ymherawdr. Ond gwelir nad oedd eu cyfundraeth etto ond tra ansefydlog, a hwy eu hunain, fel amryw ereill, mewn mwynhad disymmwth o ryddid, ond tra anwadal yn eu hegwyddorion, ac felly am ryw achos neu gilydd cyfodasant yn erbyn eu Hymherawdr, a gosodasant ef i farwolaeth. Yna etholasant un arall o'r enw GRATIANUS, ac yn mhen pedwar mis lladdasant yntau yn yr un modd. Ar ol hyn, cawsant wr o isel radd, o'r enw CONSTANTINUS, a derchafasant ef i'r orsedd; a hynny yn unig o achos ei enw. Hwn a berchenogai fwy o egni cynneddfawl na'i ragflaenoriaid, y rhai a lofruddiwyd, ac felly cafodd fwynhau ei einioes. Ond y rhagoroldeb hyn a fu yn achlysur o anffawd i'r Brytaniaid, canys y Constantinus hwn a gynhyrfiwyd gan y fath uchelfrydedd, ag nad ymfoddlonai i fwynhad o orsedd Prydain yn unig, ond ymosododd i geisio ennill yr Ymherodraeth yn gyfangwbl. Ac felly cychwynodd tua'r Cyfandir, yn nghyda chymmaint oll ag a allai, o filwyr yr ynys; a thrwy hynny efe a wanhaodd y wlad i bellach raddau, nag a wnaethpwyd erioed. Ac ar ol amryw frwydrau yn erbyn Honorius, Constantinus a orchfygwyd ac a laddwyd. Tra ar y Cyfandir, yr oedd yno ar ei blaid, flaenor nodedig or enw GERONTIUS, yr hwn a ddaeth o Brydain; a rhai a dybiant mai Brython oedd efe, ac mai GERAINT oedd ei enw Brytanaidd. Hwn fel amryw ereill o ryfelwyr yr amseroedd hynny, a orchfygwyd yn y diwedd, ac a gollodd ei einioes.

Ar ol marw Honorius, daeth VALENTINIANUS y III. i'r orsedd, yn y flwyddyn 423. Ac yn awr, y lluoedd barbaraidd a ddechreuasant drachefn ymosod ar yr ardaloedd Rhufeinig. Ac y mae yn dra thebygol, nad oedd yr ymosodiadau hyn yn gyfyngedig i'r llwythau, y rhai a oeddynt eisioes yn sefydledig yn yr ynys; ond fod trigolion gogleddawl y Cyfandir yn aflonyddu y wlad, gan dirio yma ac accw er mwyn ysglyfaeth. Ymddengys fod gan y Rhufeiniaid yma swyddog, a elwid COMES LITTORIS SAXONICI, *Llywiawdwr y gororau Sacsonaidd;* dyledswydd pa un feddylir oedd gwilio yn erbyn y rhuthradau hyn. Nid ydyw y rhan hon o'r hanes ond tywyll iawn; eithr yn ol y cysoniad goreu a allwn ei wneuthur, deallwn i'r Brytaniaid etto geisio cynnorthwy, ac i un o'r enw GALL gael ei anfon attynt, yn nghyda byddin o filwyr; ond y rhai hyn, ar ychydig amser, a ddychwelasant i amddiffyn Rhufain ei hun.

Etto, y barbariaid gogleddol a flinasant y trigolion deheuol; ac unwaith

o y Brytaniaid a anfonasant i geisio cynnorthwy, ond nid ydoedd i'w
d. Yn ol hanesiad GILDAS, anfonwyd llythyr at AGITIUS, sef yw y
wydd ÆTIUS, yn cynhwys fel y canlyn :—

"At Agitius, tair gwaith Consul, Ocheneidiau y Brytaniaid.—Y Barbariaid a'n gyrrant môr, a'r môr a'n gyrra yn ol at y Barbariaid; rhwng y rhai hyn, cyfoda dau fath o oedigaethau, naill ai fe'n cigyddir neu fe'n boddir."*

Barn rhai dysgedigion yw, nad oes un awdurdod am y cyfryw lythyr, hr mai gwneuthuriad Gildas ei hun ydyw. Ond pa un ai ydyw y geir- l yn awdurdodawl ai nad yw, y mae yn dra chyson âg ansawdd yr seroedd, i feddwl fod y Brytaniaid Rhufeinig, yn y trefydd a'r dinas- ld, yn anfon at eu hen gyfeillion i ofyn am gynnorthwy. Canys ar ol d cynnifer o oesoedd dan nawdd milwyr Rhufain, yr oeddynt gwedi eu ywio i'r fath raddau, ag na fedrent ddwyn arfau iddeu hamddiffyn eu nain, fel yn yr oesoedd cyn dyfodiad y gelynion hynny iddeu plith, i ru eu hanian a distrywio eu gwrolder, trwy foethusdra a gau-wareidd- L. Ond ni dderbyniasant fyth mwyach gynnorthwy o Rufain. Yr ld gan ei byddinoedd fwy na digon i wneuthur i wrthsefyll rhuthradau gelynion barbaraidd yn nghalon yr Ymherodraeth, ac hyd nod i am- iffyn y brif ddinas ei hun; canys yr oedd rhyw gyffroad rhyfeddol ac hwiliadwy yn awr gwedi dyfod i gynhyrfu cenhedloedd y ddaear, ac leu harfogi a'u gyrru yn unfryd yn erbyn Ymherodraeth Rhufain. Yr ld yr holl fyd gogleddawl fel callawr berwedig—y llwythau barbaraidd ymdrechu â'u gilydd am yr anrhydedd o fuddugoliaeth, ac am berchen- ad o'r ysglyfaeth; y GOTHIAID, dan ALARIC, a anrheithiasant dir Groeg Ital, ac yn y diwedd a gymmerasant ddinas Rhufain ei hun; y SIGOTHIAID a anrheithiasant yr Yspaen; y FFRANCOD a'r BURGUNDIAID, resgynasant y rhan fwyaf o dir Gâl; a'r ARMORICAID a ysgwydasant aith y iau Rhufeinig yn eu hardal priodol; y VANDALIAID, dan [illegible]RIC, a afaeliasant ar yr ardaloedd Rhufeinig, yn Affrica; ac hefyd a mmerasant, ac a ddiffeithiasant ddinas Rhufain; yr HUNNIAID a grwydr- st ar hyd rhan fawr o'r Ymherodraeth, gan ysglyfaethu a lladd mewn dd echryslon. Heb son am y GEPIDIAID, yr ALANIAID, y LOMBARD- D, yr ALLEMANIAID, a'r Ciwdodau ereill o'r un anian farbaraidd, hai a ymdaenent ar hyd y Cyfandir. Tra'r oedd y Scottiaid a'r tiaid yn canlyn yr un fath orchwylion yn Mhrydain, ac yn dechreu inystr hwnnw ar y gyfundraeth Rufeinig, yr hyn, ar ol hynny, a lwyr heniwyd gan y SAESON, a'r EINGYL, a'r IUTIAID. Y diweddaf o'r

* "Agitio ter Consuli, gemitus Brytannorum :—Repellunt nos Barbari ad mare, repellit mare ad Barbaros; inter hæc oriuntur duo genera funerum; aut jugulamur, aut [illegible]."

byddinoedd Rhufeinig a ymadawodd â'r ynys hon o gylch y flwyddyn 446; ac yn y flwyddyn 476, llwyr ddiffoddwyd Ymherodraeth y gorllewin, dan deyrnasiad AUGUSTULUS, y diweddaf o Ymherodron Rhufain. O gylch 522 mlynedd ar ol brwydr *Pharsalia*, yn yr hon y gosododd *Iulius Cæsar* ei sylfaen, trwy sefydlu ei oruchafiaeth.

A phan iawn sylwom ar yr amgylchiadau annghyffredin y rhai a gydweithiasant i ddwyn i ben y dymchweliad rhyfeddol hwn, ni allwn lai na rhoddi lle i deimladau o syndod tra dwfn. Y llwythau hyn, amryw o ba rai a ddaethant o eithafodd y gogledd-dir, a gynhyrfiwyd ar unwaith i ymosod ar y gorchwyl hwn; cydweithiasant yn y modd cysonaf, a hynny heb neb rhyw ammodau, neu gyttundeb cyngreiriawl. Wrth ystyried y mudiadau cenhedlawl hyn, a'r cyffelyb iddynt mewn oesoedd ereill, ni allaf lai na meithrin dychymmyg fod meddyliau dynion yn ddarostyngedig i heintiau, yn yr un modd a'u cyrff, Ni a welwn weithiau, heintiau neu glefydau corfforawl, yn torri allan ar unwaith mewn amryw wledydd ar yr un pryd, yn dangos mai nid yn unig trwy drawsgludiad o un i'r llall y mae, oblegid yn fynych nid oes cyfeillach rhwng y cyfryw wledydd. Ac yn yr un modd, mewn ufudd-dod i ryw drefn ddirgel ac anchwiliadau, meddyliaf fod cynhyrfiadau cynneddfawl yn cymmeryd lle. Ac mai o'r cyfryw ansawdd yr oedd y cyffroad rhyfeddol hwn yn mhlith cenhedloedd y byd, yr hwn a'u gyrrodd âg un fryd, ac ar yr un amser, i ruthraw yn gynddeiriog ar yr Ymherodraeth Rhufeinig, a hynny heb un ymgystluniad blaenorawl rhyngddynt. Ni allasai fod dim o'r fath rhwng y Gwyddelod â llwythau pellenig yr Asia, mwy na rhwng y Llychlynwyr, a'r Visigothiaid, neu'r Burgundiaid; ac etto ni a welwn y fath gydweithrediad cyson ac egniol i gyflawni yr un gorchwyl, a phe buasai y cwbl wedi ei benderfynu yn rheolaidd yn mlaenllaw, mewn cyfarfod cyngreiriawl, ac ammodau cyweithasiad wedi eu tynnu allan. Ond pan fythwyf yn cyfrif y mudiadau cydbrydiol hyn i ryw dwymyn eneidiol, yr hwn a afaela ar genhedloedd y ddaear o bryd i'w gilydd, ni ddymunwn fy mod heb fynegi fy nghred fod y cyfryw haint neu dwymyn, yn un o'r offerynau y sawl y mae yr Hollalluog yn eu trefnyd er dwyn i ben ei amcanion ei hun. Ac felly y mae yn rhaid i ni arddel ei law ef yn ffurfiad y peiriant yn gystal ag yn y gweithrediad. Yr effeithiau ydynt amlwg, ac am yr haint, neu y twymyn, braidd y gallwn ei amheu; ond yr achlysur dechreuol sydd hollol guddiedig oddi wrthym.

Meddyliaf y gallaf ganfod anghreifftiau o'r un fath fudiadau cynneddfawl mewn oesoedd ereill; ond yn gweithredu mewn modd gwahanol; rhai o honynt bwriadaf eu nodi yn nghanlyniad y gwaith hwn. Ac felly ni chyfeiriaf ond at un ar y pryd yma, a hwnnw yw y cynhyrfiad llëenyddawl, a'r dihuniad o'r meddwl allan o'i hir gwsg, yr hyn a gymmerodd le yn yr 12ed ganrif. Y mae hanfodiad ac effeithiau y cyfryw ddihuniad

mor amlwg i ni, ag yw cyffroad boreuol y byd, at orchwylion y dydd ar ol gorphwysfa'r nos.

Felly y bwystfil Rhufeinig a dderbyniodd ei glwyf angheuol. A'r ormes gethin, gan ba un y daliwyd y byd mewn cadwynau dros cynnifer oesoedd, a aeth heibio; a Phrydain unwaith etto a fwynhaodd ei rhyddid cyntefig. —Da fuasai iddei phoblogaeth pe buasai iddei gormeswyr ar eu hymadawiad, ei gadael mewn meddiant o'r un egnioedd ag y meddiannai cyn eu dyfodiad. Ond Och! yr oedd cyfnewidiad gresyn wedi cymmeryd lle. Trwy hir gyfeillach â dinasyddion llygredig Rhufain, a chyfathiad o'u harferion dirywiawl, yr yspryd dewr a difraw, yr hwn yn yr amseroedd gynt, a yrrai ei berchenogion i wrthsefyll pob cynnyg at ormesiad, ar ei ymddangosiad cyntaf, a oedd yn awr wedi diflannu. Nid oedd y Brytaniaid mwyach yn cyrchu i ganol y tonnau i gyfarfod â'u gelynion cyn tirio; ac nid oedd mwyach yn eu plith na Chaswallawn na Charadawc iddeu harwain i'r maes. Eithr ffoedigaeth, cilio i wledydd pellenig, deisyf, ac hyderu mewn cymmorth estronawl iddeu hamddiffyn; dyma oedd arferion y Brytaniaid yn yr amseroedd hyn, o warth ac anffawd.

Ond er mai dyma oedd cyflwr gwael a thruenus y Brytaniaid fel gwladwriaeth yn yr amseroedd hyn o ddirywiad Rhufeinig, etto meddyliaf, nad oedd yr effeithiau hyn, yn eu cyflawnder, ddim yn cyrhaedd ond i'r parthau hyny o'r taleithiau, y rhai oeddynt mewn modd mwy neillduol mewn cyweithas â'r Rhufeiniaid; a'r cyfryw, meddyliaf, oeddynt y dinasoedd mawrion, megys Caerefrawc a Chaercoelin, yn nghyda'r ardaloedd lleoedd a glythawl cyfnesawl iddynt. Y dinasoedd hyn a berchenogent fath o awdurdod llywodraethawl, ac yr oeddynt yn mwynhau amryw freintiau uwchlaw yr ardaloedd gwladaidd. Ac attynt hwy y cyfeiriwyd llythyr yr Ymherawdr Honorius. Ac felly, os oedd y rhai hyn wedi eu llygru a'u dirywio i'r graddau a welwn eu bod, yr oedd eu dirywiad hwy yn cael ei gyfrif megys arnodiad y wlad yn gyffredinol; ac yr oedd trigolion gwerinol y mynydd-dir, a'r conglau pellenig, y rhai nid oeddynt etto wedi mabwyso doethineb Rhufain, yn cael goddef y dirmyg yr hyn a berthynai yn neillduol i'r dinasoedd mawrion.

Ond er fod y cyfryw lygredigaeth a gwaeldra yspryd, wedi syrthio ar y Brytaniaid megys cenedl, etto nid oedd anianawd dewr y bobl ddim wedi ei hollol ddileu; canys yr oedd etto yn eu plith wreiddyn o galondid a gwladgarwch, yr hwn ni lwyddwyd iddei ddifetha, er cymmaint a ymdrechasant eu gormeswyr i gyflawni y gorchwyl ysgeler hwnnw; a'r bobl mewn amryw ardaloedd o'r wlad, pan unwaith eu llwyr ryddhawyd oddiwrth y iau estronaidd, a ddangosasant eu bod hwy etto yn alluog i ymdrechu dros eu breintiau. A phan gofiom yr egni melldigedig gyda pha un yr ymdrechodd Agricola iddeu hudo i fabwyso arferion llygredig

Rhufain, megys y dangoswyd eisioes, [tu dal. 89;] ac hefyd fod yr un gyfundraeth yn gweithredu yn eu plith dros dri chant o flynyddau ar ol hynny, ni allwn lai na theimlo syndod yn nglŷn â diolchgarwch, na wanhawyd o'n cenedl i'r fath raddau, a'u hanalluogi i wrthsefyll rhuthradau eu gelynion barbaraidd, a thrwy yr analluogrwydd hynny gael eu llwyr ddiddymmu oddiar y ddaear. Ac y mae yn ddiamheuol gennyf, mai hyn fu tynged llawer o'n cydwladwyr, sef y rhai hynny, y sawl, trwy fabwyso moethusdra Rhufain, a oeddynt yn rhy eiddil i wrthsefyll rhuthradau erchyll y Saeson. Nid oedd ganddynt un dewisiad, ond ymostwng i gaethwasanaeth, neu ynte i alanasdra.

Ond meddyliaf y clywaf ryw un yn awr yn dywedyd gyda dirmyg, "Pa beth yw'r holl ymffrost hyn yn nghylch dewrder ein hen deidiau?—Beth pe na fuasent hwy yn ymladd mor wrol, oni fuasai y byd yn myned yn mlaen yn yr un modd y dydd heddyw, a theyrnas Lloegr mor lwyddiannus er hynny oll?" Attebaf; Dichon y buasai. Ië, diamheuol yw, pe na thynnasent gleddyf; ond yn lle hynny gostwng eu gyddfau yn llwfr dan gyllyll eu cigyddwyr, fe fuasai yr ynys hon y dydd heddyw yn cael ei hanneddu yn ddiwahaniaeth am hynny—*ond nid gennym ni!*—Rhyw genedl arall a fuasai yn mwynhau tegwch ein broydd a'n bryniau.—Pe na fuasai i'n hen deidiau sefyll mor wrol dros eu heinioes, eu gwlad, a'u breintiau, hwynthwy a fuasent wedi eu hysgubo oddiar wyneb y ddaear, a nyni eu plant ni fuasem yn awr yn gorfoleddu mewn bendithion hanfodiad,—mewn mwynhad o'r byd presennol, na gobaith o'r un i ddyfod. Am hynny dyledswydd bwysfawr ydwy syniad dwys, gyda diolchgarwch am yr holl freintiau hyn. Bendigedig oedd y cadwraeth drwy ba un yr arbedwyd ein cenedl, a melldigedig oedd y gyfundraeth lygrawl a'i hudai i ddinystr. Ond Duw a dywalltodd ei ddigofaint ar y gyfundraeth honno, a'r Giwdawd a'i cynnaliai; tra'r ydym ni etto mewn hanfodiad, fel ein gwelir y dydd heddyw.—**Ti, Arglwydd, fuost yn breswylfa i ni, yn mhob cenhedlaeth.**

Pobl glwth, moethus, a thrythyll oedd y Rhufeiniaid, a llygrent pob cenedl i blith pa rai y deuent. Eu llywodraeth cartrefol oedd y lygredicaf a ellid ddychymmyg, a'r rhan fwyaf o'u Hymherodron oeddynt yn ddynion hunanaidd, creulon, gwaedlyd, a hollol atgas eu hymarweddiad; ïe, cynddrwg oeddynt a bod hanesydd Rhufeinig yn dywedyd am un o honynt, y gellid meddwl fod anian wedi ei ffurfio ef i'r dyben i ddangos i ba raddau o waeldra y gallai dynolryw syrthio. Ac yn wir ni allem ddim dychymmyg un meddiannydd ar gig a gwaed yn fwy cythreulig ei anian na rhai o'r dynion hyn, yn nwylaw pa rai y gosodwyd llywodraeth y byd. Diamheuol fod rhyw droseddau gwladol, dwfn a damniawl, gwedi hir hanfodi yn mhlith y cenhedloedd i alw am y fath gerydd llymdost a gwaradwyddol, a bod i'r cyfryw fwystfilod gael eu gosod i reoli y byd.

Felly, hyderaf mai nid yn ddiachos y cynnaliwn ddiolchgarwch am waredigaeth ein hynafiaid o dan ormes y llwyth Rhufeinig, cyn iddynt gael eu hiselu i waelach graddau o ddirywiad ac anallu. Yr oedd pob diwrnod o arhosiad y giwdawd lygrawl honno yn yr ynys, yn dwyn gydag ef ychwaneg o lygredigaeth ac effeithiau dinystriawl. A phe buasai ein cenedl yn cael ei gadael ychydig yn hwy dan y lywodraeth honno; rhwng anwroliad cartrefol, a throsglwyddiad o'r gwyr arfawg allan o'r wlad, i wasanaethu ar y Cyfandir, y mae yn ddilys gennyf y buasai cymmaint o sathriad cynneddfawl wedi cymmeryd lle yn mhlith y trigolion, yn nghyda chymmaint o wanhâd, trwy golled nerth milwraidd, ag na fuasai ein llwyth yn alluog i sefyll yn erbyn rhuthradau ffyrnig eu gelynion Sacsonaidd, pan ymosodasant ar yr ynys. Hyd yn nod, fel ag yr oedd, y mae yn amlwg mai trwy ymdrech dwys, hir a gwaedlyd, yr achubasant ein hen deidiau eu hanfodiad, ac a gadwasant yr ychydig feddiant gwladawl ag sydd yn awr gennym ni eu plant mewn mwynhad. Gan hynny ni allwn lai na chyfaddef, i waredigaeth brydlawn gael ei hanfon attom.

Am gyflwr cymdeithasawl y Brytaniad ar ymadawiad y Rhufeiniaid, nid oes gennym ond dychymmyg yn unig; eithr yn ol y farn gysonaf a fedraf ffurfio am hyn, y tebygolrwydd yw, fod tri math o ddeddf-lywodraethau yn hanfodi yn eu plith; sef yn gyntaf, y dinasoedd yn gyffredinol, a'r ardaloedd dan eu gofal, y sawl oeddynt dan gyfreithiau Rhufain, a Rhufeiniaid yn eu goruchwyliaw. Yn ail, y dinasoedd pennodol hynny y sawl oeddynt yn mwynhau breintiau y *Jus Latium*. Y rhai hyn a oeddynt dan lywyddiad swyddogion Brytanaidd, ac y mae yn debygol yn cymmysg rai o gyfreithiau cyntefig y wlad yn mhlith y rhai Rhufeinig. Ac yn drydydd, yr ardaloedd hynny y sawl oeddynt yn hollol dan lywodraeth y Pendefigion Brytanaidd, am hanfodiad pa rai y crybwyllwyd eisioes; y rhai hyn, yn ddiamheuol, a gadwent eu dull cysefin o ddeddfoliaeth, ond yn unig gyfrannu eu trethi i'r lywodraeth Rufeinig, a thalu ufudd-dod. Pa un ai y cyfreithiau Rhufeinig, neu y rhai Brytanaidd a ganlynid fwyaf yn yr ynys, nis gallaf ddywedyd; ond y mae un peth yn amlwg, sef yw, nad oeddynt y cyfreithiau estronaidd yn cytuno, mewn un modd, âg anianawd y bobl; o herwydd yn y gyfundraeth ddeddfawl o eiddo Hywel Dda, yr hon a ffurfiwyd yn y 10ed ganrif, nid oes ond ychydig iawn a ellir ei gyfeirio at gyfreithiau Rhufain; a'r hyn sydd yn dwyn perthynas â hwy, a dderbyniwyd trwy gyfrwng Eglwysig ac nid Ymherodrawl; ac wrth ystyried y cyfreithiau Cymraeg hyn, megys cyfundraeth, ni ellid casglu oddiwrth eu cynhwysiad fod y bobl a'u harddelent wedi bod erioed dan lywodraeth Rhufain.

Mewn perthynas i gyflwr milwraidd y Brytaniaid ar y pryd hyn o ad-enilliad rhyddid, y mae yn iawn i feddwl eu bod gwedi dysgu rhyw beth

o ddysgybliaeth gan y byddinoedd Rhufeinig, ac hefyd yn meddiannu gwell arfogaeth nag yn yr oesoedd cyntefig. Ond beth a dalai arfogaeth i ddynion gwedi eu gwanhau, a'u dirywio gan gaeth-wasanaeth a glythineb. —Yr oedd amser gwedi hanfodi, pan y rhuthrent yn noethion yn erbyn byddinoedd arfog; ond yn awr, a hwynthwy yn perchenogi arfogaeth, troent eu cefnau ar farbariaid noethion. Eithr yn ol yr hyn a draddodir am y milwyr Rhufeinig yn yr oesoedd hyn, deallwn eu bod wedi eu hanwroli gymmaint a rhoddi heibio yr arfogaeth trwm a chadarn a arferasid gan y llengodd gynt, gan ei fod yn rhy drafferthus iddynt ei ddwyn am danynt.* Felly os bu iddynt unwaith ddysgu i'r Brytaniaid yr arfer lesiol o wisgo arfogaeth, darfu iddynt yn y diwedd, drwy eu cynllun niweidiol, eu difuddio drachefn.

Ond pan fythwyf yn canlyn y sylwadau hyn perthynol i ddirywiad y Brytaniaid, y mae yn rhaid i mi unwaith etto ddatgan fy marn, fod y cyhuddiad hwn, mewn modd neillduol yn gyfeiriedig at y dinasoedd mawrion, a'r ardaloedd cyfnesawl iddynt; o herwydd meddyliaf fod rhannau o'r wlad etto mewn meddiant o lawer o'i rhinweddau cyntefig. A'm rheswm am feithrin y cyfryw farn ydyw, ein bod yn cael rhai rhannau o'r ynys yn ymdrechu yn erbyn eu gelynion estronol, trwy rym eu hegnioedd cynenid, heb gynnorthwy y byddinoedd Rhufeinig; fel y dangosir yn yr hanesiad canlynol.

## CUNEDDA WLEDIG.

Yn yr amseroedd terfysglyd tua diwedd y 4edd† ganrif, pan oedd y Gwyddelod a'r Pictiaid yn aflonyddu trigolion Rhufeinaidd yr ynys, daeth llu o honynt i Ynys Manaw, ac i Gymru, ac a anrheithiasant y wlad, yn enwedig yr ardal arforol, a elwir yn awr Ceredigion. Y pryd hyn yr oedd Cunedda Wledig, mab Edeyrn ab Padarn Peisrudd, yn teyrnasu yn ngogledd-dir Lloegr, neu yn Neheudir yr Alban. Ei fam oedd Gwawl, merch Coel Codebawc, ac oddi wrthi hi yr oedd yn hawliaw amryw ardaloedd yn Nghymru. A chan y canfyddai fod y Gwyddelod yn anrheithio ei feddiannau, anfonodd ei feibion drwodd i Gymru iddeu gwrthsefyll; a hwynthwy a lwyddasant i ymlid y gelynion hynny allan o'r wlad, ac a sefydlasant eu hunain yn yr ardaloedd y rhai a waredasant. TYBIAWN, ei fab henaf, a fu farw yn ynys Manaw. Ond y rhai ereill o'i feibion a'i wyron, a arhosasant yn Nghymru. MEIRIAWN AB TIBIAWN a gafodd *Cantref Meiriawn*; ARWYSTYL AP CUNNEDDA a gafodd *Arwystli*;

* Gwel GIBBON, CH. XXVII.

† Sylwedd yr uchod a gymmerwyd allan o HANES CYMRU, gan POWEL, yr hwn a ysgrifenwyd yn y Saesonaeg, ac a argraffwyd yn 1584. Powel a esyd dyfodiad Cunedda i Gymru yn y flwyddyn 540; eithr y DR. OWEN PUGHE a'i gesid yn y 4edd ganrif, sef o'r flwyddyn 328, i 389.

Ceredig a gafodd *Ceredigion;* Dunod—*Dunodig;* Edeyrn—*Edeyrnion;* Mael—*Dinmael;* Coel—*Coeleion;* Dogfael—*Dogfeilin;* Rhufon—*Rhufoniog;* Einion Yrth—*Caer Einion;* ac Oswal—*Osweilin,* [Croesyswallt.] Ond y mae Powel yn meddwl fod i feibion Cunedda adael eu gwlad briodol yn y gogledd, nid yn unig er mwyn ad-ennill eu hetifeddiaeth yn Nghymru, ond hefyd o herwydd fod eu gelynion barbaraidd yn eu blino a'u hanrheithio yno.

Y mae William o Malmsbury, yr hwn a fu farw yn y flwyddyn 1146, yn ei hanes o ynys Afallon, yn crybwyll am orwyron Cunedda yn y modd canlynol:—

"Darllenir," medd efe, "yn hen weithredoedd y Brytaniaid i ddeuddeg brawd ddyfod o'r tu gogleddol o Brydain i'r gorllewin, ac iddynt feddiannu amryw ardaloedd—Gwynedd, Dyfed, Buthir, [Gwyr,] Cedweli, y rhai a feddiannasai eu gorhendad [*Proavus*] Cuneda. Enwau y brodyr a roddir isod. Ludnertb, Morgen, Catgur, Cathmor, Merguid, Morvined, Morehel, Morcant, Boten, Morgen, Mortineil Glasteing." Ac y mae yn dywedyd mai oddiwrth y Glasteing hwn y rhoddwyd yr enw i Glastonbury. Am fod y gwr hwn unwaith yn canlyn ei hwch ar hyd ffordd ddyfrllyd yn arwain i Wells, yr hon a elwir *Sugewege,* [Sow-way,] *ffordd yr hwch,* ac a'i cafodd gerllaw y lle uchod, dan afallen, yn rhoddi sugn iddei pherchill. A thra nad oedd gan foch ereill ond pedawr troed, yr oedd gan hon wyth! "Y pethau hyn," medd efe, "ydynt allan o hen lyfrau y Brytaniaid."*

Yn ol hen ysgrif,† yn cynnwys hanesiad o'r amgylchiad hwn, ymddengys i'r Gwyddelod, neu y Gwyddyl Fficti, dan flaenoriaeth eu tywysog Serigi Wyddel, ar ol eu gorchfygu yn yr ardaloedd ereill o Gymru, ffoi i Ynys Môn; ac i Gynyr, a Meilyr, a Meigyr, meibion Gwron ap Cunedda, yn nghyda'u cefnder, Caswallawn Law Hir, ap Einion Yrth ap Cunedda, eu canlyn hwy yno. Ac wedi ymladd gwaedlyd, y Gwyddelod a orchfygwyd, a Chaswallawn Law Hir a laddodd Serigi Wyddyl â'i law ei hun; ac ni adawyd neb o'r estroniaid hynny yn Ngwynedd, oddieithr y rhai a wnaethpwyd yn gaethweision. A Chaswallawn Law Hir a adeiladodd eglwys yn Môn, yn y man lle yr ennillodd y fuddygoliaeth; ac a'i galwodd Llan y Gwyddel. Cunedda hefyd a fu yn gyfrannydd haelionus, ac yn noddwr o'r Eglwys; ac amryw o'i hiliogaeth a fuont enwog yn mhlith duwiolion y cynoesoedd.

Crybwyllir yn y Trioedd am y fuddugoliaeth hyn a ennillodd Caswall-

* Y mae y chwedl hon yn werthfawr mewn ystyr hynafiaethol, am ei bod yn dangos fod hen hanesion Cymreaidd yn hanfodi yn yr oes honno. Canys ei eiriau ydynt, "*Legitur in antiquis Britonum gestis.*" Ac, "*Hæc de antiquis Britonum libris sunt.*" Y chwedl ei hun sydd dra thebyg i rai o'r traddodiadau Derwyddol, y sawl a geir yn y Trioedd a'r Mabinogion.

† Yr un, feddyliaf, ag y cyfeiria Powel atti.

awn, neu Gatwallawn, fel yr ysgrifenir yr enw weithiau; megys y canlynol:—

"Tri hualhogyon deulu Ynys Prydein. Teulu Gatwallawn Lawhir, a ddodasant hualeu eu merch ar draet pob un o nadunt yn ymlad a Serygei Wydel yg Kerrig y Gwydyl ym Mon. A'r eil, Teulu Riwallon vab Uryen yn ymlad a Saesson. A theulu Belen o Leyn yn ymlad ag Etwin ym Mryn Etwin yn Ros."—TR. XL.

Mewn Triad arall gelwir hwy y Tri *hueilogion* Teulu.

"Sef eu gelwid felly, am nad oedd na phenn na theyrnedd arnynt hyd y cerddei braint eu Teuluoedd a'u Cyfoeth, cyt bei a holid o fewn y terfyneu hynny, namyn Rhaith Gwlad a Chenedl.—TR 27.

Gwelir yma y gwahaniaeth rhwng y geiriau *Hual* a *Huail;* y cyntaf yn arwyddocau *llyffethair*, a'r ail *llywiawdwr*. Pa un ai mewn ystyr ffugdraethodawl, ai gwirioneddawl, y dylem ddeall yr hanesiad hyn am yr hualau, nis gallaf ddywedyd; ond y mae yr hanesion Rhufeinig yn mynegi i'r Cimbri gynt, rwymo eu hunain yn nghyd cyn myned i frwydr, yn y cyfryw ddull, i'r dyben iddeu rhesau fod yn gadarnach ac yn fwy diysgog i gyfarfod â rhuthr eu gelynion. Eithr yn lle bod o gynnorthwy iddynt hwy, bu y weithred hon yn achlysur o aflwyddiant iddynt.

Y mae yr hanes hyn am Gaswallawn Law Hir, a Serigi Wyddel, mor debyg, mewn rhai pethau, i'r un a draethir am Gaswallawn ap Beli, a Ganfal Wyddel, [tu dal. 127,] ag braidd na feddyliwn fod rhyw gymmysgiad wedi cymmeryd lle yn yr adysgrifeniad o'r cyntaf; pe na fuasai enwau y blaenoriaid Gwyddelaeg, yn nghyda rhai amgylchiadau ereill mor wahanol.

Y mae Nennius yn dywedyd fod meibion *Liethalus* yn cadw meddiant ar Ddyfed, yn nghyda Gwyr a Chydweli, nes iddynt gael eu hymlid ymaith gan feibion Cunedda.*

Y mae yr hanesion Gwyddelaeg yn cadarnhau yr ymosodiadau hyn ar ddeheudir yr ynys, canys y maent yn crybwyll am y cyfryw dan un o'u brenhinoedd, o'r enw *Nial-Nao-Gaillac*, yr hwn a esgynnodd i'r orsedd yn 379. Ond y mae rhan o'i hanes yn rhy chwedleuaidd i roddi un hyder iddi.

Trwy y buddugoliaethau hyn, sefydlwyd goruchafiaeth teulu Cunedda Wledig yn mhlith y Cymry; ac y mae yn debygol mai oddiwrth hyn y rhoddwyd iddo ef yr enw *Gwledig*, yr hwn sydd yn arwyddocau *Pennadur, neu ben-llywydd cyffredinol*, mewn gwrthwahaniaeth i dywysog talaeth, neu frenin ryw ardal neillduol. Ac weithiau arferir ef i arddangos *Ymherawdr;* megys yn yr enw MACSEN WLEDIG. Y mae yn rhaid cyfaddef mai mwy Cymreigaidd fyddai arferyd y gair hwn, ar bob achlysur, yn lle *Ymherawdr;* ond gan ei fod yn awr mewn ymadroddiad cyffredin yn gyfystyr â'r gair *gwladaidd*, ni arferir ef yn ei ystyr cysefin, er gogelyd aneglurder iaith.

* "Filii autem Liethali obtinuerunt regionem Demetorum, et alias provintias Guoher, et Cetgueli, donec expulsi sunt a Cuneda et a filiis ejus ab omnibus regionibus Bryttannicis."

O herwydd ei haelioni i'r eglwys, cyfrifir teulu Cunedda yn un o'r "Tair Gwelygordd* Sanctaidd Ynys Prydain;" sef,—

"Ail Gwelygordd Cunedda Wledig, a roddes Dir a Braint gyntaf i Dduw a'r Saint yn Ynys Prydain."—Tr. 18. [Y lleill oeddynt deuluoedd Brân a Brychan Brycheiniog.]

Yn mhlith hiliogaeth Cunedda Wledig, cyfrifir amryw o ddynion enwog, megys duwiolion yn gystal a rhyfelwyr a brenhinoedd. O'r cyntaf y gallwn enwi Dewi Sant, ac Afan Buellt, yn nghyda llawer ereill; ac o'r olaf, rhifedi anrhydeddus, yn estyn hyd at deulu brenhinawl Tudor. Ac y mae amryw o dylwythau Cymru, hyd y dydd heddyw, yn olrhain eu hachau at Gunedda Wledig; ac nis gwn am un achos iawn i wrthod eu hawl i hynny.

Yn awr, wele yma wrthddrych tra nodedig.———Yn amser y lywodraeth Rufeinig, ac ar ol tri chan mlynedd o oruchafiaeth Rhufeinig, wele, yn ymddangos hanesiad hollol Gymruaidd, heb un cymmysgiad neu arnodiad Rhufeiniaeth. Ac y mae yn ddilys gennyf pe meddiannem hanes cenedl y Cymry trwy ystod hanfodiad pobl Rhufain yma, er maint eu rhwysg, ac er helaethed eu hawdurdod, etto y caem arnodiad trigolion Cymru, o'r un fath yn ddigyfnewid. Pe amgen, ni allasai darddu allan ar y pryd hwn mor hollol wahanol i eiddo y bobl estronaidd hynny.

Diammeu y darfu i'n hynafiaid, drwy gyfrwng pobl Rhufain, dderbyn hyfforddiad mewn llëenyddiaeth a chelfyddydau; a phe buasent yn cael eu haddysgu i feithrin gwrolder a gwladgarwch, etifeddiaeth clodwiw a fuasai y gwybodau hyn iddynt. Ond heb ddewrder calon ac yspryd gwladgar, o ba les oeddynt y meddiannau hynny?—Attebed y gweddill bychan o genedl liosog a chadarn, yr hwn yn awr a gyfyngir i fynydd-dir Cymru, a thystiolaethed gwastadedd helaeth breision Lloegr, y rhai unwaith oeddynt dreftadaeth y genedl honno, ond yn awr a gyflawnant orfoledd estroniaid.

Eithr gan ys pa beth a ganiateir, neu a ryfygir perthynol i oruchafiaeth y Rhufeiniaid, pa un ai da ai drwg oedd ei effeithiau ar y Cenhedloedd, y mae un peth yn dra hyspys a nodedig perthynol i'r bobl hynny; sef yw, yr arwyddnod dwfn ac amlwg yr hwn a osodasant ar y byd gorllewinol, ac

* Dyledus yma ydyw sylwi ar y gwahaniaeth a ganfyddir mewn cyfansoddiadau Cymreig mewn perthynas i *ryw* amryw eiriau. *Gwelygordd*, yn ol Geiriadur y Dr. Owen Pughe, sydd o'r rhyw gwrrywaidd; eithr gwelir uchod ei fod yn cael ei osod yn *fenywaidd* pan ysgrifenwyd y Trioedd. Yr un peth a ellir ei ddywedyd am y gair *traha.* Gesyd Owen Pughe ef yn wrrywaidd; eithr yn y Trioedd ceir ef yn fenywaidd—"*y tair traha.*" Gwelir yr un fath amrywiaeth yn y gair *ennyd*, megys "*ennyd bach,*" ac "*ennyd fechan,*" ac hefyd "tref." Ac y mae Owen Pughe yn ei Ramadaeg yn crybwyll am y fath eiriau eu bod yn gwrywiaw felly yn Ngwynedd a Deheubarth. Paham na sylwodd ar hyn yn ei Eiriadur, nis gallaf ddychymmyg; canys y mae yn ddilys gennyf, oddiwrth y cyfeiriadau uchod, fod y cyfryw yn ansefydlog yn eu rhesiad gramadegol, ac iddeu harferyd mewn cyfansoddiad yn ol gofyniad yr ymadrodd; a hyn a ddichon fod yn hawsâad i ysgrifenwyr, yn enwedig mewn prydyddiaeth.

Yn mhlith yr amrywiol hanesion perthynol i'r amgylchiad hwn, y mae un yn haeru mai JOSEPH O ARIMATHEA, yn nghyda deuddeg o'i gyfeillion oeddynt y cenhadon cyntaf. Iddynt deithio o Iudea i dir Gâl, ac oddiyno i Brydain, ac iddynt gael gan y brenin Arviragus ganiatad i adeiladu eglwys yn *Ynys Afallon*, neu *Ynys Wydrin*, sef *Glastonbury*. Ond y mae yr hanes hwn mor ddisail, ag nad oes nemmawr o ysgrifenwyr yn yr oesoedd diweddar, yn rhoddi un math o gred iddo.

Rhai awdwyr a haerant, mai yr Apostol Pedr a bregethodd yr Efengyl yma gyntaf; ereill a enwant Simon Zelotes. Ond nid ymddengys fod mwy o sail i'r haeriadau hyn nag i'r un rhagflaenol.

Y mae rhai hen hanesion, ac yn mhlith ereill, y Brut, yn dywedyd mai yn amser y brenin LLES AP COEL, [*Lucius*,] y pregethwyd yr Efengyl yma gyntaf, gan fod y brenin hwnnw gwedi anfon at y Pab Eleutherius i ofyn am athrawon; ac i *Ddwyfan* a *Phagan* gael eu hanfon drwodd. Y mae yn ddichonadwy fod rhyw lwyddiant gwedi cymmeryd lle yn mhregethiad yr Efengyl yn yr amseroedd hyn; ond y mae yn amlwg ei bod gwedi ei phlannu yn yr ynys hon yn hir cyn hynny.

Rhai ereill a ddaliant mai yr Apostol Paul oedd y cenhadwr cyntaf i Brydain. A chan fod yr honniad hwn yn fwy cyson â gwir hanesyddiaeth, na'r rhagflaenol, ac hefyd wedi derbyn cymmaint o sylw a chynnaliad gan gynnifer o ddysgedigion, y rhai a draethant ar hanesyddiaeth eglwysig, y mae yn galw am ddyledus ystyriaeth yma; yn enwedig pan y gwelwn ei fod yn cytuno gystal â'r amser yr hwn y mae y Trioedd, ac hen hanesion Cymraeg ereill, yn ei osod allan megys yr hwn yn mha un y trosglwyddwyd gwybodaeth Efangylaidd i'r ynys hon.

Yn ol awdurdod y Trioedd ac Achau y Saint, yr Efengyl a ddygpwyd gyntaf i Brydain o gylch y flwyddyn 58, gan FRAN AP LLYR, a mynegir am dano yn y modd canlynol:—

"Tri Menwedigion [bendigedigion] Teyrnedd Ynys Prydain: Bran Fendigaid ab Llyr Llediaith, a ddygwys gyntaf ffydd yng Nghrist i Genedl y Cymry o Rufain, lle y bu efe saith mlynedd yngwystl ei fab Caradawc a ddug Gwyr Rhufain yng ngharchar gwedi ei fradychu drwy hud a thwyll a chynllwyn Aregwedd Fôeddawg."—TR. 35.

Dywedir hefyd yn yr Achau, i Frân ddwyn gydag ef ILID, a CHYNDAF, ac ARWYSTLI HEN; ac arwyddocair mai Iuddewon oedd y ddau gyntaf, ac mai Rhufeiniwr oedd y llall. Am Ilid a Chyndaf, nid oes dim i'n harwain at un mynegiad yn mhellach o'u plegid; ond am Arwystli, y mae rhai yn barnu mai ARISTOBULUS oedd efe, yr hwn a enwir yn Rhuf. 16. 10. "*Anherchwch y rhai sydd o dylwyth Aristobulus.*" Ac y mae yr ARCHESGOB USHER, yn ailadrodd hen gyfansoddiad Groeg, yr hwn a fynega i Aristobulus gael ei ordeinio gan St. Paul i fod yn Esgob i'r Brytaniaid.— Ac yn mhellach, y mae Gildas yn arwyddocau i'r Efengyl gael ei dwyn i

Brydain cyn y flwyddyn 61; canys dywed i hyn gymmeryd lle cyn galanastra y Rhufeiniaid gan Boudicea. Ac ni a wyddom mai yn y flwyddyn 61 y dygwyddodd yr amgylchiad hwnnw. Felly y mae yr amseriad yma yn atteb yn gywir i'r haeriad yn nghylch Brân ab Llyr, fel nad oes un rheswm boddhaol am wrthodiad o honaw. Mewn perthynas i weinidogaeth yr Apostol Paul yn yr ynys hon, nid oes un awdurdod am dano yn mhlith yr ysgrifau Cymraeg, na dim yn cydfyned â'r haeriad, oddieithr yr hyn a fynegir am yr Iuddewon rhagenwedig. Ond y mae cynnifer o awdurdodau ereill am yr amgylchiad, a bod amryw yn ei dderbyn megys peth profedig; yn mhlith pa rai y mae yr ESGOB BURGESS, gynt o Dŷ Ddewi, ac allan o waith pa un y rhoddaf yr ychydig bigion canlynol.

Yn y man cyntaf y mae yr Apostol yn ei Epistol at y Rhufeiniaid, pen. 15. 28. yn dywedyd ei fod yn bwriadu myned i'r Yspaen; "Mi a ddeuaf heibioch i'r Hispaen." Ac y mae CLEMENS ROMANUS, yr hwn oedd gyfaill a chydweithiwr i St. Paul, yn dywedyd i'r Apostol hwnnw yn ei bregethiad o'r Efengyl, "*deithio hyd eithaf derfynau y gorllewin.*"* Ac y mae amryw awdurdodau i ddangos fod ynys Prydain yn cael ei chyfrif yn mhlith ardaloedd eithaf y gorllewin. Er anghraifft, y mae CATULLUS, yn ei galw "*yr ynys bellaf o'r gorllewin.*"† Ac y mae EUSEBIUS [B. A. 270—340] yn dywedyd i "*rai o'r Apostolion groesi y môr i'r ynysoedd Brytanaidd.*" Hefyd y mae Hieronymus, [Jerome,] yn yr un canrif, yn dywedyd i St. Paul, ar ol iddo fod yn yr Yspaen, "*fyned o fôr i fôr, a phregethu yr Efengyl yn yr ardaloedd gorllewinol.*" Ac y mae yn arwyddocau mewn man arall, ei fod yn cyfrif Prydain yn mhlith yr ardaloedd gorllewinol.

Ac etto y mae VENANTIUS FORTUNATUS, prydydd o'r 6ed canrif, yn dywedyd i St. Paul "*groesi y môr, a myned hyd ynys Prydain.*"

Ac felly y crynhoad oddiwrth y mynegiadau hyn yw, fod yr Apostol wedi ymweled âg ynys Prydain. Ac y mae y gwr dysgedig a llafurus uchod, trwy lawer o chwiliad hanesyddiol, yn dangos fod yr unig amser yn mha un y gallasai St. Paul gyflawni y daith hon, yn cyd-daro mor agos â dychweliad teulu Caradawc o Rufain, a'i fod yn haeru yn hyderus iddo efallai yn yr achlysur hwnnw i ddyfod drwodd i'r ynys hon.‡

Y mae yn wir fod yr Esgob yn dywedyd fod taith St. Paul i Brydain, yn gofyn am adgyweiriad newydd o amseriad rhai o'i Epistolau, neu yn

* "Epi to terma tes duseos."  † Ultima occidentis insula.

‡ Rhai a fynnant fod cadarnhad i'r daliad hwn yn ganfodadwy yn enw Eglwys Gadeiriol Llundain, sef *Eglwys Paul.* Gan fod eglwysi cyflwynedig i'r Apostol hwn mor anaml, [illegible] fod yr eithrad hwn yn arwyddocau rhyw achos pennodol, i beri dewisiad o'i [illegible], a haerant mai er coffadwriaeth o'i weinidogaeth yn y lle hwnnw y rhoddwyd ei [illegible] Eglwys.

hytrach o'i daith gyntaf i Rufain; "Eithr," medd efe, "*De hoc Interpretes.*" "Am hyn, edrychent yr Esponwyr."

Wrth bwyso y cwbl o'r haeriadau ar y dadleuon hyn, pe bregethiad yr Apostol Paul yn Mhrydain; ymddengys i mi fod c iddei ddywedyd o'i blaid, a chymmaint o gysondeb yn yr ams nghydag amryw amgylchiadau ereill, fel nad oes awdurdod iddei nad ellir dwyn yn mlaen ddigon o dystiolaethau iddei sefydlu me ionedd anamheuadwy; a'r unig beth a allaf ddywedyd ar yr a fod yr amgylchiad yn *ddichonadwy*, er braidd y cyfrifir ef yn b

Mewn perthynas i ddyfodiad yr Efengyl yma trwy offerynd Brân ap Llyr, fy marn yw, na ddangoswyd etto ddim iddei wrthb oddeithr dwyn yn mlaen yn ei erbyn, ryw awdurdod, llawer c nag un ag a ddangoswyd hyd hyn, ni welaf un achos i gynnal ar o'i blegid. Felly, am ddyfodiad yr Efengyl i Brydain, os ydoes yn mwynhau dywenydd trwy feithrin tyb mai St. Paul oedd y c cyntaf, ni welaf un achos iddei ansefydlu yn ei feddwl. Ac os y gwedi dyfod i'r penderfyniad mai teulu Brân oeddynt y troedigio nid oes un achos iddo ail-ffurfio ei farn.

Hyn yr wyf yn ddywedyd gyda golwg ar yr awdurdodau han yn gystal a'r tebygolrwydd o ran cysondeb amseriadau. Ond y peth heblaw hyn oll, yn dwyn pwys nid bychan, yn fy meddyliau fy hun, i gadarnhau fy nghred, mai teulu Caradawc a wnaeth offerynau i ddwyn yr Efengyl i Brydain; a hynny yw ymddygiad ac annysgwyliadwy yr Ymherawdr CLAUDIUS, perthynol i ryddha awc. Y mae yn dra hyspys mai dyn oedd Claudius yn hoffi yn fa ar dywalltiad gwaed, ac arteithiau, pa un ai mewn dihenyddiad c ion, neu ynte yn ymladdfeydd y Gladiatoriaid; ac nid un o ddysgwyl am weithred o diriondeb oddi wrtho. O ba le gan daeth yr anianawd trugarog yma ar unwaith, a pha beth a fedd galon yn y modd anarferol hyn?—Meddyliaf y gwelaf ynddo law l iaeth yn agoryd y ffordd i efangyliad Prydain.

### CLAUDIA RUFINA.

Yn mhlith y Cristionogion Brytanaidd cyntaf, arferol yw rhesi C yr hon y mae St. Paul yn ei henwi, 2 Tim. 4. 21. A dychymm mai gwraig ydoedd hi i PUDENS, yr hwn a enwir yn yr un ad ffurfir y tyb yma oddiwrth waith y prydydd Rhufeinig MARTIALI

* Pwy bynnag a ddymuno weled helaethiad o'r hanesiadau hyn, perthynol i l Efengyl yn Mhrydain, edryched yn ngwaith yr ARCHESGOB USHER, ar ESGOB STI y sawl ddysgedigion ydynt, trwy eu llafur a'u doniau, wedi eglurhau yr achos, a tra nodedig. Hefyd caiff hyfforddiad nid bychan yn ngwaith yr ESGOBION ( BURGESS, ac ereill.

sydd yn mawr ganmol boneddiges Frytanaidd yn Rhufain, o'r enw CLAUDIA RUFINA, gwraig i un o'r enw PUDENS, yr hon a ddywed efe oedd wedi deillio oddiwrth y Brytaniaid Arliwiedig, ond etto yn rhagori mewn tegwch, hyd nod yn mysg rhianod Groeg a'r Ital.*

Meddylir hefyd fod y rhai hyn yn mhlith y Saint, y rhai oeddynt o deulu Cæsar; [Phil. 4. 22.]

Yr ESGOB GODWIN, a'r ARCHESGOB USHER, a sylwasant gyntaf ar y cyddarawiadau hyn; ac y mae pob amgylchiad yn atteb mor gyson, a bod yn rhaid cyfaddef fod pob tebygolrwydd o ochr y dychymmyg. Y mae rhai yn ychwanegu atto, mai merch Caradawc ap Brân ydoedd Claudia. Ac y mae yn rhaid hefyd cyfaddef nad oedd un foneddiges Frytanaidd yn fwy tebygol i briodi pendefig Rhufeinig, na merch i'r fath dywysog clodwiw a Charadawc, hefyd ni a welwn fod teulu y gwron hwn yn Rhufain yn yr un amser a St. Paul.

POMPONIA GRÆCINA.

Yr oedd hefyd yn Rhufain, o gylch yr un amser, bendefiges arall o'r enw POMPONIA GRÆCINA, gwraig i Aulus Plautius, rhaglaw Rhufeinig Prydain, yr hon yn ddiamheuol a arddelai y grefydd Gristionogol; ac y mae rhai yn haeru yn hyderus mai Brythones ydoedd hi, gan fod Tacitus yn uno crybwylliad am dani gyda chyfeiriad at ddychweliad ei gwr o Brydain ar ol ei fuddugoliaethau yno. Yr unig beth a allwn ddywedyd perthynol i hyn yw, fod peth tebygolrwydd o ochr ei gywirdeb.

---

Ond pa fodd bynnag y penderfynir y ddadl hon, y mae yn amlwg oddiwrth amrywiol ysgrifau, i wybodaeth o'r Efengyl gael ei dwyn i Brydain yn gynnar iawn. Yn mha gwrr o'r ynys y tewynnodd ei llewyrch gyntaf, ni wyddys; eithr os gyda theulu Caradawc y daeth hi yma, nid anhebygol yw, mai yn rhyw ran o Essyllwg y gwnaethpwyd y sefydliad Cristionogol cyntaf. Canys y mae yn dra rhesymol i feddwl y buasai i'r dychweledigion o Rufain ddyfod i blith eu hen gyfeillion a'u perthynasau, ac i wlad eu genedigaeth. Ac os cywir yr hyn a honnir yn nghylch hynafiaeth *Caerworgorn*, nid annhebygol, mai yn nghymmydogaeth y lle hwnnw, y furfiwyd y gynnulleidfa Frytanaidd gyntaf yn yr ynys hon. Pa sawl o deulu Brân a oeddynt wedi derbyn y ffydd, ni wyddys, na pha sawl a ddychwelasant i Brydain. Am Caradawc ei hun, nid oes un mynegiad am dano ar ol ei ymddangosiad ger bron Claudius. Ysgatfydd ei fod gwedi marw cyn iddo ei dad gael rhyddhad o Rufain.

* "Claudia cæruleis cum sit Rufina Britannis Edita," &c.

Yn mhlith y moddion i barotoi ffordd yr Efengyl yma, diau y gallwn gyfrif y dymchweliad a roddwyd i'r gyfundraeth Dderwyddol o gylch yr amser hwn. Nid o herwydd fod Derwyddiaeth yn fwy gelyniaethol i Gristionogaeth, nag yr oedd eilunaddoliaeth y Rhufeiniaid; ond ar y gwrthwyneb, meddyliaf, fod ffurf addoliad ac arferion y Rhufeiniaid yn llawer mwy annghyson â chynreithiau yr Efengyl nag yr oedd eiddo y Derwyddon. Eithr yr oedd Derwyddiaeth yn gyfundraeth hen a sefydledig yn y wlad, ac felly yn meddiannu nerthoedd gwrthsafawl, y rhai ni allent berthyn i grefydd baganaidd Rhufain, yr hon ni allasai gael ei mabwyso gan drigolion Prydain, yn y modd gwreiddiol a chyffredinol, a gafodd hen goelion eu teidiau. Ac felly y mae yn addas cynnal y tyb fod i'r lleng-oedd Rhufeinig, er yn anwybodus, gael eu gwneuthur yn offer i symmud y tramgwydd hwn oddiar ffordd y gwirionedd.

Ond pan y canlynwn yr ystyriaethau hyn, dyledus ydyw synniaw, peidio dianrhydeddu gallu Duw trwy osod gormod o bwys ar y cyfryw offeryndod dynol. Canys yr Efengyl a daenwyd gyda'r un llwyddiant yn y gwledydd cymmydogaethol, lle ni chyrhaeddodd yr arfau Rhufeinig erioed i symmud ymaith hen arferion y bobl; fel y tystiolaetha TERTULLIANUS yn yr ail ganrif, yr hwn a ddywed fod "ardaloedd y Brytaniaid annghyraeddadwy i'r Rhufeiniaid wedi eu darostwng i Grist."*

Ond er y credaf nad oedd egwyddorion Derwyddiaeth ddim mor llygredig ag eilunaddoliaeth y Rhufeiniaid; ac nad oeddynt yn fwy gelyn-iaethol i Gristionogrwydd, etto rhaid i mi hyspysu fy marn yn y modd cadarnaf, nad oedd nac un na'r llall yn meddiannu y cyfanian lleiaf â'r Efengyl. Ac yma er mwyn fy egwyddorion fy hun, ac er mwyn rhybuddio y rhai hynny, y sawl o eisiau dyfal bwysaw cynhwysiad yr Ysgrythyrau, a feithrinant gyfeiliorni, dymunwn ddatgan fy nghred, a thystiolaethu, mai nid trwy gyfaddawd a chydammodi â chrefyddau y cenhedloedd y sefydl-wyd Cristionogaeth; eithr yn y gwrthwyneb, trwy gyhoeddi gelyniaeth â hwy, a thrwy ergydiaw arnynt yn ddigymmod. Rhai a fynegant eu tyb, fod Derwyddiaeth yn cynnwys cynnifer o wirioneddau ag y darfu iddi lithro i Gristionogaeth yn esmwyth heb fawr o gyfnewidiad yn y cyfryw ddaliadau. Ond nis gallaf, mewn un modd, gydfyned â hyn; eithr y mae yn ddiau gennyf mai trwy ymdrechu yn erbyn egwyddorion hanfodedig, y plannwyd yr Efengyl yn y wlad hyn, yn gystal ag mewn ereill; onite, nid troedig-aeth a fuasai ei heffaith, ond cyfnewidiad enw yn unig. "*Edifarhewch!*" —oedd llais gweinidogion y gair yn mhlith y Brytaniaid, yn gystal a llwythau ereill.

Pa lwyddiant a gafodd yr Efengyl yn ei hymddangosiad cyntaf yn Mhrydain, ni wyddys, gan nad oes crybwylliad am dani dros oesoedd ar ol

* "Britannorum inaccessa Romanis loca, Christo vero subdita."

amser Caradawc. Ond un peth sydd dra haeddinnawl o sylw, sef iddi fwynhau rhydd-did oddiwrth erlidigaethau, i radd neillduol; tra ar y Cyfandir yr hanfodent yn y modd mwyaf ffyrnig ac echryslawn. O amser NERO, yn y canrif cyntaf, hyd deyrnasiad DIOCLETIANUS, yn nechreu y pedwaredd, yr eglwys a gyfarfu â gelyniaeth oddiwrth y paganiaid, gyda mor lleied o attaliad, ag y gellir yn agos ddywedyd ei fod yn ddibaid. Cyfrifir deg o eridigaethau nodedig yn ystod yr amser hwnnw, ond ni chyrhaeddodd un o honynt i ynys Prydain, oddieithr y diweddaf, sef yr un dan Ymherodraeth Diocletianus. Felly, gan fod yr eglwys yn Mhrydain yn mwynhau y fath ryddhad neillduol oddiwrth y cyfryw flinderau, yn ol ymmiad y cnawd, gallwn farnu ei bod yn llwyddaw yn ei rhwysg i'r un graddau. Eithr nid oes hyder iddei osod ar hynny, oblegid weithiau ni a gawn ei bod hi yn llawer mwy llewyrchus mewn amseroedd o gystudd a blinder, na phan yn mwynhau esmwythdra a llwyddiant allanol, a hynny i raddau mor nodedig a'i fod yn ddiarhebol am fod gwaed y merthyron yn had yr eglwys.

Dros yn agos i gan' mlynedd ar ol amser Brân ap Llyr, nid oes gennym fawr oleuni ar helynt yr eglwys, oddieithr yr hyn a ganfyddir yn yr ychydig wreichion a ymddangosant yma ac accw, yn enwau y Saint Prydeinig, megys eiddo CYLLIN AP CARADAWC AP BRAN, ac EIGEN, merch Caradawc, yr hon a gyfrifir y Santes gyntaf yn mhlith y Brytaniaid, a'r hon a briododd Sarllog, Arglwydd Caer Sarllog, [Caer Caradawc.] Pa un ai cyn mynediad Caradawc i Rufain, ai ar ol hynny y ganed Eigen, ni fynegir.

LLES AP COEL.

O'r amser hyn ni cheir dim perthynol i'r eglwys hyd deyrnasiad LLES AP COEL, neu y brenin LUCIUS, yn niwedd yr ail ganrif, yr hwn a elwir hefyd LLEURWG, a LLEUFER MAWR; ac yn yr achau dywedir mai mab oedd efe i Goel ap Cyllin ap Caradawc ap Brân. Y Trioedd a fynegant am dano fal y canlyn:—

"Tri meawedigion [bendigedigion] teyrnedd Ynys Prydain, [am y cyntaf gwel tu dal. 160,] Ail Lleirwg ab Coel ab Cyllin Sant, a elwir Lleufer Mawr a wnaeth yr Eglwys gyntaf yn Llandaf, a honno a fu'r gyntaf yn Ynys Prydain, ac a ddodes fraint Gwlad a chenedl a brawd a briduw [tyngiad] ar a fyddaint o'r ffydd yn Nghrist."—TR. 35. Gwel hefyd Tr. 62.

Dywedir mai hwn oedd y brenin Cristionogol cyntaf yn Mhrydain; ac iddo, ar ol dyfod i'r penderfyniad i arddel y ffydd, anfon llythyr i Rufain at y Pab Eleutherius, i geisio ganddaw athrawon, ac i'r Pab anfon yn ol ddau wr dysgedig, FFAGAN a DWYFAN, neu DYFAN, [Phaganus et Duvanus

Dunianus, Deruvianus, neu Devinianus,] at ba rai y mae yr achau Cymraeg yn ychwanegu dau arall, sef MEDWI ac ELFAN; ac i Les ap Coel dderbyn bedydd, ac hefyd i'r holl deyrnas ganlyn y cynllun a roddodd efe. Mynegir hefyd iddo beri i'r temlau y rhai a gyfodwyd i'r gau-dduwiau, gael eu cysegru yn lleoedd addoliad Cristionogawl; ac iddeu prif-weinidogion, wedi eu troedigaeth, dderbyn urddau eglwysig; eithr nid oes ond ychydig o bwys iddei osod ar yr haeriad hwn.

Y mae sylwedd yr hanes hwn mor hen ag amser Beda, ac ail-adroddir ef yn y *Chronicon Saxonicum*, a chan Asser Menevensis, ac ereill; eithr nid yw y llythyr at Eleutherius, yr hwn a geir mewn rhai awdwyr, ddim ond ffugwaith o'r canol oesoedd.

Am hanfodiad y Brenin Lles ap Coel, nid oes achos iddei amheu, canys dangoswyd eisioes fod y cyfryw benaethiaid yn cael aros mewn meddiant o'u hawdurdod yn amser y Rhufeiniaid. Ac er nad yn ei amser ef y dygpwyd Cristionogaeth i mewn, etto dichonadwy yw fod rhyw sail i'r haeriad yn nghylch y troedigaeth cyffredinol yn ei amser, yn gystal a'i haelioni i'r eglwys.

Y mae yn Esgobaeth Llandaf eglwysi yn dwyn enwau rhai o'r Saint uchod, megys Llanlleirwg, Llan Sant Ffagan, Llanfedwi, a Merthyr Dyfan; ond yn mha oes y rhoddwyd hwy ni wyddys. Eithr y mae eu sefyllfa yn y cwrr hwnnw o'r wlad, yn cadarnhau yr hyn a ddywedir yn y Trioedd, am sefydliad Esgobaeth, neu, yn hytrach, Archesgobaeth Llandaf, gan Lleirwg.* Ac y mae hefyd yn cyfrannu nid ychydig tuag at gynnal awdurdod yr achau perthynol i hiliogaeth Brân ap Llyr, a'r haeriad mai Essyllwg oedd gwlad enedigol Caradawc.

Yr achau a ddywedant fod Dyfan yn fab i Alwn Aflerw, ap Ysbwyth, ap Manawydan ap LLYR LLEDIAITH. Paham y rhagosodir y gair Merthyr at yr eglwys gyflwynedig i Ddyfan, nis gwn; oblegid ni hyspysir iddo ddyoddef merthyrdod. William o Malmsbury a ddywed i Ffagan a Dyfan, ar ol bedyddio Lucius, deithio trwy y wlad gan bregethu a bedyddio, ac o'r diwedd dreiddio i anialwch Ynys Afallon, ac yno iddynt gael adfeilion hen eglwys, yr hon a adgyweiriasant, ac a wnaethant eu hannedd yno. Ond y mae yr hanesiad hwn mor chwedleuaidd ag nad ydyw yn haeddiannawl o sylw, oddieithr fel ag y mai yn dangos hanfodiad henach draddodiadau, yn yr oesoedd hynny. Ac y mae yn ofynol syniaw fod

* Dymunaf yma gydnabod fy hun dan ddyled nid bychan i Draethawd Y PARCH. RICE REES ar hanes y Saint Cymreig, "*An Essay on the Welsh Saints*," am amryw gyfeiriadau gwerthfawr. Ac er nad wyf yn hollol gyttuno â'r awdwr yn mhob haeriad, etto ni allaf attal oddi wrtho y cyfiawnder o gyfaddef teilyngdod ei waith, megys un o'r cyhoeddiadau rhagorolaf ar y testun hwn mewn hanfodiad. Y mae yr awdwr wedi taflu goleu tra eglurhaol ar ddechreuad Sefydliadau Eglwysig yn Nghymru, ac wedi gosod amryw amgylchiadau perthynol iddynt mewn golygiad gwbl newydd.

y canol oesoedd, yn fynych yn haeru amryw bethau ffugiol, 'r Pab, er mewn cynnal awdurdod Eglwys Rhufain; eithr yn hawdd iawn yw canfod y gwahaniaeth rhwng y cyfryw ffug- r hanesyddiaeth.

### ERLIDIGAETHAU.

Lles ap Coel dros ychwaneg na chan' mlynedd, nid oes dim rr eglwys Frytanaidd, oddieithr yn adroddiad ambell enw yn int, yr hyn a arwyddoca y llonyddwch ag ydoedd yn meddiannu, oedd terfysglyd a pheryglys hynny; yr hyn oedd fraint anrhaeth- ystyriom y creulonderau gyda pha rai yr erlidwyd y Cristionog- mryw wledydd ar y Cyfandir yn ystod yr amser hwnnw. Yr wladwriaethol cyntaf a ddechreuodd yn y flwyddyn 64, dan Nero; ac o'r amser hwnnw hyd 313, bu deg prif erlidigaeth; nt a aethant heibio heb gyrhaedd ynys Prydain; ond y ddegfed r Brytaniaid deimlo angerdd y profiad tanllyd a ddaeth ar yr 'r amser hyn o ddyoddefaint a gorthrymder. Yr erlidigaethau eddynt lymion ac erchyll, ond yr oedd yr olaf hwn, dan s, yn blaenori arnynt oll mewn chwerwder a pharhad; canys ros ddeng mlynedd; ac mor ddinystriol oedd ei effeithiau, a'i ddangos fel pe buasai enw Cristionogrwydd ar gael ei lwyr anys fel y mynega Gildas mewn crynhoad o dystiolaethau Yr eglwysi trwy'r holl fyd a ddymchwelwyd; yr holl ysgrifau ıyrau Sanctaidd, a ellid gael gafael arnynt, a losgwyd yn heol- ydd; offeiriaid praidd etholedig yr Arglwydd, yn nghyda'u ion, a lanastriwyd, fel nad adewid, pe bai ddichonadwy, hyd nod refydd Gristionogol yn un o'r taleithiau." Mor erchyll oedd th, ac mor gyffredinol y dinystr, ag yr ymddangosai, medd yr nw, "fel pe byddai yr holl eglwys yn un dyrfa dew, gydag an adael y tywyllwch daearol ar ol, yn brysio tuag at deyrnas edd, megys at ei phriod breswylfa."*

edrychom yn hanesion yr oes ddychrynllawn honno, nis gellir ildas o rydyniaid ymadrodd yn ei haeriadau hyn; o herwydd s a ymhoffai yn y penderfyniad o lwyr ddiddymmu Cristion- c a ffurfiodd y cyfreithiau mwyaf caeth a gwaedlyd tuag at nny i ben; a'r oes honno a elwyd "*Oes Diocletianus*," ac *erthyron*.".

h Gildas, er yn fynych yn ddigon clogyrnaidd, etto yn dra nerthol a chyffrous; n feddiannol ar deilyngdod cyfansoddiadol, uwchlaw y cyffredin; ac y mae rnodedig yn yr. ymadrodd canlynol, fel nas gallaf ymattal rhag ei roddi yma. mine denso certatim, relictis post tergum mundialibus tenebris, ad amœna a, quasi ad propriam sedem, tota festinaret Ecclesia."

Yn yr amseroedd rhagflaenol yr oedd yr Efengyl wedi ymdaenu yn y byd mewn modd tra hynod, ac er yr holl erlidigaethau y goddefodd, yr oedd y gwirionedd yn cynnyddu fwy-fwy, a phaganiaeth yn adfeilio yn feunyddiol; felly y gelyn ysprydol, yn gweled fod ei deyrnas mewn perygl, yn awr a gyffrodd ei holl alluoedd er amddiffyn ei eiddo, ac a gafodd yn yr adyn uffernol rhagenwedig offeryn parod ac addas at ei achos. Ei gyfreithiau a orchymmynent fod chwiliad yn cael ei wneyd am y Cristionogion yn mhob ardal o'r Ymherodraeth, iddeu dwyn i gospedigaeth. Ac felly yn awr cynddaredd y paganiaid a gynhyrfwyd, a'u holl egnioedd a'u cynneddfau a osodwyd ar waith i gyflawni difethiad y grefydd honno, a oedd mor atgas yn eu golwg. Ac i'r dyben i gael allan egwyddor y rhai a gyhuddent, ac i attal pob cyfle iddynt ddianc, gosodwyd yn y brawdlysoedd allorau, ar ba rai yr oedd yn anghenrheidiol i bawb aberthu i'r eilunod, cyn y gallent gael eu gwrando yno. A phan ceid gafael ar neb yn arddel Cristionogrwydd, gosodid hwy i farwolaeth trwy yr arteithiau mwyaf poenus ag a allai dyfais gythreulig y dynion melldigedig hyn eu dychymmyg. Rhai a losgwyd yn fyw wrth dân araf; ereill a grogwyd gerfydd eu traed neu eu haelodau ereill; ac a adawyd i drengi gan newyn; neu pan na laddwyd hwy ar y pryd, tynnid allan eu llygaid, a thorrid ymaith un o'u traed, ac yno gyrrid hwy i'r mwn-gloddiau i weithio mewn caethiwed dros y rhan arall o'u heinioes. A'r rhai a welsant gyflawniad y creulonderau hyn, a dystiolaethant am anysgogrwydd ac ammynedd y Cristionogion, y rhai a ddewisent oddef y cwbl a ellid ei ddychymmyg er eu poenedigaeth, yn hytrach nag ymadael â'u ffydd. Ac mor ddiymmod oeddynt yn eu hegwyddorion, fel y dywedir fod rhai o honynt, ar ol amrywiol boenedigaethau creulon, yn cael, trwy ofal a meddyginiaeth, eu gwella oddiwrth eu clwyfau; ac yno yn cael cynnyg yr un a ddewisent, naill ai aberthu i eilunod, neu ynte goddef marwolaeth; ac er syndod i'r byd, dewisent yr olaf. Ac ni allwn lai na rhyfeddu yn fawr wrth ystyried y cyfryw ddiysgogrwydd, pan feddyliom nad oedd dim llawer ragor yn ofynol iddeu harbed rhag arteithiau ac angau, nag yn unig ysgwyd eu llaw uwch yr allor, a thaflu dyrnaid o ddefnyddiau arogl-darthiad arni.

I ba raddau y cyflawnwyd y cyfreithiau hyn yn Mhrydain, ni wyddys. Ond y mae yn hyspys na ddihangodd yr ynys hon ddim yn hollol; eithr gan ei bod y pryd hwnnw, yn gystal a thir Gâl, dan raglawiaeth CONSTANTIUS CHLORUS, gwr o anianawd mwy tirion na'r Ymherawdr; y mae yn debygol na pharhaodd yr erlidigaeth cyhyd amser yma ag mewn rhai ardaloedd ar y Cyfandir. Etto, erlidigaeth a fu yn Mhrydain; a thra y parhaodd, nid oes lle i gredu fod yspryd paganiaeth yn fwy trugarog, na'r galon gynhyrfedig yn fwy meddal yma nag mewn mannau ereill o'r byd. Ac y mae yn ddilys fod y darluniad brawychus uchod yn gyfeiriedig i

Brydain yn gystal ag i wledydd ereill. A diamheuol mai amseroedd o ddychryn a braw oeddynt y rhai hyn, pan syniom ar y cyfan a adroddir gan hanesyddion geirwir, rhai o'r sawl oeddynt yn dystion o'r creulonderau y rhai a gyflawnwyd. Y mae EUSEBIUS, yn dywedyd iddo ef ei hun weled cant o Gristionogion yn cael eu difetha mewn un diwrnod, trwy amrywiol ddyoddefiadau; a hynny mewn ardal bellenig yn yr Aipht. A'r bwyeill a bylwyd trwy dorri eu haelodau, a'r dihenyddwyr a flinwyd gan y gwaith o arteithio a difetha. Ac mewn un dalaeth yn unig trengodd 150,000 o Gristionogion, trwy amrywiol boenedigaethau. Yr oedd gan Diocletianus gyd-Ymherawdr o'r enw MAXIMIANUS HERCULEUS, yr hwn yn y Gymraeg a elwir MACSEN ERCWLFF; bwystfil mwy gwaedlyd na'r nall, a'r rhai hyn a gyflawnent gymmaint galanastra a difethiant, a'u bod yn ymffrostio iddynt ddileu Cristionogaeth oddiar y ddaear; fel ag y gwelir mewn amryw ysgrifiau etto mewn hanfodiad ar golofnau a defnyddiau ereill. Er anghraifft cymmerer y canlynol:—

"DIOCLETIANVS IOVIVS ET MAXIMIAN. HERCULEUS CÆS. AVG. AMPLIFICATO PER ORIENTEM ET OCCIDENTEM IMP. ROM. NOM. CHRISTIANORUM DELETO QUI REMP. EVERTEBANT."

"Diocletianus Jupiteraidd a Maximianus Herculaidd, Cæsariaid, Augustiaid, wedi helaethu yr Ymherodraeth Rufeinig yn y dwyrain a'r gorllewin, a dileu enw y Cristionogion, y rhai a ddymchwelent y wladwriaeth."

Ac hefyd y canlynol:

"DIOCLETIAN: CÆS: AVG: GALERIO IN ORIENTE SVPERSTITIONE CHRIST: UBIQUE DELETA ET CVLTV DEOR: PROPAGATO."

"Diocletianus Cæsar Augustus, Galerius yn y dwyrain; y goelgrefydd Gristianogol wedi ei dileu yn mhob man, ac addoliad y duwiau wedi ei daenu."

Ac gwelir bathodau, âg enwau rhai o'r uchod arnynt, a llun y duw IAU yn ergydio taran ar ben un o'r Titaniaid, yr hwn a osodent i arwyddocau y grefydd Gristionogol; a'r argraff IOVI FVLGERATORI, *I Iau y Taranydd.* Yr arwydd yn arnodi y fuddugoliaeth ymffrostedig ar y Cristionogion. Y *Galerius* hwn a annogai Diocletianus i gyflawniad o'i greulonderau, ac ar ol hynny a fu yn achlysur o'i ymadawiad â'r orsedd.

### YR ERLIDIGAETH YN MHRYDAIN, A'R MERTHYRON BRYTANAIDD.

Er y cawn fod niferoedd mawr wedi dyoddef merthyrdod yn yr ynys hon yn yr amseroedd blinderus yma; etto nid oes enwau onid pedwar o'r rhyw wedi eu traddodi i ni gan haneswyr; a'r rhai hynny ydynt

ALBANUS, ac AMPHIBALUS, ac AARON, a IULIUS. Y ddau cyntaf a ddyoddefasant ger llaw *Verulamium*, [*St. Alban's*,] a'r ddau olaf, yn *Nghaerlleon-ar-Wysc*. Un o'r ysgrifenyddion cynharaf a grybwyllant am yr amgylchiadau hyn, ydyw Gildas; ei hysbysiad sydd fel y canlyn. Ar ol dyrchafu clod y merthyron yn gyffredinol, dywed ei fod yn cyfeirio yn bennodol at "Sant Alban, o Verulam, ac Aaron a Iulius, dinasyddion o Gaerlleon-ar-Wysc, ac ereill o bob rhyw mewn amryw leoedd, yn sefyll yn nghadfaes Crist gyda'r gwrolder mwyaf."

"Sanctum Albanum Verolamiensem, Aaron et Julium Legionum urbis cives, et cæteros utriusque sexus, diversis in locis, summa magnanimitate in acie Christi perstantes dico."

A dywed fod i'r cyntaf o'r rhai hyn, mewn modd cardodawl, roddi nawdd i offeiriad Cristionogol, yr hwn oedd yn cael ei ymlid gan y Paganiaid, gan ei geli yn ei dŷ. Ac er mwyn hyfforddi ei ddihangiad ymaith yn anadnabyddawl, newidiodd ddillad âg ef, a chan osod am dano ei hun wisg yr offeiriad, efe a roddodd ei hun i fynu yn ewyllysgar i erlidiad. Ac yma Gildas, yn ol arferiad monachod yr oesoedd hynny, a ychwanega wyrth neillduol, yr hwn a gymmerodd le; canys dywed fod tyrfa fawr wedi crynhoi yn nghyd, ar yr achlysur hwn, ac a hwy yn sefyll ar làn afon fawr, [Tafwys,] i'r dwfr gilio yn ol, fel yr Iorddonen gynt, ac i'r gwr sanctaidd, yn nghyda mil o wyr, fyned drwodd yn droedsych; yr hyn, pan welodd y dihenyddiwr, efe a drowyd i Gristionogaeth, ac yn lle cyflawni ei orchwyl bwriadawl, efe a roddodd ei hun i ferthyrdod, yn nghydag Alban; a'r lleill a osodwyd i farwolaeth, trwy eu harteithio âg amrywiol boenedigaethau; gan dorri eu haelodau mewn modd echryslawn.* A'r rhai a ddihangasant ar y pryd, a ymguddiasant mewn coedydd ac anialwch, ac ogfeydd dirgel. Dywedir gan ereill fod Alban yn Bagan, pan ddangosodd lettygarwch i'r offeiriad, ac mai trwy ei addysg ef, tra yn ymguddiol yn ei dŷ, y trodd yn Gristion. Ac hefyd ychwanegir at anianawd gwyrthiol yr amgylchiad, gan ysgrifenwyr y canol oesoedd, gan ddywedyd i ffynnon darddu allan yn y man lle torrwyd ei ben.

Dywedir hefyd i Amphibalus gael ei ganlyn a'i ddwyn i ddihenyddiad, gerllaw yr un ddinas, St. Alban's. Am y gwr hwn, y mae yn ddyledus sylwi, na wyddys mo'i iawn enw. *Amphibalus*, a arwyddoca math o ddilledyn, neu wysg hirlaes, ac y mae R. HIGDEN yn crybwyll am y cyfryw dan yr enw *Caracalla*, yr hwn a arwyddoca yr un peth. Ac y mae yn ddilys mai oddiwrth y wisg offeiriadol rhagddywededig, y cafodd yr enw yma.

* Y mae yn mhlith yr hen gyfansoddiadau Cymraeg, un a elwir "*Marwnad y Milfeib*," eithr nid oes un berthynas rhyngddo â'r amgylchiad hwn.

Er y gall yr amrywiol ychwanegiadau ofergoelus, a osodwyd at yr hanes hwn, yn y canol oesoedd, fod yn ddigon i beri amheuaeth am y cwbl; etto y mae yn rhaid cyfaddef fod digon o awdurdod, i beri cred fod y fath amgylchiad, a merthyrdod Alban a'i gyfaill, wedi cymmeryd lle, yn amser yr erlidigaeth echryslawn yma. Ac heblaw yr awdwyr uchod, y mae V. Fortunatus, yr hwn a ysgrifenodd yn y 6ed ganrif, yn crybwyll am yr un peth yn y modd canlynol:—

"Egregium Albanum fœcunda Britannia profert."

Ac y mae awdwyr ereill yn cyfeirio at yr un amgylchiadau; eithr nid oes dim ynddynt yn ychwanegu at yr hanes, oddieithr yr hyn ag sydd yn rhy chwedleuaidd i haeddu ail adroddiad. Canys llawer o bethau ofergoelaidd a gredwyd yn y canol oesoedd, perthynol i'r merthyron hyn. Matthew, o Paris, a adrodda chwedl hir am y modd yr ymddangosodd Amphibalus i ddinasydd o St. Albans, ac a'i arweiniodd ef at feddrod Alban; ac hefyd am y modd y cafwyd allan feddrod Amphibalus; ac am y gwyrthiau a gyflawnwyd trwy effeithiau eu hesgyrn. Ac y mae yr awdwr hwn yn mynegi am hen lyfr Brytanaidd, yr hwn a gafwyd mewn cist, ac a gynhwysai hanes St. Alban. Ond oddiwrth y cwbl y gallaf ddeall, nid oes un gyfran o'r cruglwyth chwedleuaidd hyn yn haeddiannol o sylw, canys meddyliaf fod caffaelid y llyfr ac ymddangosiad Amphibalus, yn nghyd â'r creiriau gwyrthiol, oll o'r un wneuthuriad monachaidd a dichell.

Am yr amgylchiadau cydredol a merthyrdod Julius ac Aaron, nid oes dim yn draddodedig. Dywed Giraldus Cambrensis, fod eu cyrph yn gorwedd yn Nghaerlleon-ar-Wysc, a bod dwy eglwys wedi eu cyflwyno iddynt yno. A'r un mynegiad a geir yn y Brut. Rhai a dybiant fod Llanilid a Llanharan yn dwyn enwau y merthyron hyn; eithr y mae y Professor Rees yn mynegi fod y gyntaf wedi derbyn ei henw oddiwrth St. Julitta, a meddylia mai y Normaniaid a'i rhoddasant. Ond barnaf mai nid o'r deilliad hwnnw ydyw; canys pe felly, buasai sain y *J* Normanaidd yn cael ei arwyddocau yn y Gymraeg gan y lythyren *S*, yn ol arferiad y Cymry perthynol i'r cyfryw eiriau; a meddyliaf y buasid yn cyfnewid *Julitta* i *Sulid*, yn hytrach nag *Ilid;* ac felly barnaf fod yr enw yn henach na dyfodiad y Normaniaid. Ond pa un ai i Ilid, cydoesydd Cyndaf, ai ynte i Julius, o Gaerlleon, y cyflwynwyd yr eglwys uchod, gyntaf, nis medraf benderfynu.

Y mae awdwr y Brut yn crybwyll am yr erlidigaethau hyn; ac y mae yn ddyledus sylwi, fod yn agos y cwbl a draddoda am danynt, wedi ei gymmeryd air yn air, allan o lyfr Gildas, oddieithr ychydig o dalfyriadau, yr hyn a ddengys fod i'r Brut awdurdod, heblaw G. ap Arthur; ac y mae

hyn oll yn ychwanegu yn fawr at y dyryswch a welir yn yr hanesiad hwn oblegid y mae yn y Brut amryw fynegiadau ereill, perthynol i Gysteny a'i gydoesolion, y rhai, er y gall fod ryw sail iddynt, etto gan eu bod yn gymmysgedig â chymmaint o ffugiant, ni ellir eu hail-adrodd yma e eglurhad hanesyddiol.

Pe buasai hanes y wlad hon yn amser Diocletianus, ar glawr, mewn cyflwr o gyflawnder, diammau y gwelsem amrywiol anghreifftiau ferthyrdod a dyoddefaint, o'r un anianawd a'r uchod. Ac am fod yn ychydig hysbysiad a roddir gan Gildas, yn mynegi darfod i'r Cristionogion orfod "ffoi i'r coedydd a'r llefydd anial, a'r ogfeydd celedig,"* y mae yn ddilys y buasai gennym yr awrhon, goffadwriaeth am ddefnyddiad amryw leoedd adnabyddus yn ein plith, i'r cyfryw ddiogeliad. Ac y mae yno duedd cryf i feddwl, fod rhai ogfeydd yn Nghymru etto yn dwyn arnodiad o'r cyfryw wasanaeth, neu o ryw un cyffelyb. Ac yn mhlith y rhai hyn dychymmygaf y gallai fod yr ogof fawr yn y graig, gerllaw Llangattwg Crughywel, yn Mrycheiniog, a elwir "*Yr Eglwys Faen.*" Y mae Y PARCH. D. PETERS, yn ei *Hanes Crefydd yn Nghymru*, yn crybwyll am ogof *Cwmhwplin*, yn swydd Gaerfyrddin, megys yn cael ei arferyd yn lle o ymgynhulliad crefyddol yn amser erlidiad diweddarach. Ond y mae y gair eglwys, yr hyn a roddir i'r ogof arall, yn arwyddocau cynharach amseroedd.

Y creulonderau rhagenwedig yn Mhrydain, o gyflawnwyd gan mwyaf dan MAXIMIANUS HERCULEUS, cyd-Ymherawdr â Diocletianus. A diwedd anffodus a fu i'r ddau, canys dial a'u goddiwesodd yn eu her oedran. Gorfu arnynt, trwy fygythiadau, ymadael â'r Ymherodraeth A Diocletianus, ar ol rhai blynyddau, a fu farw yn wallgofus ; a Maximianus a ddaliwyd am fradwriaeth, ac a grogwyd.

Eithr oddiwrth yr hyn y deallwn am CONSTANTIUS CHLORUS, dilys ma nid yn foddhaol y cyfrannai at ddwyn yn mlaen y cyfryw weithredoedd; eithr amddiffynnai y Cristionogion ar bob achlysur pan yn ei allu. A'r hyn a gymmerodd le dan ei îs-lywodraeth ef, nid ydyw yn gyfrifedig iddo ef, ond i'r Ymherawdr, yr hwn a ffurfiai y cyfryw gyfreithiau. Eithr pan daeth Constantius ei hun i'r orsedd, y mae yn ddiau iddo osod terfyn ar yr erlidigaeth o fewn iddei ran ef o'r Ymherodraeth mor ddioed ag oedd ddichonadwy. Y mae yn amlwg fod y gwr hwn, er yn allanol yn Bagan etto yn tueddu yn fawr tuag at Gristionogrwydd ; canys y mae EUSEBIUS yn dywedyd ei fod wedi ymwrthod âg addoliad aml-dduwiau, gan weled yr ynfydrwydd o hynny, a'i fod yn arddel ac yn addoli yr un Duw

* Silvis ac desertis abditisque speluncis se occultavere."

og. Ac y mae yr awdwr hwnnw yn dywedyd fod cynnifer o ogion yn ei wasanaeth teuluaidd, ag nad oedd ei deulu yn w oddiwrth Eglwys Gristionogol. Yn mhlith pa rai yr oedd gion Duw, y sawl a gynhalient addoliad parhaus er ymbiliad am rch yr Ymherawdr. Ac y mae Eusebius yn ei alw yn *wr* ' ac yn dywedyd iddo gyflwyno ei holl deulu, sef ei wraig, a'i holl wasanaethwyr, i'r unig Dduw, y Brenin goruchaf. Bu farw ierefrawc, yn y flwyddyn 306.

CONSTANTINUS, NEU CYSTENYN FAWR.

marwolaeth Constantius Chlorus, daeth ei fab CONSTANTINUS, STENYN FAWR, yn Ymherawdr, ac a osododd derfyn i'r th dros yr holl Ymherodraeth, mor ebrwydd ag yr oedd iadau yn caniatau. Yr hanesion Cymraeg a ddywedant iddo :ni yn Nghaerefrawc, a bod ei fam HELEN yn ferch i GOEL wc. Ond amheuir yr haeriadau hyn; a dywedir mai annichonlyw eu bod yn gywir; am fod Constantinus mewn twysged ı cyn iddei dad erioed ddyfod i Brydain. Y mae yn rhaid fod hyn, *os gwir*, yn diddymmu y cwbl perthynol i le ei enedigıd am haniad Brytanaidd ei fam, ni welaf yma un gwrthddadleuad dawl iddo; canys gallasai Constantius ei phriodi yn Rhufain, neu ıyw ardal arall o'r Cyfandir, yn gystal ag yn Mhrydain, oblegid fod boneddigion Prydain yn cyrchu i Rufain yn gynnar iawn; a rhai i yno; megys y ceir yn hanes CLAUDIA RUFINA. Hefyd ni welaf un d pa bynnag i haeru na fu Constantius yn Mhrydain cyn geni tinus. Ac y mae yn eithaf dichonadwy y gallasai swyddog milwrıth ag yr oedd efe, ymweled â Phrydain, yn mhlith yr amrywiol yn mha rai y gwasanaethai, gyda'r byddinoedd, yn ol ei alwad. nid ydynt hanesyddion Groeg a Rhufain yn cyttuno ar le genedConstantinus, canys enwir amryw leoedd yn bwrw hawl i'r

ıe yn addas goffa un hanesiad, yr hwn a draetha Eusebius perthynol i'r ıs yma; gan ei fod yn arwyddocau anianawd anrhydeddus y blaenor hwn. ysgrifenydd uchod, fod tiriondeb yr Ymherawdr gymmaint tuag at ei ddeiliaid, ld efe yn trysori i fynu dim arian yn ei gyllidfa. A'r ymherawdr arall, [Diocleanfonodd atto, ac a'i cyhuddodd o hyn, gan ddywedyd fod ei dlodi yn warth iddo; yddocau camdrefniad o'i lywodraeth. Ar hyn, Constantius a geisioedd gan y cenros ychydig gydag ef. Ac yno efe a anfonodd at y dynion cyfoethocaf yn ei rthau, ac a fynegodd iddynt fod arno eisiau arian. A chymmaint oedd y parch a yn eu plith, ag iddynt oll âg un fryd fyned adref gyda'r brys a'r parodrwydd dychwelyd â'r fath lwythau o aur ac arian, a phethau gwerthfawr, ag iddynt lanw u mewn modd digyffelyb. Yno efe a ddangosodd ei feddiannau i'r cenhadon, er ddod iddynt, ac a ddywedodd wrthynt fod y trysorau hyn cyn hynny gwedi bod w iddo gan geidwaid ffyddlon. Ac ychwanegir i'r Pennadur hynaws yma wedi fon at ei gynnorthwywyr, a chan ganmawl eu serch tuag atto, beri i bob un o ymmeryd ei eiddo yn ol, a dychwelyd âg ef adref.

anrhydedd hwnnw. Y mae un ysgrifenydd dienw yn enwi NAISSUS yı Dacia; ac y mae IULIUS FIRMICIUS yn cadarnhau hynny. Ond y mae CAMDEN yn dangos fod yma gamroddiad o enw *Constantinus*, yn ll *Constantius* ei fab, yr hwn a aned yn y dref honno.* Felly rhwng cynnifer o haeriadau anghyson, nid hawdd penderfynu; ar y lleiaf, c nad arddelir Prydain megys lle genedigaeth yr Ymherawdr godidawg hwn nid oes un fath o brawf i'r gwrthwyneb, nac ychwaith ond awdurdod gry eiddil iddei amheu; a'r unig beth a ellir ei ddywedyd, yw, fod amrywiaw barn perthynol iddo yn mhlith hanesyddion; ac ar ol pwyso y cwbl o'r haeriadau, os dewisa neb gredu ei hanesiad Brytanaidd, ni welaf un achos i ansefydlu ei feddwl. Y mae yn wir fod y Brut yn dywedyd mai ar ol ei ddyfodiad i Brydain, megys pen-llywydd, y priododd tad Cystenyn, eithr gan na osodir ond ychydig o bwys ar y gwaith hwnnw, mewn pethau ereill, meddyliaf mai nid teg fyddai gafaelyd arno yma, er cynnal unrhyw ddadl. Barnaf fod y Brut yn canlyn rhyw hen hanesion Brytanaidd, yn y mynegiad yn nghylch lle genedigaeth Cystenyn, ac achau ei fam; ond fod y llyfr hwn yn dangos yr un fath ddyryswch, yn amseriad yr amgylchiadau hyn, ag y mai mewn amryw bethau ereill o'r fath.†

Ond gan ys pa beth a feddylir am y dadleuon hyn, y mae yn amlwg, i Gystenyn wneuthur cyfnewidiad mawr yn amgylchiadau y Cristionogion trwy yr holl Ymherodraeth. A chan mai yn Mhrydain yr esgynodd i'r orsedd, y mae yn ddiamheuol fod Eglwys Prydain yn mhlith y blaenaf i fwynhau effeithiau dedwydd ei lywodraeth. Ac yn ystod ei deyrnasiad ef, a'r oes ganlynol, ni a gawn yr Eglwys honno mewn cyflwr o gymmaint llwyddiant a chyfrifoldeb, 'a danfon cenhadon i'r cynghorion cyffredinol ar y Cyfandir; canys yn y flwyddyn 314, cynhaliwyd Cynghor ARELATUM [*Arles*] yn Ngâl, i'r dyben i wrthladd daliadau y *Donatistiaid*, plaid yn amrywiaw mewn barn yn nghylch goruchafiaeth gwahanol eglwysi, yn hytrach nag athrawiaeth. Yn y cynghor hwnnw yr oedd tri Esgob o Brydain yn gydrychiol, wedi eu hanfon yn genhadon; sef EBORIUS,‡

* Am helaethach eglurhadau ar y testun hwn, gwel Llythyr CAMDEN, yn ngwaith yr ARCHESGOB USHER, ac hefyd yr HORÆ BRITANNICÆ.

† Y mae yr Helen hon yn dra enwog yn mhlith Seintiau Eglwys Rhufain, megys yr un a gafodd y Wir Groes. Ac felly y crybwyllir am dani yn Achau y Saint.

"*Elen verch Goel Godeboc, a honno a gavas y groes vendigaid wedi ei chuddio o'r Iuddewon yn y ddaear.*"

Mewn rhai ysgrifeniadau cyfrifir i'r *Helen* yma, ffurfiad y ffyrdd Rhufeinig, a ânt dan yr enw *Sarn Helen;* ac mewn ereill, i *Helen*, gwraig *Macsen Wledig*. Anhawdd rhoddi hyder i un na'r nall; eithr ar ol ail-ystyried o'r peth, fe'm tueddir yn gryf i feddwl nad yw yr enw *Sarn Helen*, ddim ond y dull Cymraeg o'r enw *Via Iulia*, yr hon oedd ffordd dra nodedig; fel y dangoswyd eisioes.

‡ IFOR, medd rhai. EFRAWC, medd ereill.

Esgob Caerefrawc; a RESTITUTUS,* Esgob Llundain; ac ADELFIUS,† yr hwn, yn ol barn STILLINGFLEET, oedd yn Esgob Caerlleon-ar-Wysc. Ac arwyddoceir fod *Londinensium* yn gamysgrifiad, ac yn y cysefin mai *Legionensium* oedd y gair, yr hwn a attebai i'r dref uchod, yr hon a elwyd *Urbs Legionum*. Y canlynol ydynt enwau yr Esgobion hyn allan o waith USHER :—

"**Eborius Episcopus, de civitate Eboracensi, Provinciâ Britanniâ.**"
"**Restitutus Episcopus de civitate Londinensi Provinciâ suprascriptâ.**"
"**Adelfius Episcopus de civitate Colonia Londinensium.**"

Ychwanegir hefyd yr hysbysiad canlynol :—

"**Exinde Sacerdos Presbyter, Arminius Diaconus.**"

Eithr nis medraf ddywedyd pa sawl o'r geiriau olaf hyn ydynt enwau priodol, neu enwau swyddol.

Yn y flwyddyn 325, Cystenyn a ymgynhullodd Cynghor NICÆA, yn Bithynia, i wrthladd daliadau ARIUS ; yr hwn, o gylch yr amser hwnnw, a gyhoeddai athrawiaeth yn gwadu Duwdod yr Arglwydd Iesu Grist. A chan fod gwys cyffredinol wedi ei roddi i'r holl Eglwys i anfon cenhadon i'r Cynghor hwnnw, y mae pob tebygolrwydd i rai o Esgobion Prydain fyned drwodd. Ar y pryd hyn collfarnwyd gau-athrawiaeth Arius a ffurfiwyd yr egwyddoreg a elwir CREDO NICEA, yr hwn a arferir yn Eglwys Loegr yn ngwasanaeth y Cymmun. Yn y credo hwn yr arferir yr ymadroddion cadarnaf i arwyddocau tragywyddol Dduwdod y Mab.

***"Cenhedledig gan ei Dad cyn yr holl oesoedd, Duw o Dduw, Llewyrch o lewyrch, Gwir Dduw o Wir Dduw, Cenhedledig, nid gwneuthuredig, yn un hanfod a'r Tad," &c.***

Cystenyn Fawr, [FLAVIUS VALERIUS CONSTANTINUS,‡] oedd yr Ymherawdr cyntaf a arddelodd Gristionogaeth. Yr oedd yn gysefin yn Bagan ; a dros rai blynyddau ar ol ei esgyniad i'r orsedd parhaodd felly ; ond ar yr un pryd, yr oedd yn dangos pob tiriondeb a nawdd tuag at y Cristionogion ; fel ag y gwelir yn ei weithred o osod terfyn i'r erlidigaeth a ddyoddefent. Mae EUSEBIUS, yr hwn oedd yn adnabyddus a'r Ymherawdr yn mynegi am ei droedigaeth yn y modd canlynol.

Cystenyn, ar ol dechreu ei deyrnasiad yn llwyddiannus, a syniodd wrtho ei hun, fod arno eisiau ryw gynnorthwy heblaw ei fyddinoedd, iddei gynnal [illegible] ei elynion ; ac felly efe a benderfynodd ei fod yn anghenrheidiol

* [illegible], a fyddai yn y Gymraeg. † CADFRAWD, yn y Gymraeg, meddylir.
‡ Galwir ef *Constantinus Magnus*, ac hefyd *Maximus*.

iddo gael ryw *dduw* i fod yn gynnorthwywr iddo. Ac ar hynny dechreuodd ystyried pwy dduw a ddewisiai iddo ei hun. A thra yr oedd yn dwys ganlyn y myfyrdodau hyn, daeth iddei feddwl fod y rhai hynny a ddaethant i'r Ymherodraeth o'i flaen ef, wedi bod yn gwasanaethu amryw dduwiau, ac yn aberthu iddynt, ac na allent y duwiau hynny eu hamddiffyn yn eu cyfyngderau, ond iddynt gyfarfod â diwedd anffodus. Hefyd syniodd mai ei dad oedd yr unig un a gymmerodd lwybr arall, gan ymwrthod âg addoliad aml-dduwiau, a gwasanaethu un Duw goruchaf, ac iddei dad lwyddo yn ei orchwylion, ac iddo dderbyn amryw arwyddion o'i noddiant. A chanlyniad y syniadau hyn oedd, y dylai efe wasanaethu Duw ei dad, a hwnnw yn unig. Am hynny galwodd ar y Duw hwn yn ei weddiau, gan erfyn a deisyf arno, pwy bynnag yr oedd, i amlygu ei hunan iddo, ac estyn ei ddeheulaw iddei gynnorthwyo.*

Tra yr oedd yr Ymherawdr yn gwneuthur y gweddiau a'r taer-erfyniadau hyn, arwydd dra rhyfedd a ddangoswyd iddo. "Yr hon," medd Eusebius, "pe rhoddasai un dyn arall hanesiad am dani, nid hawdd y derbyniasid ef megys gwir; ond gan mai yr Ymherawdr buddugoliaethus ei hun a'i fynegodd i ni y sawl a ysgrifenwn yr hanes hwn, yn hir ar ol hynny, sef pan mwynhasom ei gydnabyddiaeth a'i gyfeillach, ac a gadarnhaodd ei fynegiad trwy lw, pwy ar ol hyn a amheua yn nghylch rhoddi cred iddo.

O gylch hanner dydd, pan oedd yr haul ar ei ogwyddiad, dywedodd iddo weled â'i lygaid ei hun, lun y Groes yn yr wybren, wedi ei gosod uwch yr haul, ac yn ffurfiedig o oleuni; ac ysgrif yn nglŷn â hi, yn cynnwys y geiriau hyn, TRWY HON BUDDUGOLIAETHA, [*touto nika.*] Wrth yr olwg o hyn, rhyfeddod mawr a'i tarawodd ef a'i holl fyddinoedd, y rhai oeddynt yn teithio gydag ef, ac yn ganfyddwyr o'r gwyrth."

Tra'r oedd yr Ymherawdr etto mewn amheuaeth, am ystyr y weledigaeth ryfeddol hon, cafodd, yn ei gwsc, weledigaeth arall dra rhyfedd gyffelyb iddi, ac hefyd gynghor i wneuthur llumman, neu fanier, ar lun y groes y welasai. Ac yn ganlynol efe a barodd ffurfio y cyfryw, yn addurnedig âg aur, a meini gwerthfawr, yn hardd odidog yr olwg, yr hon a ddygwyd o flaen ei fyddin yn wastad i frwydr.† Ac yn awr, Cystenyn, wedi penderfynu peidio addoli un duw ond yr hwn a ymwelodd âg ef yn y modd adroddedig, a ymgynghorodd â dysgedigion yr Eglwys, ac a dderbyniodd hyfforddiad yn y Ffydd Gristionogol.

A chan fod Maxentius, mab Macsen Ercwlff, yn gormesu ar y gwledydd,

* Y mae yn ddyledus sylwi yma fod Cystenyn wedi cael ei gadw yn hir gyda'r Ymherawdr Paganaidd, Diocletianus, ac na chafodd ond nemmawr o gyfleusdra i wybod egwyddorion ei dad, ac felly nid rhyfedd ei fod yn yr anwybodaeth a'r dyryswch yma perthynol i hyn oll.

† Y fanier hon a alwyd gan y Rhufeiniaid y *Labarum*; eithr ni wyddys ystyr y gair.

yn erlid y Cristionogion mewn modd tra blinderus, Cystenyn a
i erbyn tua dinas Rhufain, ac a'i gorchfygodd ef yno mewn
A Maxentius, wrth ffoi, a foddwyd yn yr afon Tiber.
yn, Cystenyn a ryfelodd yn erbyn LICINIUS, yr hwn a feddianai
ll o'r Ymherodraeth; a'r hwn oedd erlidiwr gwaedlyd o'r Cris-
; ac ar ol amryw frwydrau, Cystenyn a'i gorchfygodd ac a berodd
ddio.
buddugoliaethau hyn, yr oedd Cystenyn yn unig feddianydd o'r
rodraeth Rufeinig yn y Gorllewin, yn gystal a'r Dwyrain. Ac
antho yn awr bob cyfleusdra i ddangos ei garedigrwydd i'r Cris-
ac iddeu noddi; yr hyn hefyd nid oedodd ei gyflawni, canys
lymodd y cyfreithiau yn eu herbyn, ac a'u derchafodd i sefyll-
nrhydedd yn y wladwriaeth. Efe a adeiliadodd iddynt amryw
c a ofalodd ddarparu cynhaliaeth at eu gwasanaeth, ac a berodd
adysgrifau o'r Ysgrythyr. Hefyd efe a ddymchwelodd y temlau
trwy'r holl Ymherodraeth; ac a berodd lusgaw allan ddelwau
a'u dangos yn gyhoeddus i'r bobl, i'r dyben iddynt weled y fath
ael diallu, yr oeddynt yn addoli, ac felly hwy a wnaethwyd yn
hau o wawd a dirmyg i'r byd. Yn y modd yma Cystenyn a fu
i sefydlu Cristionogaeth, megys crefydd gyffredinol yr Ymher-
r hon ychydig flynyddau cyn hynny, a oedd yn agos wedi ei
ar y ddaear; cymmaint o wananiaeth a geir rhwng llywodraethwr
g un annuwiol; ac mewn doethineb y cynghorir i'r Eglwys
ymbiliau, gweddiau, a deisyfiadau dros frenhinoedd, a phawb
n goruchafiaeth, fel y gallom fyw yn llonydd ac yn heddychol
duwioldeb ac onestrwydd.*
yn ni esgeulusodd un achlysur o dderchafu Cristionogrwydd
eu Paganiaeth. Gorchymmynodd beidio a dwyn y delwau
mwyach o flaen y byddinoedd, ac yn eu lle, perodd ffurfio
g arnynt y ddwy lythyren gyntaf yn enw CRIST. Hyd nod
odd y lluniau ar y bathau, ac a'u gwnaeth yn gyfattebol iddei
ion Cristionogol, canys dileodd yr hen arwyddion Paganaidd, ac
arian yn dwyn y llythyrenau rhagddywededig; ac ar rai, perodd
n ei hun, â'i ddwylaw yn dderchafedig tua'r nef, megys mewn
weddi. Ei arferion neillduol oeddynt yn attebol i hyn, canys
y Bibl yn ei ddwylaw ac a fyfyriai ar ei gynhwysiadau gyda
ifrifwch, ac ar ol hynny adroddai y gweddiau gosodedig yn
holl lys.
tymmasu amryw flynyddau yn fuddugoliaethus, a threulio y rhan

* 1 Tim. 2. 1, 2.

[illegible] mewn heddwch, gan weled y Grefydd Gristionogol wedi [illegible] Diocletianus. Yr Ymherawdr yn canfod ei iechyd yn adfeilio, [illegible] Nicomedia, ac yno efe a alwodd yr Esgobion yn nghyd, ac a chyhoeddodd wrthynt, ei fod ef wedi oedi ei fedydd hyd y pryd hynny, gan fwriadu myned i gyflawni yr ordinhad* hwnnw yn afon yr Iorddonen, lle y bedyddiwyd ein Harglwydd ei hun; ond gan nad oedd amser yn caniatau dwyn hynny i ben, deisyfodd cael cyflawni y ddefod yno, lle yr oedd. Ac felly efe a fedyddiwyd, yn ol ei ddymuniad. Yr Ymherawdr cyntaf a fu gyfrannog o'r braint hwnnw. "Ac," medd Eusebius, ar ol y cyflawniad o'r ordinhad hwnnw, "efe a orfoleddodd yn yr ysbryd, ac a adnewyddwyd, gan ei orlenwi â Dwyfol oleuni. Gorfoledd ei feddwl oedd fawr, o herwydd ardderchogrwydd ei ffydd, ond efe a darawyd â syndod wrth y dadguddiad o'r galluogrwydd Dwyfol." Ar ol hyn ni chyffyrddai mwyach â'r wisg borphoraidd Ymherodrawl, ond ymosododd i osod pob peth mewn trefn, parotoawl iddei drancedigaeth, ac ar amser y Sylgwyn bu farw ar ei wely, mewn tangnefedd.

Yn mhlith ei weithredoedd nodedig ereill, Cystenyn a symmudodd y prif-lys Ymherodrawl, o Rufain i Byzantium; ac a gyfnewidiodd enw y ddinas honno i Constantinopolis, sef *Dinas Constantinus*, [Caer-Cystenyn; gan ei harddu a'i helaethu yn fawr. Yr hon a barhaodd yn brif ddinas Gristionogol y Dwyrain, hyd nes cymmerwyd hi gan y Tyrcaid yn y flwyddyn 1453, ac y llwyr ddiddymmwyd y ganghen ddwyreiniol o'r Ymherodraeth Rufeinig.

Ysgatfydd y dywedir fy mod wedi helaethu i faethder diachos ar hanes yr Ymherawdr hwn. Eithr attebaf, fy mod yn meddwl na fuaswn yn cyflawni fy nyledswydd pe dywedaswn lai; a hynny o herwydd ei haeredig haniad Brytanaidd, ei enwogrwydd cyffredinol, ac yn bennodol ei ymdrechiadau diflino yn mhlaid y Ffydd Gristionogol. A meddyliaf y gallwn weled ynddo ef ddechreu cyflawniad y brophwydoliaeth honno, am amddiffyniad y ffydd gan lywodraethwyr y ddaear.—"*Brenhinoedd hefyd fydd dy dadmaethod, a'u brenhinesau dy fammaethod.*"—Esaia 49. 23.

Diau fod yr hir oediad yn nghyflawniad ei fedydd yn ymddangos yn dra dyeithr i ni y dydd heddyw. Ond dylem sylwi fod y gwr hwn wedi byw dros ran fawr o'i einioes mewn cyflwr o Baganiaeth; ac mai yn raddol y daeth efe i wybodaeth o'r gwirionedd, a dichonadwy mai nid yn ebrwydd y daeth i weled anghenrheidrwydd cyflawniad y ddefod. Ac hefyd gwelir ei fod tua diwedd ei fywyd gwedi gosod ei fryd ar fyned at yr Iorddonen ar yr achos hynny; a diamheu y gallasai yr amgylchiad hwnnw fod yn achlysur o wresogi ei serchiadau, a chyffroi ei gariad, ac ysgatfydd o

* Yr oedd yr arferiad hyn yn gyffredin yn yr oes honno.

gadarnhau ei ffydd; a hynny hefyd, heb iddo gyfrif un rhinwedd ofergoelaidd i'r lle neu'r dwfr. Er fod yn rhaid cyfaddef fod tueddiad yr oes honno yn fawr tuag at osod gormod pwys ar ddefodau allanol, ac hyderu ar sancteiddrwydd lleoedd, a gwrthddrychau pennodol, am effeithiau uwchnaturiol.

GIBBON, yr anghrediniwr, a ymorchesta trwy bob modd i iselu cymeriad Cystenyn, ac i leihau ei barchusrwydd. Ond nid yw y cwbl a ddywed yn cael un effaith oddieithr cadarnhau enwogrwydd yr Ymherawdr ardderchog hwn, gan na allai y gelyn gwenwynig hyn gael allan ddim yn ei erbyn yn haeddianol o sylw megys cyhuddiad. Ond y mae rhai yn arddel y syniad dyfnaf o wirioneddau Cristionogrwydd, yn cymeryd arnynt ddifrio yr Ymherawdr, gan honni ei fod gwedi dangos ryw dueddiad tuag at Ariaeth. Ond os edrychwn yn hanesion ei fywyd, cawn weled mai un o wrthddrychau blaenaf ei ymdrechiadau oedd cadw undeb a brawdgarwch yn yr eglwys. Ac os dangosai diriondeb i Arius a'i bleidwyr, ei fwriad oedd cynnal heddwch ac undeb brawdol. Canys nid oedd yr eglwys, ond yn awr, y tro cyntaf erioed, wedi dyfod i feddiannu breintiau gwladol, a dianc oddiwrth ofn erlidigaeth; ond yr oedd y Paganiaid etto yn lliosog iawn, ac yn gedyrn, ac yn meithrin yr un ysbryd erlidgar tuag at y Cristionogion ag erioed. Ac felly da y gallasai yr Ymherawdr ymdrechu i gynnal undeb yn yr eglwys. Ond gan ys pa rai beddynt ei feiau, neu ei wendidau, nid oes un dyn wedi oes yr Apostolion, wedi bod yn offeryn i gyflawni y fath wasanaeth gwerthfawr, tuag at Gristionogaeth, a Chystenyn Fawr.

Cystenyn a esgynodd i'r orsedd yn 306.—Arddelodd Cristionogrwydd ar ol 311.—Cynhaliodd Cynghor *Arles* yn 314, a Chynghor *Nicæa* yn 325.—Symmudodd y priflys Ymherodrol o Rufain i *Byzantium*, yn 330. Bu farw yn 337, yn 62 oed gwedi teyrnasu 31 mlynedd.

Y Trioedd a fynegant am danaw yn y modd canlynol:—

"Tri Archesgobawt Ynys Prydain: Cyntaf Llan Daf, o ddawn Lleurwg ab Coel ab Cyllin, yr hwn a roddes diroedd a braint Gwlad gyntaf i'r rhai a gystlynasant gyntaf a'r ffydd yng Nghrist.

"Ail, Caerefrawc, o ddawn Cystynin Amherawdr, sef oedd efe y cyntaf o'r Amherodron yn Rhufain a ymgystlynwys a'r ffydd yng Nghrist.

"Trydydd, Llundain o ddawn yr Amherawdr Macsen Wledig.

"A gwedi hynny y buant Gaerllion ar Wysc, a'r Gelliwig yng Nghernîw, a Chaer Efrawg yn y Gogledd.

"Ac yn awr y mae Mynyw, a Chaerefrawc, a Chaer Gaint."

Ar ol marw Cystenyn, daeth ei fab CONSTANTIUS i orsedd yr Ymherodraeth yn y Dwyrain, a'i ddau fab arall, COSTANTINUS a CONSTANS, yn y Gorllewin. Y cyntaf o'r rhai hyn a dueddai at heresi yr Ariaid, ond y ddau olaf a lynent wrth y wir ffydd; ac yn yr amser hyn bu ymrysonau

mawr perthynol i'r achos hyn. Eithr nid oes ond ychydig yn dradd-odig am amgylchiadau Eglwys Prydain, oddigerth fod rhai o'r Esgob-ion Brytanaidd yn gydrychiol yn Nghynghor SARDICA, yn Illyria, yn 34 ond ni fynegir o'u henwau na'u rhifedi, eithr dywedyd iddynt uno i wr-thodd yr heresi rhagenwedig.

Yn y flwyddyn 359, cynhullodd Constantius Gynghor ARIMINUM [*Rimini*, yn yr Ital,] ar yr un achos, yn mha un yr oedd pedwar cant Esgobion y Gorllewin yn gydrychiol, ac yn eu plith, rai o Brydain. Ymherawdr a ddarparodd lettyaeth a chynhaliaeth iddynt oll. Ond Esgobion Gâl a Phrydain yn gyffredinol ni dderbynient mo honaw, gan ddewis yn hytrach fyw ar eu traul eu hunain. Ac nid oedd ond tri yn unig, o Brydain, y rhai, o herwydd eu tlodi, a dderbyniasant y rhodd Ymherodrol yma. A hynny gwedi iddynt ballu derbyn y cynhorthwy a gynnygwyd iddynt gan ereill, o herwydd barnent yn fwy addas bwyso ar y wladwriaeth nag ar ddynion neillduol.

Yn y cynghor hwn cyttunwyd i ffurf o erthyglau cred, yn tueddu tuag at Ariaeth;* ond dywedir i'r Esgobion eu tanysgrifio, nid yn wirfoddol, ond trwy ofn. Eithr y mae yr amgylchiad hwn yn dangos, fel y dywed rhyw un, fod ysbryd y merthyron wedi myned heibio. Canys gallwn feddwl mai nid ofn cospedigaeth a effeithiasai ar yr hen dduwiolion, rhai a ffurfiasent Gynghor Nicæa i fradychu eu ffydd. Ac yn wir, allwn lai na meithrin parch o'r uchelaf, at y dynion hynny, nid yn un am y cywirdra gyda pha un yr hysbysasant eu hegwyddorion, ond hefyd am anianawl diymmod, a'r dewrdra ysbryd, yr oeddynt gynt wedi ei ddangos oblegid yr oedd yn y cynghor hwnnw amryw, y rhai a ddioddefasent ddirfawr boenedigaethau, yn yr erlidigaeth Paganaidd, a braidd y diangasent oddi wrth ferthyrdod, gan ddwyn yn eu cyrff nodau yr Arglwydd Iesu. Paul Esgob Neocæsarea, dinas yn yr Asia, oedd wedi ei anafu trwy losgi ei ddwy law âg haiarn poeth; ereill oeddent wedi goddef tynnu eu llygaid dehe au ereill wedi cael torri ymaith un o'i coesau; ac yr oedd y cynghor hw yn ffurfiedig megys gynhulliad o ferthyron byw. Y bobl hyn yn ddi oeddynt wedi dangos eu hunain yn drech nag ofnau. Ond yr oedd ysbryd diffraw hwn wedi cilio. Ond ysgatfydd fod yr hir dymmor dawelwch a hinon, a fu i'r eglwys o amser Cystenyn, wedi bod yn achlys o'i lleygau a'i dirywio; tra yr ydoedd yr erlidigaethau erchyll yn y teyrnasiadau rhagflaenol, gwedi ei choethi, a charthu allan ei sorod. Ac hefyd, diamheuol, yr oedd rhaid bod cefnogiad Cystenyn, a'i noddiant o'r

* Yr Ariaid a gyttunasant fod y MAB mewn hanfodiad cyn y bydoedd; ond gwadent fod yn ogyfuwch ac yn un hanfod â'r Tad, ar haerent ei fod o anian gwahaniaethol. Afreidiol fyddai yma fyned i eglurhad o holl gyfeiliornadau y blaid hon; digon yw dywed ei bod yn gwadu gwir a thragywyddol Dduwdod CRIST.

ffydd, yn foddion i gyfnerthu ei phleidwyr, a'u calonogi iddei hamddiffyn, yn fwy gwrol. Felly dylem ogelyd rhoddi gormod o deilyngdod i'r anian ddynol, nac ymddiried gormod mewn cig a gwaed. Etto y mae yn gysurus gwybod nad oedd gau-athrawiaeth Arius ddim wedi cyrhaedd ynys Prydain. Canys y mae ATHANASIUS,* a HILARIUS, yn dywedyd fod Esgobion Prydain yn rhydd oddiwrth y cyfeiliorni hwnnw.

### IULIANUS Y GWRTHGILIWR.

Ar ol marw Constantius, daeth IULIANUS yn Ymherawdr, yr hwn a elwir y *Gwrthgiliwr*, [*Apostates*,] am ei fod wedi ymwrthod â Christionogaeth, a throi yn eilun-addolwr.' Y gwr hwn ydoedd nai i Gystenyn Fawr. Esgynodd i'r orsedd yn 361, a dechreuodd erlid ac anrheithio yr Eglwys yn y modd mwyaf gelyniaethol. Ond gan na theyrnasodd lawer dros flwyddyn a hanner, ni chyflawnodd cymmaint o ddrwg ag yr oedd yn bwriadu. Ymffrostiai yn fawr am ei anianawd philosophyddaidd, ac am hynny cymmerai arnaw nad oedd ei ddymuniad i osod neb i farwolaeth am eu crefydd; ond er hyn oll, yn fynych, pan yn ei lid, gorchymmynai boeni, ac arteithio, a lladd y Cristionogion, yn gystal ag y gwnai erlidwyr eraill. Eithr y modd pennodol y dangosai ei elyniaeth oedd, trwy ddiswyddo y Cristionogion a'u difreinio, a derchafu Paganiaid i leoedd o anrhydedd; ffurfio cyfreithiau gormesol yn erbyn y Cristionogion, fel na chaent cymmaint a mwynhau y rhydd-did o gael eu dwyn i fynu mewn ysgolion, na'u haddasu i lanw un sefyllfa gyfrifol yn y wladwriaeth. Hefyd difriai y gwasanaeth Cristionogol yn mhob modd, a derchafai yr un Baganaidd; gan ddymchwelyd eglwysi ac adgyweirio y temlau Paganaidd adfeiliedig, ac adeiladu rhai newydd. I ba raddau yr estynodd effeithiau ei elyniaeth yn Mhrydain, ni wyddys, ond y mae yn debygol na ddiangodd yr ynys hon ddim yn hollol, er y gallai ar yr achlysur hwn,

* ATHANASIUS oedd Esgob Alexandria, yn yr Aipht; yr oedd yn gydrychiol yn Nghynghor Nicæa, ac yn amddiffynydd nerthol a diflinedig o athrawiaeth tragywyddol Dduwdod CRIST, a'i un-hanfodiad â'r TAD. A dyoddefodd lawer o erlidigaeth gan yr Ariaid am hynny. Gwelir yn ngwasanaeth Eglwys Loegr, egwyddoreg a elwir *Credo Athanasius*, eithr dywedir mai nid cyfansoddiad yr awdwr hwnnw ydyw, ond cynhwysiad ei athrawiaeth ef, yr hyn a osodwyd yn nghyd yn y canrif canlynol. Am yr un a elwir *Credo Nicea*, y mae y rhan fwyaf o honaw yn agos air ac air yr un a'r cyfansoddiad a danysgrifwyd yn y cynghor nodedig yn 325, oddieithr y terfyniad, yr hwn a ychwanegwyd yn Nghynghor a gynnaliwyd yn Constantinopolis, yn 381, i'r dyben i wrthladd gau-athrawiaeth Macedonius, perthynol i Dduwdod yr Ysbryd Glàn. Ond yr oedd y rhan honno mewn arferiad yn mhlith y Cristionogion, yn hir cyn hynny. Yn y 5ed ganrif ychwanegwyd yn y rhan olaf y geiriau "*a'r Mab*," i eglurhau yr athrawiaeth perthynol i ddeilliad yr Ysbryd Glàn.

' Gwelir traethodau helaeth ar amgylchiadau Eglwysig, a gweithredoedd Cynghorawl yr oes hon, yn ysgrifeniadau EUSEBIUS a SOCRATES SCHOLASTICUS. Canlynais EUSEBIUS yn yr hanes uchod perthynol i Gystenyn, am ei fod yn gydoesydd iddo, ac yn mwynhau cyfeillgarwch âg ef.

megys ar lawer ereill, trwy ei phelldra oddiwrth y prif ddinasoedd deimlo llai o'r drygau hyn na rhannau ereill o'r Ymherodraeth.

Iulianus, yn mhlith y tystiolaethau ereill o'i gasâd o Gristionogaeth, geisioedd adeiladu teml Ierusalem. Ac ymosodwyd at y gorchwyl gyda phob egni, yr holl Iuddewon yn cyfrannu eu moddion, a'u hymdrechiadau tuag atto yn y modd mwyaf bywiog ac haelionus, a'r Ymherawdr ei hun yn gorchymmyn roddi pob cymmorth a hyfforddiad. Ond ar ol dechreu y gwaith yn y modd egniol yma, gorfuwyd arnynt ei adael heb ei gyflawni gan fod daeargrynfâau, yn dymchwelyd y sylfeini, a thân yn torri allan o'r ddaear, yn lluddias y gweithwyr i ddyfod yn agos i'r man. Ac felly yn lle diwiriaw geiriau ein Harglwydd perthynol i dynged y deml, bu rhyfyg digasedd yr ynfyd hwn yn foddion o'u cadarnhau.

Y mae Gibbon, yr hwn oedd anghrediniwr, ac yn dra gelyniaethol i bob peth a gadarnha wirionedd yr Efengyl, yn ystyried yr hanesiad yma gyda llawer o fanylrwydd; ac ar ol adrodd amrywiol dystiolaethau, y mae yn gorfod arddel awdurdod yr hyn a draethir, a chyfaddef mai trwy gyfryngiad uwchnaturiol y gallasai'r gwaith gael ei attal.

Iulianus a laddwyd mewn brwydr gan y Persiaid, yn y flwyddyn 363, yn y 32 flwydd o'i oed. Gwr oedd ef yn feddiannol o amryw rinweddau anianawl, er yn erlidiwr o'r Efengyl, ac yr oedd hefyd yn berchennog ar gynneddfau da, ond nid o raddau mor arddechog ag yr honnai ei wenieithwyr, canys y mae amryw o'i ysgrifeniadau etto mewn hanfodiad, ac nid oes ynddynt un teilyngdod nac o gyfansoddiad na drychfeddyliad i ddenu sylw megys anghreifftiau llëenyddawl. Ac er ei holl ymffrost am ei philosophyddiaeth, dangosai ei fod ar yr un pryd, yn gaethwas i'r ofergoeliau mwyaf gwael a disynwyr; oblegid aberthai i eilunod yn y modd mwyaf dyfal a difrifol, a chynnaliai eu gwasanaeth gyda'r un fath waelder cynneddfol a'r Pagan mwyaf annysgedig.

## IOVIANUS.

Ar ol marw Iulianus, etholwyd Iovianus yn Ymherawdr, yr hwn oedd Gristion, ac yn dwyn mawr serch at y ffydd Gristionogol. Ac er na theyrnasodd ond wyth mis, etto yn ystod yr amser hwnnw, adferodd yr Eglwys iddei breintiau, gan ddiddymmu cyfreithiau Iulianus, ac adsefydlu eiddo Cystenyn yn ei lle. Nid dichonadwy dywedyd pa effeithiau a gafodd cyfreithiau Iovianus ar Eglwys Prydain, am nad oes un hysbysiad perthynol i hynny. Ond gallwn feddwl, os cyrhaeddodd drygau gwrthgiliad ei ragflaenydd yma, iddei deyrnasiad yntau adferyd pob peth iddei gyflwr blaenorol, megys y gwnaeth mewn gwledydd ereill. Ac yma ni allaf lai nag, unwaith etto, gyfeirio at y dirfawr fraint a llesâd a gyfran-

wyd i'r Eglwys, trwy droedigaeth, ac ymdrechiadau Cystenyn; canys o'i amser ef allan, oddieithr Iulianus, yr oedd pob Ymherawdr yn arddel Cristionogaeth, ac felly ni allai y Paganiaid mwyach fwynhau yr oruchafiaeth.

## VALENTINIANUS, A VALENS.

Iovianus a fu farw yn 364, ac a ganlynwyd gan y ddau frawd uchod; y cyntaf o ba rai a lynai wrth y wir ffydd, ond y llall a ymbleidiai gyda'r Ariaid. Pa effeithiau a gafodd yr olaf ar gyflwr Eglwys Prydain, ni fynegir, ond y mae yn amlwg i heresi niweidiol Arius, yn mhlith ardaloedd ereill ymweled â'r ynys hon.

Tra'r ydoedd Cystenyn yn gofalu i gadw undeb eglwysig, a'r enwog ATHANASIUS yn ymdrechu dros y wir ffydd, y mae yn debygol na chafodd y cyfeiliorni Ariaidd gyfleusdra i gyrhaedd mor belled a Phrydain; ond ar ol hynny pan ddaeth Ymherodron y rhai a bleidient y gau athrawiaeth honno, megys y gwnai CONSTANTIUS a VALENS, neu un fal IULIANUS, yr hwn a gasâai ac a erlidiai y Grefydd Gristionogol yn gyffredinol, y mae yn ymddangos fod yr athrawiaeth honno gwedi caffael y ffordd, hyd nod i'r ynys neillduedig hon; canys Gildas a ddywaid am dani, iddi "megys neidr fall, daflu allan ei gwenwyn tramorol yn ein plith." Ond er hyn oll nid oes hysbysiad, na thebygolrwydd ei bod wedi ymdaenu yn helaeth yma.

O amser Cystenyn allan, dechreuodd Paganiaeth adfeilio yn dra chyflym, a thua diwedd y canrif hwn yr oedd yn agos wedi ei lwyr ddiddymmu. Ac yn ystod yr amser hwn y derbyniodd yr eilun-addolwyr yr enw *Paganiaid*, yr hyn a gawsant megys enw yn arwyddocau eu cyflwr gwael yn y wladwriaeth. Y gair Lladin *Pagus*, a arwyddoca *pentref gwladaidd;* a *Paganus* yw *trigianydd pentref.* Ac felly pan yn adfeiliad eu crefydd y daeth yr eilun-addolwyr i gilio allan o'r dinasoedd, ac i lechu yn yr ardaloedd gwladaidd, galwyd hwy y *Pagani*, sef *Pentrefwyr.*

Dros rai oesoedd o amser Cystenyn, nid oes ond ychydig yn draddodedig perthynol i Eglwys Prydain. Ffurfiwyd amrywiol gyfreithiau perthynol i drefniadau Eglwysig gan wahanol Ymherodron, megys VALENTINIANUS a THEODOSIUS; ond y mae yn dra thebygol fod y deiliaid Rhufeinig yn Mhrydain y pryd hynny yn rhy brysyr yn nghylch amddiffyniad o'u gwlad a'u meddiannau yn erbyn cadruthriadau y llwythau Barbaraidd gogleddol, i gymmeryd llawer o ofal am gyfreithiau llywodraeth na allai eu cynnorthwyaw. A chan nad oedd y lywodraeth Rufeinig yn alluog i arbed ei gororau rhag y cyfryw lwythau, nid tebygol y gallasai beri ufudd-dod cyflawn iddei chyfreithiau yn mhlith trigolion y wlad. Ac bellach, y mae yn rhaid i ni edrych am helynt yr eglwys yn mhlith

yr ychydig hysbysiadau ag sydd ar glawr yn nhraddodiadau ein cyd wladwyr ein hunain. Ac y mae yn rhaid addef nad ydyw y rhai hyn ond anaml iawn. Nid oes dros amryw flynyddoedd fawr ragor iddei gaffael, nag enw ryw Sant, neu ryw gynnorthwywr unigol, yn fynededig yn awr ac yn y man, megys ambell i wreichionyn yn ymddangos yma ac accw yn y caddug, yn unig yn dwyn tystiolaeth am hanfodiad Eglwys Cristionogawl yn y wlad, ac nad oedd lewyrch y gwirionedd ddim wedi ei lwyr ddiffodd.

Yn ystod y canrif hwn, cawn yn Achau y Saint, enw CENEU AP COEL CODEBAWC, ac hefyd MOR, mab i'r Ceneu hwn. Y mae y PROFESSOR REES yn meddwl fod yr eglwysi LLANOR, yn Lleyn yn swydd Gaernarfon, a LLANFOR yn Mhenllyn, yn Meirionydd, yn cymmeryd eu henwau oddiwrth y MOR hwn, ac y mae efe yn dangos fod yr enwau yn hanfodi yn amser Llywarch Hen, allan o waith y bardd hwnnw, megys,

Yssydd Lanvor dra Gweilgi,*
Y gwna mor molud† wrthi,
Llallogan‡ ni wn ai hi.

* Y môr.
† Mawl.
‡ Gefell.

Ac—

Yssydd Llanvor tra bânawg*
Ydd aa Clwyd yn Nhlywedawg,
Ac ni wn ai hi llallawg, &c.

* Enw priodol mynydd, meddyliaf.

Y mae y PROFESSOR yn meddwl mai *Llanynys*, yn swydd Dinbych yw yr olaf, yr hon sydd rhwng yr afonydd enwedig yma, sef Clwyd a Chlywedawc.

Crybwyllir hefyd am CYNLLO, mab i MOR, i ba un y mae tair eglwys yn swydd Faesyfed, a dwy yn Ngheredigion, yn gyflwynedig.

Tua diwedd y canrif hwn daeth CUNEDDA WLEDIG o'r Alban i Gymru [gwel tu dal. 154.] A bu efe a'i deulu yn noddwyr haelionus i'r eglwys Ac am hynny gelwyd ei dylwyth ef yn un o'r "Tair Gwelygordd Sanctaidd Ynys Prydain;" am mai efe oedd y cyntaf a roddes "Dir a Braint" i Eglwys yma, [gwel tu dal. 157.]

Y mae rhai yn dychymmyg fod dyfodiad Cunedda Wledig i Gymru, yn gyfrifadwy, nid yn unig iddei ddymuniad i gynnorthwyaw y trigolion yn erbyn y Gwyddelod, ond hefyd o herwydd yr aflonyddwch a ddyoddefai ei hunan yn y gogledd, gan ymosodiadau y Gwyddelod ac ereill yno. Ond y mae yn dra anhawdd amgyffred pa fodd y gallasai efe fod mor nerthol yn y Deheu, mewn gwlad ddyeithr, pan na allasai wrthsefyll yr un llwythau yn ei wlad ei hun. Eithr meddyliaf y gallaf ganfod yn ymddygiad Cunedda, amlygiad o'r un ysbryd anesmwyth ag oedd y pryd hynny yn dechreu cyffroi y byd yn gyffredinol; y twymyn cynneddfawl hwnnw a geisiais eisioes ei ddarlunio, yr hwn a gynhyrfai dynion i fudo o wlad i wlad, ac i arferyd ymdrechiadau mewn ardaloedd pellenig, y rhai a fuasent

ıol i achub eu gwledydd genedigol pe arhosent gartref. Dyma'r berodd i'r Cymry fyned drwodd i Lydaw, i Gunedda ddyfod i r Gwyddelod fudo i'r Alban, ac i lwythau y byd ymsymmud o

ılith prydyddiaeth TALIESIN, y mae cyfansoddiad a elwir *Cunedda.* Y mae y PARCH. E. DAVIES, yn ei waith ar Ossian, cyfieithiad o honaw, ac yn dywedyd ei fod yn eiddo rhyw fardd o'r *sin*, cynharach na *Thaliesin Ben Beirdd.* Ac yn wir, y mae y llefaru megys un a oedd yn fyw yn amser Cunedda, ac yn ıddion oddiwrtho; ac os felly yr oedd, gan y dywedir i Gunedda flwyddyn 389, y mae y cyfansoddiad hwn yn dangos i ni o'r Iaith Gymraeg mor henaid ag hanfodiad y Rhufeiniaid yn canys ni ellir amheu mai Cunedda Wledig yw gwrthddrych y ɔ herwydd gelwir ef "*Mab Edern.*" Hyn yr wyf yn ei , er parch i feirniadaeth y dysgedigion, y rhai a fabwysant y ɔ; ond am danaf fy hun, ni welaf un achos i gredu fod y cyfan- ı henach na'r 6ed ganrif. Cynnwysa 49 llinell, a dechreua fal

"Mydwyf Taliessin derydd,
Gwawd goddolaf fedydd,
Bedydd rhwyf rhifeddan eiddolydd,
Cyfranc allt a gallt ac Echwydd
Ergrynaw Cuneddaf creisserydd
Yn Ngaer Weir a Chaer Liwelydd," &c.

n ol cyfieithad Davies yw,—

ryf Taliesin Derwydd a roddaf foliant cerdd i'r Bedyddiedig, y Pendefig Crist- .dolwr y bod Rhyfeddawl, lle y cyfarfydd allt ag allt yn y Gorllewin, bu g Cunedda, tanbaid mewn brwydr, yn Nghaer Wair a Chaer Liwelydd."

f yn gwbl cyttuno i'r ystyr a rodda yr awdwr dysgedig i'r cyfan- n mhob ymadrodd, er rhaid i mi addef nas gwn am neb a allai ıll cyfieithiad o honaw yn gyfan-gwbl. Ond y mae rhai pethau adwy ynddo yn dra eglur, a hynny ydynt, yn y man cyntaf, fod yn Bendefig Cristionogawl, canys gelwir ef yn "*Rhwyf Bedydd,*" *or Cristionogol.* Ac hefyd crybwyllir am ei farwolaeth mewn l yn arwyddocau hanfodiad arferion Cristionogol.

"Cyn cymun* Cunedda
Rym afei biw blith Haf
Rym a fei eddystrawd† y gayaf
Rym a fei win gloyw ag olew
Rym a fei toraf Keith rag untrew," &c

* Gweiniad yr ordinhadau eglwysig ar farw.

† Eddestr,—march.

Sef meddyliaf,—

"Cyn marw Cunedda byddai i mi [neu i ni] wartheg blithion yr haf, byddai i mi feirc y gaiaf, byddai i mi win gloew ac olew, byddai i mi dyrfa o gaethion," ar amnaid.

Yn y man nesaf gwelir ei fod yn bendefig yn peri dychryn idde elynion :—

"Ef caned rhag ei ofn ai arswyd oergerdd
Cyn bu dayar dogyn ei dwed."

"Canwyd rhag ei ofn a'i arswyd ganiad trist, cyn bu cyfran o ddaear yn orchudd iddo."

Gan fy mod wedi mynegi fy annghytundeb â Davies, mewn perthynas i rai pethau yn ei gyfieithiad o'r Awdl hon, nid têg fyddai i mi beidio rhoddi yma ryw achos am y cyfryw annghytundeb, ac felly cyn myned rhagof, ceisiaf ganiatad i sylwi ar y geiriau *Bedydd* ac *Echwydd*, y rhai a geir yn fynych yn ngwaith y Beirdd. Y mae *bedydd* yn ddiamheuol yn arwyddocau y Sacrament hwnnw, ac yn cael ei arferyd am wlad neu bobl Cristionogol ; megys gan Llywarch ap Ll.—

"Llewelin llyw bedydd a chred."

Ymddengys fel Cymreigiad o'r Lladin *Baptizo ;* ac y mae W. Salisbu yn ei agoshau at y cysefin hwnnw, gan ei ysgrifenu *Batyddio*. Ond beth yw *Echwydd*? Gwelwn ef yn aml yn cael ei arferyd ochr yn o a *Bedydd*, megys yn ngwaith Taliesin :—

"Urien yr Echwydd
Haelaf dyn bedydd."

Ac weithiau arferir ef i arwyddocau Cristionogaeth yn gystal a'r nall ; y gwelir yn ngwaith Meilyr ab Gwalchmai, yr hwn a sonia a "*gymmeryd bedydd—yn nwfr echwydd.*"

Yn awr, y mae *Pedyd* yn arwyddocau *gwyr traed*, [gwel y Dr. Ow Pughe ;] ac wrth eu gweled yn cydfyned â'u gilydd mor fynych, n gallaf lai na meddwl fod *Bedydd* ac *Echwydd* yn atteb i'r enwau milw aidd Rhufeinig, *Pedites* ac *Equites*, sef *gwyr traed* a *gwyr meirch*. Ond pa fodd y daethant i arwyddocau Cristionogaeth ?—Attebaf. Yn y oesoedd diweddaraf o arhosiad y Rhufeiniaid yma, yr oedd eu byddinoedd yn arddel Cristionogaeth, a hwynthwy oeddynt unig amddiffyniad y trigolion yn erbyn eu gelynion Paganaidd o'r Gogledd. Ac felly nid anhawdd amgyffred fod cyffelybrwydd sain wedi peri cymmysgiad yn arferiad y geiriau, yn enwedig pan yr oedd eisioes ryw gyffelybrwydd yn yr ystyr; a barnaf fod *Pedyd* a *Bedydd*, ac *Equites* ac *Echwydd*, wedi eu toddi yn nghyd yn ymadroddion y wlad, nes y daethant i gael eu harferyd yn y modd y gwelir. Heblaw yr uchod o hanniad Lladeinaidd, y mae hefyd yn y Gymraeg, yr un gair, *Echwydd*, yn tarddu allan o wreiddiau priodol

y iaith, eithr o wahanol ystyr, canys arwyddoca, *Y Prydnawn*, neu yr *hwyr*. Ni's gwn a ydyw y dydd heddyw yn arferedig yn ei gyflwr cysefin, mewn un rhyw ardal; ond clywir ef yn feunyddiol, tua godre Swydd Frecheiniog, gyda sill rhagddodol sef, *Godechwydd*, megys yr unig air mewn arferiad i arwyddocau y *Prydnawn*. Y mae y Dr. O. Pughe hefyd yn rhoddi ystyrion ereill i'r gair, ond meddyliaf mai gwyrdroad o *Equites*, a achlysurodd hynny, ac nid estyniad o ystyr y cysefin, *Echwydd*.

Y mae amryw o wyron Cunedda yn enwog yn mhlith Saint Ynys Prydain; ond gan y perthyn eu hanes i ddiweddarach oes, gadawaf hwy i ymddangos yn eu priod leoedd.

### HILIOGAETH MACSEN WLEDIG.

Yn mhlith Saint Ynys Prydain, cawn enwau rhai o feibion Macsen Wledig, sef, OWAIN, PEBLIG, ac EDNYFED. Crybwyllir am Peblig yn Achau y Saint yn y modd canlynol:—

"Peblic Sant yn y Gaer yn Arfon ap Maxen Wledig Amherawdyr Rhufain ac Elen 'rch Eudaf ei fam."

Ac oddiwrth hyn ymddengys fod Eglwys Llanbeblig yn dwyn ei enw. Am y ddau arall, nid oes gennyf un awdurdod am eu cyfrif yn mhlith y Saint, heblaw yr hyn a geir yn y *Cambrian Biography*, ond y mae yn ddilys gennyf fod yr awdwr diwyd a gofalus, y DR. OWEN PUGHE, yn feddiannol ar dystiolaeth ddigonawl am eu rhoddi felly.

### OWAIN AP MACSEN WLEDIG.

Y mae yr awdwr clodfawr uchod yn dywedyd fod y blaenor hwn yn cael ei alw yn *Owain Finddu;* eithr nis gwn yn mha le y mae ei awdurdod am hyn, nag ychwaith am ei gyfrif yn Sant; y mae gair y Dr. yn ddigon i'n sicrhau fod y cyfryw awdurdod mewn hanfodiad; ond yr unig hysbysiad a allaf roddi perthynol iddo yw yr hyn a geir yn y Trioedd, lle y gwelir ef yn un o'r "*Tri unben Rhaith Ynys Prydain*," ac o'r "*Tri unben Digynnull;*" ac hefyd yn un o'r "*Tri Chynweisiad* gyda *Charadawc ap Brân*, a *Chawrdaf mab Caradawc Fraichfras*. [Gwel tu dal. 77.]

Ysgatfydd y gall ymddangos i lawer yn beth annhebygol, fod Owain ap Macsen Wledig yn feddiannol ar y fath alluogrwydd, tra yr oedd llywodraeth yr ynys yn nwylaw y Rhufeiniaid. Eithr dylid cofio, fod amryw ddygwyddiadau gwedi cymmeryd lle, y sawl a gyd-weithient i wanhau y lywodraeth honno i raddau pell; ac y mae yn ddilys i wrthryfeliad Macsen Wledig, a'i ymadawiad o Brydain, gyda'i fyddinoedd yn 383, wneuthur cyfnewidiad mawr yn nghyflwr y wlad; ac nid annhebygol, i

amryw o'r rhannau pellenig, osod i fynu lywodraeth annibynol, c wahanol bendefigion; ac o'r amser hwn allan, gallwn feddwl nad oedd awdurdod Rhufeinig, ond enw yn unig, oddieithr yn y dinasoedd mawr a'u cymmydogaethau. A hyn a gyfrifa am y modd y mynegir am awd dod neillduol amrywiol bennaethiaid Brytanaidd; ac os na cheir crybw iad am danynt yn yr hanesion Rhufeinig, yr achos yw nad oes ychydig ar glawr perthynol i'r ynys yn yr amseroedd hyn.

## BRYCHAN BRYCHEINIAWC.

Un o'r tylwythau y rhai oedddynt yn yr amseroedd hyn, sef o B.A. 4 450, yn noddi ac yn cynnal y ffydd Gristionogol, ydoedd eiddo BRYCE BRYCHEINIOG, brenin *Garthmadrin*, sef *Aberhonddu*, feddylir. Ei oedd MARCHELL, ferch TEWDRIG, brenin o'r ardal honno. Y mae y *British Museum*, ysgrif yn y iaith Lladin, yn cynnwys hanesiad o'r p naeth hwn, o'r hon y rhoddir rhan yn Hanes Swydd Frycheiniog, g THEOPHILUS JONES. Y mae, fel yr holl hanesion canol oesol o'r un fa yn dra chwedleuaidd: ond y mae yn debygol ei fod wedi ei sylfeini ddygwyddiadau gwirioneddol.

Yn ol yr hanesiad yma, Marchell a anfonwyd gan ei thad i'r Iwerdd er ogelyd haint dinystriol a oedd yn ei gwlad enedigol y pryd hwnnw; yno, hi a briododd AULACH,* mab CORINEOG, brenin yr Iwerddon, llys pa un yr oedd yn anneddu; yr hwn, yn ol Theophilus Jones, a oe o lwyth y Brigantwys, cangen o'r Brytaniaid, y rhai a ymsefydlasent y wlad honno. Gelwir ef hefyd *Carmac Mac Cairbre*. Ac ar ol dychwel gyda'i gwr iddei gwlad gysefin, ganed iddi y rhagddywededig BRYCHAN, hwn a etifeddodd frenhiniaeth y wlad, ac oddi wrtho y cafodd yr enw, tr ba un yr adnabyddir hi y dydd heddyw, sef BRECHEINIOG. Y ma PROFESSOR REES yn sylwi yn hydreiddiawl, mewn perthynas i'r amgyl iad yma, ac yn dangos ei fod yn arwyddocau amser o gyfnewidiad llywo aeth; sef bod y weithred hon o roddi ei enw ei hun i'r ardal ar ba u teyrnasai, yn datgan fod Brychan yn mwynhau awdurdod, nad oedd meddiant ei hynafiaid; a bod hyn yn atteb yn gywir i anianawd yr am hwnnw, a chyflwr y wlad, ar ol ymadawiad Macsen Wledig; pan w hawyd y lywodraeth Rufeinig, ac y cyfododd yr amrywiol bendefigio phen-teuluoedd Brytanaidd i awdurdod. Y mae y sylwad hyn hefyd gyfeiriedig i'r hyn a ddywedir am feibion Cunedda Wledig, yn rhoddi

* Y mae yr hen ysgrif Lladin, yn dywedyd fod Awlach yn gorwedd "o flaen d Eglwys *Llandepidauc*." "Ante ostium ecclesiæ Llandepidauc," Sef Llanspyddyd, m Theophilus Jones. Y mae carreg yn y fonwent o hendra cynoesawl, yr hon a fedd a osodwyd ar ei fedd.

henwau iddeu gwahanol ardaloedd, [tu dal. 154,] ac ysgatfydd i amryw amgylchiadau ereill o'r fath.*

Mewn perthynas i blant Brychan Brycheiniog, y mae [amrywiaeth yn hanfodi yn gystal am eu henwau a'u rhifedi. Dywedir mewn rhai hanesion fod gantho bedwar ar hugain o feibion, a phump ar hugain o ferched; ond ar ol cymharu amrywiol ysgrifau, y mae yn amlwg fod ei wyron yn gystal a'i blant yn gynnwysedig yn y cofrestr yma; yr hyn hefyd a gadarnheir gan y Triad.

"Tair Gwelygordd Santaidd Ynys Prydain," &c. [gwel tu dal. 75.] Trydydd ydoedd Brychan Brycheiniawg, a ddug ei blant a'i wyrion ar ddysg a bonedd, fel y gallent ddangos y ffydd yn Nghrist i Genedl y Cymry, lle ydd oeddynt yn ddiffydd."

Gan fod y teulu yma mor enwog yn mhlith y Cymry, megys cynhalwyr o'r ffydd Gristionogawl, dyledus yw rhoddi iddynt eu haddas sefyllfa yn hanes y genedl, megys buddiolwyr clodwiw. Mynegir fod iddo dair o wragedd, enwau pa rai oeddynt EURBRAWST, RHYBRAWST, a PHERESGRI, neu PHARWYSTRY.

MEIBION AC WYRON BRYCHAN BRYCHEINIOG.

1. CYNAWC, mab henaf Brychan. Lladdwyd ef gan y Saeson Paganaidd, ar fynydd a elwir y *Fan* yn mhlwyf Merthyr Cynog, yn Mrecheiniog. Yn Monedd y Saint crybwyllir am dano fal y canlyn :—

Kynawc ap Brychan, Merthyr, ac yn Merthyr Kynawc, ym Mrecheiniog, y mae'n gorwedd, a Banhadlwedd verch Banhadle o Fanhadla ym Mhowys, i vam."

Y mae amryw Eglwysi yn Nghymru yn dwyn ei enw.

2. CLEDWYN ; hwn oedd filwr, yn rhyw ystod o'i fywyd ; dywedir mai ei enw ef a roddwyd i *Langlydwyn.*

3. DINGAD ; Yr Eglwysi yn dwyn ei enw ydynt *Llandingad*, yn LLANYMDDYFRI ; a *Dingatstowe*, yn swydd Fynwy.

"Dingad, ap Brychan, yn Sant, yn Ngwent is Coed y mae yn gorwedd. Bonedd y Saint.'

4. ARTHEN ; Dywedir mai "yn Manaw y mae yn gorwedd."

* Y mae yn ddiamheuol mai ffugiadau ydynt amryw o'r cyffelyb enwau, wedi eu ffurfio oddiwrth hen enwau ardaloedd, megys *Camber* a *Locrinus*, oddiwrth *Cymru* a *Lloegr* ; ac y mae ynof weithiau dueddiant cryf i feddwl fod rhai enwau gwirioneddol wedi eu cymmeryd, oddiwrth yr ardaloedd, ac nid yr ardaloedd wedi eu henwi ar ol y dynion, yn yr un modd ag y gwelir yn yr enwau *Owain Cyfeiliog*, *Cynan Tindaethwy*, &c. Ond am yr uchod perthynol i Frychan a meibion Cunedda, y mae gormod o awdurdod o'i blaid i roddi lle i ni ei wadu

5. CYFLEFYR ; Mab Dingad, ac ŵyr Brychan, medd rhai ; merth ef mewn lle a elwid ar ol hynny *Merthyr Cyflefyr*. Ni wyd le y mae, eithr tebygol mai yn Ngheredigion.

6. RHAIN DREMRUDD ; Milwr oedd efe, ac hefyd Sant. Y mae angl deb yn yr hanesion am le ei gladdedigaeth ; Y mae THEOF JONES, yn meddwl mai yn Llandefaelog Fach, gerllaw Aberh y claddwyd ef, a mai ar ei feddrod ef yr oedd yr hen garreg ger yn y fynwent ; eithr nis gallaf weled dim yn yr ysgrif arni i s dodi hyn.

7. DYFNAN : Dywedir mai yn Llanddyfnan, yn Môn, y mae yn go

8. GERWYN ; Y mae twysged o ddyryswch yn ei hanes ef.

9. CADAWC ; "Yn Ffrainc y gorwedd," medd Bonedd y Saint. amryw Eglwysi yn dwyn enwau Cadawc neu Cattwg ; eithr sydd gyflwynedig i fab Brychan nis gwn, canys yr oedd Sant a nodedig o'r enw CATTWG AP GWYNLLIW,

10. MATHAYARN ; Neu Mathaern, "yn Ngheredigion y gorw Dywedir mai ei enw ef a roddwyd i Mathafarn, yn swydd Drefal

11. PASCEN ; Meddylia rhai mai ei garreg fedd ef ydyw yr un yn my *Tywyn*, â'r gair PASCENT arni ; am fod GWENDDYDD ei chw enwog yn y lle megys Santes.

12. NEFFEI, 13. PABIALI ; Y ddau yn anhysbys.

14. LLECHEU ; *Llanllecheu*, yn swydd Henffordd, medd rhai.

15. CYNBRYD ; Seiliodd Llanddulas, yn swydd Dinbych. Ladd gan y Saeson yn *Mwlch Cynbryd*.

16. CYNFRAN ; Seilydd *Llysfaen*, yn swydd Dinbych, lle yr Ffynnon a elwid *Ffynnon Cynfran*, i ba un y cyfrifid rhinw neillduol, trwy eiriolaeth y Sant, mewn amseroedd coelgrefydd

17. HYCHAN ; Wyr i Brychan, tebygol ; ceir ei enw yn *Llanhych* Nyffryn Clwyd.

18. DYFRIG ;—DUBRICIUS, Archesgob Llandaf ; un o ŵyron Br tebygol.

19. CYNIN ; Mab Tudwal Befr, ac ŵyr i Brychan, medd rhai. Ef Seilydd *Llangynin*, yn swydd Gaerfyrddin.

20. DOCFAN ; Lladdwyd ef gan y Saeson Paganaidd yn Merthyr D yn Nyfed, ond ni wyddys pa le y mae hynny, os nid Merthyr I

[gwel tu dal 166.] Ond y mae y gair merthyr yn gadael lle i feddwl, mai mab Brychan a roddes ei enw i'r man y mae *Llanrhaiadr yn Mochnant*, yn gyflwynedig iddo.

21. RHAWIN; 22, RHUN; y mae peth dyryswch perthynol iddeu hanes. Dywedir iddynt gael eu lladd ar bont *Penrhun*, yn Merthyr Tydfil, wrth ei hamddiffyn yn erbyn y Saeson.

23. CLEDAWC, neu CLYDOG, seilydd Eglwys *Clydog*, yn swydd Henffordd. Rhoddir hefyd enwau CAIAN a NEFYDD a dywedir mai mab i Rhun oedd yr olaf, ag iddo orthrechu ar y Saeson pan laddasant ei dad yn Merthyr Tydfil, a'u gyrru ar ffo.

MERCHED AC WYRESAU BRYCHAN BRYCHEINIOG.

1. GWLADUS; gwraig *Gwynllyw Filwr*, a mam i GATTWG; hon oedd wyres i Brychan, tebygol.

2. ARIANWEN; Gwraig IORWERTH HIRFLAWDD,* a mam Caenog Mawr.

3. TANGLWST, neu TANGWYSTL; Gwraig *Cyngen ap Cadell Deyrnllug*, a mam Brochwel Ysgythrog.

4. MECHELL; Gwraig *Cynyr Farfdrwch.*

5. NEFYN; Gwraig *Cyfarch Oer*, a mam *Urien Rheged*, wyres i Brychan, tebygol.

6. GWAWR; Gwraig *Elidr Lydanwyn*, a mam *Llywarch Hen*, wyres arall, tebygol.

7. GWRGON; Gwraig *Cadrod Calchfynydd.*

8. ELERI; Gwraig *Ceredig ap Cunedda Wledig*, a mamgu *Dewi.*

9. LLEIAN; Gwraig Gafran ap Aeddan Fradoc, wyres i Frychan, tebygol. Y mae MR. REES yn sylwi fod capel perthynol i Lanarthne, yn swydd Gaerfyrddin, yr hwn a elwir Capel *Llanlleian*, ac ysgatfydd ei fod yn dwyn enw y Santes hon.

10. NEFYDD; Gwraig Tudwal Befyr, "sydd Santes yn lle a elwir Llech Gelyddon yn Mhrydyn. [Yr Alban.]

11. RHIENGAR, neu RHEINGAR; mam *Cynidr*—wyres, tebygol.

12. GOLEUDDYDD, "sydd Santes yn Llanhesgin yn Ngwent."

* Meddyliaf fod yma gamysgrifiad, ni choeliaf fod yr enw IORWERTH yn hanfodi yn mhlith y Cymry mor gynnar a hyn.

13. Gwenddydd, "sydd Santes yn y lle a elwir Towyn yn Meirionydd. Ereill a'i geilw *Gwawrddydd*, gwraig i Gadell Deyrnlluc.

14. Tydie; Anhysbys ei helynt.

15. Elined; Dywedir iddi oddef merthyrdod gerllaw Aberhondd. Yr oedd yn y 6ed ganrif rian arall o'r enw Eluned.

16. Ceindrych; "Yn *Nghaer Godolawr.*" Ni adnabyddir y lle.

17. Gwen; Wyres, medd rhai, gwraig *Llyr Merini*, a mam Caradaw Fraichfras, gorwedda yn Nhalgarth, yn Mrecheiniog, lle y merthyrwyd hi gan y Saeson.

18. Cenedlon; "Yn mynydd Cymorth," gerllaw Cidweli, tebygo canys yn y Lladin ceir, "Keneython apud Kydwely in mont Kyfor."

19. Cymorth; "Yn Emlyn, a'i chwaer *Clydai* gyda hi;" ni enwi Clydai yn y cofrestr.

20. Dwynwen; Yn *Llanddwyn*, yn Môn. Y mae y Dr. O. Pughe y dywedyd ei bod yn yr oesoedd Pabaidd yn cael ei chyfrif yn nodd Cariadau; ac y mae yn ngwaith *Dafydd ap Gwilym* awdl iddi, ofyn ei chynnorthwy yn y swydd hynny.

21. Ceinwen;—*Llangeinwen*, a *Cherrig Ceinwen* yn Môn.

22. Tydfyl, neu *Tudfyl;* lladdwyd hi yn *Merthyr Tydfil*, gan Saeson a'r Gwyddyl Ffichti, yn nghyda ei thâd a'i brawd, Rh[illegible] Dremrudd, eithr Nefydd mab Rhun, yr hwn oedd lanc ieuanc, lwyddodd trwy gydweithiad ei gydwladwyr i yrru y gelynion ar ff[illegible] Y mae yn rhaid sylwi yma, mai nid canlynwyr Hengist a Horsa oe[illegible] y Saeson hyn, canys nid oedd y rhai hynny etto wedi tirio, ac nid esty[illegible] asant eu rhuthradau mor belled a Chymru, dros hir amser; eithr mae yn amlwg tai y Saeson hynny oeddynt, y rhai y crybwyl[illegible] Ammianus Marcellinus am danynt, yn y flwyddyn 364, ac a fyneg[illegible] eu bod gwedi ymuno a'r Pictiaid, &c. [Gwel tu dal. 121.] Ac [illegible] mae yn ddilys fod y ciwdodau hyn, yn parhau i flino y Brytaniaid y[illegible] hir gwedi hynny fel y gwelir ar ol hyn yn hanes Garmon.

Y mae yn ddyledus sylwi yma, fod gwahaniaeth rhwng achlysur ac arnodiad y merthyriadau uchod, a'r rhai a gyflawnwyd yn amser Diocletianus. Yn yr erlidigaeth hwnnw, gosodwyd y Cristianogion i farwolaeth gan y llywodraeth, trwy orchymmyn Ymherodrawl, o achos eu hegwyddorion crefyddol, ac am eu bod yn pallu aberthu i eilunod. Eithr y merthyron enwedig yn y Cofrestr uchod, a gollasant eu heinioes trwy gadruthriadau y llwythau Barbaraidd, y rhai er mwyn

ysglyfaeth, a ymosodent ar yr ardaloedd deheuol; a'r rhai gan eu bod o herwydd eu hanianawd anwar a bwystfilaidd, yn dueddol i greulonder ar bob achlysur, y mae yn ddiamheuol eu bod o achos eu Paganiaeth, yn dangos eu gelyniaeth tuag at y Cristianogion mewn modd neilltuol.

23. ENFAIL; "Santes yn Merthyr Enfail,"—gerllaw Caerfyrddin, meddylir.

24. HAWYSTL; "Santes yn *Nghaerhawystl,*"—anhyspys.

25. TYBIE; Merthyrwyd hi gan y Paganiaid yn *Llandybie*, yn swydd Gaerfyrddin

At y cofrestr hwn ychwanegir gan rai, amryw enwau ereill, y sawl, er na ellir eu cyfrif yn blant i Frychan, y mae yn debygol eu bod yn mhlith ei hiliogaeth. O'r cyfryw, y mae dau o wyrywaid, sef, GWYNAU a GWYNWS, gwelir enw yr olaf yn *Llanwnws*, yn Ngheredigion. Ac hefyd dwy Santes, sef, CALLWEN, a GWENFYL. Y mae *Capel Callwen*, yn Mrecheiniog, ac yr oedd *Capel Gwenfyl* yn Ngheredigion. Yr oedd hefyd wyres i Frychan, o'r enw *Ellyw* neu *Elyw*, y mae yr enw etto ar glawr yn eiddo *Llanelieu*, yn Mrecheiniog; ac hefyd yn *Llanelli*, yn ol tyb rhai.

Cyfrifir hefyd yn mhlith merched Brychan, un o'r enw CENEU, coffadwriaeth am ba un, sydd etto mewn hanfodiad yn enw *Llangeneu*, yn Mrecheiniog. Y mae chwedl monachaidd am dani, yr hon a fynega iddi, er mwyn myfyrdod crefyddol ymalltudio ei hun, a myned tu hwnt i Hafren, i le anial, sef, *Keynsham*, yn ngwlad yr Haf, meddylir, ond yr oedd y lle mor llawn o nadredd, na allai neb anneddu ynddo; eithr y Santes, trwy ei gweddiau a'u trodd oll yn gerrig. Ac er prawf o'r gwyrth, dangosir yn y wlad honno, amrywiol gerrig ar lun Seirff torchog; eithr enw celfyddawl y cyfryw fath, ydyw *Cornu Ammonis.* Oddiwrth yr hanesiad hyn casglir i Geneu orphen ei heinioes yn Llangeneu, ac y mae gyferbyn a'r Eglwys, ar yr ochr arall i'r afon, ffynon, a elwir *Ffynon Ceneu*, ac hefyd adfaelion hen gapel, eithr yn awr yn orchuddiedig gan syrthiant o'r ddaear. Cafwyd yma hen gloch llaw, o wneuthuriad tra neilltuol, gan ei bod yn bedair onglog, ac yn ffurfiedig o haiarn wedi ei orchuddio â hân o efydd melyn.

Yr uchod sydd dalfyriad o'r mynegiadau, perthynol i deulu Brychan.* Y mae yn dangos sefydliad cyffredinol Cristionogrwydd yn mhlith y Cymry, yn yr amseroedd hyn. Ac os oeddynt mewn rhai mannau yn "ddiffydd," fel y dywedir yn y Triad, etto gallwn feddwl, nad oedd un

* Y mae amryw o dylwythau y Deheubarth, yn olrhain eu hachau, at Brychan Brycheiniog.

gyfundraeth Baganaidd yn hanfodi yn y wlad, naill ai o eiddo y Rhuf-einiaid, nag ychwaith o eiddo y Derwyddon; er yn ddiau fod llawer o weddillion yr olaf yn parhau. Ond ysgatfydd mai un o'r achosion pennaf dywyllwch crefyddol oedd, cyflwr terfysglyd y wlad, trwy gadruthriadau estronawl; canys pan crybwyllir am ferthyriadau, cyfrifir eu cyflawniad yn gyffredinol i'r Saeson Paganaidd.

Ond heblaw y wybodaeth a geir am sefydliad amryw Eglwysi Cymry, mae y cofrestr uchod yn dangos un peth yn dra amlwg; a hynny y fod y Cymry ar y pryd hyn yn genedl ddigymmysc, a bod eu hiaith a defodau teulnaidd yn rhydd oddiwrth lygriad Rhufeinig; canys yn mhl yr holl enwau hyn, braidd y gwelwn un yn dwyn arnodiad o ddechreu Rhufeinig. Amryw o honynt ydynt Gymraeg eglur a dilwgr, megis *Gwawrddydd* a *Cheinddrych*, *&c.*, ac os ydoes un o hanniad estronol mae wedi goddef cymmaint o gyfnewidiad, trwy ei gymhwysiad at an y Gymraeg, fel na ellir mwyach, ganfod ynddo un arwydd o'i waedoliaeth estronaidd; yr hyn a ddengys yn amlwg oruchafiaeth y iaith Gymraeg yr oesoedd hynny, a threchedd greddfau y genedl.

## CADELL DEYRNLLUG.

Pencenedl Cristionogol arall o'r oes hon, sef o gylch ymadawiad Rhufeiniaid, oedd CADELL DEYRNLLUG. Yr hwn yn ol y Dr. O. Pugh oedd Dywysog ar ardal a elwid *Teyrn-llwg*, sef, *y Dyffryn Brenhinaw* y wlad rhwng yr Amwythig a Chaerlleon Gawr. Priododd GWAWRDDYDD merch Brychan Brycheiniog, ac y mae amryw o'i hiliogaeth yn gyfrifedi yn mhlith Seintiau ynys Prydain. Yr unig hanes a geir am dano, yw yr u yn llyfr *Nennius*, a'r hwn sydd mor chwedleuaidd, fel na ellir rhoddi u fath o dderbyniad iddo, oddieithr yn unig, megys cadarnhad o hanfodia y cyfryw ddyn; canys y mae yr Awdwr yn dywedyd, fod ei hiliogaeth y meddiannu gorseddfainc Powys hyd y pryd hwnnw, sef y flwyddyn 94 Sylwedd yr hyn a ddywedir gan Nennius, yw, i Garmon, [Germanus] pa ddaeth i Brydain i bregethu, fyned gydâ'i gyfeillion i ymweled â Breni drwg a gormesawl, o'r enw *Belinus*, [Beli, neu ynte ei dad Benlli Gaw yn ol tyb rhai,] yr hwn a ballodd ganiatad iddo ddyfod i mewn idd ddinas. Ond un o weision y Brenin a'u gwahoddodd iddei dŷ ei hu Eithr dygwyddodd nad oedd ganddo ddim anifeiliaid, ond yn unig buwc a llo. Ond efe a laddodd y llo, ac a'i triniodd, ac a'i gosododd ger e bron. A Garmon a orchymmynodd iddei gyfeillion beidio a thorri un o esgyrn; a'r boreu drannoeth gwelwyd y llo yn sefyll wrth ochr ei fam y gyfan ac yn holl iach. Ar ol hynny, Garmon a gynghorodd iddei letteu wr ogelyd myned i mewn i'r ddinas y nos ganlynol, ac felly efe â'i naw mab

a ddaethant allan at y Sant, ac a barhasant mewn ympryd a gweddi trwy'r nos; ac yn y nos, tân a ddisgynnodd o'r nef, ac a ysodd y ddinas. Yna wedi i'r gwr hwn arddel Cristionogaeth, Garmon a'i bedyddiodd ac a'i bendithiodd, gan ddywedyd y byddai efe yn frenin, a'i hiliogaeth yn frenhinoedd, a hwn oedd Cadell Deyrnllug. "*Ipse est Catel Drunluc.*"

Ysgatfydd y cyfarfyddaf ag anfoddlonrwydd, wrth ailadrodd y cyfryw chwedlau Monachaidd. Eithr pa beth a allaf ei wneuthur amgen?—Yn fynych dyma'r unig fath ddefnyddiau a roddir i ni, er ffurfio tyb am ddygwyddiadau cynoesawl: diamheu y gellid terfynu hanesiad yr amseroedd hyn, mewn byr eiriau, heb adrodd dim ond yr hyn a fernid yn gwbl gyson â gwirionedd, gan wrthod pob peth ffugiol, neu anhebygol, a myned heibio iddo yn ddisylw. Ond meddyliaf na fyddid yn hynny, ddim yn hollol gyflawni dyledswydd hanesydd; canys barnaf ei fod yn ofynol ar y cyfryw un, nid yn unig bigo allan bethau sylweddol, a'u gosod ger bron y darllenwyr, ond hefyd, ar brydiau, roddi iddynt olwg ar y twrryn sothach, allan o ba un y cymmerwyd y cyfryw bigion.

### CYSTENYN GORNEU.

Yr oedd yn yr oes hon, Bencenedl arall, o'r enw Cystenyn Gorneu, yn mhlith hiliogaeth ba un, y cyfrifir amryw, y sawl a osodir yn nghofres Seintiau cynoesawl Prydain. Am y gwr hwn ei hun, nid oes dim yn ychwaneg yn hysbys, na'i fod yn bendefig Cernywaidd, yr hyn ysgatfydd a arwyddoceir wrth ei at-enw *Corneu;* ond y mae amryw o'i hiliogaeth yn mhlith rhyfelwyr, a chrefyddwyr yr oesoedd canlynol, megys *Geraint ap Erbin*, ei ŵyr, a *Chybi*, ei orŵyr; am ba rai y crybwyllir yn eu priod leoedd. Y Cystenyn hwn a geir yn mhlith hiliogaeth Caradawc ap Brân, ond yr wyf yn gwbl addef y cymmwysdra o'i gyfrif ef ei hun yn bencenedl ar y gangen hon o'r llwyth, canys annichonadwy oedd, fod neb o'i hynafiaid yn meddiannu awdurdod annibynol, o herwydd hanfodiad y llywodraeth Rufeinig; eithr o gylch yr amser hwn, gwelir cyfnewidiad mawr yn nghyflwr y wlad. Yr wyf yn adgyfeirio at y cyfnewidiad hwn o bryd i bryd, canys y mae yn ddihebgor, cadw golwg parhaus arnaw, i'r dyben i ffurfio amgyffrediad cywir am sefyllfa y wlad a'r genedl yn gyffredinol.

### CYSTENYN LLYDAW.

Y gwr hwn a elwir hefyd Cystenyn Fendigaid, ac enwir ef yn mhlith noddwyr crefydd yn Mhrydain. Dywaid y Brut ei fod yn frawd i Aldwur ap Cynfawr, [*Aldroen,*] frenin Llydaw, ac iddo gael ei anfon i Brydain wrth gais Cynhelyn, [*Guitelinus,*] Archesgob Llundain, â byddin o wŷr, i gynnorthwyo y trigolion yn erbyn y Barbariaid, ac iddo

gael ei wneuthur yn frenin. A dywedir mai efe oedd tad EMRYS WLEDIG, ac UTHYR PENDRAGON, crybwyllir am dano yn y Trioedd fal y canlyn;—

"Tri Estron Deyrn Ynys Prydain:—Gwrddyled Gawr, a Morien Tarfawc, a Chystenyn Fendigaid." TR. 44.

Y mae amryw enwau ereill o Bennau Teuluoedd Cristionogol, yn hanfodedig yn y rhan olaf o'r amser hwn, sef o gylch ymadawiad y Rhufeiniaid, megys CADROD CALCHFYNYDD, a'r cyfryw,; ond gan y perthyn eu hanes yn fwy cymmwys i'r oes ganlynol, gadawaf hwy ar hyn o bryd, i fyned yn mlaen â helynt yr Eglwys, fel ag y ceir ef mewn hanesion tramorawl.

GAU-ATHRAWIAETH PELAGIUS.

Braidd y cafodd yr Eglwys anadlu ar ol ei brwydrau yn erbyn gau-athrawiaeth ARIUS, cyn y cyfododd un arall i fynu iddei blino, o'r un anian atgas a'i rhagflaenydd; canys tua dechreu y 5ed ganrif, sef o gylch y flwyddyn 405, y bu i PELAGIUS gyhoeddi ei ddaliadau i'r byd. Y gauathraw hwn oedd Fonach, a genedig o ynys Prydain; a rhai a haerant mai ei enw cysefin oedd MORGAN, ac nad yw *Pelagius* ddim amgen na chyfieithiad o hynny. Teithiodd i Rufain, ac yn mhen rhai blynyddau, dechreuodd gyhoeddi yr athrawiaeth, yr hon sydd yn myned dan ei enw, mewn cymdeithas â Gwyddyl, o'r enw CELESTIUS, â'r hwn y cyfarfu yno. Y mwyaf nodedig o ddaliadau Pelagius, oeddynt y canlynol, yn mha rai y gwadai *bechod gwreiddiol*, sef, nad yw pechod Adda ddim yn estyn at ei hiliogaeth; ond fod plant yn cael eu geni yn ddibechod, a'i fod yn ddichonadwy i ddynion gyrhaeddyd cyflwr o berffeithrwydd, a byw yn ddibechod; a hynny trwy eu galluoedd anianol yn unig, heb ras Duw. Ac hefyd nad yw angau ddim yn un o effeithiau cwymp Adda.

Rhai a dybiant mai oddiwrth y Derwyddon y cafodd Pelagius yr egwyddorion hyn; ac ereill a haerant mai o'r Dwyrain y daethant, a'u bod yn ganfodedig eisioes yn ysgrifeniadau *Origen;* yn gystal ag yn yr amrywiol wag ddychymmygiadau philosophaidd yr oesoedd hynny. Ond gan ys pa fodd y mae hyn, y mae yn eglur mai Pelagius oedd y cyntaf i wneuthur y cyfryw ddaliadau yn gyhoedd, a'u taenu ar led. Ac er mor anysgrythyrol y maent, cawsant y fath gymmeradwyaeth helaeth yn y byd, a bod yr Eglwys mewn perygl o lygriad cyffredinol o'u herwydd. Yn y cyfamser, AUGUSTINUS, yr hwn ar ol hynny oedd Esgob HIPPO, yn Affrica, a gyfodwyd iddeu gwrthwynebu, a thrwy ei ysgrifeniadau nerthol, llwyddodd i gyffroi'r Eglwys i deimladwriaeth o'i berygl,* ac felly ei chynhal-

* Y mae yn ddyledus beidio trawsosod enw y difinydd hwn, âg eiddo yr *Augustinus*, yr hwn a ddaeth i'r ynys hon, yn gennad oddiwrth y Pab, at y Saeson, yn y 6ed ganrif, a'r hwn a elwir yn gyffredinol *Awstin Fonach.*

wyr a ymdrechasant yn wrol o'i phlaid. Cynhaliwyd amryw Gynghorau cyffredinol o bryd i bryd, i'r dyben i wrthladd y drwg hwn; yn mha rai, er y collfarnwyd ei ddaliadau, etto Pelagius ei hun, yr hwn a ymddangosai o flaen y cyfryw Gynghorau, trwy ei attebion cyfrwys, a ddihangai yn ddigerydd. Ond o'r diwedd, daeth cynhalwyr yr athrawiaeth hon i fod mor fliuderus yn y wlad, ag y darfu i'r Ymherawdr HONORIUS, eu danfon oll i alltudiaeth, yn nghyd â'u blaenoriaid, Pelagius a Celestius: yr hyn a ddygwyddodd yn y flwyddyn 418, ac o'r amser hwnnw allan, ni wyddys ddim am helynt Pelagius: ond y mae yn amlwg fod ei ddaliadau yn llechu mewn amryw leoedd dros hir amser ar ol hynny. A dywedir iddynt gael eu trosglwyddo i Brydain, o gylch y flwyddyn 425, gan AGRICOLA, mab i'r Esgob SEVERIANUS, yr hwn yn debygol, a orfu ffoi o wlad Gâl, o achos gorchymmyn yr Ymherawdr Valentinianus. Ac ymddengys iddynt gael y fath lwyddiant yma, a bod i Eglwys Prydain, ganfod yr un fath anghenrheidrwydd i ymgyffroi iddeu gwrthladd, ac a deimlwyd o'r blaen ar y cyfandir.

## GARMON A BLEIDDIAN.

Ymddengys fod ymadawiad y Rhufeiniaid, yn nghyda rhuthradau y llwythau Barbaraidd, gwedi peri cymmaint o niweid i achos crefydd, a llëenyddiaeth, yn yr ynys hon, a'i bod y pryd hyn yn amddifad iawn o ddifinyddion a dysgedigion galluog, i wrthsefyll y llifeiriant o gyfeiliorni, yr hwn a ffrydiai dros y wlad. Ac felly Eglwys Prydain a anfonodd at Eglwys Gâl, am gynnorthwy. Ac yn gyttunol â'r cais, anfonwyd drwodd GERMANUS a LUPUS, y rhai a elwir yn y Gymraeg, GARMON a BLEIDDIAN, dau wr, y rhai, o ran eu dysc, eu doniau a'u duwioldeb, a gyfrifid yn gymmwysedig at yr achos. GARMON oedd Esgob *Altissiodorum*, [*Auxerre.*] Mab ydoedd i RHEDYW, neu RIDIGIUS, ac ewythr i EMYR LLYDAW, Brenin Llydaw; ac felly o waedoliaeth Cymraeg.

BLEIDDIAN, neu fel y gelwir ef yn y Brut Cymraeg BLEYD, [*Blaidd,*] a oedd Esgob *Tricasses*, [Troyes,] a chyn hynny, yn Fonach yn un o ynysoedd *Lerins*, gerllaw *Antibes*, ar oror ddeheuol Ffrainc. Ni wyddys a oedd o'r un gwaedoliaeth Cymraeg a Garmon, ond nid oes dim yn annichonadwy yn hynny, gan fod monachod yr oes honno, yn fynych yn mudo yn mhell oddiwrth eu gwledydd genedigol, er mwyn myfyriad llëenyddiol a dybenion swyddol ereill.

Y ddau gennad dysgedig yma, wedi tirio yn Mhrydain, yr hyn a wnaethant o gylch y flwyddyn 429, a ddechreuasant bregethu y gwirionedd, yn mhob ardal o'r wlad; yn y dinasoedd a'r pentrefydd; ac yn y mynyddau, a'r lleoedd neilltuedig; gan gael eu gwrandaw gydâ 'r parodrwydd mwyaf, gan dorfeydd lliosog o bob gradd. Ac wedi cyfarfod â'u

gwrthwynebwyr mewn cymmanfa gyhoeddus yn *Verulamium* [*St Alban's,*] hwy a'u gorthrechasant mewn dadleuaeth, ac a lwyr ddymchwelasant eu gau-athrawiaeth.

Tra'r ydoedd Garmon a'i gyfaill, ar ei gweinidogaeth, yn y modd hyn, yr oedd llu o Saeson, a Phictiaid Paganaidd, wedi ymosod ar y wlad, ac yn neshau tuag at y man, lle yr oeddynt yn aros. Ar y pryd hwn, yr oeddynt newydd gweini bedydd i dorf o'u canlynwyr, ac yn ymbarottoi i gadw y Pasc. A phan welsant eu gelynion yn rhuthro tuag attynt, Garmon a osododd ei hun i flaenori ei fyddin, yr hon a ffurfiwyd gan ei ddysgyblion, a hwynthwy yn anarfog, eithr yn llawn ffydd, ac megys etto yn wlybion gan ddwfr bedydd, a safasant yn ddifraw i dderbyn y rhyfelgyrch. Lle eu sefyllfa oedd ddyffryn, yn amgylchynol â mynyddoedd. A Garmon a roddasai orchymmyn iddynt ganlyn yr arwydd a roisai iddynt ar y pryd. A phan nesaodd y Barbariaid, yr holl dorf, gan ganlyn yr arwyddiad, a weiddiasant âg un llais *Alleluia*, dair gwaith. A'r llais gau adseinio yn y mynyddau cyfnesawl, a darawodd y fath fraw yn y gelynion, ac iddynt daflu ymaith eu harfau, a ffoi; ac amryw o honynt a drengasant yn yr afon, yr hon oedd o'u blaen, wrth geisio ei chroesi. Ac felly Garmon a'i gyfeillion, a ennillasant y fuddygoliaeth, heb dywallt dafn o waed, na tharaw ergyd. Y fuddygoliaeth hon, a elwir y *Fuddugoliaeth Hallelwiaidd*, "*Victoria Alleluiatica*,"* ac y mae Usher yn dywedyd iddi gymmeryd lle, yn *Maes Garmon*, gerllaw yr *Wyddgrug*, Swydd Fflint; ac mai yn yr afon *Alun*, yr oedd y dysgyblion wedi cael eu bedyddio.

Er attal camsyniad, y mae yn ddyledus sylwi yma, mai nid canlynwyr Hengist oeddynt y Saeson, y rhai a grybwyllir am danynt yn yr hanes uchod, eithr cynharach haid o'r un cwch, y rhai a oeddynt wedi ymuno â'r Pictiaid yn yr Alban; canys yr oedd y giwdawd hon wedi dechreu blino'r Brytaniaid yn agos i gan' mlynedd cyn dyfodiad Hengist, megys y tystiolaetha Ammianus Marcellinus. Ar ol gorphen eu cennadwriaeth yn y modd llwyddiannus uchod, Garmon yn nghydâ'i gyfaill a ddychwelodd i wlad Gâl, eithr ni bu yn hir yno, nes derbyn cais drachefn i ddyfod i Brydain, gan fod y Pelagiaid etto yn aflonyddu yr Eglwys. Ac felly, efe a ddychwelodd yno yn nghyda SEVERUS, Esgob *Treviri*, [*Triers,*] ac lwyddodd, nid yn unig i ddarostwng y gau-athrawiaeth, ond hefyd i beri alltudiad ei chynhalwyr, allan o'r ynys; yr hyn a wnaethpwyd trwy gydsyniad cyffredinol y wlad. "Omniumque sententiâ pravitatis auctores expulsi ab insula." Ac y mae yr awdwr yn ychwanegu, mai trwy iachac

* Yr hanes hyn a gymmerwyd allan o "Fywyd Garmon," Traethawd Lladin, gan CONSTANTIUS, o *Lugdunum*, [Lyons,] awdwr o'r 6ed ganrif, rhan o ba un a roddir gan USHER, yn ei lyfr godidog, ar hanes Eglwys Prydain.

ol o fab i bendefig, o'r enw ELAPHIUS, y gweithiodd argyhoeddiad ıws.

tra'r wyf yn addef gwirionedd hanes Garmon, o ran yr amgylch-ıwyaf pennodol, sef ei gennadwriaeth i'r ynys hon, a'r achos o etto, ni allaf lai na meithrin amheuaeth am rai pethau traethedig lid wyf yn cyfeirio at y gwyrthiau, gadawaf y rhai hynny yn ; adroddiadau monachaidd ereill, i farn y darllenydd; eithr cyfeir-ltudiaeth y gau athrawon o'r ynys, trwy gymundeb cyffredinol; allaf gredu fod yn Mhrydain y pryd hynny, nag awdurdod gwlad-Eglwysig, ddigon i allael cyflawni y cyfryw ddedfryd; a hynny o fod y Rhufeiniaid wedi ymadael o'r ynys; a'r wlad, megys y myn-isioes, gwedi eu rhannu rhwng amrywiol bennaethiaid annibynol. cywir y mynegiad, y mae yn dangos cynhaliad dysgybliaeth, a nodedig yn yr Eglwys y pryd hwnnw, sef, fod y cyfryw undeb, a gweithred, yn hanfodi mewn pethau ysprydol, tra yr oedd y fath a chynnwrf yn y sefydliadau gwladwriaethol.

ŗan ys pa beth a feddylir am hyn, y mae yn ddilys fod Garmon, l yn wasanaethgar iawn yn yr ynys, ac y mae amryw leoedd etto . tystiolaeth iddei ymdrechiadau, yn enwedig yr Eglwysi, y sawl a ei enw, megys *Llanarmon*, *St. Harmon*, *Capel Garmon Garmon*, &c.

e hefyd goffadwriaeth am ei gydweithiwr BLEIDDIAN, yn gadwed-ıw *Llanfleiddian*, yn Morganwg. Ac y mae y ddau yn goffedig ı Ffrainc, yn yr un modd, megys *St. Germain L'Auxerrois*, a *ıp*, &c.

hlith ei orchwylion ereill, pan yn Mhrydain, dywedir i Garmon Côr *Llancarfan*, a *Chaer Worgorn*, ond gan fod annghysondeb yn a draethir am hynny, ni farnaf yn addas i ychwanegu yma d yn unig gyfeirio at y cyfryw fynegiad.

sbysir yn mha iaith yr oedd Garmon yn cyfarch y Brytaniaid; mai Llydawiad oedd efe, y mae yn ddilys mai Cymraeg oedd ei edigol. A chan mai newydd fyned drwodd i Lydaw oedd y rn yr amser hwnnw, y mae yn amlwg, mai yr un ydoedd eu hiaith trigolion Cymru, ac nad oedd un cyfnewidiad cangenieithol etto mmeryd lle, i rwystro y naill bobl i ymddiddan â'r llall. Felly ıonni gydag hyfder, mai yn yr iaith Gymraeg yr oedd Garmon thu yn Mhrydain; ac y mae yn dra thebygol mai o herwydd ei ydd yn hyn, y dewiswyd ef i'r gwaith: ac ysgatfydd y gellid l yr un fath am Fleiddian hefyd.

ımesiad hwn am ddarostyngiad gau-athrawiaeth Pelagius, yw yr ıwn perthynol i'r Eglwys Frytanaidd, yn yr oes hon, sef o gylch

ymadawiad y Rhufeiniaid; ac felly taflwn gip olwg ar gyflwr Eglwysig yr Iwerddon, a Gogledd-dir yr Alban, yn yr amseroedd hyn.

## TROEDIGAETH Y GWYDDELOD.

Yr hysbysiad cynharaf a geir am un cennadwraeth i'r Iwerddon, ydyw yr un am anfoniad PALLADIUS, gan y Pab CELESTINUS, yn y flwyddyn 430. Eithr y mae yn amlwg, mai nid efe oedd y cennadwr cyntaf, gan fod amryw fynegiadau am hanfodiad Cristionogrwydd yn yr ynys honno, cyn ei amser ef. Ac y mae yn debygol mai i wrthladd gau-athrawiaeth Pelagius, yr anfonwyd ef, ac nid i bregethu i'r Paganiaid. Groegwr oedd *Palladius* o enedigaeth. Yr oedd yn wr dysgedig a duwiol, eithr ni lwyddodd yn ei weinidogaeth yn yr Iwerddon; ac ar ol sefydlu rhai Eglwysi, neu Fonachlogydd yno, ymadawodd a'r ynys, ac a aeth i'r Alban, lle y bu farw.

Canlynwyd ef yn yr Iwerddon, gan PATRICIUS, [*Padrig*,] o gylch y flwyddyn 432, yr hwn a gafodd lwyddiant mor nodedig, a'i fod yn cael ei gyfrif yn Apostol y Gwyddelod; ac weithiau crybwyllir am dano megys yr hwn i ba un y mae yr Iwerddon yn ddyledus am ei throedigaeth. Padrig oedd Gymro, naill ai o Gymru, neu Strathclyd. Mewn rhai hanesion, gelwir ef yn fab i MAWON, a honnir i fod yn flaenor ar Gôr Illtyd, yn Morganwg. Eithr hanesiad arall a'i geilw yn fab i NEMTHUR, fel y gwelir yn yr hen bennill Gwyddelaeg canlynol, yr hwn a roddaf yma, gan ei fod yn un o'r anghreifftiau henaf o'r iaith Wyddelaeg mewn hanfodiad, a rhai a haerant ei fod mor hened a'r 6ed ganrif.

"Genair Patraic i Nemthur
Asseadh adfet hi scelaibh
Macan se mbliadhan decc
An tan do breth fo dheraibh."

"Ganed Padrig i Nemthur, fel y traethir mewn hanesion. Llanc chwech blwyddyn a deg, pan ddygwyd ef dan gadwynau."

Ac y mae lle i feddwl mai yr olaf yw y cywiraf o'r ddau haeriad, canys y mae Nennius yn dywedyd iddo gymmeryd yr enw PATRICIUS, pan dderbyniodd urddau Eglwysig, canys cyn hynny, galwyd ef MAUN.* Ac ysgatfydd fod rhyw gamsyniad wedi cymmeryd lle rhwng ei enw hun ac enw ei dad, MAWON; ac hefyd yr enw a roddir iddo mewn hanes arall, sef PADRIG MAENWYN, o wlad Gwyr. Cymmerwyd ef yn garcharor gan y Gwyddelod pan yn llanc; ac ar ol dianc o gaethiwed, teithiodd i d Gâl, lle y bu yn ddysgybl i Garmon, ac ar ol hynny dychwelodd i'r Iwerddon

* "Quia Maun prius vocabatur."

nu gwybodaeth o'r Efengyl yn y wlad honno. Y mae hanes drig yn y iaith Lladin, yn hen ysgrif a elwir Llyfr Armagh, waith gryn faith, ac fel y barnir, yn cynnwys rhai pethau o Padrig ei hun; eithr nid oes dim ynddo, a dal ei adrodd yma.* neirif chwedlau coelgrefyddol, yn adroddedig am Badrig, a'i lau gwyrthiol, megys mai trwy ei offeryndod ef y dygwydd nad lredd, na chreaduriaid gwenwynig yn hanfodi yn yr Iwerddon. amryw leoedd yn dwyn ei enw, ac hen ofergoelion etto yn y.

eddyliant mai nid enw tâd Padrig yw *Nemthur*, eithr lle ei ac mai *Kilkpatrick* ydyw, gerllaw Dunbarton. Yr hyn sydd gu at y dyryswch, perthynol i hanes y gwr hwn.

Padrig allan, bu llwyddiant mawr i Gristionogrwydd yn yr lros rhai oesoedd. Ac yr oedd yr ynys honno, yn dra nodedig liaeth a duwiolder ei heglwyswyr. Ond bu adfeiliad mawr yn oesoedd canlynol. Eithr yr Eglwys Wyddelaeg a barhaodd annibynol, hyd oresgyniad y wlad gan y Saeson, yn amser il, pan y dygwyd hi dan awdurdod y Pab, ac i gymmundeb âg ufain.

## CRISTIONOGRWYDD YN YR ALBAN.

ı ddilys fod y rhan honno o'r Alban, ag oedd dan lywodraeth aid, wedi derbyn goleuni Cristionogrwydd yn gynnar iawn. yn amlwg hefyd, na chyfyngwyd ddim o rwysc yr Efengyl, gan Ymherodraeth Rufeinig; canys y mae TERTULLIANUS yn yr el y dangoswyd eisioes, [tu dal. 164,] yn mynegi fod y lleoedd , y rhai a oeddynt annghyrhaeddadwy i'r Rhufeiniaid wedi eu i GRIST. Ac y mae yn dra thebygol mai at ardaloedd anores- Alban, y mae yn cyfeirio yn y cyfryw haeriad; ac felly fod yr di cael derbyniad yno, hyd nod mor gynnar a'r ail ganrif, ac n gynharach.

r mudiad Palladius o'r Iwerddon i'r Alban, am yr hyn y cry- isioes: nid oes dim sylweddol yn fynegedig, perthynol i un eth, neu lafuriad Eglwysig yn y wlad olaf, hyd amser NIN- gob y CANDIDA CASA, [*Whithern*, yn Galloway,] yr hwn o yddyn 412, a effeithiodd droedigaeth y Pictiaid deheuol. Y Lladin canol-oesawl, o fywyd y gwr hwn; eithr nid oes ynddo

* cyfan o honaw wedi ei argraffu gan SIR W. BETHAM, yn nghyda chyfieithad

ond ychydig yn haeddiannol o ailadroddiad. Dywed mai Eglwys Whi hern, yr hon a adeiladwyd gan Ninianus, oedd y gyntaf yn Mhrydain, waith meini. Crybwylla hefyd am frenin yr ardal honno, o'r enw *Tudt vallus*, yr hwn gan ei fod yn enw Cymraeg, sef *Tudwallt*, a arwyddoc waedoliaeth Cymroaidd trigolion yr ardal honno. Mynegir hefyd fod y holl ynys y pryd hwnnw, yn ddarostyngedig i amrywiol frenhinoedd, yr hyn a ettyb yn gywir at gyflwr y wlad yn yr amseroedd hynny.

Yn y flwyddyn 565, daeth Eglwyswr o'r enw Columba, o'r Iwerddon i'r Alban, ac a lwyddodd i droi y Pictiaid gogleddol at Gristionogrwydd. Y gwr hwn a sefydlodd Gôr o Fonachod yn ynys *Iona*, ar oror orllewinol yr Alban, yr hon a elwir weithiau *Hy*, ac *I*, yr hwn air yn y Wyddelaeg a arwyddoca *Ynys;* ac oddiwrth y sefydliad hwn, galwyd yr ynys honno *Ikolmkill*, sef *Ynys Cell Columba*. Y monachod hyn a elwid *Culdeaid*, a dywedir eu bod yn bobl dra rhinweddol am eu duwioldeb, eu dysgeidiaeth, a'u llafur; a buont yn dra gwasanaethgar yn mhlith llwythau barbaraidd y gogledd, gan daenu llewyrch Cristionogrwydd yn eu plith, a'u dwyn i gyflwr o wareidd-dra. Yn y canol oesoedd cyfodwyd monachlog hardd yn Iona, adfaelion pa un sydd etto iddeu gweled.

O gylch y flwyddyn 580, yr oedd St. Kentigern, sef Cyndeyrn, yn enwog yn y lle, a elwir yn awr *Glasgow*; ac oddiwrth yr hyn a fynegir am dano, y mae yn ddiamheuol mai o genedl y Cymry yr oedd. Crybwyllir am dano drachefn yn ei briod le.

Y mae yn ddilys fod Eglwys yr Alban yn y cynoesoedd yn canlyn y un defodau ag Eglwys yr Iwerddon, a Deheudir Prydain, ac yn Eglwy wladol, annibynol; a bu iddi hefyd gyfarfod â'r un tynged a hwynthw canys yn rhwysg amser, dygpwyd hi dan awdurdod y Pab.

Oddiwrth yr hyn a ddeallwn am helynt trigolion yr Alban ar ymadaw y Rhufeiniaid, perthynol iddeu cyflwr crefyddol, ymddengys fod y eithau Rhufeinig wedi arddel Cristionogrwydd; ac hefyd fod yr Efen wedi cyrhaedd y llwythau annibynol; eithr i ba raddau ni wyddys. Ar *Scotiaid*, sef y Gwyddelod, nid oes hysbysiad, a oeddynt wedi derbyn rh wybodaeth o'r Efengyl cyn eu dyfodiad o'r Iwerddon, ai nad oeddy Ond, pa fodd bynag oedd hyn, y mae yn ddilys fod yn yr amseroedd yn ran o boblogaeth yr Alban yn Baganiaid hollawl, sef y llwythau Sacso aidd, y rhai oeddynt newydd ymsefydlu ar ororau dwyreiniol y wlad, rhai a grybwyllir am danynt, eu bod yn blino y trigolion deheuol ynys, yn nglŷn a'r Pictiaid, neu y Gwyddyl Ffichti, am ba rai y cr bwyllwyd eisioes. Ni wyddys pa bryd y gweithredwyd troedigaeth

* "Fuit in regioni eadem rex quidam [nam tota insula diversis regibus divisa subjacui Tuduvallus nomine, &c."

son hyn, ond y mae yn ddilys fod y cyfan o'r Alban yn arddel Cristionydd, *yn hir cyn y canol oesoedd.*

CYFLWR ANNIBYNAWL EGLWYS PRYDAIN.

mae yn hysbys i bawb a ydynt gynefin âg hanesyddiaeth, fod dadtaer wedi cymmeryd lle o bryd i'w gilydd, perthynol i annibyndod lwys Frytanaidd. Cynhalwyr y gyfundraeth Babaidd a haerant, lwys Prydain bob amser cyn y diwygiad yn ddarostyngedig i Esgob in; ac amddiffynwyr y daliadau Protestanaidd a wadant hynny, gan fod Eglwys Prydain yn hollol annibynol o un awdurdod pellenig, s dygpwyd hi dan reolaeth Rhufain yn amser Henri yr Ail. Barnaf laethiad diachos, a cholled amser, fyddai adrodd yma y cwbl o'r hyn ir ar bob tu i'r ddadl hon, ac felly ni wnaf ond yn unig gyfeirio at ddau o amgylchiadau, y rhai ydynt hollol ddigonol i sefydlu annid yr Eglwys Frytanaidd. Y cyntaf yw yr anghyttundeb a ymosodd rhwng y Cymry a'r Rhufeinwyr yn y 6ed a'r 7fed ganrif, nol i'r amser o gadw y Pasc, am yr hyn y crybwyllir yn ei briod le, bu ymryson llym rhwng y ddwy Eglwys o gylch y ddefod hon; ond ry a ballasant ag arddel awdurdod Rhufain yn y mesur lleiaf, yr hyn digon ynddo ei hun, i ddangos yn y modd amlycaf, nad oedd gan s Rhufain, un fath o lywodraeth ar y Cymry yn yr oes honno. Yn nesaf, y mae Beda yn dywedyd fod y Cymry a'r Gwyddelod y wnnw yn cyttuno mewn pethau Eglwysig, a bod y Cymry yn cyfrif d y Saeson, y rhai oeddynt dan Eglwys Rhufain, megys peth diwerth, ymgyfeillachent â hwy, mwy nag â Phaganiaid; a bod DAGANUS, o'r Iwerddon, nid yn unig yn pallu cyd-fwytta â'r Eglwyswyr aeg, ond *na wnai, hyd nod gymmeryd ei fwyd yn yr un lletty a !* *

ldyliaf nad oes achos yma i roddi dim yn ychwaneg, er profi cyfannibyniaeth Eglwys Prydain, yn yr amseroedd hyn. Y mae yn heu fod Ymherodron Rhufain yn yr arfer o orchymmyn amryw perthynol i drefniadau Eglwysig, ac y mae yn ddilys fod y Brytyn talu ufudd-dod i'r cyfryw, ond nid oes prawf fod Eglwys in erioed, yn y cynoesoedd, gwedi arddel awdurdod *Esgob Rhufain,* unrhyw beth, pa un ai athrawiaethol a'i defodol; eithr iddi ballu hau iddo, y mae y mynegiadau uchod yn profi yn amlwg. Ac y n ddyledus gofio, fod yr hanesion hynny, y sawl a grybwyllant am dod y Pab yn Mhrydain, wedi eu cyfansoddi gan aelodau o Eglwys

lam Daganus Episcopus ad nos veniens, non solum cibum nobiscum, sed nec in hospitio, quo vescebamur, sumere voluit."

Rhufain, a gan mwyaf yn ystod y canol-oesoedd, ac felly nad yw eu t
iolaeth hwy, o un gwerth, yn y dadleuaeth hwn; canys ar amryw acho
eu hamcan oedd sefydlu awdurdod Rhufain; a phan nad oedd y cy
wrthddrych ganddynt, etto yr oedd eu rhagfarn, yn wastad yn peri id
grybwyll am y Pab, megys yn mwynhau yr un lywodraeth yn y cyn
oedd, ac yr oedd yn y canol-oesoedd. Eithr pwy bynag a ystyria gyfo
a chynnydd y lywodraeth honno, a wel yr anghywirdeb o hyn.

Yn yr oesoedd cynharaf, nid oedd Esgob Rhufain yn mwynhau m
awdurdod na'r amrywiol Esgobion ereill, taenedig dros y byd. Ac a
arddeliad o Gristionogrwydd gan yr Ymherodron, pan ddechreuodd E
Rhufain, ennill helaethiad iddei lywodraeth, trwy offeryndod y wlad
aeth, yr oedd gallu y Rhufeiniaid yn Mhrydain, wedi adfeilio i'r fath rad
ag nas gwelaf pa fodd y gallesid cynnal un awdurdod estronawl yn yr y
Ac er y gallai THEODOSIUS ac ereill ddatgan erchiadau i orchymmyn c
ffurfiad Eglwysig, etto ar y pryd hynny yr oedd Prydain yn agos
rhydd oddiwrth lywodraeth Rhufain, ac ysgatfydd na chyrhaeddodd y
ryw erchiadau erioed at yr ynys. A phan y gwnaethpwyd Esgob Rhu
yn *Esgob Cyffredinol* gan yr Ymherawdwr IUSTINIANUS yn 533; yr o
Ynys Prydain nid yn unig yn gwbl rydd oddiwrth awdurdod Rhufain,
yn yr oes ganlynol, sef yn 603 yr oedd yr Esgobion Brytanaidd yn gw
wynebu Awstyn Fonach ac yn datgan eu annibyndod priodol. Ond
hyn oll, y mae yn rhaid cyfaddef fod amryw amgylchiadau yn adrodde
y rhai heb iawn ystyried, a'n tueddant i feddwl, fod y Pab yn meddia
awdurdod Eglwysig yma, yn yr amseroedd hynny; ac ni ddylid cel
cyfryw bethau, eithr yn hytrach eu mynegu yn amlwg, i'r dyben id
heglurhau.

Un peth yw y cydffurfiad a welir rhwng y ddwy Eglwys yn y cyn
oedd, mewn llygriadau athrawiaethol, yn gystal ag arferion ofergo
Ond y mae yn ddyledus sylwi fod hyn wedi cymmeryd lle, trwy gyfr
cydfasnach cyffredinol rhwng y ddwy wlad, â chyfeillgarwch llëenyd
ac nid trwy archiad awdurdodol; ac mewn rhai pethau deallwn fod Egl
Prydain wedi ymgadw oddiwrth y cyfryw lygriadau, dros hir amser a
eu bod gwedi eu mabwyso ar y cyfandir; yr hyn ni allasai fod, pe bu
dan yr un ddysgybliaeth.

Ond y mae un peth etto yn ol, iddei fynegi, yr hwn sydd yn dwyn gy
ef fwy o debygolrwydd o ufudd-dod Eglwysig na dim arall, a'r hwn a
golwg cyntaf, a brofai oruchafiaeth Rhufain; a hwnnw yw y parch a d
goswyd i lys Rhufain, gan bendefigion Cymru, yn yr oesoedd cynnar,
o ba un y dygaf yn mlaen, er anghraifft ymddygiad HYWEL DDA.
wedir i'r Tywysog hwn, pan yn ffurfio ei gyfundraeth ddeddfawl, yr h
elwir ar ei enw, fyned i Rufain yn nghydag amryw o bendefigion ac Esg

ion Cymru, yn y flwyddyn 914, [neu 426,] at y Pab ANASTATIUS, i'r dyben i ymgynghori yn nghylch addasrwydd y gwaith. Gellid feddwl oddiwrth hyn fod Hywel Dda yn addef ufudd-dod i'r Pab, pan yn cymmeryd y trafferth o fyned atto, yn y modd hyn i ymgynghori yn nghylch sylwedd ei gyfundraeth. Ond y mae yn rhaid cofio, mai Rhufain oedd prif sedd dysgeidiaeth ar y pryd hyn, a bod myfyrwyr yn cyrchu i Rufain i ymofyn am hyfforddiad llëenyddiol, yn yr un modd ag y mae arliwyddon a cherfwyr delwau, yn myned yno y dydd heddyw, i ymofyn am wybodaeth yn y celfyddydau hynny. Eithr nid yw yn anghenrheidiol fod y cyfryw fyfyrwyr cynoesawl yn arddel awdurdod Eglwys Rhufain, mwy na theithwyr y dydd heddyw, y sawl a ymwelant a'r ddinas honno. Ac mewn perthynas i Hywel Dda, y mae *Brut y Tywysogion*, gan GARADAWC o LANCARFAN, yn dywedyd, mai "i ymgynghori â doethion," yr aeth i Rufain, a "gwybod cyfreithiau gwledydd a dinasoedd ereill, a'r cyfreithiau a fuont gan Amherodron Rhufain yn ynys Prydain, yn amser eu hunbenaeth hwy,"—ac i wybod fod ei gyfreithiau ei hun "yn gydgerddedogion â chyfraith Duw, ac â chyfreithiau gwledydd a dinasoedd, tiroedd cred a Bedydd." Ond nid oes son am un ufudd-dod i'r Pab, na chaniatad, na braint ysgrif oddiwrtho, i weini y cyfryw gyfreithiau, ond yn y gwrthwyneb, ymddengys i Hywel Dda wedi'r cwbl, fabwyso hen gyfreithiau Cymru; canys dywed Caradawc, "A gwedi chwiliaw a gaffad o bob gwlad a dinas, y caed yn oreuon o'r cyfan cyfreithiau DYFNWAL MOELMUD." A phan ystyriom y gwyrthwynebiad a gafodd goruchafiaeth Rhufain, gan Eglwys Prydain yn y cynoesoedd, a'r anghyttundeb a barhaodd rhwng y ddwy Eglwys, hyd y canol-oesoedd, y mae yn amlwg nad er talu ufudd-dod crefyddol, yr aeth Hywel Dda i Rufain, ac nad oedd y Cymry yn arddel un awdurdod estronawl, ar y pryd hwnnw; ac y mae yn debygol na wnaethant felly megys Eglwys, ar un rhyw amser blaenorol.

## ATHRAWIAETH EGLWYS PRYDAIN.

Gan mai yn yr oes Apostolaidd y plannwyd yr Efengyl yn Mhrydain, y mae yn ddiau i'n hynafiaid fwynhau y fraint o dderbyn y gwirionedd, yn bur ac yn ddigymmysc, ond pa hyd y parhaodd felly, ni wyddys. Ymddengys yn amlwg fod gau-athrawiaethau, wedi ymwthio i mewn o bryd i'w gilydd, o amryw arnodiadau, megys eiddo Arius, a Phelagius; eithr y rhai hyn, a gawsant eu darostwng yn fuan, gan fod yn agos holl arfogaeth ysprydol yr ynys, yn nghydâ chynnorthwy y Cyfandir, wedi cyfodi yn eu herbyn. Ond ar yr un pryd, yr oedd llygriadau ereill yn llithro i mewn, yn ddistaw ac yn ddichellgar, y rhai, gan nad oeddynt yn gwneuthur un cyffroad cyhoeddus, nid oeddynt yn cyfarfod âg un gwrthwynebiad; ac

bob yn ychydig, daethant i fwynhau nawdd cyffredinol trwy y byd; a ddaethant o'r diwedd i ffurfio y cruglwyth hynny o gyfeiliornadau, y rh ydynt yn arnodi anianawd Eglwys Rhufain, ac yn rhoddi iddi yr enwad "*Fam—Ffieidd-dra y ddaear.*"

Y cyntaf o'r cyfeiliornadau hyn oedd yr arfer o *weddio dros y meir* Yr arferiad hwn oedd mewn hanfodiad yn yr Eglwys, yn gyffredinol, m gynnar a'r ail ganrif. Diamheu iddo gael ei ddechreuad mewn meithri iad o deimladau tirion tuag at gyfeillion trancedig. Ond tra yr oedd serch a'r teimladau yn dda, yr oedd gwybodaeth yn fethedig; ac o ach canlyn arweiniad tueddiadau, heb awdurdod ysgrythyrol, syrthiwyd i gy eiliorni; canys y mae yr ysgrythyr yn dywedyd y caiff pawb dderbyn y ol eu gweithredoedd. Eithr ni ddaeth y cyfeiliorni hyn wrtho ei hun, on canlynwyd ef gan liaws o rai ereill, lawer mwy dinystriol, canys bu y achlysur o ddychymmyg athrawiaeth y *Purdan*, a *gollyngiad allan o'* *Purdan*, a'r holl fyddin o'r unrhyw ddaliadau llygrawl. Ac felly trw golli golwg ar holl-ddigonoldeb aberth y Cyfryngwr, a'r gwirionedd maw fod Gwaed *Iesu Grist*, yn glanhau oddiwrth bob pechod, aethpwyd ddychymmyg moddion ereill er puro eneidiau, a'u haddasu i deyrnas ne oedd.

Heblaw y cyfeiliornadau hyn, daeth ereill yn gynnar iawn iddeu mab wyso gan y byd yn gyffredinol, megys ffydd ofergoelaidd mewn *creiriau* sef egyrn y seintiau, a gweddillion y dodrefnau a berthynent iddynt, ac y cofrestr hwn gallwn ychwanegu, yr arfer o weddio ar y seintiau meir ac ar angylion, a'u gwneuthur hwy yn gyfryngwyr, a rhoddi math addoliad iddynt.

Rhai gan wybod fod Eglwys Prydain yn annibynol o eiddo Rhufain ant mor belled a haeru ei bod yn rhydd oddiwrth y cyfeiliornadau h Ond camsyniad ydyw. Y mae yn dra thebygol fod Eglwys Prydain w cadw ei phurdeb cysefin yn hwy nag Eglwysi y Cyfandir, ac mewn pethau, wedi dianc yn hollol. Eithr am y daliadau uchod, y mae yn rh cyfaddef, eu bod yn hanfodi yn Mhrydain cyn ei hufudd-dod i Egl Rhufain, a rhai o honynt yn gynnar iawn. Am y tueddiad i ofergoela gellir ei ganfod yn amlwg yn ngwaith Gildas a Nennius, yn y dar hynny, y sawl a roddwyd eisioes yn yr hanes hwn. Ac y mae yr un p yn ymddangos yn ngwaith y Beirdd. Er anghraifft, gwelir yn ngw Taliesin, dueddiad at yr athrawiaeth o weddio dros y meirw, sef *Marwnad Owain ap Urien Rheged;—*

"Enaid Owain ap Urien
Gobwyllid ei Ren
Oi Raid
Reged Udd ai cudd Tromlas, &c."

"Enaid Owain ap Urien, ystyried ei Arglwydd ei angheu; Pendefig Rheged, y cuddir gan y dywarchen," &c.

Ac etto yn Englynion y beddau;—

"Pieu y bedd yn yr Allt draw?
Gelyn i lawer ei law,
Tarw trin.* trugaredd iddaw." *brwydr.

Gellir dywedyd mewn perthynas i hyn, nad ydyw yn cyfeirio at neb cyw ddaliadau Eglwysig, ond yn unig yn cynnwys traethiad o serchogrwydd, a dymuniad da tuag at y trancedig. Poed felly; etto, nid ydynt y cyfryw ymadroddion, yn gyson â chywir athrawiaeth, ond yn hytrach y maent yn rhy debyg i'r rhai a ydynt yn y dydd heddyw mor fynych yn ngenau aelodau Eglwys Rhufain, pan yn siarad am y meirw; ac hefyd, i'r hyn a welir ar hen gerrig beddau o'r canol-oesoedd, ar ol enw y claddedig, sef "*Hic jacet, &c.———cujus animæ propicietur Deus.*" h. y. "*Yma gorwedd, &c.———ar enaid pa un trugarhaed Duw.*"

Ceir hefyd yn ngwaith y Beirdd canol-oesawl, amrywiol dystiolaethau, eu bod yn arddel y daliadau perthynol i weddio ar y seintiau a cheisio eu heiriolaeth, yr hyn a arwyddoca fod y cyfryw gyfeiliorni wedi bod yn hir mewn hanfodiad, ac wedi ymwreiddio yn y wlad, a bod Eglwys Prydain yn gystal ag ereill, wedi ei dwyn o fewn i derfynau ysprydol y bwystfil Pabaidd, er nad oedd etto wedi derbyn ei iau, a'i lyfetheiriau llywodraethawl. Gwadiad o'r gwirionedd hyn, ni fyddai gall, nac yn cydfyned a chynraith godidog y Beirdd ei hunain, sef "*Y gwir yn erbyn y byd.*" Canys gwelir anghreifftiau o honaw yn rhy fynych iddei amheu, megys yn ngwaith GOLYDDAN, Bardd o'r 7fed ganrif;—

"Trwy eiriawl Dewi a seint Prydyn."

A'r un fath athrawiaeth, a geir yn mhlith Beirdd y canol-oesoedd, megys y gwelir yn ngwaith CYNDDELW, o gylch 1200;—

"Archaf danc cyn tranc trwy eiriolwdd Mair."

Ac hefyd yn ngwaith DAFYDD BENFRAS; yn yr un amser:—

"Gan eiriawl diwair Fair ferch Anna."

Ac amryw ereill o'r un anianawd.

Ond er fod anmhleidgarwch hanesyddiol yn ein rhwymo, i gydnabyddiad o hanfodiad y cyfeiliornadau hyn; etto y mae cyfiawnder yn peri i ni gyfaddef nad ydynt ddim mor aml yn ngwaith y Beirdd cynnaraf o'r canol-oesoedd, ag y maent yn amryw gyfansoddiadau diweddarach: canys y Beirdd hyn gan mwyaf, a gyfeiriant ei herfyniadau at DDUW, ac at yr ARGLWYDD IESU GRIST, heb son am gyfryngiad y seintiau. Ac hefyd y

mae yn addas sylwi, fod rhai pethau yn ymddangos yn ngwaith y Beirdd, ag ydynt yn anhawdd iddeu hamgyffred, neu iddeu cysoni ac arferion yr amseroedd. Un o'r cyfryw yw yr hyn a geir yn y gwaith a â dan yr enw MYRDDYN WYLLT, ac a elwir "*Cyfoesi Myrddyn a Gwenddydd ei Chwaer.*" Y cyfansoddiad hwn a roddir megys ymddiddan, rhwng y ddau uchod. Cynhwysa 141 o bennillion, ac ar eu diwedd, y mae GWENDDYDD yn dywedyd wrth Myrddyn ei brawd;—

"A'm gorchymynaf fy eiryoes frawd
Y Rheen ryw* goreu [*rhwyf.]
Kymer gymun kyn angheu."

Gorchymmynaf fy mhurlas frawd i'r Arglwydd, y pennaeth goreu. Cymmer y Cymmun cyn marw.

Ac ynteu a atteb;—

"Ny chymmeraf gymun
Gan ysgymun veneich
Ac eu tuygeu* ar eu clun [* togæ, Lladin.]
Am cymuno Duw e hun."

Ni chymmeraf gymmun, gan ysgymmun Fonachod, a'u llaes wisgoedd ar eu clun. A'm cymmuno Duw ei hun.

Y mae y meddylfryd hyn, a'r traethiad o honaw, mor anghyffredin, ag pe buasai lle, buaswn yn ei gyfeirio at amser y diwygiad, yn hytrach na'r canol-oesoedd. Ond y mae hendra y llyfr, a'r lawysgrif, sef, y Llyfr Coch o Hergest, yn gwahardd hynny. Ac felly nis gwn pa ddehongliad i roddi iddo. Un peth sydd fwy amlwg, nad yw y cyfansoddiad ddim mor hened ag amser Myrddin. Ond etto ymddengys yn dra henaidd, ac meddylir yr ysgrifenwyd ef tua'r flwyddyn 984. Ac y mae ynddo un ymadrodd ag sydd yn arnodi henafiaeth tra chyfrifol. Yn y traethawd Lladin o Fywyd St. Kentigern, [Cyndeyrn,] yr hwn a grynhowyd gan *Jocelin*, Monach o Fonachlog Furness, o gylch y Flwyddyn 1180,; dywedir fod yn llys REDERECH, [*Rhydderch*,] frenin Strathclyd, "ryw ynfyd o'r enw *Laloicen.*" *In curia ejus quidam homo fatuus vocabulo Laloicen.*" Ac y mae y *Scotichronicon* yn dywedyd mai Myrddyn Wyllt, oedd y "*Laloiken*" hwn. [Felly llythyrennir yr enw.]

Yn awr, gan nad oes y cyffelybrwydd lleiaf, rhwng yr enw hwn, ac enw "*Myrddyn Wyllt* neu *Myrddin ab Morfryn*," Pa fodd y gellir dywedyd mai yr un ydynt?—A chan fod hyn o amgylchiad, yn dwyn perthynas â gwir hanes Myrddyn; ac hefyd yn dangos hendra y cyfansoddiad uchod, meddyliaf na fydd allan o le, yma ddangos under yr enwau. Ac i'r dyben hyn, barnaf nad oes ychwaneg yn anghenrheidiol nag adrodd annerchiad Gwenddydd, yn nechreuad yr ymddiddaniad; canys dywaid wrth ei brawd yn y modd canlynol;—

"Cyfarchaf i'm *llallogan*
Merddyn y ohwedlau dysgogan."

Cyfarchaf i'm *brawd gefell* Myrddyn, y ohwedlau darogan,

Ac etto;—

"Cyfarchaf i'm llallogan Fyrddin
Gwr doeth darogenyd," &c.

Cyfarchaf i'm *brawd gefell*, Myrddin, Gwr doeth, Darogenydd." &c.

Yn awr, gan nad yw y gair *Laloicen*, neu *Lailoken*, yn dwyn un ystyr ynddo ei hun, y mae yn ddilys gennyf ei fod wedi ei gymmeryd oddiwrth y Cymraeg *Llallogan;* yr hwn a arwyddoca *gefell.* Ac felly meddyliaf y gwelaf yma gadarnhad o'r haeriad, am hendra yr englynion Cymraeg rhagenwedig: ond etto y mae rhywbeth yn ol heb ei eglurhau, sef, yr achos o'r digasedd hwn, yr hyn yr oedd awdwr y Cyfoesi, yn meithrin tuag at y Monachod, ac yn ei osod yn ngenau Myrddin. Yr unig sylwad a wnaf arnaw yr awrhon, yw, fod rhywbeth yn ymddygiad y Monachod y pryd hynny, nad oedd yn hollol gymmeradwy; ac hefyd gwelaf fod rhydd-did barn a thraethiad, yn hanfodi yn y wlad i raddau helaeth, onite ni fuasai ddichonadwy i neb ryw Fardd, ddatgan ei ddigllonedd yn y modd yma.

Y mae hefyd yn y canol-oesoedd, amgylchiad yn ymddangos, yr hwn a ddygir yn mlaen, gan rai, i brofi yr un fath rydd-did cydwybodol yn y wlad, a'r un fath annghyttundeb a'r Monachod; sef yr hyn a adroddir am y Bardd CYNDDELW, a Monachod Ystrad Marchell. Canys dywedir i'r rhai hyn anfon cennad atto i ddywedyd eu bod yn ei wrthod, ac na chafai ei gladdu o fewn iddeu Monachlog. Pa drosedd yr oedd y Bardd wedi ei gyflawni yn eu herbyn, ni fynegir; ond y mae yn amlwg nad oedd efe ddim yn ymofidio llawer o barthed eu penderfyniad; canys attebodd hwy mewn englyn gryn ysmala, yn dangos hunan ymddiffyniad, yn hytrach na galar am eu hanfoddloni.

## TREFN GWASANAETH EGLWYS PRYDAIN.

Gan mai yn yr oes Apostolaidd y plannwyd yr Efengyl yn Mhrydain, diau fod y *Liturgia*, neu y dull o weini y gwasanaeth Eglwysig,* yn gyd-

* Y gair *Liturgia*, sydd Roeg, sef *Leitowrgia*, ac yn deillio oddiwrth *leitos, cyhoedd*, ac *ergon, gweithred;* eithr rhai a feddyliant mai o *lite, gweddi*, y deillia y gyfran gyntaf, ond nid ydyw y tarddiad hwn yn cyttuno a'i ystyr cyffredinol. Gwelir y gair hwn yn aml yn y Testament Groeg, a chyfieithir ef weithiau *gweinidogaeth*, ac weithiau *gwasanaeth*, megys yn Luc, 1. 23. Phil. 2. 30. Heb. 9. 21, &c. Ond y mae yn awr er ys oesoedd, wedi cael ei neillduo i arwyddocau *trefn Gwasanaeth Eglwysig, yn yr addoliad cyhoeddus.*

unol a'r un a drefnwyd gan yr Apostolion eu hunain. Ond o herwyd eisau awdurdodau hanesyddiol yn yr oes honno, nid oes ond ychydig y gyhoeddus am y dull hwnnw. Eithr ysgatfydd y ceir y sylwadau canlynol, yn foddianawl i daflu rhyw ychydig oleuni arnaw; ac os nad ystyr hwy yn gwbl foddhaol, am danaf fy hun nid oes gennyf ddim i wneud on galaru am y diffyg, canys ni wn am un rhyw lwybr i ddyfod at gywirac barn o'i blegyd. A'r camrau trwy ba rai y ceisiwn nesau at y gwrthddrych ydynt fel y canlyn. Ac am hyfforddiad ar hyd ba rai, dymunwn ardde fy hun yn ddyledus i'r "*Origines Liturgicæ*," gan y PARCH. W. PALMER. Eithr yn bendifaddef i waith dysgedig, Y PARCH. J. BINGHAM, yr "*Origines Ecclesiasticæ*, yr hyn yw y drysorfa gyfoethog, at ba un y cyrchir gan bawb a geisiant gyflawn wybodaeth o amgylchiadau Eglwysig, yn yr oesoedd boreuol.

Yn y cynoesoedd yr oedd eisioes wahanol ddefodau yn hanfodi yn yr Eglwys. Ond ar ol cydmaru yr amrywiol arferion, gellir rhannu y byd Cristionogol yn bedair dosparth, ac arnodi y cyfrannau hyn dan eu gwahanol *Liturgiau*, neu ffurfiau gwasanaeth. Y rhai oeddynt fal y canlyn:—

1. *Liturgia*, neu drefn gwasanaeth yr *Eglwys Ddwyreiniol*, yr hon oedd mewn arferiad o'r afon Euphrates hyd y mor Canoldir

2. *Trefn Alexandria*, yr hon a hanfodai yn yr Aipht, Abyssinia, a'r ardaloedd cyfnesol.

3. *Y Drefn Rhufeinig*, yn arferedig yn yr Ital, Sicilia, a rhan o'r Affrica.

4. *Y Drefn Galicanaidd*, yn arferedig yn Nhir Gâl, a'r Yspaen.

Canfyddir nad ydyw ynys Prydain yn grybwylledig yn mhlith yr ardaloedd uchod; ond gan fod Prydain yn nghydâ Gâl, a'r Yspaen, yn yr un gyfran o'r Ymherodraeth Rufeinig, sef y *Præfectura Galliarum*, y mae yn dra thebygol fod trefn gwasanaeth Eglwys Prydain yn dwyn perthyn agos, i eiddo y gwledydd hynny, ac ysgatfydd mai yr un ydoedd.

Yr oedd y gwahanol drefnau hyn, yn amrywio oddiwrth eu gilydd mewn llawer o bethau, ac hefyd yr oedd amrywiaethau bychain, o fe i'r prif ganghenau uchod; ond ar yr un pryd, yr oedd cymmaint o gyf deb yn hanfodi, a'i wneud yn eglur eu bod oll wedi hannu o'r un gwrei yn, ac wedi eu sefydlu gan ddynion, y rhai a dderbyniasent eu haddysg yr un ysgol; ac felly y mae yn agos yn brofadwy fod rhai o'r defodau y yn arferedig yn yr eglwysi, y sawl oeddynt dan oruchwyliaeth yr Apostolion eu hunain. Mewn perthynas i'r awdurdodau at ba rai y cyfeirir yn traethiad yma, digon yw dywedyd eu bod yn agos oll mor hened a'r g ganrif, a rhai yn llawer henach; fel y dangosir.

dengys fod y gwasanaeth Eglwysig, yn ffurfiedig o ddwy gyfran, set *oliad cyffredinol* a'r *Cymmun*, y rhai a elwyd *Missa Catechum-* a *Missa Fidelium*. Yn ngweinyddiad y blaenaf, yr oedd can- awb fod yn gynrychiol, y Paganiaid yn gystal a'r Catechumeniaid, dan addysg a dysgybliaeth. Y rhan hon o'r gwasanaeth a gyn- iweddi, Darlleniad yr Ysgrythyrau, Caniad mawl, a Phregethu. rphen hyn anfonwyd ymaith y Paganiaid a'r Catechumeniaid, nad oeddynt mewn cymmundeb Eglwysig, ac yna elid at weiniad un, yr hwn a ffurfiai y rhan bwysfawrocaf o'r gwasanaeth oll, na y coffaid mewn modd pennodol, amgylchiadau dwysion pryn- ac y cyfeirid at fawrion ac anfeidrol ddirgeledigaethau'r Iawn. ir, *y Cymmun* oedd wasanaeth neilltuol y Credinwyr, a'r weini- pa un a ffurfiai mewn ystyr arbenig y *Liturgia*, neu y gwas- glwysig; ac y mae amlach grybwylliadau, a manylach gofion am g un rhan arall o'r addoliad.

gwasanaeth hwn, y defodau parotoawl at gysegriad yr elfenau, leniad rhannau o'r ysgrythyrau, cyfaddefiad pechodau, yn nghydâ yr hwn a offrymmid dros Frenhinoedd a phob gradd o ddynion. d goffadwriaeth am y meirw, y sawl oeddynt wedi marw yn y Mewn diweddarach amser, halogwyd y ddefod hon, trwy ychwan- ldiau dros y meirw; ond y mae yn ddilys nad oedd y drefn gynt- n unig, goffadwriaeth gyda diolchgarwch i Dduw, am y rhai a ym- yn yr Arglwydd, eu bod wedi gorphen eu gyrfa yn y ffydd. Ac yn ewn amseroedd o erlidigaeth, pan arferid pob moddion i droi y gion oddiwrth eu hegwyddorion, trwy eu hudo gan brofedigaeth- oenu trwy yr arteithiau mwyaf echryslon, ymddangosai achos da ys ddatgan ei diolchgarwch am yr aelodau hynny, y sawl a wyd i gyflawni eu rhwysg yn ddiymmod, ac heb wyro oddiwrth

perthynas i'r dull o gysegru yr elfenau, er fod llawer o bethau odedig o henafiaeth tra chyfrifol, etto o eisiau profion o'u sefydl- fig, nid addas rhoddi lle iddynt yma; eithr un peth sydd nodedig, droddiad o eiriau ein Harglwydd, y rhai a lefarodd ar yr achlysur r gyffredinol yn yr Eglwys ar gysegriad yr elfenau, ag nad oes lle ei fod wedi disgyn o amser yr Apostolion.

os yr un peth a ellir ei ddywedyd am rannau ereill o'r gwasanaeth y mae cyfeiriad at arferion, eithr ond ychydig o hyspysiad am y y geiriau a arferid. Ond etto y mae rhai pethau yn dwyn gyda r un fath brofion o hendra â'r uchod. Yn mhlith pa rai gallwn nodi "*Sursum corda*," a'r "*Tersanctus*." Yn y gyntaf, cawn fod iad, ar ol gorphen y gweddiau cyffredinol, a chyn myned yn mlaen

at y weithred o gysegriad yr elfenau, yn parotoi meddyliau y gynlleid tuag at ddyledus syniad ar y cyfryw achlysur difrifol, ac yn eu cyfarc gan ddywedyd "*Dyrchefwch eich calonnau,*" a hwynthwy a atteben *Yr ydym yn eu dyrchafael i'r Arglwydd,*" &c.*

Y gyfran arall, sef y *Tersanctus*, neu y *Trisagion*, ydoedd yr Emy Seraphaidd, yr hwn a geir yn Llyfr Esaia, lle y dywedir fod y Seraphiai yn llefain y naill wrth y llall, ac yn dywedyd, "*Sanct, Sanct, Sanc Arglwydd y lluoedd, yr holl ddaear sydd lawn o'i ogoniant ef.*" Y emyn hwn gydag ychydig o amrywiaethau, a ellir ei olrain hyd at yr a ganrif, ac a geir mor gyffredinol yn ngwasanaeth y Cymmun, ag y gell honni nad oedd un Eglwys gysefin yn mha un ni arferid ef, a thrwy hy cawn bob peth, oddieithr tystiolaeth brawfol, ei fod mewn arferiad gan y Apostolion, ac yn nghyda'r gyfran rhagflaenol, wedi ei dderbyn oddiwrth ynt hwy, ac wedi ei gadw mewn arferiad yn yr holl Eglwysi trwy y byd Ac oddieithr hyn nid oes un modd i gyfrif am ei gyffredinolrwydd.

Ond pwy bynag a ddymuna weled crynhoad o ddefodau y brif Eglwy ar yr achlysur hwn yn y dull cyflawnaf, yn mha un un y ceir ar glawr edryched yn *Ngweinidogaeth y Cymmun*, o eiddo Eglwys Loegr. A os cymmer y drafferth o gydmaru y gwasanaeth hwnnw a'r awdurdodau hynafieithol, caiff weled fod pob ymadrodd wedi ei ethol gyda manyl-rwydd tra nodedig, a'r cwbl yn cyttuno mewn modd neilltuol, â'r hyn a geir o eiddo y brif Eglwys yn ei chyflwr cyntefig.

Nid anhyspys i mi, y llefa rhai am ddefodau Eglwys Loegr mai oddi-wrth Eglwys Rhufain y caid, ac mai o herwydd serch at y gyfundraeth honno y cadwodd y Dywigwyr hwy yma. Ond meddyliaf mai nid y moddion mwyaf effeithiol i gyffroi parch a chariad, ydoedd difreinio, carcharu, a llosgi yn fyw. Ac os cadwodd y Dywigwyr un rhyw gyfran o wasanaeth Rhufain, y mae yn ddilys mai nid ei thirionder tuag attynt, a'u hennillodd at hynny, eithr yn hytrach arddelent y gwir pa le bynag caent, hyd nod yn mhlith eu gelynion digasog. A'r cyfryw oedd llywodraethwyr Rhufain i Ddywigwyr Eglwys Loegr. Ond wedi'r cw un peth sydd dra nodedig, sef mai nid oddiwrth Eglwys Rhufain y caf gwasanaeth y Cymmun o eiddo Eglwys Loegr, ac nid o blith ei defny iau y pigwyd ef allan, eithr yn hytrach oddiwrth drefnau *Antioc Cæsarea*, a *Constantinopolis*, fel ag yr hanfodent yn y prif oesoedd

Ac yn awr wedi dwyn ein tystiolaeth yn erbyn llygredigaethau Egl Rhufain, gadewch i ni gyfaddef y gwir, hyd nod tuag at y gyfundraeth rywiedig honno. Ac er mor isel y syrthiodd, etto yr oedd rhai pethau godidog yn perthyn iddi; ac hi a gyflawnodd rhai gorchwylion haeddiar

* "Sursum corda.——Habemus ad Dominum."

o ganmoliaeth. Hi a gadwodd yr Ysgrythyrau Sanctaidd yn ddilwgr. —Hi a gadwodd athrawiaeth y Drindod yn ei phurdeb.—Hi a gadwodd yr Urddas Eglwysig yn annhorredig.—Hi a wrthsafodd amryw au-athrawiaethau dinystriol.—Hi a gadwodd yn fyw lëenyddiaeth Eglwysig, rhag ei llwyr ddiffodd, gan y Barbariaid Gothaeg.—Mewn gair, y mae y byd dan amryw ddyledion i Eglwys Rhufain, ac er na's gall y datganiad o hyn, fod yn gwbl gymmeradwy, etto yn hyn megys yn mhob peth arall, ceisiaf gadw at y gynraith ardderchog, "*Y Gwir yn erbyn y byd.*" Ac er gwerthfawrocced y gorchwylion buddiol hyn, y rhai a gyflawnodd Eglwys Rhufain, etto, pan edrychwn ar y gyfundraeth hon, yn holl atgasrwydd ei llygredigaethau, meddyliaf y canfyddwn yno y fath wrthddrych hagr ag afluniaidd, ag y gallwn hyderu gyfaddef ein dyledion, heb ofn syrthio iddei maglau drachefn.

## PERORIAETH EGLWYSIG.

Y mae yn ddiamheuol, fod yr Apostolion yn canu mawl yn ol y dull Iuddewig; ond gan nad oes ond ychydig yn brofiadawl am hynny, ni thâl colli amser yma o'i blegid. Eithr yn yr oesoedd nesaf at yr Apostolion, ni a gawn fod pedwar dull o ganu mewn arferiad yn yr Eglwys. 1. Y dull lle y canai un yn unig, a'r lleill oll yn ddistaw. 2. Lle yr unai yr holl gynlleidfa. 3. Lle y rhannid y gynlleidfa yn ddau ddosparth, ac y canent y Salmau bob yn ail adnod, yn gyffelyb i'r ddefod a hanfoda yn yr Eglwysydd Cadeiriol, y dydd heddyw. Ac y mae rhai yn barnu mai hwn oedd y dull Iuddewig, ac mai dyma yr hyn a gyfeirir atto yn yr hyn a ddywedir am y Seraphiaid, eu bod yn llefain y naill at y llall; sef yn atteb eu gilydd. [Esaia, 6. 3.] 4. Lle y byddai un yn canu y rhan gyntaf o adnod, wrtho ei hun, a'r lleill oll yn uno yn y diweddiad; yr hyn a wneid yn y 135 Salm, lle yr unai y gynlleidfa yn y geiriau, "*O herwydd ei drugaredd sydd yn dragywydd.*" Heblaw y dulliau hyn, yr oedd un arall yn hanfodi, yr hwn oedd rhyw beth rhwng canu a darllain, ac a gedwir etto yn yr Eglwysydd Cadeiriol. Ac y mae yn rhaid cyfaddef, mai dull tra naturiol o ffurfio y llais, ydyw hwn; hawdd ac esmwyth i'r traethwr, pan fytho gantho lafaru yn hir ac yn uchel; ac hefyd nid anhyfryd i'r gwrandawyr. Ac fe glywir amryw yn tueddu yn fawr atto yn eu darlleniad, a'u areithiad, pan na feddyliant eu bod yn tynnu mor agos at hên ddefod Eglwysig.

Mewn perthynas i arferiad offerynau cerddoriaeth mewn addoliad, nid oes, ar a wn i, un hyspysiad henach na'r ail ganrif,; ond yr amser hwnnw y mae CLEMENS ALEXANDRINUS, yn dywedyd, " Er nad ydym mwyach yn addoli Duw â sain periannau rhyfelgar, megys yr udgorn, y tabwrdd,

a'r chwibanogl, ond gyda geiriau heddychol; dyma ein gorfoleddiad, ac o medrwch gydseinio â'ch lleisiau gyda'r delyn,* neu y cithara, ni haedd wch gerydd." Ac y mae EUSEBIUS, yn dywedyd am y Cristionogion, "e bod yn eu cyfarfodydd yn gwneud yn ol gorchymmyn y Salm. "Y gyntaf cyfaddefent eu pechodau i'r Arglwydd: ac yn ail, canent idd enw, nid yn unig â'r llais, ond hefyd âg offeryn degtant, ac ar y cithara. Ac y mae AUGUSTINUS, yn beio yn fawr yr arfer o ddawnsio ar y Sabbath ac yn hytrach yn canmol "canu Salmau gyda'r delyn a'r nabl." Y ma yn dra thebygol fod y Cristionogion wedi derbyn yr arferion hyn oddi wrth yr Iuddewon, ac na fu yr offer cerdd hyn erioed allan o'u plith, o' pryd yr aent i fynu i'r deml i addoli; a'r hyn a wnaent, tra parhaodd y adeiliad hwnnw.

## AMSER ADDOLIAD CYHOEDDUS.

Am y prydiau o ymgynnull mewn addoliad a gweini'r Cymmun, deall wn fod y prif Gristionogion, yn cynnal gwasanaeth Eglwysig yn fynych a thebygol, yn gweini y Cymmun ar bob cyfarfod cymmanfaol, ond yn enwedig ar y Sabbath; canys y mae JUSTIN MARTYR, yn dywedyd fod "ar y dydd a elwir *Dydd yr Haul*, [Dydd Sul,] gymmanfa o bawb a drigent mewn tref a gwlad, lle y darllenid yr ysgrythyrau, y traethid pregeth, yn nghyda Gweddiau, a'r Cymmun."

Ac yn awr, ysgatfydd y gellir oddiwrth y defnyddiau uchod, ffurfio rhyw dyb am y dull o addoli, yn yr oesoedd cyntefig; a chan y gwelwn fod y defodau Eglwysig mor debygol iddeu gilydd yn mhob gwlad, lle y mae coffhad am danynt, y mae yn ddilys nad oedd dim gwahaniaeth mawr rhwng Eglwys Prydain a'r Eglwysi ereill.

Ond er nad oes hyspysiad neilltuol am ddefodau yr oesoedd boreuol yn yr ynys hon, etto, y mae gennym dwysged o oleuni, perthynol i'r 5ed ganrif: canys cawn yma ysgrif yr hon a ddywedir ei bod o waith GERMANUS, [Garmon,] yn yr hon y mynegir yn gryn helaeth am ddefodau Eglwys tir Gâl, y sawl yn ol barn rhai, a drosglwyddwyd i'r ynys hon, gan y gwr hwnnw. Canys y mae USHER, gan ail-adrodd hên ysgrif, yn dywedyd i Garmon ddwyn i Brydain y drefn Gallicanaidd, "*Ordinem Cursus Gallorum.*" Eithr y mae rhai yn amheu, fod y geiriau yn cynnwys yr ystyr hwn. Ond bydded hyn fel y bytho, y mae yn ddilys nad oedd dim llawer o wahaniaeth rhwng defodau Eglwys Prydain ag eiddo Gâl, onite ni fuasid yn anfon am un o Esgobion y wlad honno yma, i gymmeryd arno wasanaeth mor bwysig a'r un a grybwyllwyd am dano. Ac felly y mae yn dra thebygol y bydd dysgrifiad o Drefn Gâl, yn y 5ed ganrif

* Lyra.

yn atteb o ran sylwedd i eiddo Prydain. Ac yn ol ysgrif Garmon, y canlynol oedd ei sylwedd:—

Dechreuid y gwasanaeth âg *Anthem;* yr hyn a ganlynid gan y *Gloria Patri;* ar ol hynny canid y *Trisagios*, a'r *Kyrie eleison*,* a *Chân Zacharias y Prophwyd;* ar ol hynny, darllenai yr Offeiriaid y *Collect.* Yna darllenid *llith allan o'r Hen Destament;* ac wedi hynny un allan o'r *Epistolau* yr hyn a ganlynid gan *Gân y Tri Llanc*, [y *Benedicite*,] a darlleniad yr *Efengyl.* Ac yna anfonid ymaith bawb, nad oedd mewn cymmundeb Eglwysig, ac elid at wasanaeth y *Cymmun.*

Ar ol archu distawrwydd, yr Offeiriad a ddechreuai gyda'r *Præfatio*, yr hwn oedd gyfarchiad perthynol i'r diwrnod. Yno ar ol gweddi, derbynid offrymau y bobl, tra'r oedd y côr yn canu *anthem.* Yn awr gosodid yr elfenau ar y bwrdd, wedi eu gorchuddio â llen. Ac ar ol amryw ddefodau megys y *coffadwriaethau* am y meirw, &c., aid yn mlaen at y gwasanaeth, yr hwn a enwyd eisioes, ei fod mor gyffredinol trwy holl Eglwysi y byd, sef y *Sursum corda*, a'r Emyn, *Tersanctus.* h. y. y gyfran yn dechreu gyda "*Dyrchefwch eich calonau*," a'r Emyn Seraphaidd yn dechreu "*Sanct, Sanct, Sanct, &c.* Ac ar ol cysegru yr elfenau gydag adroddiad o eiriau, a gweithred ein Hiachawdwr, ar yr un achlysur, a chyda gweddi, &c.; yr Offeiriad a fendithiai y bobl, a hwynthwy a attebent, *Amen.* Ac yno cyfrannid yr elfenau, ac ar ol Collect o ddiolchgarwch, terfynid y gwasanaeth.

Ac weithian, meddyliaf y gellir ffurfio tyb gryn gywir, am y dull o gyflawni y gwasanaeth Eglwysig, yn Mhrydain, yn yr amseroedd yma. Ac y mae yn ddilys gennyf fod amryw bethau wedi eu cadw yn Mhrydain, er amser yr Apostolion, yn gystal ag mewn gwledydd ereill. Pa faint o ddaliadau anysgrythyrol a oedd wedi ymwthio i mewn, nis gwn; ond y mae yn ddiau gennyf, nad oedd yr Eglwys y pryd hyn, yn hollol rydd oddiwrth goel-grefydd, ac yn mhlith y cyfryw, nid oes amheuaeth gennyf fod gweddiau dros y meirw yn arferedig.

## CYFIEITHAD YR YSGRYTHYRAU.

A ydoedd gan yr hên Frytaniaid, yr Ysgrythyrau yn eu hiaith eu hunain?—Dyma ofyniad a wneir yn fynych, eithr ni wn fod un atteb boddhaol yn cael ei roddi iddo. A chan nad oes un awdurdod uniongyrchol ar y testyn, y mae yn rhaid i ni ymfoddloni i ffurfio dychymmyg yn unig. A thuag at hyn, y cynnorthwyon goreu a wn am danynt, ydynt,

* Ymadrodd Groeg, sef "*Arglwydd trugarha.*" Ni farnaf yn anghenrheidiol golli amser, trwy eglurhau yr ymadroddion dieithr yma, canys gall pawb a ewyllysiant, ddyfod i ddealltwriaeth o'u hystyr, gydag ond ychydig ymdrech.

yr ychydig ymadroddion, y rhai a geir yn ngwaith y Tadau; ond ar yr un pryd, y mae yn rhaid cyfaddef, fod y rhai hyn mor laes a chyffredinol, ag na ellir eu honni megys haeriadau tystiolaethol; a dichon nad oedd Ynys Prydain o fewn iddeu cyfeiriad. Eithr bydded eu pwysfawrogrwydd a'u gwerth tystiolaethol fel y bytho, y canlynol ydynt y cyfryw haeriadau:—

EUSEBIUS, yn y 4edd ganrif, a ddywed fod yr Ysgrythyrau wedi eu cyfieithu i bob iaith, o eiddo y *Groegiaid* a'r *Barbariaid*, trwy y byd. A THEODORET, yn y 5ed ganrif, a ddywed fod yr Ysgrythyrau Sanctaidd, yn meddiant pob cenedl dan y nef, yn ei hiaith briodol: a "bod y llyfrau Hebraeg wedi eu cyfieithu, nid yn unig i'r *Groeg*, ond hefyd i'r *Lladin*, yr *Aphtaeg*, y *Persaeg*, yr *Indaeg*, *Armenaeg*, *Scythaeg* a'r *Sauromataeg:* ac, mewn gair, i'r holl ieithoedd arferedig gan yr holl genhedloedd," yn ei amser ef. Yn awr os derbynir yr haeriadau hyn mewn ystyr llythyrennol, y mae y ddadl wedi ei therfynu ar unwaith. Ond os dywedir mai dull cyffredinol o ymadroddi, a arferir gan yr ysgrifenwyr yma, ac mai at y cenhedloedd dwyreiniol y cyfeirient yn neilltuol, wele y ddadl etto yn yr un cyflwr ag yr oedd o'r blaen. Ac oddieithr cael allan rhyw awdurdod, amgen i'r hyn sydd ar glawr, y mae yn debygol mai yn y dull yma y parha. Canys nis gwn am ddim yn mhlith ein hysgrifenwyr cartrefol, i daflu un goleu ar yr achos. Y gweddillion henaf yn y iaith Gymraeg, ydynt rai darnau o waith y Beirdd; ac yn y rhai hyn ni allaf ganfod dim i ychwanegu at ein gwybodaeth yn hyn o beth; a'r hanesydd Brytanaidd henaf, ydyw Gildas. Y mae ef yn dra hyddysg yn yr Ysgrythyrau, ac yn ei hail-adrodd yn dra mynych; eithr dyledus cofio, mai yn y iaith Lladin, y mae yn ysgrifenu, ac mai o'r Bibl Lladin y mae efe yn cymmeryd ei ymadroddion. Ac felly gadawaf y ddadl lle y cefais, gan yn unig gynyg fy marn, ei fod yn ddichonadwy, ac hefyd nid yn annhebygol fod rhyw rannau o'r Ysgrythyrau yn gyfieithiedig yn y Gymraeg, at wasanaeth yr Eglwys, yn y cynoesoedd. Onite nis gwn pa fodd y gallasai Eglwys Prydain, gynnal y gwasanaeth cyffredinol, oddieithr ei bod yn fwy difreiniawg na'r Eglwysi ereill; canys dangoswyd eisioes fod darlleniad yr Ysgrythyrau, yn ffurfio rhan o'r addoliad cyhoeddus yn mhob Eglwys, am ba un y mae gennym hanesiad.

### Y MEUDWYAU A'R MONACHOD.

Y dynion hyn, oeddynt y rhai a ymneilltuent oddiwrth gyfeillach y byd, ac a gilient i leoedd anial, er mwynhau llonyddwch, i ganlyn eu hymarferiadau crefyddol. Yn yr oesoedd cynnaraf, byddai y cyfryw yn myned i ryw gwrr pellenig ac anial, ac yno arwain bywyd unigol ac helbulus, gan ymwrthod a holl foethusrwydd bywyd, a phwyso am gynhaliaeth ar yr

ffrwythau y ddaear a allent fwynhau, trwy lafur eu dwylaw eu
Ac yn ngwledydd poethion y dwyrain, yr oedd yn llawer haws
lawni, nag yn ardaloedd oer y gogledd, canys byddai ogof neu
raig, yn ddigon o letty; a'r ddaear trwy ei ffrwythlonder, a roddai
trwy ychydig lafur, i ddiwallu yr anghenion, y rhai a deimlent.
ai oesoedd, daeth yr arfer i amryw o ddynion crefyddol, gilio
i yn y modd yma, lle y ffurfient gynlleidfa, neu fath o Fonach-
hynhalient eu hunain trwy lafurio y ddaear: ac mewn rhwysg
eth y monachlogydd i fod yn ysgolion myfyrdod difinyddiol,
niad llëenyddiaeth yn gyffredinol.
dynt barod iawn i gollfarni yr holl sefydliadau a'r arferion hyn,
huddo o gael eu dechreuad mewn segurdod, a'u cynhaliad mewn
rioldeb a glythineb. Y mae yn wir, eu bod yn yr oesoedd di-
wedi syrthio i'r fath raddau o lygredigaeth, a'u bod yn gwbl
nol o'r cyhuddiad uchod; ond yn y dechreuad, nid oeddynt felly,
r oesoedd boreuaf o'u hanfodiad, erlidigaeth oedd un o'r achos-
af o'r ymgiliad hyn, canys pan oedd holl beiriant digllonaidd, a
ler Paganiaeth, yn anneledig yn erbyn y Cristionogion yn eu
ymgeledd cyntefig, nid rhyfedd eu bod yn ffoi i'r diffeithwch, er
llonyddwch a diogelwch.
ur arall o'r ymneilltuad hwn, ydoedd yr ymgais i ffoi oddiwrth
ethau a llygredd hanfodedig. A phan syniwn ar gyflwr moesawl
yr oesoedd hyn; y mae yn rhaid addef mai nid yn ddiachos y
yd y cyfryw arferiad. Canys yr oedd y byd yn gyffredinol yn
edd yma, wedi syrthio i'r fath ddyfnder o lygredigaeth, ag nad
fan o'r cyfansawdd cymdeithasawl, ond megys cronfa o bydr-
idd-dra; a'r Cristionogion hynny, y rhai a deimlent yn ddwfn
w achos, a ymdynnent oddiwrth yr amhurdeb yma, megys oddi-
in halogedig a heintus, a chilient i'r diffeithwch, i dreulio eu
mewn arferiadau crefyddol, yn mhell oddiwrth bob cyfeillach
. Ar y cyntaf, y monachod a arweinient fuchedd unigol, sef, fel
u; ond o gylch y 4edd ganrif, dechreuwyd ffurfio Monachlog-
yr ymgynnullai cynlleidfa o honynt yn nghyd. Ac yn Mhryd-
i fod y cyfryw ymgynnulliad, yn cael ei alw wrth yr enw, *Côr*,
] ac hefyd *Bangor*. Yr oedd dau o'r olaf yn Nghymru, sef,
yn Swydd Gaernarfon, a *Bangor Iscoed*. yn Swydd Fflint.
n enw yn yr Iwerddon, ac hefyd yn Llydaw.

## LLYWODRAETH EGLWYSIG.

iwn roddi dysgrifiad o drefn llywodraethawl Eglwys Prydain, yn
ld boreuaf, ni wnawn ond ymaflyd â dadleuaeth hollol anmherth-

ynol i'r gwaith mewn llaw; canys byddai yn rhaid i mi ymdrin â'r hen ymryson yn nghylch anianawd y lywodraeth Esgobaethawl yn y brif Eglwys. Ond gan mai o herwydd yr urddas yr hon a arddelaf, hawdd yw dychymmyg fy mhenderfyniad ar yr achos hyn, a chan, ysgatfydd na'm cyfrifid yn ddiduedd, ac nid ymfoddhaid i'm barn, ymattaliaf yn hyn o beth, trwy yn unig gynnyg yr ychydig sylwadau canlynol:—sef, os na chaniateir i mi dderbyn mynegiadau y Testament Newydd, perthynol i'r lywodraeth Eglwysig, yn yr ystyr yn mha un y deallir hwy gan Eglwys Loegr, y mae yn rhaid i mi addef, na fedraf roddi un ystyr iddynt. Ac os na chaf dderbyn hyspysiadau yr Haneswyr Eglwysig yn yr un modd, nid wyf alluog i roddi un ystyr pa bynag iddynt; gorphwysant yn hollol dywyll ac annealladwy i mi. Ac os ydoes neb rhyw chwiliedydd yn annghyttuno â mi yn hyn; cyn fy nghollfarni, edryched unwaith etto ar y tystiolaethau Ysgrythyrawl, a darllened unwaith etto yr hen Hanesyddion, gyda golwg at bwyso yn fanwl ac yn gyfiawn, eu tystiolaeth, ac os ar ol hynny, y parha yn yr un farn, cyfaddefaf fy mod gwedi ysgrifenu tudalen ofer, ac ymmyrid â thestyn rhy faith i mi.

Ond ar yr un pryd, y mae yn rhaid i mi yma fynegu fy nhyb, fod gwahaniaeth rhagosodedig, a rhagddangosedig, wedi cymmeryd lle yn nghyflwr llywodraethawl yr Eglwys, pan ddaeth y grefydd Gristionogawl i gael arddeliad, megys y grefydd sefydledig, gan Ymherodraeth Rhufain. Canys yno meddyliaf, y gwelaf gyflawniad o'r brophwydolaeth am yr Eglwys, y deuai brenhinoedd i fod yn Dadmaethod iddi. Ac y mae yn ddilys, fod rhaid i gyfnewidiad dirfawr gymmeryd lle, pan symmudwyd yr Eglwys ar unwaith o'i chyflwr erlidedig, iddei chyflwr breiniol, yr hyn a wnaethpwyd dan Cystenyn Fawr. A meddyliaf fod yn anghenrheidiol cadw mewn golwg y cyfnewidiad mawr yma, yn amgylchiadau gwladawl yr Eglwys, i'r dyben o iawn ddealliad o'i hamgenach ymagweddiad yn y 4edd ganrif; yr hyn yn ol fy marn i, a achlysurwyd trwy gyfnewidiad cyfansawdd, eithr trwy helaethiad breintiau.

## ADEILADOEDD EGLWYSIG.

Pa gyfnewidiad a wnaethpwyd yn nghyflwr llefydd addoliad yn amser Cystenyn, ni wyddys, ond y mae yn debygol, nad oeddynt yn gyffredinol ond gwael iawn dros amryw oesoedd; a dichon nad oedd Eglwysydd Cymry, ddim gwell nag eiddo rhai eu cymmydogion, y sawl oeddynt ffurfiedig o wiail. A hyn a gyttuna â'r mynegiad, perthynol i adeilad *Candida Casa*, gan Ninian, sef, mai yr Eglwys gyntaf yn Mhrydain a adeiladwyd o feini ydoedd. [Gwel tu dal. 202.]

Yr adeilad Eglwysig henaf a wyddys am dano yn yr ynys hon, y

Eglwys *Peranzabuloe*, [*St. Peran, in sabulo*,] yn Nghernyw, yr hon a feddylir ei bod dros fil o flynyddau o hendra, ac wedi bod dros lawer oesoedd, yn orchuddiedig gan dywod y môr: yr Eglwys hon, nid ydyw ond un fechan iawn, gan nad ydyw o fewn i'r muriau, ond 25 troedfedd, ger o gylch 12. Y mae allor o gerrig yn un pen, a meinciau cerrig ar hyd y muriau. Ac un peth sydd dra nodedig, nad oes ond un ffenestr iddi, a hono yn agos i'r allor, ac mor gul, ac mor uchel, ag na allasai fod o fawr fuddioldeb er rhoddi goleu, ac felly barnir fod y gwasanaeth yn cael ei weini wrth oleu canhwyllau.

Y St. Peran, yr hwn a ddywedir iddo sefydlu Eglwys yn y lle hwnnw, oedd Wyddel, ac y mae amryw o Wyddelod, yn enwog, yn mhlith Saint Cernyw, yn y cynoesoedd. Ac ychwanegaf at hyn, fod etto yn yr Iwerddon, rai hen Eglwysydd mewn cyflwr adfeiliedig, yn atteb yn agos at y desgrifiad uchod. Ond gan fod llawer o gyffelybiaeth rhwng arferion Eglwysig y ddwy ynys, y mae yn debygol fod Eglwysydd Cymru, yn yr oesoedd hynny, yn dwyn yr un arnodiadau, a'r rhai yma.

## GWEINIDOGAETH Y SEINTIAU PRYDEINIG

Un o'r gofyniadau y rhai a ymgynnygiant i ni, perthynol i hanes Eglwysig Prydain, ydyw, Pa fath drefn weinidogaethawl a gynhelid gan blant Brychan Brycheiniog, ac ereill yn yr oesoedd hynny; a pha ryw swyddau a gyflawnent? Ac wrth ystyried y cyfryw ofyniad, y mae yn rhaid cyfaddef, nad oes ond ychydig ar glawr i daflu goleuni ar hyn o beth, a'r ychydig hynny a geir, trwy gydmaru arferion Eglwysig gwledydd tramor, yn yr un amseroedd. Ac oddiwrth yr hyn a ddeallaf ar yr achos yma, barnaf ei fod yn dra thebygol fod rhai o feibion Brychan mewn urddau offeiriadol, ac yn gweini mewn cynlleidfaoedd yn yr Eglwys, yn ol defodau eu hoes. Meddyliaf hefyd fod rhai yn byw megys monachod, neu feudwyau, a chanddynt gelloedd, neu ryw Eglwysydd bychain, cyffelyb i'r un Gernywaidd uchod, yn mha un y cynhalient addoliad, megys dynion Lleyg, heb gyffwrdd a'r pethau a berthynent i'r offeiriadaeth. Ac o'r gradd hyn yn ddiamheuol, yr oedd y menywod, neu y seintesau, y rhai a grybwyllir am danynt. A barnaf hefyd, mai gorchwylion y cyfryw feudwyau, oedd parhau yn feunyddiol gerllaw eu celloedd, ac ar yr oriau gosodedig, adrodd y gweddiau gosodawl ddydd a nos, darllen, myfyrio, a chynghori, ac addysgu y bobl cymmydogaethawl. A phan gofiom yr aml wasanaethau gosodedig yn ystod y pedair awr ar hugain, yn y 4edd ganrif, a hynny bob dydd; y mae yn rhaid addef fod y cyfryw swyddau, yn gofyn am ddiwydrwydd, yn y man lleiaf, ac hefyd, meddyliaf, lawer o hunan-ymwadiad. Canys, yr oedd y gwasanaeth boreuol cyntaf, sef y *plygain*, mor gynnar a'i fod

yn gynnaledig cyn dydd. Ar ol hynny, yr oedd gwasanaeth ar y 3ed awr, a chanol ddydd, ac ar y 9fed awr. Ac yr oedd hefyd wasanaeth yn y hwyr-nos, pryd cysgu; heblaw gwiliadwriaethau y canol-nos. Yr oed hyn oll yn ddiau, mor belled a'r dull allanol, yn gydffurfiiad a'r gorch ymmyn i weddio yn *ddibaid*, ac i *wylied*. A'r cyfryw wasanaeth meddyl iaf, y cyhaliai blant Brychan Brycheiniog, yn eu celloedd a'u Heglwys ydd. Ac os yn yr oes hon o lawnder gwybodaeth, y perchenogwn gymmaint o olenni, a pheri i ni dybied ein bod yn canfod rhai pethau ofergoelus, yn mhlith yr hen bobl llafurus hyn; etto i gyd, attaliwn ein dirmyg, rhag ofn i ni gyflawni atgasach trosedd na hwynthwy. Yr oedd ynt hwy mewn llawer o bethau, yn dangos rhai rhinweddau Cristionogol yn mhell rhagorocach na'r hyn a welwn yn yr oesoedd presennol oddieith yn dra anaml. Yr oedd ganddynt *ffydd* mewn mesur helaeth, hunan ymwadiad, ac ymostyngiad i ddysgybliaeth, o'r fath mwyaf canmoladwy. Ac os mewn *gwybodaeth*, nid oedd eu goleu yn llosgi yn ddisglaer, etto cadwasant eu canhwyllbren heb ei symmud o'i lle, ac a'i trosglwyddiasant felly, i'r cenhedlaethau ar eu hôl. Am danaf fy hun, ni ddymunwn gel fod gennyf y parch difrifaf i goffadwriaeth yr hen dduwiolion hynny, rhai a elwir *Seintiau Ynys Prydain*.

Am y dosparthiad o'r wlad yn blwyfau, er fod amryw o'r rhai hyn y dwyn enwau yr hen Seintiau, etto y mae yn ymddangos fod y rhanniad hyn yn gyffredinol yn ddiweddarach na'r cynoesoedd, er y dichon fod rhai plwyfau yn cadw yn agos yr un cyffiniau a'r tiroedd, y rhai oeddynt dan olygiad Eglwysig y dynion hyn. Dywedir mai ystyr a tharddiad y gair *Plwyf*, yw y Lladin *plebs*, *gwerin*, gan fod y gair hwnnw mewn arferiad cyffredinol yn mhlith yr hanesyddwyr Eglwysig i arwyddocau y werin gynlleidfaol. Y mae yr un gair yn hanfodedig yn Llydaw, yn y dull *plou* [plw,] megys *Plougastel*, *Plouian*, *&c.*,—yn dangos fod y gair mewn arferiad yn mhlith y Cymry cyn rhanniad y ddwy genedl.

---

Ac yn awr wele ni wedi taflu drych dros helynt ein cenedl, yn eu cyflwr gwladol ac Eglwysig, trwy bedwar cant o flynyddau. Mewn perthynas iddeu tynged gwladol, yn ystod yr amser hwnnw, gwelwn fod dau ddigwyddiad wedi cymmeryd lle y rhai achlysurasant gyfnewidiadau mawrion yn amgylchiadau y bobl. Y digwyddiadau hynny oeddynt, *Dyfodiad* *Rhufeiniaid*, a'u *Hymadawiad*. Trwy y cyntaf, dygpwyd hwy dan lyw odraeth bellenig, yr hon, dan yr enw o'u gwareiddio, a'u dinerthodd g foethusdra, ac a'u hamddifadodd o'u grym milwraidd, trwy dynnu yma eu gwŷr arfog, fel nad oeddynt mwyach mewn cyflwr iddeu hamddiffyn hunain. A thrwy yr olaf, gadawyd hwy yn y cyflwr methedig a thruen

hwn, i syrthio yn ysglyfaeth iddeu gelynion Barbaraidd, y rhai a ymosodent ar eu gwlad. Hyn a wnaethpwyd yn y rhan fwyaf o'r ardaloedd breision hynny, y rhai a gynnygient yr hudoliaeth cadarnaf, i'r gormeswyr Rhufeinig, ddyfod i ymsefydlu ynddynt. Ond y mae yn achlysur o orfoledd genym allu coffa, fod yn yr ynys, gyfran o'r hen genedl gysefin, yr hon nid oedd wedi ei dirywio, trwy gyfeillach y giwdawd lygredig estronaidd, eithr yn hytrach wedi cadw ei hiaith a'i hyspryd dewr a gwladgar, i'r fath raddau, a'i bod yn barod i ymdrechu, hyd nod yn ei gwendid, yn erbyn ei gelynion, ac i arbed ei hanfodiad, ac hefyd ryw ran o'i thiroedd cysefin; ac i'r gyfran hon o'r genedl Frytanaidd, sef i lwyth y Cymry, y perthyn o hyn allan y rhan fwyaf cyfrifol o'r hanes hwn.

# DYFODIAD Y SAESON.

B. A. 449.

---

Oddiwrth y mynegiadau rhagflaenol, canfyddir fod yr awdurdod einig yn Mhrydain, yn dechreu adfeilio tua chanol y 4edd ganrif, c gylch yr amser hwn, cawn fod ymosodiadau y Barbariaid yn amlh byddinoedd Rhufeinig, yn analluog i ymddial am y sarhad. Ei ergyd mwyaf gwanhaol, a gafodd llywodraeth Rhufain yn yr yny ydoedd trwy ymdyniad o'r lluoedd, dan MACSEN WLEDIG, yn 383, ymddengys fod yr holl ynys, yn fuan ar ol hyn, wedi ei hymrannu i amrywiol flaenoriaid cartrefol. Yr oedd yr annibyniad hyn, gwedi reu yn gynnarach nag amser Macsen, eithr ni ddigwyddodd un am ad iddei gwblhau; ond o'r pryd hwnnw allan gellir dywedyd fod Prydain yn hollol golledig i lywodraeth Rhufain. Oblegyd er fod y einiaid, wrth gais rhai o'u deiliaid Brytanaidd, yn anfon ambell i filwyr drwodd, iddeu hamddiffyn, etto nid oedd y cyfan, ond d gwendid yr Ymherodraeth, yn nghyd âg analluogrwydd y Bryt Rhufeiniedig, i amddiffyn eu rhydd-did, a'u meddiannau: ac o'r di yn nghylch y flwyddyn 446, gorfu ar y byddinoedd hyn, ymdyn hollol o'r ynys, i amddiffyn y rhannau ereill o'r Ymherodraeth yn ne brif ddinas. Ac mor llwyr y bu yr ymadawiad hyn, a bod y Triad goffâu am dano, yn dywedyd, "nad arhoses yn yr ynys hon, namyn g edd a phlant bychain, y dan naw mlwydd oedran, a myned yn Gy wnaethant, y rhai hynny." Oddiwrth yr hyn ellir ei gasglu, allan o Gildas a Nennius, gallwn feddwl, fod yr ynys yn yr amseroedd hyn, cyflwr terfysglyd iawn, a hynny, nid yn unig o herwydd ymosodia Barbariaid, ond hefyd o achos yr ymrysonau cartrefol, a hanfodent i yr amrywiol flaenoriaid, y rhai oeddynt newydd gyfodi i awdurdod bynol.

Yn mhlith y teyrnedd hyn, neu y brenhinoedd, fel y gelwir hwy iau, yr oedd dau, y sawl a ragorent ar y lleill mewn cadernid ac awd a'r rhai hyn oeddynt GWRTHEYRN GWRTHENAU, ac EMRYS WLEDI cyntaf o ba rai y cyfrifir yn gyffredinol, y weithred ysgeler o achlysu ydliad yr estroniaid Sacsonaidd yn yr ynys hon. Eithr cyn myned rh i fynegiad o'r digwyddiad hwn, y mae yn ofynol chwilio pwy oedd bobl a grybwyllir am danynt, dan yr enw *Saeson*. Ac yn yr holiad cawn weled fod tri o lwythau yn gynnwysedig dan yr enw hwn, y r eu bod yn ddechreuol o'r un gwaedoliaeth, etto ffurfient wahanol de

inibynol. Y llwythau oeddynt y *Sacsoniaid*, y *Iutiaid*, a'r *Eingyl.*
if o'r llwythau hyn, a ymsefydlasant yn Neheudir yr Ynys, ac oddi-
hwy y rhodda'r Cymry, yr enw *Saeson* i'r drigolion Lloegr. Y
i ddaethant i gororau deheuol, o gylch yr un amser, ond a gollas-
enw, yn mhlith y Sacsoniaid. Yr Eingyl a ddaethant i'r tiroedd
l o Loegr, ac oddiwrthynt hwy y deillia enw Saesonaeg y deyrnas,
*and*, h. y. *Tir yr Eingyl.* Ond i'r dyben i ffurfio eglurach am-
o'r llwythau yma, ystyriwn hwy bob yn un, ar eu pennau eu

## Y SAESON.

ion o ran hanniad, oeddynt lwyth o'r bobl liosog hynny y sawl
oesoedd, megys heddyw hefyd, a feddiannent y gwledydd ar yr
w i'r afon Rhine, ac i'r sawl y rhoddir amryw enwau i arwyddocau
ddyn cenhedlaethol, megys *Gothiaid*, *Germaniaid*, a *Teut-*
Eithr y cyntaf yw y mwyaf cyffredinol, ac ysgatfydd yr addasaf,
hon i'r rhai ereill weithiau, gael eu cyfyngu at lwythau neu gang-
neilltuol, o'r un genedl.
legiad cynnaraf am y Saeson, y sawl a elwir gan y Rhufeinwyr,
*es*, ydyw yr un a gawn yn ngwaith Ptolemæus, trwy yr hwn y
eu bod cyn y flwyddyn 141, yn genedl fechan, yn meddiannu y
aber yr afon *Elbe*, yr hon wlad a elwir yn awr *Holstein*, ac a
an o deyrnas *Denmarc;* eithr mewn oesoedd canlynol, daethant
yfrifol ar y cyfandir, ac a gyfranasant eu henw, i gyngrair o lwyth-
ain ereill, yn yr ardaloedd cyfnesol, yr hwn a hanfoda hyd heddyw
r wlad, *Saxonia*; ond y mae yn addas syniaw nad oes gan drig-
wlad honno, fawr berthynas â'r bobl y rhai a oresgynasant Lloegr,
r yn yr enw yn unig.
iodiad cynnaraf a gawn o'r Saeson, yw eu bod yn fôr-ladron, ac yn
ardaloedd cymmydogaethawl, trwy ymosodiadau llyngesawl ar
gororau, er mwyn yspail. A darllenwn am haid o honynt yn y
n 364, wedi llwyddo i ymsefydlu yn yr Alban, lle yr ymgyngreir-
Barbariaid ereill i wneuthur cadruthriadau yn erbyn trigolion Rhuf-
yr ynys. Ac felly mae yn amlwg eu bod o gylch ymadawiad y
aid yn barod bob amser, naill ai i ymuno â'r Barbariaid er mwyn
neu ynte i ymgyflogi ymladd yn eu herbyn, er amddiffyniad i
e ymddengys mai yn y dull olaf, y daethant i ddeheudir Prydain.

## Y IUTIAID.

l hyn, y rhai a elwir *Iutæ*, a oeddynt o'r un waedoliaeth a'r rhag-
Eu gwlad a oedd yn cyffinio a'u heiddo, ar y tu gogleddol, ac a

ddwg hyd etto, yr enw *Jutland*. Y mae SHARON TURNER yn haei y bobl hyn, oeddynt ganlynwyr Hengist a Horsa, gan y dywedir ymsefydlu yn yr ynys Wyth, ac yr ardal Cent; lle y tiriasant y b oedd, y rhai a ddaethant drwodd dan dywysiad y blaenoriaid hynny

### YR EINGYL.

Yr Eingyl, neu fel y gelwir hwy mewn ysgrifiau Lladin, yr *A* oeddynt etto o'r un gwaedoliaeth, ac yn ol pob tebygolrwydd yn a yn ngogledd-dir gwlad Denmarc.

Yr holl lwythau hyn, oeddynt mewn cyflwr o Baganiaeth. Eu pennaf oeddynt *Woden*, *Thor*, a *Freya*, y rhai a roddant eu henwa Saesonaeg, i dri o ddyddiau yr wythnos. Yr oedd hefyd ganddynt ereill, megys *Hela*, *Niord*, *Balder*, &c. Ond yr oedd eu daliada yddol yn wael iawn, eu drych-feddyliau yn blentynaidd, a'u holl draeth, yn arwyddocau cyflwr cynneddfol isel. ac anwar. Y mae yn v oes dim ar glawr o'u heiddo, mor hened a'r 5ed ganrif; ond oddiw hyn a geir, yn eu traddodiadau diweddarach, dyna'r tyb a ddylid am danynt.

### YR ELLMYN.

Heblaw yr uchod, y mae yn debygol fod rhai lluoedd o lwytha o'r un genedl Gothaeg yn ymosod ar ynys Prydain, canys ceir yn n y Beirdd, y fath enwau ag *Ellmyn*, ac *Allmyn*; y sawl yn ddilys ynt o lwyth yr *Alemanni*, pobl Germanaidd, y rhai a roddasant *Almaen*, ac *Almagne*, &c., i'r wlad honno. Nid oes ond ychy hyspys am eu helynt yn Mhrydain, oddieithr y gwelir eu henw yn n y Beirdd, y rhesedig yn mhlith eiddo gelynion y Brytaniaid.

### Y FFRANCOD.

Y bobl hyn oeddynt o'r un hanniad Gothaeg, a'r rhagflaenol, a wylient yn Germania. O gylch dymchweliad yr Ymherodraeth Rh dechreuasant, yn nghyda'r llwythau Gothaeg ereill, i wneuthur y iadau ar y gwledydd cyfnesol; ac mewn rhwysg amser, llwyddiasant gyn rhan fawr o Wlad Gâl, a rhoisant eu henw eu hunain id *Ffrainc*. Ceir yr enw yn ngwaith LLYWARCH HEN ;—

"Pan wisgai CARANMAEL gadbais CYNDDYLAN,
A pheryrddiaw ei onnen,
Ni chafai *Franc* tanc o'i ben."

" Pan wisgai Caranmael luryg Cynddylan [ei dad,] a dyrchu ei waew-ffon o chafai *Franc*, air heddwch o'i enau,"

Ond dichon mai mewn modd cyffredinol yr arferwyd yr enwau olaf hyn, ar arwyddocau trigolion Gothaidd y Cyfandir, ac nid o herwydd fod llwythau neilltuol o honynt wedi tirio yn yr ynys.

### CYCHMYN.

Yn mhrydyddiaeth GOLYDDAN, gwelir amryw weithiau y gair *Cychmyn*, neu *Cechmyn*; megys,—

> "Pell bwynt Kychmyn i Wrtheyrn Gwynedd
> Ef gyrhaut Allmyn i alltudedd."

Ac,—

> "Pan fydd Kechmyn Daned* an teyrnedd."

*Ynys Thanet.

Ac etto,—

> "Namyn Kechmyn Cadwa'adr a'i gyfnewidwyr."

Yr ystyr cyffredinol a roddir i'r gair hwn, ydyw *cilwyr*, neu *lechwyr*; eithr y mae yn ddilys gennyf mai enw priodol ydyw, ac hefyd meddyliaf y gall gyfeirio at ryw lwyth yn gwasanaethu dan awdurdod y Brytaniaid; ac y mae ynof dueddiant cryf i gredu ei fod yn arwyddocau y *Chauci*, y rhai oeddynt, bobl yn trigo ar Aber yr afon *Weser*, ac yn cyffinio a'r Saxones. Eu gwlad a oresgynwyd gan y Frisiaid, ac yn awr, y mae rhan o honi yn meddiant yr Hollandwys; eithr helynt y *Cychmyn*, yn Mhrydain, nid yw hyspys i mi.

### IAITH Y SAESON.

Y mae yn ddilys fod yr holl lwythau hyn, oddieithr yr olaf, am yr hwn nid oes dim yn wybodus,* o'r un hanniad Gothaeg, a bod eu hiaith yn dwyn arnodiad o hynny, megys y mae y cwbl a gawn yn ngweddill o'r ieithoedd cysefin yn arwyddocau. Y mae yn ddiau fod yr holl lwythau hyn yn y cynoesoedd, yn anllythrenog, ac yn analluog i draddodi dim o'u hieithoedd, mewn modd profadwy, ac felly, ni ellir haeru dim personol iddynt yn awdurdodol, ond etto y mae gennym le i ffurfio barn lled boddhaol am eu hanian.

Y darn henaf o iaith y Saeson yn Mhrydain, yw y cyfansoddiad byr a geir yn ngwaith BEDA, a'r hwn nid oes amheuaeth ei fod mor hened a'r flwyddyn 735; rhoddir ef yma yn nghydâ chyfieithad Lladin.†

*Er dim a allaf gael allan, y mae iaith trigolion *Friesland*, y dydd heddyw, yn dwyn agosach berthynas a'r Saesonaeg, nag un iaith ar y Cyfandir, eithr pa faint o honi, a berthyn i'r Chauci, ni allaf ddychymmyg.

† Gwel Conybeare's Illustrations of Anglo-Saxon Poetry.

| | | | |
|---|---|---|---|
| " For (1) tham neodfere | "Ante necessarium exitum | 1 | before. |
| Nænig wirtheth | Nemo extat | | |
| Thonces snotra | Consilii prudentior | | |
| Thonne him (2) thearfe sy | Quam sibi opus sit | 2 | than him. |
| To (3) gehiggene, | Ad cogitandum, | 3 | to. |
| Ær (4) his heonan-gange, | Ante decessum suum, | 4 | e'er |
| Hwæt his gasta, (5) | Qualiter anima sua | 5 | what his ghost. |
| Godes (6) other (7) yrdes, | Pro bono aut malo, | 6 | good. 7 other. |
| Æfter deathe (8) heonan | Post mortis exitum | 8 | after death. |
| Demed (9) wurthe." | Judicanda sit." | 9 | deemed,—doomed. |

" Cyn ei angau, nid oes neb byw yn ddoethach mewn cyngor, nag sydd raid, i syniaw o flaen ei drancedigaeth, pa fodd y caiff ei enaid, o herwydd da neu ddrwg, ar ol ei angau, gael ei farnu."

Y mae Beda yn crybwyll am gyfansoddiad arall, o eiddo CÆDMON, monach o'r 7fed ganrif, eithr rhai a haerant nad ydyw yr hyn sydd yn awr ar glawr ddim yn henach nag amser y brenin Alfred. Poed hyn fel y bytho, dyma ddechreuad yr Awdl, neu yr Emyn, canys cyfansoddwyd ef yn gystal a'r rhagflaenol, ar ol troedigaeth y Saeson i Gristionogrwydd.

| | | | |
|---|---|---|---|
| " Nu we sceolon (1) heregeon | " Nunc debemus celebrare. | 1 | now we should. |
| Heofon-(2)rices weard (3) | Regni cœlestis custodem | 2 | heaven. 3 ward. |
| Metodes mihte, (4) | Creatoris potentiam, | 4 | might. |
| And (5) his mod-gethanc, | Et ejus consilium, | 5 | and. |
| Weorc (6) wulder Fæder.(7)" | Opus gloriosi Patris." | 6 | work. 7 Father. |

" Yn awr dylem foli Ceidwad teyrnas nef, cadernid y Creawdwr a'i gyngor, gweithred y Tâd gogoneddus."

Oddiwrth gydmaru y cysefin a'r cyfieithad, canfyddir fod amryw eiriau yn dwyn perthynas agos â Saesonaeg y dydd heddyw; ond y mae sylwedd y ddwy iaith mor wahanol, ag nad oes ond ychydig o gyffelybiaeth cyffredinol rhyngddynt. Ac nid ydynt y Saeson mwyach yn siarad iaith eu hynafiaid cyntefig.

Wrth syllu ar y llinellau hyn, gellir canfod cyflwr tra gwael o ran dawn ac ieithoedd; nid oes braidd un arnodiad o brydyddiaeth ynddynt, oddieithr rhyw fath o fesur byr yn nghyfresiad y geiriau; y mae yn ddilys fod llëenyddiaeth mewn cyflwr isel iawn, a phan ystyriom fod y bobl hyn weithian wedi mwynhau rhai oesoedd o oleuni Cristionogaeth, y mae yn amlwg eu bod ar eu dyfodiad cyntaf, mewn anwareidd-dra mawr o ran coeddiad cynneddfawl.

## HENGIST A HORSA.

Y ddau flaenor yma a gyfarfuasant â thynged tra nodedig, ennillasant iddynt eu hunain enwogrwydd, eithr nid hollol ddymunol; canys eu henwau a glywir yn fynychach yn mhlith hiliogaeth eu gelynion, yn gymmysgedig â melldithion a thraethiadau o warth, nag yn mhlith eu cenedl

hunain, gydâ pharch ac anrhydedd. Yn gyffredinol, canfyddir fod lfeinwyr teyrnasoedd, yn derbyn anrhydedd oddiwrth eu cenedl, ac, uchaf, dyrchefir hwy megys gwronion, ac adroddir eu gorchwylion wrwych, gydâg ymfalchïad a theimlad o ddiolchgarwch; ond am ENGIST a HORSA, er mai hwynthwy a ddangosasant y ffordd i'r dyfodedign cyntaf o'u cenedl i oruchafiaeth Prydeinig, etto meddyliaf, oni buasai i'r ymry gadw côf am danynt, megys bradwyr ac yspeilwyr, braidd y buasai ymmaint ag hyd nod eu henwau, yn adnabyddus iddeu cenedl y dydd eddyw. Ysgatfydd fod hyn oll yn gyfrifadwy i'r bychandra o ddawn wenyddol, a hanfodai yn wastadol yn y genedl Saxonaidd. Ac yn hyn y mae gwahaniaeth nodedig rhyngddynt a'r Cymry; canys tra cafodd y brenin ARTHUR, a'i gydryfelwyr Cymreig, y fath ddyrchafiad yn mhlith y cenhedloedd, a bod eu henwogrwydd wedi ymdaenu dros yr holl fyd gwareiddig, a hwynthwy yn cael eu hanrhydeddu, megys y cynlluniau ardderchocaf o ddewrder a gwrolder, yr oedd sylfeinwyr y genedl Saesonaeg yn cael eu gadael i syrthio i anghof, hyd nod yn mhlith eppil eu canlynwyr eu hunain.

Yn ol hanes Nennius, *Hengist a Horsa*, neu fel y geilw ef hwy *Hors et Henegistus*, oeddynt ddau frawd, meibion i Guictglis, mab Guitga, m. Guichta, m. Vuoden, m. Frealof, m. Fredulf, m. Finn, m. Foleguaid, m. Geta, yr hwn a haerid ei fod yn fab i un o'u duwiau. Ond y mae yn debygol gennyf, fod yr achau hyn oll yn ffugiol, ac wedi eu ffurfio ar ol sefydliad y Saeson yn Mhrydain, canys cyn hynny ni feddianent lythrenau, ac nid oes awdurdod, eu bod yn cadw un fath o goffadwriaeth traddodawl am y cyfryw bethau; ac y mae yr enw *Geta*, yn dwyn yr un perthynas i'r *Gothiaid*, ag y mae *Francus*, i'r *Ffrancod; Alemanus*, i'r *Almaeniaid*, &c.; oll yn ffugiadau i atteb y sain.

Ymddangosiad cyntaf Hengist a Horsa, yn Mhrydain, yn ol Nennius, Gildas, a'r Brut, oedd fel y canlyn:—"Tra yr ydoedd Gwrtheyrn Gwrtheneu, yn teyrnasu yn Mhrydain, y trigolion a oeddynt dan ofn o'r Scottiaid, r Pictiaid, ac hefyd o'r Rhufeiniaid, yn gystal ag Emrys Wledig,"* yr wn yn nghyd a'i frawd, Uthyr Pendragon, a oedd wedi ffoi i Lydaw, at y Brenin *Budec*.

"Yn y cyfamser, tair llong, wedi eu halltudio o Germania, a ddaethant

* "Et a Romanico impetu, nec et a timere Ambrosii." Er ei fod yn amlwg fod rhan fawr o'r hyn a geir yn y Brut, yn chwedleuaidd, yn hyn megys pethau ereill, etto y mae y gwaith hwnnw yn angheurheidiol er deall hanes Nennius; canys oddieithr trwy ei gymmorth, ni ellir canfod ystyr yr ymadrodd, yn nghylch y Brytaniaid yn ofni Emrys Wledig; ond pan ddarllenom yn y Brut, am y gelyniaeth rhyngddo a Gwrtheyrn, y mae y cwbl yn eglur, a phan ddeallwn ei fod wedi ffoi i Lydaw, a bod rhai o'r byddinoedd Rhufeinig etto yn nhir Gâl, canfyddwn yr ofn a feithriniai Gwrtheyrn rhag i rai o honynt ddychwelyd gydag Emrys iddei gynnorthwyo.

i Brydain, yn mha rai y blaenorent Horsa a Hengist."——"Gwrtheyrn a' derbyniodd yn addfwyn, ac a roddes iddynt yr ynys a elwir yn eu hiait hwy *Tenet*, [*Thaned*,]* ac yn y Brytanaeg, *Roihin*.——" Y Saeson dderbynwyd gan Gwrtheyrn, yn y flwyddyn 447." †

Eithr cyn myned rhagom, y mae yn ofynol rhoddi ychydig o hyspys-iadau perthynol i'r pennadur hwn, i'r hwn y cyfrifir y weithred ysgeler, o ddwyn y cyfryw giwdawd estronaidd i'r ynys.

GWRTHEYRN GWRTHENEU.

Yn mhlith yr amrywiol deyrnedd, y rhai a gyfodasant ar ymadawiad y Rhufeiniaid, y mae un yn ymddangos megys yn blaenori ar y lleill, o ran helaethrwydd ei awdurdod, a hwnnw yw GWRTHEYRN GWRTHENEU, neu fel y gelwir ef yn Lladin Gruffydd ab Arthur, VORTEGIRNUS, ac gan Nen-nius, *Guorthegirn filius Guortheneu*. Y Pennadur hwn a oedd yn teyrnasu ar yr ardaloedd deheuol o'r ynys, yn pwysaw ar Fôr Tawch. Nennius a draetha ei achau fel y canlyn;—Guorthegirn ap Guortheneu, ap Guitaul, ap Guitolion, ap Glouida, ap Paulmerion; yr hwn Glouida, a adeiladodd y ddinas, a elwir *Caerloiw*.‡ Gruffydd ap Arthur a'i geilw, *Consul Gewisseorum*, [pobl Wessex medd rhai,] yr hyn yn y Brut Cym-raeg a gyfieithir *Tywysawc Ergyng ac Euas*. Os cywir yr olaf, nid annhebygol, mai *Glewysig*, oedd y gair cysefin, sef ardal yn Neheubarth Cymru; gan fod Euas ac Ergyng yn pwysaw ar yr ardal honno. Ond meddyliaf fod cyffelybiad geiriau, wedi peri dyryswch yn hyn, ac mai a yr oror ddeheuol o'r ynys, yr oedd meddiannau Gwrtheyrn; onite nis gw pa fodd y gallasai gynnal y fath awdurdod ar ynys Thanet, ag a gyfrif iddo yn yr amseroedd hynny o ymraniadau gwladwriaethol, oddieithr fod wedi cyrhaedd i ryw radd annghyffredin o awdurdod, a'i fod *Wledig* cyffredinol ar ddeheudir yr ynys, rhywbeth cyffelyb i'r hyn a hae am unbennaeth Prydain. Eithr am hyn oll, ni ellir ond yn unig ffurf dychymmygion, gan dewed tywyllwch hanesyddol yr oesoedd hynny chan ddyrysed y mynegiadau ag sydd ar glawr.

Ymddengys fod pendefig arall yn yr ynys, o'r enw EMRYS WLEDIG, hwn oedd gydymgeisydd â Gwrtheyrn am yr oruchafiaeth, a bod Gwrth-eyrn wedi llwyddo yn ei erbyn, mor belled a pheri iddo ffoi i Lydaw. On gan fod yr orsedd yn dra anniogel yn ei feddiant, ac yntau mewn ofna

* Ynys Thanet, sydd ar oror ddwyreiniol Caint.

† " Saxones vero a Gurthegirno suscepti sunt anno CCCC-XLVII post passione Christi." Barnaf fod yma gamsyniad, ac mai *post incarnationem*, a ddylai fod. Yr amse iad cyffredinol a roddir i'r amygylchiad hwn, yw 449.

‡ Bryttannico sermone Cair Gloui Saxonice autem Gleucester.

benyddiol rhag rhuthriadau y Pictiaid o'r gogledd, neu ynte dychweliad Emrys gyda byddin o Rufeiniaid o'r cyfandir, gyrrwyd ef i geisio cynnorthwy y Saeson, a'u cadw yn ei wasanaeth megys milwyr cyflogedig, er ei amddiffyn rhag ei elynion o bob parth. Ei helynt o hyn allan a adroddir yn yr hanesiad canlynol, fel ag y ceir ef yn yr hen ysgrifiau; a dechreuwn gydag hanes Nennius.

## Y SAESON.

Ar ol bod y Saeson wedi trigo ennyd yn ynys Thanet, y brenin Gwrtheyrn, a addawodd roddi iddynt fwyd a dillad yn ddiwall, os hwynthwy a addewent ymladd yn wrol yn erbyn ei elynion. A phan oedd y Barbariaid wedi amlhau mewn rhifedi, y Brytaniaid ni allent eu diwallu. A phan oedd y Saeson yn ol eu harfer, yn gofyn am fwyd a dillad, megys ag a addawyd iddynt, y Brytaniaid a'u hattebasant,—"Eich rhifedi sydd wedi cynnyddu, nid oes arnom eisiau eich cynnorthwy, ymadewch oddi wrthym, ni roddwn i chwi na bwyd na dillad. A chan ymgynghori yn mhlith eu gilydd, ceisiasant pa fodd y gallent dorri yr hedd-ammod."

"Hengist, yntau, gan ei fod yn wr cyfrwys a ffel, yn canfod fod y brenin yn anneallus, a'r werin yn anwadal, ac yn byw yn anarfog, a ddywedodd wrth Wrtheyrn,—"Nid ydym ond ychydig o ddynion; os boddloni, anfonwn i'n cartref, a gwahoddwn filwyr oddiyno, fel y bytho ein rhifedi yn fwy, tuag at ymladd drosot ti, a thros dy genedl.'' Ac wrth ganiatad y brenin, anfonwyd cenhadon i Germania, y sawl a gyrhaeddasant eu gwlad enedigol, ac ar ol ethol milwyr, a dynion dewr, hwy a ddychwelasant gydâg un llong ar bymtheg, gan ddwyn gyda hwynt ferch Hengist, yr hon oedd yn dra hardd a theg ei phryd. Ar ol dychweliad y cenhadon, Hengist a ddarparodd wledd i'r brenin, a'i filwyr, ac iddei gyfieithydd Ceretic, ac a orchymmynodd iddei ferch weini iddynt win a diod gadarn yn haelionus, a hyn a wnaed, nes iddynt yfed i feddwdod. Ac yno, y brenin wedi cyffroi ei serch tuag at y forwyn, a'i ceisiodd gan ei thad, gan addaw am dani pa beth bynag a ofynai. Hengist, gan hynny, wedi ymgynghori a'i hen gyfeillion, o wlad *Oehgul*, [neu *Angul*, h. y. yr *Angli*,] a ofynodd am ei ferch y dalaeth a elwir *Caint*, yn ddiarwybod i Gwranogon, [*Guoranogono*,] yr hwn oedd y pryd hwnnw yn teyrnasu yn y wlad honno; a'r hwn a flinwyd yn ddirfawr, o herwydd gweled ei deyrnas yn cael ei rhoddi i ddieithriaid, mewn modd bradychus ac anghall.—Yna, gan fod serch y brenin yn wresog iawn tuag at y ferch, Hengist a ddywedodd wrtho, myfi a fyddaf yn dad ac yn gynghorwr i ti; gochel na throseddi fy nghyngor, canys nid ofni fyth gael dy orchfygu gan un dyn na llwyth; oblegyd fy nghenedl i sydd wrol a dewr mewn rhyfel; os mynni, anfonaf am fy mab a'i

frawd, y rhai ydynt rhyfelwyr gwych, gan ei gwahodd i ymladd yn erbyn Scottiaid, a'r bobl sydd yn y gogledd, gerllaw y man a elwir *Gw*[illegible] [*guaul*]. A'r brenin yn anystyriol, a'i gwahoddodd, sef OCHTA, EBISSA, [meibion Hengist,] gyda deugain o longau. A hwynthwy w[illegible] hwylio o amgylch gwlad y Pictiaid, a anrheithiasant ynysoedd Orc, a[illegible] afaelasant ar amryw ardaloedd, hyd at gyffiniau y Pictiaid."*

"Hengist, yn awr, bob yn ychydig, a wahoddodd longau atto, allan [illegible] wlad gyntefig, a hynny i'r fath raddau, a bod amryw ynysoedd wedi gadael heb drigolion; ac fel yr oeddynt yn cynnyddu mewn caderni[illegible] rhifedi, daethant i ymsefydlu yn ardal Caint."

Wele dyma hanes dyfodiad cyntaf y Saeson, yn agos air yn air, fe[illegible] rhoddir ef gan Nennius, ac y mae Gildas yn cadarnhau yr amgylchi[illegible] perthynol iddynt gael eu cyflogi i ymladd yn erbyn y Barbariaid gogle[illegible]ol. Ac y mae yr awdwr hwnnw mewn iaith chwyddedig, yn mynegi [illegible] haint echryslawn yn hanfodi yn yr ynys, a bod ei effeithiau mor ddin[illegible]triol, a bod cymmaint yn meirw, ag nad oedd digon yn fyw iddeu clad[illegible] Ac yn y cyfyngder hyn, cynhaliwyd cyngor i gael allan y moddion gor[illegible] i wrthladd ymosodiadau aml a bwystfilaidd y Barbariaid. Ac yno y cyn[illegible]horwyr oll, yn nghyd a'r gwrthdeyrn balch Gwrtheyrn, [*cum super*[illegible] *tyranno gurthrigerno,*] tywysog y Brytaniaid, a gawsant eu dallu i'r fa[illegible] raddau, a gwahodd drwodd "genedl atgas a bwystfilaidd y Saxoniai[illegible] megys bleiddiaid i mewn i'r gorlan."—"O ddyfnaf gaddug synwyr!— annobeithiol a gorthew hurtwch meddwl! † I wahodd dan yr un gron[illegible]lwyd, y rhai hynny, y sawl a ofnent mor ddirfawr, pan yn mhell oddi wrt[illegible]ynt."

Y Brut hefyd a draetha am yr amgylchiadau hyn, yn agos yn yr un modd[illegible] ac y mae yn amlwg fod sylwedd y gwaith, wedi ei gymmeryd allan o lyfra[illegible] Gildas a Nennius, ond y mae amryw helaethiadau o'r hanes, am y sawl n[illegible] ellir dywedyd gyda boddlonrwydd, pa faint sydd wir, neu pa faint sydd ffugiol. Mewn perthynas i'r ffugiadau, y mae yn ddiamheuol y dylem[illegible] gyfrif yn eu plith, yr areithiau, y rhai y gosoda yr awdwr yn ngenau cynnifer o wrthddrychau yr hanes, ac hefyd amrywiol o bethau ofergoelus a

* Y mae y bardd Golyddan yn cyfeirio at amryw o'r amgylchiadau cynnar hyn, megys,—

> "Pan brynasant Danet, drwy fled calledd,*
> Gan Hors a Hengys oedd yn eu rhysaedd."

* cyfrwystra.

Ac y mae Sharon Turner yn barnu, mai at wasanaeth y Saeson, dan gyflog y Brytaniaid, a'u gorthrechiad o'r Barbariaid gogleddol, y mae yn crybwyll pan ddywed,—

> "Gwaethyl gwyr hyd Gaer Wair gwascarawdd Allmyn."

† "O altissimam sensus caliginem, O desperabilem crudamque mentis hebetudinem!"

chwedleuaidd. Ond y mae yn ddilys fod yr awdwr wedi cymmeryd rhannau o'r gwaith, allan o ryw ysgrifiau, y rhai nid ydynt yn awr ar glawr, canys y maent ambell bryd yn eglurhau gwaith Nennius, a phryd arall yn ymgysoni ag hanesion ereill, yn y cyfryw fodd, a'i wneyd yn dra thebygol, fod y gwaith hwn, megys y dywedwyd eisioes, yn gymmysgiad o wir a gau.

Un o'r egluriadau o eiriau Nennius, yw yr hyn a gyfeirwyd atto, yn nghylch y gelyniaeth rhwng Gwrtheyrn, ac Emrys Wledig, a chiliad yr olaf i Lydaw. Ac un arall yw yr hyn a geir, perthynol i alltudiad Hengist a Horsa, o'r Almaen. Yr unig fynegiad a geir yn Nennius, yw, i "*dair llong alltudiedig o Germania, ddyfod i Brydain.*" "*Interea tres ceolæ* [*Keels*, Saesonaeg,] *a Germania in exitum expulsæ Bryttanniam adsenerunt.*" Ond y mae y Brut yn mynegi i Hengist ddywedyd wrth y brenin Gwrtheyrn, eu bod wedi eu gyrru allan o'u gwlad eu hunain, o herwydd fod yno gyfraith yn gorchymmyn, pan fyddai y trigolion yn rhy aml, fwrw coelbren, i'r dyben i benderfynu pa rai a gaent eu hanfon ymaith, i ennill eu cynhaliaeth mewn gwledydd dieithr; ac iddynt hwy gael eu nodi allan yn y modd hynny.*

Yn mhlith pethau disail, y mae y Brut yn adrodd yr hen chwedl gyffredinol, am Hengist yn derbyn rhôdd o gymmaint o dir ag y gallai ei amgylchu â charrai; ac iddo gymmeryd croen tarw, a'i dorri yn un garrai hir, ac amgylchu ag ef, digon o dir i adeiladu castell arno.

Y Brut hefyd, a helaetha yn fawr ar ddyfodiad merch Hengist, i'r hon y rhodda yr enw RHONWEN, [Rowen, neu Ronixen, ysgrifiau ereill,] ac iddi ddyfod â chwpan o win at Wrtheyrn, a'i gyfarch, gan ddywedyd, "*Laferd Kyng wacht heil,*" [neu wasseil,] sef, oedd ei alw yn arglwydd Frenin, ac yn dymuno iechyd iddo. Ac yntau yn ol cyfarwyddiad y cyfieithydd, a'i hattebodd, "*Drink heil.*"

Hyd y pryd yma, ni a welwn fod y Saeson yn byw yn heddychlawn yn mhlith y Brytaniaid, ond weithian cyfarfyddwn â chyfnewidiadau mawrion, yn nghyflwr y ddwy genedl. Yr oedd y serch â ddangosai Gwrtheyrn tuag at y dyfodedigion hyn yn dra anfoddhaol i'r Brytaniaid, yn gystal ag oedd ei briodas â Rhonwen; yn enwedig gan fod ganthaw cyn hynny, eisioes dri o feibion, sef GWRTHEFYR, CYNDEYRN, a PHASCEN, [VORTIMER, KATTIGERN, a PASCENTIUS.] Ac heblaw hyn oll, yr oedd y dieithriaid, megys y deallwn oddiwrth Gildas, o herwydd amlhad eu rhifedi, wedi dyfod i'r

* Y mae Sharon Turner, yn dangos fod *Suffridus* yn haeru, fod hen gyfraith o'r fath, yn bodoli yn mhlith y Frisiaid, eithr nid yw yn gwneuthur fawr o gyfrif, o dystiolaeth yr ysgrifenydd hwnnw.

fath radd o eofndra, ag erchi taliadau rheolaidd oddiwrth y Brytaniaid ac hefyd bwgwth, os na chaent, y byddai iddynt dorri yr ammod, ac a rheithio yr holl ynys. Felly ar ol bod y Brytaniaid yn taer-geisio Wrthefyr anfon yr estroniaid ymaith, ac yntau yn pallu gwrandaw ar cais, eithr yn hytrach yn glynu fwy-fwy wrth ei gyfeillion newydd, y bu yn unfrydol a'i gadawsant, ac a osodasant ei fab Gwrthefyr, ar yr orsedd yn ei le; ac yn awr y dechreuodd y rhyfel dychrynllyd hwnnw, yr hwn barhaodd dros gynnifer o oesoedd, â'r gelyniaeth hynny rhwng y ddwy genedl, yr hwn a ymddangosodd mor fynych mewn chwerwder casineb dialedd.

Yn y chwechfed flwyddyn ar ol dyfodiad y Saeson, sef yn y flwyddyn 455, y dechreuodd y rhyfel. Y byddinoedd a ymgyfarfuant wrth Ailsford. Y Brytaniaid a dywyswyd gan Wrthefyr. Horsa a syrthiodd.— Felly y barna Sharon Turner, ac amseriad y frwydr, gan ddilyn awduron y Chronicon Saxonicum; † ond y mae ychydig o wahaniaeth rhwng hyn a mynegiadau Nennius, yr hwn a ddywaid fel y canlyn;—"Yna Gwthefyr mab Gwrtheyrn, a ymladdodd yn ddewr yn erbyn Hengist a Horsa, a'u lluoedd; gyrrodd hwy i ynys Thanet, a thair gwaith a'u cadwodd hwy yno, gan eu gwarchae, eu lladd, a'u difa. A hwynthwy a anfonasant genhadon dros y môr i Germania, i ofyn am gynnorthwy, a daeth llongau attynt, yn nghydâ rhifedi dirfawr o ryfelwyr; a hwy a ymladdasant yn erbyn brenhinoedd a thywysogion cenedl y Brytaniaid; ac weithiau gan orchfygu, helaethant eu terfynau; weithian hefyd caent eu gorchfygu a'u gyrru ymaith. Gwrtheyrn ynte a ymladdodd yn wrol bedair brwydr yn eu herbyn, y gyntaf, megys y dywedwyd; yr ail, ar yr afon *Derwennydd* [*Derguint;*] y drydedd, wrth y rhyd a elwir yn eu hiaith hwy, *Episford*, ac yn ein heiddo ni, *Set thergabail;* ac yno y syrthiodd Horsa a Chyndeyrn, mab Gwrtheyrn, gan ymdrechu mewn ymladdfa; y bedwaredd frwydr, oedd wrth y garreg, yr hon sydd ar lan y môr Galicaidd, ac efe ennillodd y fuddugoliaeth, a'r Saeson a ffoisant iddeu llongau. Yntau gan hynny, ar ol amser a fu farw, ac o flaen ei angau, dywedodd wrth e

• Meddylir mai at hyn y cyferia Golyddan:—

——" Meirion eu traethau dychynnyllyn,
Ynghedoedd Cymry pad oedd a delyn."• • a dalen

† Nid yw y Chronicon, ond crynhoad allan o lyfrau ereill, a meddyliaf ei fod o ran, wedi ei gymmeryd allan o Nennius, ac nid oes gennyf fawr o hyder ynddo, megys awdurdod oddieithr lle y cyttuna a'r hen ysgrifiau. A chymmeraf yr honniad uchod, mwy er parch Sharon Turner, ac er gochel dadleuaeth anfuddiol nag er un ymddiried yn y Chron.: Saxon y cysefin sydd fel y canlyn;—"An. CCCCLV. Her Hengist & Horsa fuhton wit Wrtgeorne tham cynninge in thære stowe the is cweden Ægelesford & his brother ma ofsloh Horsan."

Hoc anno Hengestus et Horsa præliati sunt cum Vortegirno Rege in loco qui appellatu Egelesford et frater ejus Horsa occisus est."

dylwyth, "Claddwch fy nghorff yn mhorth tiriad y Saeson, hynny yw, ar lan y môr, o ba un y daethant gyntaf, canys er y gallant anneddu mewn mannau ereill o Brydain, etto yn y lle hwnnw, os gwnewch felly, ni arhosant yn dragywydd." Eithr hwynthwy mewn modd annghall, gan ddiystyru ei orchymmyn, ni chladdasant ef yn y man lle dymunodd." Ond claddasant ef yn Llundain.

Y Brut a haera i angau Gwrthefyr gael ei achlysuro gan ei lysfam Rhonwen, merch Hengist, yr hon, pan welodd fod ei thylwyth wedi eu gyrru ymaith trwy ei ddewrder ef, a lwyddodd trwy aneirif wobrwyon, i lygru un o'i wasanaeth-ddynion; a thrwy offeryndod hwnnw, hi a roddodd iddo wenwyn iddei yfed.

Nid hawdd yw, y dydd heddyw nodi allan sefyllfaoedd y brwydrau anrhydeddus hyn gan Wrthefyr. Rhai a feddyliant mai yr Afon *Darent*, yw y *Derguint*. Y mae hyn yn ddigon tebygol: eithr nis gallaf gydfyned a Gale, yn ei ddychymmyg am *lapis tituli*,* mai camysgrifiad yw o *lapis populi*, sef *Folkstone;* nag ychwaith â Davies, yr hwn a feddylia ei fod yn gweled enw y garreg hon yn y geiriau "*llech,—tut leu*," yn y Gododin. Ond gan fod barn Davies, yn wastad yn haeddiannol o ystyriad, rhoddaf ei eglurhad yma;—

> " Gwyr nyt oedyn drych dract fo
> Heilin a chabynt pob bro
> Llech Leucu tud leu leudvre
> Gododin ystre
> Ystre ragno."

"Gwyr nid oeddynt y rhai hyn, [y Brython,] i frathu a ffoi; yr oeddynt gwedi bod yn haelion amddiffynwyr pob ardal.—Wrth *Lech Leucu*, wrth *Lech y titleu*, wrth *Leudfre*,—wrth ystrawd *Gododin*, ac wrth ystrawd *Rhagno*."

Dichon mai y dychymmyg cywiraf am y frwydr hon yw, mai wrth *Stonar*, neu *Stone-end*, yn Caint, y digwyddodd.†

Y Saeson wedi eu gyrru allan o'r ynys, ni chynnygiasant ddychwelyd dros bum' mlynedd, sef tra yr oedd Gwrthefyr yn fyw; ond ar ol torri ymaith y gwron hwnnw, trwy gythreulder Rhonwen, Gwrtheyrn a adsefydlwyd ar yr orsedd, a thrwy ei hudoliaeth hi, efe a anfonodd genhadon at Hengist i Germania, i geisio ganddo ddychwelyd gydag ychydig o ganlynwyr, i ostegi yr ymrysonau rhyngddo a'r Barbariaid. Eithr Hen-

* "Tertium bellum in campo juxta lapidem tituli qui est super ripam Gallici maris statutam."—Gale's Nennius. "Y drydedd frwydr oedd ar y maes, gerllaw maen y *titulus*, [yr ysgrifiad,] yr hwn sydd osodedig ar lan môr Gâl."

† Y Chronicon Saxonicum a ddywed fod Æsc, mab Hengist, yr hwn hefyd a elwir Eca, yn cydflaenori âg ef, ar ol marw Horsa; a'i fod yn cydymladd âg ef yn rhai o'r brwydrau hyn megys,—"An. CCCCLVII. Her Hengest & Æsc fuhton with Bryttas in thære stowe the is geoweden Creccanford."—" Yn y flwyddyn 457, Hengist ac Æsc a ymladdasant â'r Brytaniaid, yn y lle a elwir Crecanfford," &c.

gist yn lle hynny, a grynhôdd dyrfa ddirfawr o wyr, sef tri chan' mil, ac a hwyliodd tua Phrydain.

### BRAD Y CYLLYLL HIRION.

Gan fod y fath lu anarferol o wyr yn cyffroi drwg-dybiau y Brytaniaid, hwy a ymarfogasant, ac a ymgynnullasant ar fin y môr, ac a ymladdasant â'r Saeson, ac amddiffynasant y porthladdoedd rhagddynt, fel na allent dirio. Yna Hengist yn ei ddichell bradychus, a ddyfeisiodd y weithred fwyaf ddieflig, i'r dyben i ennill ei ddymuniad. Anfonodd at Wrtheyrn i ddywedyd, mai nid er trigo yn yr ynys y daeth; ond gan feddwl fod Gwrthefyr etto yn fyw, iddo ddyfod i gynnorthwyo Gwrtheyrn. A dymunai i Wrtheyrn gadw yn ei wasanaeth, y nifer a fynnai o'i wyr, ac anfon y lleill ymaith. Ac yno, wedi cael caniatad i dirio, Hengist a wahoddodd y brenin a'i bendefigion i wledd fawr, yr hon yr oedd efe yn darparu iddynt ar Faes *Ambyr*, [*Ambrius*,] ar wastadedd Caer Caradawc, ar ddydd Calan Mai; a chyttunwyd i bawb o bob ochr, y Brytaniaid a'r Saeson, ddyfod yn anarfog, gan mai cyfarfod ydoedd er sefydlu heddwch.

Yna Gwrtheyrn, yn nghydâ thri chant o bendefigion, a ddaeth yno heb arfau, yn ol y cyttundeb. Ac Hengist yntau, a ddewisodd dri chant o wyr, ond tra y cynhalient rith o ddyfod yn anarfog, rhoddodd iddynt orchymmyn i bob un ddwyn gydag ef gyllell, yn guddiedig yn ei hosan, wrth ochr ei goes.* "Ac," eb efe," pan waeddaf wrthych, *Nimed eure Saxes*,† [sef yw, cymmerwch eich cyllyll,] tynned pob un ei gyllell, a lladded y nesaf atto, eithr arbedwch y brenin, er mwyn ei briodas â'm merch, canys gwell iddo brynu ei rydd-did oddiwrthym, na'i ladd."

Yna y brenin, a'r pendefigion Brytanaidd, a ymgymmysgasant yn heddychol a'r Saeson, gan eistedd ochr yn ochr, a hwy heb ofni niweid.‡ Ac ar ol iddynt fwytta ac yfed, a meddwi, Hengist yn ddisymmyth a neidiodd ar ei draed, ac â llais uchel a waeddodd, "*Nimed eure Saxes;*" ac yn ddiatreg, y Saeson a dynasant eu cyllyll, a chan ruthraw ar y Brytaniaid, hwy a laddasant bob un ei gyfnesydd; a'r cyfan o'r tri chant o bendefigion a drengasant yn y wledd honno, [oddieithr Eidiol;] a'r brenin a gymmerwyd yn garcharor.

* Neu dan wadn ei droed, yn ol Nennius.

† Y mae amrywiol ddarlleniadau i'r ymadrodd yma, megys *Nimad eure Saxes*, neu *Saxe* neu *haxas*,—*Nimeth Sexees*,—*Nime out your Saexes*, &c.—Ystyr yr ymadrodd yw, CYMERWCH EICH CYLLYLL, ac y mae yn dra thebygol, mai *Nemed eure Saxes*, oedd y dull cywir o honaw, o herwydd yn yr Almanaeg, *Nehmen* yw *cymmeryd*. Am y gair *Sax*, cyllell, nis gwn a ydyw yn awr yn arferedig yn un ryw iaith; ond tybia rhai eu bod yn gweled rhyw berthynas iddo yn y gair Saesonaeg, *Saw*, *llif*. Ac ysgatfydd ei fod o'r un gwreiddyn a'r Lladin, *seco*, *torri*.

‡ " At inscii malorum, Bryttones mixti Saxonibus, vir ad inimicum sederunt."—*Gunn Nennius*. " Et vir juxta virum socialiter sederunt."—*Gale's Nennius*.

At yr uchod, yr hyn gan mwyaf a gymmerwyd allan o waith Nennius, y mae y Brut yn ychwanegu, na ddihangodd y Saeson yn hollol ddigosp yn nghyflawniad o'r weithred ysgeler yma, canys rhifedi lliosog o honynt a laddwyd gan y Brytaniaid; ac fel y dywed y gwaith hwnnw, "Ac eisioes nis cawsant yn rhad. Canys llawer o honynt hwynteu a las yna. Canys y Brytaniaid a gymerynt y meini o'r ddaear, a'r trosolion. Ac y velly y lladdasant lawer o'r bradwyr Saeson."*

## EIDIOL.

Yn mhlith y pendefigion Brytanaidd yn y wledd, yr oedd gwron o'r enw Eidiol, Iarll Caerloew,† yr hwn pan welodd y bradwriaeth, a gymmerodd drosol, yr hwn a gafodd trwy ddamwain, ac â hwnnw ergydiodd mor nerthol, ar bawb o'i amgylch, a chan ddrylliaw eu haelodau, nis ymatregodd, nes lladd deg a thriugain o'r Saeson. Ond gan nad oedd ddichonadwy iddo wrthwynebu yn hir, y fath lu o elynion, ffôdd o'r lle, a dihangodd i'ddei ddinas ei hun. ‡

Y Saeson wedi cyflawni y llofruddiaeth uchod, ni fynnent osod Gwrtheyrn i farwolaeth, eithr cadwasant ef yn garcharor; ac yntau er ennill ei rydd-did, a roddodd i fynu iddynt dri o dalaethau brasaf yr ynys, sef Essex, Sussex, a Middlesex,§ yn nghydag ardaloedd ereill y rhai a ddewisent.

Mewn perthynas i ddiwedd Gwrtheyrn y mae amryw honniadau. Yn mywyd St. Germanus, dywedir iddo ffoi iddei dywysogaeth, a elwid *Guorthegirnianum,* [*Gwrthrynion,*] ac iddo fyned oddiyno i Ddyfed, ac adeiladu yno gastell, a elwid Caer Gwrtheyrn, a chael ei losgi yn fyw ynddo. Eithr, yn ol Nennius, rhai a haerent iddo dreulio ei einioes yn grwydryn ar hyd y wlad, wedi ei felldithio gan yr Eglwys, a'i ffieiddio gan y werin, &c.||

Yn y Trioedd, gelwir y cyflafan echryslawn o frad y Cyllyll Hirion, yn un o'r "*Tair Brad-gyfarfod ynys Prydain.*" A gelwir Gwrtheyrn yn un o'r "*Tri Charnfradwr ynys Prydain.*" Y cyntaf oedd Afarwy ap Lludd, [gwel tu dal. 68.]

* Hen lythreniad y Brut Cymraeg sydd fal y canlyn;—"Ac eissoes nys kawsant yn rat, kanys llawer o honynt hwynteu a las yna." &c. &c.

† "Aderat ibi Claudiocestriæ Consul, nomine Eldol."—Y Brut Lladin.

‡ Y mae Nennius yn adrodd hanes, brad y cyllyll hirion, yn agos yn yr un modd, eithr nid yw hanes Eidiol, yn ngwaith Nennius.

§ Y rhai hyn a enwir oddiwrth eu sefyllfaoedd, gan atosod yr enw *Saxon*, sef Eastsex, Southsex, a Middlesex.

|| Y mae un o'r hanesion am ddinystr Gwrtheyrn, trwy ei losgi yn ei gastell, mewn modd gwyrthiol yn dwyn y fath berthynas agos, a'r hyn a draethir am BELINUS, yn hanes *Cadell Deyrnllug*, [tu dal. 195.] Ac hefyd hanesiad arall mor debyg i eiddo GERONTIUS, yr hwn a enwir, tu dal. 148, a bod achos i gredu, fod twysged o gymmysg wedi cymmeryd lle yn yr adroddiad o ryw un o honynt.

"Ail ydoedd Gwrtheyrn Gwrthenen, ac efe wedi lladd Cystenyn Fendigaid, a dw Coron yr ynys o drais ac anrhaith, a wahoddes y Saeson gyntaf i'r ynys honn, yn amddi ynyddion iddaw, ac a briodes ALIS RHONWEN, merch Hengist, ac a roddes goron yr ynys, mab a fu iddaw o honi, a'i enw ef oedd GOTTA, ac o achos hynny y gelwir Brenhinoe Llundain yn *Blant Alis:* sef achaws Gwrtheyrn y collasant y Cymry eu Tiroedd, eu Brai a'u Coron, yn Lloegr."—TRI. 21.

Dywed Nennius i drydydd fab Gwrtheyrn, sef Pascent, deyrnasu yn y ddwy dalaeth, Buallt a Gwrthrynion.* Crybwyllir hefyd am bedwerydd fab, o'r enw FAUSTUS; ond y mae yr hanes am dano mor ofergoelus, yn gystal ag y mae y rhan fwyaf o'r hyn a draddodir am St. Germanus, fel nas gellir rhoddi un fath o gred iddo, ac ni fyddai ond colli amser i sylwi yn mhellach ar y testyn hwnnw. Ond am Wrtheyrn ei hun, er fod rhan o'i hanes yntau, yn llawn mor ffugiol a dim a hanfoda, perthynol i'r cynoesoedd, etto gan ei fod yn gymmysgedig â hanes MYRDDIN, gadawaf ef ar hyn o bryd, i ddychwelyd atto drachefn, pan ddelwyf i grybwyll am y dewin nodedig hwnnw.

Nid ydyw Nennius yn mynegi dim yn ychwaneg perthynol i Hengist; ond y mae y Brut yn canlyn ei hanes yn mlaen, gyda thwysged o fanylrwydd, eithr mewn modd na ellir yn gwbl hyderu arnaw, megys yn rhydd oddiwrth ffugiadau; etto, gan nad oes ei well o fewn ein cyrraedd, y mae yn rhaid ymfoddloni iddo fel ag y mae. Ei sylwedd sydd fel y canlyn.

Ar ol y cyflafan ar wastadedd Caer Caradawc, Gwrtheyrn a giliodd i Gymru. Ac EMRYS WLEDIG, wedi clywed am y digwyddiadau anffodus yn Mhrydain, a frysiodd o Lydaw, yn nghŷd a'i frawd UTHYR PENDRAGON, â deng mil o Lydawiaid, ac wedi tirio yn yr ynys, aeth ar ol Gwrtheyrn, ac a'i cafodd yn nhref *Geneoreu*, yn ngwlad *Erging*, ar lan yr afon *Gwy*, ar fynydd a elwir *Cloart*,† canys yno y ffoisai Gwrtheyrn, ac wedi methu cymmeryd y Castell yn mha un yr oedd, na'i dorri i lawr, gosodasant dân o gylch iddo, ac a'i llosgasant, a Gwrtheyrn ynddo.

Gwlad *Erging*, yw *Erchenfield*, rhwng Trefynwy a Rhosan, ac y mae USHER yn barnu mai *Ganeriw*, yn yr ardal honno, yw *Geneoreu*, sef pentref yn agos i'r afon *Wy;* ond nid oes neb yn gallel cael allan pa le mae mynydd *Cloart.* Eithr cynnygiaf honni, mai mynydd y *Doward* ydyw, yn y man a'r lle hwnnw, a bod y dyryswch wedi ei achlysuro, trwy gamgymmeryd y *cl*, yn lle *d*, yn yr hen ysgrif; canys yn y cyfryw ysgrifiau, gosodid yn dra mynych, lythyrennau mân i ddechreu enwau priodol, ac felly gwnaethpwyd **doartius**, yn **cloartius**.

* "Tertius Pascent qui regnavit in duabus provintiis, Buelt, et Guorthregirnaim." mae Buallt, yn Swydd Frecheiniog; a Gwrthrynion, yn Swydd Faesyfed.

† "Geneorum.—Erat autem oppidum illum in natione Hergin, super fluvium Guai in monte qui cloartius nuncupatur,"—Y Brut.

Ni rodda y Brut Cymraeg un fath o gynnorthwy i ni, yn nehongliad hyn o beth, eithr yn hytrach, pe canlynem, ni wnai ond ychwanegu y dyryswch. Ei draethiad sydd fel y canlyn;—"Ac wedi y dyvot hyt yn Erging, kyrchu castell Gronwy, ar ben mynyd Denarch, ar lan Gwy, afon a daw o vynyd Kloracb." Oddiwrth yr hyn, y mae yn amlwg fod y cyfieithydd, neu ynte ail-ysgrifenydd ei gyfieithiad, yn anadnabyddus a'r lleoedd crybwylledig: ond gan fod Sieffrey o Fynwy, yn byw yn y gymmydogaeth, y mae yn debygol fod gantho naill a'i awdurdod ysgrifenedig, neu draddodiadol, am ei fynegiadau.

Y Saeson wrth glywed am ddyfodiad Emrys, a ddychrynwyd yn fawr, ac a giliasant i'r tu gogleddol i'r afon Hymyr, canys yr oedd gogledd-dir yr ynys y pryd hyn, yn llawn o'u cyd-farbariaid, o amryw giwdodau; a ffoent yno megys iddeu gwersyll eu hunain. Ond Emrys nid oedd hwyrfrydig iddeu ceisio yno; ac yn ebrwydd aeth ar eu hôl, yn nghydâ byddin liosog; ac medd y Brut, trwm fu ganthaw weled yr holl wlad wedi ei hanreithio, a'r Eglwysydd wedi eu dinystrio hyd y llawr, gan y Saeson.

Emrys wedi neshau at y Saeson, a ymbarotôdd i frwydr; ac Hengist yntau, a wnaeth yn yr un modd; a'r ddau lu, a ymgyfarfuant mewn lle a elwir *Maes Beli*. A'r Saeson gan gael eu maeddu, a ffoisant tua dinas a elwyd *Caerconan;** ac Emrys gan eu hymlid a'u goddiwesodd yno, lle bu brwydr waedlyd arall: a'r Saeson a ymladdasant gydâ'r fath wychder, ag y buasai iddynt ennill y dydd, oddieithr i lu o farchogion Llydawaidd ruthro arnynt a'u gorthrechu.† Dros hir amser yr oedd y fuddugoliaeth yn amheüus iawn; ac amrywiol weithredoedd gorchestol a gyflawnwyd ar y ddau ochr: a thra yr oeddid yn taer-ymdrechu yn y modd hyn, GORLAIS, Iarll Cernyw, a ddaeth yn mlaen gyda byddin o'i wyr, ac a ymladdodd gyda'r grymmusder mwyaf, ar du y Brytaniaid. Ac wrth ei weled ef, Eidiol, gan ymhyderu, a gymmerodd Hengist, gerfydd barfle ei benffestyn,‡ ac a'i holl nerth a'i llusgodd i ganol byddin y Brytaniaid, ac a waeddodd arnynt i ymwroli, o herwydd fod y fuddugoliaeth yn eiddo iddynt. A'r Saeson a ffoisant am eu heinioes i'r coedydd, a lleoedd anial, a rhai iddeu llongau; ond OCTA, mab Hengist, a giliodd gyda byddin liosog i Gaerefrawc, ac

* Connisborough. yn swydd Caerefrawc.

† Pa un ai at yr amgylchiad hwn, neu ryw un diweddarach y cyfeiria Golyddan, nis gwn; ond y mae yn amlwg fod marchogion Llydaw yn enwog yn mhlith y Brytaniaid yn ei amser ef, canys dywed am danynt,—

"Dybi o Lydaw prydaw gyweithydd,
Cedwyr ar Gadfeirch ni pheirch ei henydd."

"Daw o Lydaw brydlawn gynnorthwy, milwyr ar feirch rhyfel, y rhai ni ofalant am eu heinioes."

‡ "Per nasale cassidis." h.y. yn ol y Lladin, gerfydd y *trwyn-amddiffyniad o'i benffestyn*.

Eosa, ei berthynas, a aeth tua'r Alban. Emrys ar ol hyn, a gymmero ddinas Caereonan, heb fawr o drafferth, ac yno cynhaliodd gyngor o'i be defigion, i benderfynu pa beth i wneyd â Hengist; a chyttunwyd id ddihenyddio; ac felly arweiniwyd ef allan, a thorrwyd ymaith ei ben. diau nad dedfryd anhaeddiannol ydoedd, i'r hwn a gyflawnasai gynni bradwriaeth a chynilwyniad, yn erbyn y Brytaniaid.

Ar ol hyn, Emrys a warchaeodd Octa, yn Nghaerefrawc, ac a'i daro tyngodd; ac Eosa hefyd a ddaeth, ac a ymheddychodd âg ef, ac a gafod ganiatad i feddiannu ardal yn y gogledd, ar gyffiniau yr Alban.

Gan fod ei deyrnas yn awr wedi ei gwaredu oddiwrth anrhaith y Bar bariaid, Emrys a adgyweiriodd yr Eglwysydd, ac a adsefydlodd y pethau gwladwriaethol, y rhai oeddynt wedi eu dymchwelyd, ac a orchymmynodd gyfodi cofadael, ar wastadedd Caer Caradawc, ar feddau y pendefigion, y rhai a lofruddiwyd yn mrad y cyllyll hirion, am yr hyn y crybwyllir yn hanes Myrddin.

Y cyfryw yw sylwedd mynegiadau y Brut, perthynol i dynged Hengist a'i ganlynwyr priodol. Nid cyfiawn fyddai gwrthod y cyfan o honaw, na allwn ei dderbyn yn hollol megys gwirionedd. Er anghraifft, y mae yn dra thebygol, i'r Saeson dderbyn gwrthladdiad cadarn gan Emrys, or nid cyson âg hanesyddiaeth, gredu fod y pennadur hwnnw gwedi eu cw ddarostwng hwy, er y gallasai, ysgatfydd eu gyrru yn ol, allan o rai ardaloedd, y sawl yr oeddynt wedi gafaelyd ynddynt. Ond gan fod hyn a draethwyd am yr amgylchiadau hyn, yn y tudalenau rhagflaenor yn dorredig ac yn anffurfiol yn ei gyfansoddiad, o achos yr amrywiol an gylchiadau, y sawl oedd rhaid cyfeirio attynt; rhoddaf yma grynho talfyriog o hanes Hengist yn yr ynys hon. A meddyliaf, pan ysty effeithiau dwysion dyfodiad y dieithryn hwnnw i'n hynys, na fydd y c ryw draethawd maes o le yma.

## TALFYRIAD O HANES HENGIST.

Cystenyn Fendigaid, a adawodd dri o feibion; Constans, Em Wledig, ac Uthyr Pendragon. Y ddau olaf, oeddynt blant ieuai A Constans, yr henaf, a dderchafwyd i'r orsedd; ac efe a gymme Gwrtheyrn Gwrtheneu, yn gynghorwr iddo, yr hwn oedd bendefig cad yn y wlad; a hwn yn rhwysc amser, a achlysurodd lofruddiad Consta ac a draws-feddiannodd ei goron. Ar hyn o amgylchiad, y ddau fra Emrys, ac Uthyr, a ffoisant i Lydaw, at eu perthynasau, gan fod eu tâd- Cystenyn, yn Llydawiad, o hanniad y Brytaniaid, ac o hiliogaeth Co Meiriadawc, a hwy a gawsant dderbyniad lletteugar, gan Budec, bre Llydaw.

Gwrtheyrn yntau, wedi ei sefydlu ar yr orsedd, a ddechreuodd deimlo anesmwythder yn ei feddiant, o achos cadruthriadau y Barbariaid gogleddol; ac hefyd o herwydd yr ofn beunyddiol a ddyoddefai, rhag i Emrys, ac Uthyr, ddyfod drwodd o Lydaw, i hawliaw ei deyrnas. Yn yr amser hyn, daeth dwy long i dir, ar oror Caint, yn cludaw ynddynt, amryw filwyr Saxonaidd, dan dywysiad y ddau frawd, HENGIST a HORS, y sawl y mae yn debygol, nid oeddynt amgen na rhai o'r môr-ladron hynny, a grwydrent o gylch gororau Ewropa, yn yr amseroedd yma. Yr amgylchiad hyn, oedd dra boddhaol i Wrtheyrn; ac efe yn ddiattreg a gyflogodd y dyfodedigion hynny i wrthladd y Pictiaid, ac hefyd iddei amddiffyn rhag ymosodiadau Emrys. Y Saeson, ar ol amlhau eu rhifedi o Germania, a gyflawnasant eu hammodau, gan ymladd yn wych, ac hefyd yn llwyddiannus, yn erbyn y gelynion gogleddol. Cyn hir, Gwrtheyrn a briododd *Rhonwen*, merch Hengist, ac a roddodd i'r Saeson amryw freintiau. A hwynthwy wedi derbyn llawer o gynnorthwy o'u gwlad eu hunain, o'r diwedd a aethant mor hŷon, a gorfod i'r Brytaniaid geisio gan Wrtheyrn eu hanfon ymaith; yr hyn, pan ballodd ei wneuthur, cyfodasant yn ei erbyn, gan ei ddiorseddu, a gwneuthur ei fab GWRTHEFYR, [VORTIMER,] yn frenin yn ei le; a Gwrthefyr a ymladdodd â'r Saeson, ac a'u gorthrechodd mewn pedair brwydr, yn un o ba rai, y syrthiodd HORS, ac hefyd CYNDEYRN, brawd Gwrthefyr. Ond gorfu ar y Saeson gilio iddeu llongau, a ffoi iddeu gwlad eu hunain, lle y buont bum' mlynedd, heb flino yr ynys drachefn.

Eithr tua diwedd yr yspaid hwnnw, Rhonwen a lwyddodd i achlysuro marwolaeth Gwrthefyr, trwy roddi iddo wenwyn, yr hyn a barodd i Wrtheyrn ail-feddiannu yr orsedd. Ni fu efe yn hir ar ol hyn, cyn gwahodd y Saeson drwodd drachefn, a hwynthwy oeddynt yn rhy barod i wrandaw ar ei gais. Ond gan nad oedd deiliaid Gwrtheyrn yn ymfoddloni i hyn, Hengist a ddyfeisiodd eu difetha oll ar unwaith; yr hyn a gyflawnodd trwy frad y cyllyll hirion, ac a gymmerodd Gwrtheyrn yn garcharor; ac yntau er ennill ei rydd-did, a roddodd i Hengist gyfran helaeth o'i diriogaeth.

Pan glybwyd am hyn ar y cyfandir, Emrys a'i frawd, a ddaethant drwodd, a chan ymlid Gwrtheyrn, hwy a'i llosgasant ef yn ei gastell, ac ar ol hynny ymladdasant yn llwyddiannus yn erbyn y Saeson, a chymmerasant Hengist yn garcharor ac a'i diheuyddiasant ef.

Ac y mae yn debygol iddynt dros ychydig amser, yrru yn ol, y lluoedd Saxonaidd, allan o rai o'r ardaloedd, i'r sawl yr oeddynt wedi dyfod; ond nid tebygol iddynt eu darostwng oll fel y dywed y Brut, eithr yn hytrach, y mae lle i gredu, na ddarfu i'r dieithriaid hyn erioed gael eu gorchfygu yn llwyr, ar ol ail ddyfodiad Hengist; ond eu bod yn lliosogi fwy-fwy ar ororau dwyreiniol yr ynys, a chadarnhau eu sefyllfaoedd yno. Ac un achos o lwyddiant y Saeson yn yr ardaloedd hynny, yn ddiamheuol oedd dirywiad y

trigolion, trwy foethusrwydd Rhufeinaidd; ac ysgatfydd y gallwn y wanegu at hyn, ryw gymmysgiad gwaedoliaeth, megys yr honnir yn Trioedd, perthynol i'r Coraniaid, ac nid annhebygol fod y Lloegrwys a pryd hyn, rhwng yr effeithiau annedwydd yma, yn analluog, ac yn anewy ysgar i ymdrechu dros eu rhydd-did; ac felly syrthiasant yn ysglyfaeth Barbariaid anwar, y rhai a ymosodent ar y wlad; a hwy a gollasant e breintiau, a'u meddiannau, ac a wnaethpwyd yn gaeth-weision idd gormeswyr, ac yn mhen ychydig amser, llwyr-ddiffoddwyd hwy, meg cenedl.

Ac y mae y golygiad hyn, yn gyson â'r hyn a geir yn y Brut; cany yno pan fynegir am gadfrysiad Emrys Wledig, yn erbyn Hengist, enwir Llydawiaid, y Cernywiaid, pobl Dyfed, a phobl Gwynedd; ond nid o dim cyfrif yn cael ei wneyd o drigolion dwyreiniol yr ynys, megys y ffurfio rhan o'r fyddin honno. Oddiwrth yr hyn, gallwn gasglu fod y rh hynny wedi eu dwyn i'r fath raddau o ymostyngiad gwladwriaethawl, a iseldra greddf, ag nad oeddynt mwyach yn meddiannu nag eiddigedd dr eu breintiau, na galluogrwydd iddeu hamddiffyn. Ac felly o'r amser hw allan, gallwn edrych ar ran fawr o wlad y Lloegrwys, megys wedi ei llw ddarostwng gan y Saeson; canys yn hir cyn marwolaeth Hengist, y ma yn ddilys eu bod wedi plannu amrywiol sefydliadau, ar hyd goror dwyreiniol yr ynys, mewn gwahanol fannau, o Gaint hyd yr Alban.

Cyn myned rhagom, y mae yn ddyledus taflu golwg, ar yr hyn a honn am y digwyddiadau rhagddywededig yn mhlith gwaith y Beirdd Cymrei Ac yma yn y man cyntaf, y mae sylwadau Davies ar y GODODIN, yn yn gynnyg i'n hystyriaeth.*

Yr awdwr clodwiw hwn a haera fod y Gododin,† yn gyfan gwbl yn ffu iedig ar achlysur brad y Cyllyll Hirion. Ac yn nghyd a chyfieithad honaw, y mae yn rhoddi amryw sylwadau tra nodedig, er cadarnhau ddaliadau. Am danaf fy hun, er fy mod yn cyfaddef, y gall fod amry gyfeiriadau at y cyflafan hwnnw yn y Gododin, etto ni allaf gydfyned Davies yn ei honniad, perthynol i amcan cyffredinol y cyfansoddiad: ac wyf yn hollol annghyttuno âg ef, yn amryw o'i gyfieithiadau a'i espo iadau. Ond er eglurhau y ddadl trwy anghreifftiau, wele rai o sylwad Davies.

Un o'i ddaliadau yw, fod Derwyddiaeth, etto yn hanfodi yn mhlith Brytaniaid, yn y 5ed ganrif, yn gymmysg â Christionogaeth, ac mai p deml y wlad, oedd Gwaith Emrys, neu Stonehenge, ar wastadedd C Caradawc, ac hefyd mai o fewn i gylch y meini hynny, y cynhaliwy

* Mythology of the Druids.

† Cyfansoddiad o eiddo ANEURIN GWAWDRWYDD, o gylch dechreuad y 6fed ganrif.

wledd nodedig, ar ba un y cyflawnwyd Brad y Cyllyll Hirion; ac i'r wledd honno gael ei chynnal gydag aberthau, a holl fawrdrafn y grefydd Dderwyddol, ac y mae yn hyderu ei fod yn canfod cyfeiriadau at y pethau hyn oll, yn y Gododin. Ac yn mhlith ei ddadleuon, gellir cyfrif y canlynol, megys rhai o'r mwyaf haeddiannol o ystyriaeth.

Yn y Gododin canfyddir cyfeiriad at dri chant o filwyr, y rhai a alanastrwyd oll ar yr un pryd, gwedi eu bod yn cynnal gwledd a chyfeddach; megys,—

> "Gwyr a aeth Gattraeth, oedd ffraeth y llu,
> Glasved eu hancwyn ae gwenwyn fu,
> Trychant trwy beiriant yn cattäu,
> A gwedy elwch tawelwch fu,
> Cyt elwynt y lannau y benytu,
> Dadyl dieu angeu yn eu treuddu."

"Gwyr a aethant i Gattraeth,—siaradus oedd y llu. Medd gloyw oedd eu gwledd, ac hefyd a fu eu gwenwyn. Tri chant â'u hoffer, oeddynt mewn dull rhyfelgar, ac gwedi gor-[illegible] bloeddiawl y wledd, y fath ddistawrwydd a ganlynodd. Dylesynt fyned i Eglwysydd, i ymbenydu; y mae ymryson diambeuol angau yn eu brathu."

Etto, ar ol darlunio pendefig, yr hwn yn ol barn Davies, nid yw amgen na Hengist ei hun; y mae y bardd yn dywedyd am dano,—

> "Hyder gymmell ar vreithell vanawyt,
> Ny nodi nac ysgeth nag ysgwyt,
> Ny ellir anet rhy vaethuwyt,
> Rac ergit cadfannau catwyt."

Yr hyn yn ol cyfieithiad Davies, sydd fel y canlyn, sef darluniad o'r cyfarfod, ar wastadedd Caer Caradawc.

"Hyderus ydoedd i gymmell cyfarfod cymmysgedig, lle ni chaed na gwaewffon na tharian. Ac felly ni ellid fod ymryson yno, eithr byddai i'r gwyr fod yn ddiogel rhag ergyd disymmwth."

Ond nid wyf yn gallel cydfyned â'r awdwr dysgedig yn y dehongliad olaf, ac nis gallaf ganfod yn y cysefin, un awdurdod i edrych arno, megys yn darlunio cyfarfod o wyr anarfog; eithr meddyliaf, mai at *frwydr* y mae yn cyfeirio; canys y mae y gair *breithell*, yn arwyddocau cyfarfod rhyfelgar. Ac y mae yr un gair iddei weled hyd y dydd heddyw yn y Lydawaeg, sef *brezel*, ac yn arwyddocau rhyfel. Ac am y ddwy linell gyntaf, barnaf eu bod yn datgan brwdfrydedd milwraidd rhyw ryfelwr, a'i anian ëofn yn mhlith arfau a therfysg brwydr.

Etto,—

> "A phen dyvynaul vrych brain·ae cnoyn."

"A phen y traws-ddyfodwr wyneb-frych, [sef Hengist,] y brain a'i cnoynt."

Yn hyn etto, ni allaf gydsyniaw â Davies, canys yn lle bod yr ymadrodd *Dyfynawl Frych*, yn gofyn am gyfieithiad, ac yn gyfeiredig at Hengist,

y mae yn ddiamheuol gennyf mai enw priodol ydyw, sef *Donald Bre* neu fel y gelwir ef yn y Lladin, *Dovenal Varius*, yr hwn oedd frenin Scottiaid, yn y cynoesoedd, ac a laddwyd mewn brwydr, gan *Owai* frenin Brython Strathclyd; ac at ba un y cyfeirir drachefn yn ei briod l

Ac heblaw hyn oll, er fod y Gododin yn crybwyll am ***dri chant*** o filwy etto nid ydyw yn cyfyngu ei fynegiadau at y rhifedi hynny, eithr mew mannau ereill, cyfeiria at ragor na hyn, megys,—

"Triwyr a thriugaint a thriohant eurdorohawd."

Ac y mae yn nodedig nad oes yn yr holl gyfansoddiad, un sôn am Wrt eyrn, nac am Eidiol; ac yn lle dihangiad y ddau hynny yn unig, y ma Aneurin yn dywedyd, i *bedwar* ddianc o alanastra Cattraeth, sef efe ei hu a thri ereill; ac y mae yn eu henwi yn y modd canlynol, yn y llinellau nesa

"Or sawl yt gryssyasant uch gormant wirawt,
Ni diengys namyn tri o wrhydri ffossawt,
Deu gatki aeron, a chenon dayrawt,
A minheu om gwaetfreu gwerth fy ngwenwawt."

"O'r sawl yd aethant at ormod ddiod, ni ddihangodd oddieithr tri o ymdrech clwyfa sef, dau ryfel-gi brwydrau, a Chenon daer-fryd, a minnau oddiwrth ffrydiad fy ngwaed, herwydd fy awenyddiaeth."

Ac yn ei awdl a elwir *Gorchan Cynfelyn*, y mae Aneurin yn rhod enwau y milwyr, y sawl y mae yn eu galw, yn *ddau ymladd-gi y brwydra* a dywed mai Cadreith, a Chadlew, oeddynt. Ac y mae yn addas sylw fod yr ail-adroddiadau hyn, wedi eu cymmeryd allan o hen ysgrif, lawe gywirach na'r un a argraffwyd yn y Myv. Arch.

"Try wyr a thriugeint a thryohant
Y Vreithyell gattraeth yd aethant
Or sawl yt gryssyassant uoh med menestri,
Namen tri nyt atoorasant,
Kynon a chadreith a ohatlew o gatnant,
A minheu om oreu dychiorant, &c."

"Tri wyr a thriugain a thriohant, i frwydr Catraeth yd aethant. O'r sawl a gyrcha at weiniad mêdd, oddieithr tri, ni ddychwelasant; sef, *Cynon*, *Cadreith*, a *Chatlew*, o *Ga nant*, a minheu oddiwrth dywalltiad fy ngwaed, &c."

Felly, gan ys pa beth yw amcan cyffredinol y Gododin, y mae yn ddil gennyf, mai nid brad y Cyllyll Hirion ydyw, ac hefyd meddyliaf fod y rha fwyaf o honniadau Davies, perthynol i hyn, yn llawn mor anghynnalad â'r rhai uchod.

Heblaw y rhagflaenol, y mae ar glawr, awdl o waith Cyhely Bardd o un o'r oesoedd cynnar, yn yr hwn y mae crybwylliad am en Eidiol: eithr nid oes dim yn y cyfansoddiad, i daflu goleu ar yr amgylc iadau dan ystyriaeth. Yr awdl a ddechreua fal y canlyn;—

"Greid bleid blyghawd(1)
Gretyf(2) detyf(3) durawd
Gnawd brawdwriaeth
Gwr oet Eiteol
Gorwy(4) rëol
Gordethol doeth

1 blynghawd,—blwng, llid.
2 greddf. 3 deddf.
4 *Gorwir* q,

Nid hawdd rhoddi cyferbyniad eglurhaol i'r fath gyfansoddiad a hwn, eithr barnaf, fod y geiriau canlynol yn gyfystyr â'r cysefin:—

" Tanbaid flaidd llidiawg, anian cyfraith haiarnaidd.
Cynhefin a barn-roddiad,
Gwr oedd Eidiol, cywir rëol, dewisedig a chall."

Am hynny, y mae yn rhaid derbyn hanes brad y cyllyll hirion, fel ac y traethir ef gan Nennius a'r Brut, canys nis gallaf ganfod yn ngwaith y Beirdd, ddigon o gyfeiriadau atto, iddeu hail-adrodd megys hanesyddiaeth. A meddyliaf mai yr achos na chanfyddir ond yn anfynych gyfeiriad at Hengist a Hors, yn ngwaith y Cynfeirdd, yw, nad oedd yr Awen Gymroaidd ddim etto, gwedi cyffroi o'i chwsg ar ol amser y Rhufeiniaid; gan fod rhyfeloedd Hengist, gan mwyaf, yn gyfyngedig i ddeheudir Lloegr; a phan ddihunodd yr awen, yr oedd amryw flaenoriaid Saesonaidd ereill wedi tirio, ac yn galw am sylw cyffredinol, mewn modd mwy neilltuol. Ac hefyd y mae gennyf dueddiad cryf i gredu fod trigolion arforol Lloegr, wedi eu llygru gymmaint trwy gyfeillach Rhufeinaidd, ag nad oeddynt yn feddiannol, nag ar iaith, nag ar awenyddiaeth gynhenid, ddigonol at y gwaith o ffurfio prydyddiaeth; ac ysgatfydd fod yr urddas Farddonol wedi ei hollol ddiffoddi yn eu plith. Yn wir yr wyf weithiau yn meithrin tyb, pe na fuasai i'r Saeson ddyfod i'r ynys, i gyfnewyd y defodau, y buasid yn gweled trigolion y prif-ddinasoedd gororol, yn siarad math o gymmysgiaith Lladinaidd, gyffelyb i'r hyn a geir ar y cyfandir.

## PASCEN.

Ar ol marwolaeth Gwrtheyrn, y Brut a fynega iddei fab Pascen, ddychwelyd o Germania, i ba wlad yr oedd wedi ffoi, ac yn nghyda llu nifeiriol o ddieithriaid, yn nglyn â thrigolion yr ynys, ryfela yn erbyn Emrys Wledig, yr hwn a'i gorthrechodd mewn brwydr. A Phascen trwy offeryndod Sais o'r enw *Eopa*, a achlysurodd angau Emrys gan wenwyn. Yno Pascen a ffôdd i'r Iwerddon i geisio cynnorthwy, a *Gilamwri*, [neu *Gillomanus*,] brenin yr Iwerddon, a ymgynnullodd fyddin, a hwy a diriasant yn Nghymru, gerllaw Mynyw. Ond Uthyr Pendragon a aeth yn eu herbyn, a chan eu cyfarfod mewn brwydr, a'u llwyr orthrechodd, a Phascen a'i gyfaill a laddwyd yno. Ac felly y terfynodd brenhiniaeth Gwrtheyrn Gwrtheneu. Ac nid yn fynych y gwelir teulu, a'u cymmeriad yn

fwy brithedig gan ddrwg a da, neu ynte hanesiad yn fwy cymmy gan au a gwir, nag eiddo Gwrtheyrn. Efe ei hun a ymddengys yı ysgeler, a bradwr iddei wlad; a'i fab Pascen a'i efelychodd mewn bı iaeth; ond ei feibion, Gwrthefyr, a Chyndeyrn, a amddiffynas gwlad, gyda dewrder a ffyddlondeb tra anrhydeddus. Ac ereill o'i f a gyfrifir yn mhlith seintiau ynys Prydain, sef EDEYRN, ac AERDEY [yn ol rhai] ELLDEYRN. Y cyntaf oedd un o gynnulleidfa CATTW sefydlodd Gôr, yn Llanedeyrn yn Morganwg: a'r olaf a roddodd ei Lanelldeyrn, yn yr un wlad; a dywedir hefyd fod yno Eglwys, yn gy edig i Aerdeyrn.

Ac yma ni a ddylid celu fod amryw ysgrifenyddion yn tueddu ddiffyn cymmeriad Gwrtheyrn, yn erbyn ei ddrwgliwiad, ac i haer enllib yw y rhan fwyaf o honaw. Y mae yn amlwg ddigon, fod ll anwireddau yn draethedig, perthynol iddo, ac nid annhebygol ei fo cael cam mewn rhai pethau; ond nis gallaf weled lle iddei ry oddiwrth y cyhuddiad, o gefnogi y Saeson, a rhoddi tiriogaethau idd

Yn mhlith yr amrywiol draddodiadau annghyson, perthynol i dd Gwrtheyrn, gellir ychwanegu, fod yn mhlith Englynion y Beddau, gy at ei gladdedigaeth, yr hyn a'n tuedda i feddwl, na ddaeth iddei trwy un o'r moddion dywededig, sef trwy ei losgi yn ei gastell, na th lyncu gan y ddaear; canys yr Englyn a fynega fal hyn,—

"Y bedd yn Ystyfacheu,
Y mae pawb yn ei amheu,
Bedd Gwrtheyrn Gwrtheneu."

Rhai a dybiant fod yr Englyn yma, yn cyfeirio at hen feddrod carne ar lan afon fechan, a elwir *Nant y Gwrtheryn*, gerllaw *Nefyn*, yn Gaernarfon, yr hwn a agorwyd rhai blynyddau yn ol, ac y cafwyd gist-faen, yn cynnwys esgyrn gwr o gorffolaeth hir. Eithr paham wedir fod "pawb yn ei amheu," nis gwn, nag ychwaith yn mha ys arferir yr ymadrodd. Felly y mae yn rhaid gadael gorpheniad r Gwrtheyrn, i aros yn ei anhyspysrwydd, nes ceir rhyw fyne perthynol iddo, amgen i'r rhai ar glawr.

## HILIOGAETH HENGIST.

Nid oes gennym un mynegiad cywir am amseriad marwolaeth H Ond y Chron. Sax. a ddywed idd ei fab Esc, ddyfod iddei deyrna flwyddyn 487, yr hwn a fu 24 mlynedd, yn frenin Caint. Ei fab OCTA, a'i canlynond ef; ac hiliogaeth Hengist a barhasant i fwynhau t Caint hyd at ALRIC, yn y 14eg ach, yn mha un y llwyr ddiffoddwyd yr trwy farwolaeth y gwr hwnnw, o gylch 774, yn anmhlantadwy.

805, diddymwyd teyrnas Caint, trwy ei darostwng gan EGBERT, brenin *Wessex*, yr hwn a unodd y cwbl o'r teyrnasoedd Saesonaidd, yn Lloegr, ac a'u gwnaeth yn un deyrnas.

### ÆLLE.*
B. A, 477.

Gan ys pa ymosodiadau a wnaethpwyd gan Hengist, ar diroedd yr ynys, y mae yn amlwg na fu yn alluog i feddiannu dim ond yr hyn a ai dan enw teyrnas Caint; ac y mae hyn yn eglurhau yr hyn a fynegir yn y Brut am lwyddiant Emrys Wledig, yn ei ryfeloedd yn erbyn y Saeson.

Ond tra yr oedd Hengist etto yn fyw, sef yn y flwyddyn 477, daeth blaenor Saxonaidd arall, o'r enw ÆLLE i'r ynys, yn nghyda ei dri mab, CYMEN, WLENCING, a CISSA, mewn tair llong, ac a diriodd ar oror Sussex, ac ar ol lladd llawer o'r Brytaniaid mewn brwydr, ymsefydlasant yn y wlad. Yn 485, ymladdodd drachefn a'r Brytaniaid, ond nid ymddegys iddo fuddugoliaethu. Eithr yn 490, y mae debygol fod ei luoedd wedi cynhyddu yn fawr, trwy ddyfodiadau newyddion o'r cyfandir, canys yn y flwyddyn hono, cymmerasant ddinas a elwid *Andredes-cester*, yn Sussex, ac a lwyr ddifethasant y trigolion.

### CERDIC.
B. A. 495.

Y mae yn dra thebygol, fod amrywiol ddyfodiadau o eiddo y Saeson, wedi cymmeryd lle, o bryd i'w gilydd ar ol sefydliad Hengist yn yr ynys; ond yn y flwyddyn 495, daeth un yn rhagori mewn effeithiau, ar nemmor o'r rhagflaenol, dan dywysiad CERDIC, yr hwn a hwyliodd yma, yn nghyd â'i fab CYNRIC a phump o longau, ac a diriodd tua'r gorllewin, i wlad Sussex, ac ar ol brwydr â'r Brytaniaid, a ymsefydlodd yn y wlad.

### PORT.
B. A. 501.

Yn y flwyddyn 501, daeth blaenor Saxonaidd arall, o'r enw PORT, yn nghyd â'i ddau fab, BIEDA, a MÆGLA, a dwy long, ac a diriodd yn *Portsmouth*, ac a laddodd bendefig enwog o'r Brytaniaid. Ac ymddengys iddo ef a'i ganlynwyr, ymuno a phlaid Cerdic.

Yn 508, CERDIC a'i fab, a laddasant mewn brwydr, frenin Brytanaidd, o'r enw NATANLEOD, yn nghyda phum' mil o wyr; fel y mynegir yn y Chronicon Saxonicum,† o'r hwn y cymmerwyd yr honniadau cyfnesol.

* Dewisaf roddi yr enwau hyn, yn eu dull cysefin, fel y ceir hwy yn y Saxonaeg, yn hytrach na'u terfyn-sillau Lladinaidd *Ella*, *Porta*, *Cerdicus* &c. fel y gwelir hwy yn y cyfieithiad,

† "An. DVIII, Her Cerdic, & Cynric ofslogon ænne Bryttiscne cyning, tham was nama Natanleod & fif thusendo wera mid him."—Chron. Sax.

Rhai a farnant mai y Brenin Arthur, a grybwyllir am dano enw *Natanleod*, neu *Nazanleog;* eithr nid yw ond dychymmy;

### STUFF A WITGAR.

Yn y flwyddyn 514, y ddau uchod, y rhai oeddynt gereint a ddaethant gyda thair llong, ac a ymladdasant a'r Brytania: gorthrechasant. Ac yn 519, bu brwydr rhwng y Saeson hyn a' iaid, ac hefyd yn 527, eithr ni hyspysir y canlyniad.

Yn y flwyddyn 534. bu farw Cerdic; a'i fab Cynric a ddaetl Wessex, yn ei le ac a deyrnasodd 26 mlynedd; dywedir iddo y Brytaniaid yn 552, a'u maeddu, ac hefyd yn 556; eithr am ga cyfarfod olaf, nid oes mynegiad.

Ymddengys fod y dosparth hwn o'r Saeson, sef pobl Wessex reu cynnal gelyniaeth yn erbyn eu cydwladwyr Saxonaidd, yn Brytaniaid, canys dywedir i Cerdic a Cynric, yn y flwyddyn 5 meryd ynys *Wyth*, a lladd llawer o wyr. Ac y mae yn amlwg fo honno ar y pryd hyn, yn meddiant canlynwyr Hengist; ac hefy iddynt roddi yr ynys i Stuff a Witgar. Ac yma gallwn weled edd Cerdic, a dechreuad goruchafiaeth Wessex, neu llwyth y *W* sef y Saeson Gorllewinol; canys yn y canlyniad, y dosparth yn odd i fynu y teyrnasoedd ereill, ac a ffurfiodd sylfaen unbennaet nol teyrnas Lloegr. Ac felly ar ol y cwbl, nid Hengist, na ddechreuodd oruchafiaeth y Saeson yn Lloegr, ond Cerdic a wnae a llwyth Hengist a ddifreiniwyd.

Ac yn awr, gwedi rhoddi golygiad ar y dyfodiadau cyntefig o' Saxonaidd, a'u sefyllfaoedd yn yr ynys, y mae yn bryd dychw pennaduriaid, o'r gwronion Brytanaidd, y rhai oeddynt yn yr hyn, yn ymdrechu i amddiffyn eu gwlad a'u rhydd-did, rhag rh ciwdawd estronaidd.

## EMRYS WLEDIG.

Yn y tudalennau rhagflaenol, gwelwyd amryw gyfeiriadau at y gwron hwn, ac weithian y mae yn bryd sylwi gydag ychydig fw rwydd arnaw, megys gweithredydd tra nodedig yn hanesyddiad ;

Un o'r crybwylliadau cynharaf am Emrys Wledig, yw yr u ngwaith Gildas, yr hwn a'i geilw Ambrosius Aurelianus, ac a yn fawr am ei ddewrder a'i ffyddlondeb, a dywed i weddill y ymgynnull yn nghyd, a than ei dywysiad, iddynt orchfygu eu

"Reliquiæ,—duce Ambrosio Aureliano, viro modesto [qui solus fuit comes, fidelis, fortis, veraxque forte Romanæ gentis, qui tantæ tempestatis collisione, occisis in eadem parentibus purpura nimirum indutis, superfuerat, cujus nunc temporibus nostris soboles magnopere avita bonitate degeneravit,] vires capessunt, victores provocantes ad prælium, quis victoria Deo annuente, ex voto cessit.

Yr holl ysgrifenyddion ar a ddarllenais, wrth sylwi ar y geiriau "*forte Romanæ gentis*," a'u cyfieithant, "*Ysgatfydd o'r genedl Rufeinig*," gan ddangos fod Gildas yn arwyddocau ryw amheuaeth yn nghylch hanniad Emrys, yr hyn nid yw gyson a'r haeriad, perthynol i gyflwr llywodraethol ei rieni. Ond y mae yn ddilys gennyf fod y dyryswch hyn yn tarddu allan o gamsyniad ysgrifol yn yr ymadrodd, ac fod y gair *forte*, yn gamosodiad yma, neu ynte a ddylai gael ei ysgrifenu *fortis*, sef mewn uniad a "*Romanæ gentis;*" ac y mae ysgrifiau Gildas yn llawn o'r cyffelyb amrywiaethau. Ac felly gan gadw at y dychymmyg hwn, cyfieithaf y geiriau fal y canlyn;—

"Y gweddillion o'r Brytaniaid,—dan y dywysiad Ambrosius Aurelianus, gwr prydferth, [yr hwn yn unig a barhaodd yn gyfaill* ffyddlon, dewr a gwirioneddol i'r genedl Rufeinig, yr hwn a orfuchedddodd twrf y fath ryferthwy, yn mha un y lladdwyd ei rieni, y sawl y wisgent y porphor pendefigol, eppil yr hwn, yn awr yn ein hamseroedd ni, a syrthiodd mor belled oddiwrth odigogrwydd ei hynafiaid,] a gymmerasant gadernid, a chan annog a gorthrechwyr i frwydr, a ennillasant y fuddugoliaeth, trwy ganiatad Duw, yn ol eu dymuniad."

Y mae yr ymadroddion hyn yn cyttuno a'r hyn a draethwyd eisioes perthynol i hanniad brenhinol Emrys, yn gystal ag am ei swyddogiad megys blaenor ar fyddin Rufeinig. Eithr pwy a feddylir wrth ei eppil annheilwng, nis gwn, oddieithr mai at ryw un o honynt y mae Gildas yn crybwyll, dan yr enw AURELIUS CONANUS, yr hwn y mae yn ei geryddu yn chwerw-dost. Y gwr hwn a enwir yn y Brut, ac a elwir yn y Gymraeg, CYNAN WLEDIG, eithr ni ddywedir mai o hiliogaeth Emrys yr oedd; ond yn hytrach, rhoddir iddo achau ereill yn y gwaith hwnnw.

Ac yma, oddiwrth yr hyn a allaf gasglu perthynol i Emrys Wledig, rhyfygaf roddi y darluniad byr canlynol megys ei sylwedd; ac hyderaf gynnyg na cheir ef yn mhell oddiwrth y gwir.

EMRYS WLEDIG, neu fel y gelwir ef gan Gildas, AMBROSIUS AURELIANUS, ac yn y Brut, AURELIUS AMBROSIUS, oedd flaenor o hanniad pendefigol yn mhlith y Brytaniaid, ac yn dal swydd Rhaglaw, [*Comes*,] yn y gweddill hwnnw o'r lywodraeth Rufeinig, yr hwn a hanfodai yn yr ynys, yn y 5ed ganrif. Eithr yn y cynnwrf cyffredinol, yn yr oes derfysglyd honno, pan cyfododd cynnifer o deyrnedd annibynol, ymddengys i Wrtheyrn Gwrtheneu, draws-afaelyd ar y rhan honno o'r wlad, yr hon oedd

* Dichon fod Gildas, yn arferyd y gair *comes*, gyda golwg ar syfyllfa swyddol Ambrosius, yn yr ystyr o *Raglaw*, yn gystal a'i ffyddlondeb megys *cyfaill*.

mewn modd mwy neilltuol yn perthyn i'r Rhufeiniaid, yn y deheudir; sef y wlad ar gyfeiryd tir Gâl, yn mha un yr oedd rhai byddinoedd Rhufeinig etto yn aros, ac yn cynnal rhyw fath o lywodraeth. Yn y terfysg yma, Emrys, gan nad oedd alluog i wrthsefyll Gwrtheyrn, a aeth drwodd i Lydaw at ei geraint. Yna Gwrtheyrn, gan ofni ei ddychweliad, gyda'i gyfeillion o'r blaid Rufeinig, a gyflogodd y Saeson iddei gynnorthyo, yn ei erbyn ef, yn gystal ag i wrthladd y Barbariaid Gogleddol. Ond Emrys pan cafodd arfod, a ddychwelodd i Brydain, yn nghyda byddin gref, ac ar ol uno â thrigolion Cymru, a Chernyw, efe a orchfygodd Gwrtheyrn, ac a ymladdodd yn ddewr yn erbyn ei gyfeillion Saesonaeg, y rhai oeddynt erbyn hyn, wedi ymëofni cymmaint, a cheisio goruchafiaeth gwladwriaethol. Ac y mae yn debygol iawn, mai trwy ymdrechiadau gwychion Emrys, y cyfyngwyd Hengist a'i blaid, i ardal Caint yn unig, heb allel o honynt, fyth ehangu eu tiriogaethau.

Ond fe ellir gofyn yn awr, pa fodd y gallasai Emrys feddiannu cymmaint o awdurdod ar y cyfandir, a dyfod a byddin o filwyr arfog oddiyno i Brydain, a chymmaint o eisiau milwyr ar y Rhufeiniaid eu hunain, i amddiffyn eu meddiannau cartrefol. Ac mewn attebiad, haeraf fod hyn yn eithaf cyson âg amgylchiadau yr oes. Dangoswyd eisioes, [tu dal. 146,] y darfu yn yr un amser, sef o gylch y flwyddyn 458, i fyddin o ddeuddeg mil o Frytaniaid fyned i'r cyfandir, wrth gais yr Ymherawdr, Anthemius, dan flaenor o'r enw Riothimus, ac ni wyddys beth a ddaeth o'r gweddill o honynt, oddieithr fod crybwylliad am ryw filwyr Brytanaidd, ar lan yr afon *Loire*, ychydig ar ol hynny. Yn awr, gan fod rhan o'r afon Loire, o fewn i gyffiniau Llydaw, a bod pob amgylchiad arall yn cyd-atteb, nis gwn am un achos, paham na allasai rai o'r milwyr Brytanaidd yma, afaelyd yn yr achlysur o ddychwelyd iddeu gwlad enedigol gydag Emrys.

Ac y mae yn ddiamheuol, mai nid milwyr yn y gwasanaeth Rufeinig, a ddaethant drwodd gydag Emrys, er y gallasant ychydig o'r blaen, fod mewn cyflog gan y Rhufeiniaid, ond y mae pob hanesyddion yn cyttuno, i'r cyfan o'r milwyr Ymherodrol, ymadael a'r ynys cyn dyfodiad Hengist, ac na ddychwelasant fyth mwy; a bod awdurdod Rhufain yn Mhrydain, gwedi terfynu, ar eu hymadawiad hwy. Ac am waedoliaeth Brytanaidd Emrys, ni welaf un achos pa bynag, i feithrin yr amheuaeth lleiaf o'i blegid. A barnaf fod y rhai a gefnogant y cyfryw amheuaeth ar awdurdod Gildas, yn camddeall ei ystyr; canys pe buasai yr awdwr yn bwriadu dywedyd fod Emrys wedi hannu, "*Ysgatfydd o'r genedl Rufeinig:*" meddyliaf na fuasai yn arferyd y geiriau, "*forte Romanæ gentis,*" eithr yn hytrach "*ex,*" neu "*de Romana gente.*" Ac yn mhellach nis gallaf ganfod un cysondeb yn yr ymadrodd, yn ol yr ystyr uchod; o herwydd y mae Gildas, yn un o'r ymadroddion nesaf, yn mynegi yn amlwg, ei fod yn

adnabyddus âg hanniad Emrys; canys dywed fod ei rieni mewn cyflwr swyddol anrhydeddus, dan yr Ymherodraeth Rufeinig, ["*purpura indutis.*"]

## OCTA AC EOSA.

Er nas rhagddygaf y Brut megys awdurdod, etto pan welwyf ynddo ymddebygoliad i wirionedd mewn unrhyw adroddiad, ni farnaf yn dêg, fwrw heibio iddo yn ddisylw, canys dichon y gall yn hynny o beth, fod yn cynnwys sylwedd gwir hanesyddiaeth, er y gall fod, nad ydyw yn gwbl gyttuno a thraethiadau ereill. Ac o'r cyfryw, barnaf fod yr hyn a ddywedir am OCTA ac EOSA, y rhai a elwir yn feibion i Hengist. Yn ol y Brut, y brodyr hyn, wedi marw Emrys Wledig, a ddechreuasant aflonyddu y wlad. Ond Uthyr Pendragon, yr hwn oedd wedi dyfod i'r orsedd, a gynhullodd fyddin liosog, a chan eu cyfarfod mewn brwydr, a'u cymmerodd yn garcharorion. Ond hwynthwy gan ennill eu rhydd-did, a ffoisant i'r Almaen, a chan grynhoi llu dirfawr o wŷr, a ddychwelasant i Brydain. Ac Uthyr a'u gwrthwynebodd drachefn mewn brwydr, yn mha un y gorchfygwyd eu byddin, a hwythau a laddwyd. Ar ol hyn, Uthyr a ddaeth iddei ddiwedd, trwy gynllwyn y Saeson, y rhai a wenwynasant y ffynnon, allan o ba un yr oedd efe yn arfer cael dwfr i yfed.

## UTHYR PENDRAGON.

Hyd yn hyn, yr ydym wedi cadw o fewn terfynau dichweiniau arferol y byd, ond yn awr yr ydym yn neshau at y tiriogaethau niwliog a chysgodawl hynny, trwy ba rai yr arweinia ein taith dros ennyd weithiau, yn mha rai y cyfarfyddwn âg amrywiol bethau tra anghyffredin,—bodau ellyllaidd, cyfareddion hud a lledrith,—dirgeledigaethau cudd a datgudd;—a gwrthddrychau mor amheüus eu llun a'u hanian, ag mai da fydd, os deuwn allan heb gael ein camarwain gan wyllion, neu ein swyno gan orcheiniaid, a cholli ein ffordd, a chrwydro yn ddiderfyn yn mhlith y coedydd dyrysedig, a'r mynyddoedd cymhylog, y sawl a hanfodant yn yr ardaloedd yma.

UTHYR PENDRAGON, oedd frawd i Emrys Wledig, ac ar ol ei farwolaeth, a etifeddodd yr orsedd, ac a orthrechodd ar y Saeson, megys ag a draethwyd eisioes; yn yr hyn nid oes dim yn adroddedig, na allasai gael ei gyflawni gan ddynolion ereill. Ond nid felly y mae yn yr hyn a ganlyn.

Uthyr gwedi gorchfygu ei elynion, a llonyddu ei deyrnas, a gynhaliodd wledd fawr yn ei lys, yn ninas Llundain, ac a wysodd ei holl bendefigion, i ddyfod iddei gyfarfod. Ac yno, "o bob amrafaelion, caeroedd, a chestyll, a dinasoedd, a gwladoedd; ymgynhullaw a wnaethant, yn erbyn y dydd cyfnodedig hwnnw. Ac wrth hynny, y brenin a anrhydeddws yr

wylfa honno yn frenhinawl, megys y darparasai, ac a ymosodes i lawen ydd, yn nghyd a'i wyrda, [bendefigion.]" * A'r pendefigion hyn ddaethant, a'u gwragedd, a'u merched gyda hwynt. "Ac yna y dayt GWRLAIS, Iarll Cernyw. A'i wraig yntau oedd EIGR,† merch AMLAWDD WLEDIG; ac nid oedd yn ynys Prydain, na gwraig na morwyn, cyn decec a honno." "A phan welas y brenin, y wraig honno yn mhlith gwragedd ereill, ymlenwi a wnaeth o'i chariad, yn gymmaint ac na hanbwyllai o ddim, namyn treiglo ei holl ynni, [nerth greddfol,] a'i feddwl yn nghylch ei hanrhyfeddi hi. Iddi hi yd anfonid y golwython, iddi hi yd anfonid y gorflychei euraidd, a'r gwirodeu ynddynt, a'r anrhegion, a geiriau amwys hefyd, yn ddibaid." Ond ymddengys nad oedd yr ymddygiad hwn, ddim yn gwbl foddhaol iddei gwr, canys pan welodd efe hyn, "llidiaw a wnaeth, a gado y llys heb gennad y brenin. A phan wybu Uthyr hynny, y llidiodd yntau, ac anfon cenhadon yn ei ol, i erchi i Wrlais ddyfod drachefn, cans, sarhaed fawr oedd adaw llys y brenin heb gennad. Ac anfon ail gennad, a'r drydedd, ac ni ddayth ef ddim. Ac y dywad y brenin y digyfoethai ef o dân a haiarn, [cleddyf,] onid ymchwelai. Ac nid ymchwelodd Gwrlais er bwgwth. Ac yna yn ddianod cynnull llu a orug [wnaeth] y brenin, a lladd a llosgi trwy holl gyfoeth [dywysogaeth] Gwrlais." Yna yr hanes a fynega, i Wrlais, gan nad oedd yn alluog i roddi câd ar faes i'r brenin, osod ei wraig mewn diogelwch yn Nghastell *Tintagol*, yn Nghernyw; ac fel na fyddai iddynt ill dau gael eu cymmeryd ar unwaith, efe ei hun a aeth i gastell *Divulioc*. Ac yna y brenin gan nad allai mewn un modd gymmeryd y castell yn mha un yr oedd Eigyr, a fu yn athrist iawn. Ac a fynegodd ei gyflwr i un o'i swyddogion a elwid WLFFYN, a hwnnw a'i cynghorodd i geisio cynhorthwy y dewin nodedig MYRDDYN EMRYS. Ac ar ol dyfod a Myrddyn ger ei fron, dywedodd y dewin hwnnw wrtho, y medrai efe trwy gelfyddydau, droi Uthyr i rith Gwrlais, a throi Wlffyn i rith cyfaill i Uthyr, ac efe ei hun a gymmerai arnaw lun ryw un arall. Ac felly y gwnaeth; ac Uthyr a gafodd dan rith ac enw Gwrlais, ei ollwng i mewn i gastell Tintagol, ac Eigyr ni wybu nad ei gwr ydoedd efe.

Tra yr oedd efe yno, brwydr a gymmerodd le rhwng y byddinoedd oddi allan, yn mha un y lladdwyd Gwrlais. Ac ar ol hynny Uthyr a gymmerth arnaw ei lun ei hun drachefn, ac a briododd Eigyr, a bu iddynt fab a merch, sef ARTHUR, Brenin Prydain, a'i chwaer ANNA.

Y Brut a fynega yr achos i Uthyr gael yr enw *Pendragon*, sef i seren

* Yr adroddiadau yma a gymmerir allan o wahanol ysgrifiau y Brut, yn y Myf. Arch. fel ag y tarawant at yr achos, heb ystyried yr amrywiaethau o'r Gymraeg, y rhai a ddangosant, er y gall yr hwn a graffa yn fanol, ganfod amryw o'r fath. Cyfnewidir yr hen lythreniad yn gyffredinol, er ei wneyd yn fwy dealladwy.

† Gelwir hi yn y Lladin, *Igerna*, ac yn y Ffrangaeg *Ygraine*.

ysgafnog ymddangos a llun draig o dân yn nglŷn a hi, ac iddo ef wneuthur draig aur yn gyffelyb i honno, a pheri ei dwyn o'i flaen yn wastad, "pan elei i frwydr, ac i gâd, ac i ymladd." Eithr rhai a haerant mai enw swyddol oedd *Pendragon*, yn arwyddocau yr un peth a *Phenlliwiawdwr*, a bod y Brytaniaid, pan bygythiwyd hwy gan elynion cedyrn, yn yr arfer o ethol y cyfryw flaenor, i arwain a llywiaw nerthoedd yr ynys yn gyffredinol, yn ol rheol Unbenaeth Prydain.

Yn y Myv. Arch. y mae cyfansoddiad, gwedi ei resu yn mhlith gwaith Taliesin, yr hwn a elwyr *Marwnad Uthyr Pendragon.* Y mae Davies wedi cyfieithu y cyfansoddiad hwn, ac yn honni ei fod yn cynnwys amrywiol gyfeiriadau ar Dderwyddiaeth. Am y cyfeiriadau hyn, nis gallaf atteb; y mae yn ddichonadwy fod amryw o'r fath, wedi disgyn hyd y canol-oesoedd, ac yn hanfodi mewn dull arall, cyfattebol i anianawd yr amseroedd; ond y mae yn ddilys gennyf nad ydyw y Farwnad uchod, ddim mor hened a'r oes Taliesin, ac hefyd nad ydyw Davies nag un cyfieithydd arall ar a ddaeth dan fy sylw, yn rhoddi gwir ystyr y gwaith. Y cyfansoddiad a ddechreua fal hyn;—

"Neu fi liossawg yn trydar,(1)
Ni pheidwn rhwng deu lu heb wyar,(2)
Neu fi a elwir gorlassar,
Fy ngwregys bu enfys im hesgar, &c."

1 terfysg.
2 gwaed.

A cynhwysa amryw eiriau dieithr, megys *casnur*, *wythur*, *Cawrnur*, *henpen*, &c. rhai o'r sawl a geisir eu cyfieithu, megys geiriau cyffredin yn ol ei gwreiddyn, ac felly troddir yr holl gyfansoddiad yn dwrr o ymadroddion diystyr. Er anghraifft, *gorlassar*, a wneir i arwyddocau rhywbeth perthynol i'r wybren lâs. A *gwythur*, a gyfieithir y *digofawl*, &c. ond y mae yn ddilys gennyf, nad yw *gorlassar*, ddim amgen na Gwrlais,* Tywysog Cernyw, i rith pa un y troddwyd Uthyr, trwy gyfareddau Myrddyn. Ac am *wythur*, ni allaf amheu mai Gwythyr ap Greiddiol yw, tad Gwenhwyfar, gwraig Arthur. Henpen, hefyd oedd ŵron tra nodedig; fal y dangosir yn y canlynol;—

"Tri glew ynys Prydain.—Grudneu, Henpen, ac Aedenawc. Eu cynneddfau oedd, nad elynt o gad, namyn ar eu heloreu."—Tri. XXVII.

Ac felly, er nas rhyfygaf feddwl fy mod yn canfod ystyr y cyfan o'r cyfansoddiad hwn, a elwir Marwnad Uthyr Pendragon, etto deallaf ddigon o honaw i'm sicrhau, nad oes neb o'r cyfieithwyr rhagenwedig, gwedi cael ei wir amcan; ac hefyd ei fod yn llawer diweddarach, nag amser Taliesin, ac yn perthyn i ryw oes, yn mha un yr oedd gwronion llys Arthur wedi dyfod i ffurfio testynau ffug-draethodawl.

* Neu Gorlais.

Yn mhlith y erbwylliadau ereill perthynynol i Uthyr, y mae un Trioedd, yn mha un y rhesir ef yn mysg perchenogion celfyddydau fal y canlyn;—

"Triwyr Hud a Lledrith ynys Prydain,"—ail oedd Menyw fab Teirgwaedd, a ei Hûd i Uthyr Bendragon." Gwel tu dal. 23.

Ac felly gellir canfod, mai nid trwy gyfrwng geiriadur yn unig, at ystyr yr hen gyfansoddiadau hyn; o herwydd bod eu cyfeiriada tuol, mor glymmedig gyda thraddodiadau cynoesawl, a bod rhai gydnabyddiaeth da o'r cyfryw, cyn cymmeryd mewn llaw y gorchw heglurhau.

MYRDDYN EMRYS.

Er mor ddieithr ac anhebyg i amgylchiadau cyffredinol, yr ymd yr uchod, nid ydym ni etto, ond braidd wedi sangid o fewn i derfy ardaloedd hudledig, yn y rhai yr annedda y bodau, y sawl a ffurfia tynau ein myfyrdodau yr awr hon; ac hefyd ni allwn, ar hyn o bry yn unig cymmeryd gwibdaith fer ar hyd ymylau y wlad, er syllu y ar anianawd y trigolion; un o'r mwyaf enwog o ba rai, ydyw My Emrys, neu Merlinus Ambrosius, fal y gelwir ef yn y Lladin; h un a geir yn ngwaith Nennius, sylwedd pa un sydd fal y can nghydag ambell sylwad allan o'r Brut.

Y Brenin Gwrtheyrn, gwedi gorfod ymadael a'i orsedd, a gyngh gan ei ddewinion, i fyned i eithafoedd y wlad, ac yno adeiladu cas mha un y gallai amddiffyn ei hun rhag ei elynion. Ac yn ol y hwn, efe a dramwyodd gyda'i ddoethion, trwy amryw rannau o'i d ac o'r diwedd daeth i ardal, a elwid *Gwynedd*, [*Guenet*,] ac a gafo yn mynyddoedd *Eryri*, [*Heriri*,] le addas at yr achos. Yno y b gynhullodd yn nghyd, seiri coed a maen, ac a gludodd yno y defn angenrheidiol; a'r gweithwyr a ddechreuasant osod y sylfaen. hyn a adeiladent mewn un diwrnod, ni welid dim o honaw dranoeth llyncid ef gan y ddaear yn y nos.* Hyn a ddigwyddodd dair gw yna y brenin a ymgynghorodd a'i ddewinion, perthynol i'r ach hwynthwy a'i attebasant, oddieithr iddo gael allan blentyn heb un ladd, a thaenelli ei waed ar y defnyddiau, a'i gymmysc â'r cymmrw ni safai yr adeiladaeth, ac ni chwblheid ef yn dragywydd.

A'r brenin ar hyn, a anfonodd genhadon trwy yr holl ynys, i am blentyn heb un tâd. A hwynthwy yn crwydro trwy'r wlad, a ant i *Faesaleg*, yn yr ardal a elwir *Glewysig*, [venerunt ad C

* "Ac a wnelynt beunydd o waith, a lyncai y ddaear ac a syrthiai beunoetl

lecti, qui est in regione quæ vocatur Glevising.]* Ac yno yr oedd nt yn chwareu pêl. Ac wele, dau fachgen a ymrysonasant a'u gilydd, un o honynt a ddanhododd i'r llall, nad oedd ganthaw un tâd. "Ac ," medd y Brut, " pan gigleu [glywai] y cenhiadeu y gair hwnnw am rddyn, gofyn a orugant, [wnaethant,] i'r nifer o bob tu iddynt, pwy ld y gwas? Ac yna y dywawd pawb onaddynt, na wyddynt hwy pwy d ei dâd; ei fam ynteu, oedd ferch i frenin Dyfed, a mynaches fuchawl yw, yn mhlith mynacheseu ereill yn Eglwys Beder, yn Nghaer rddyn." Ac ar ol holi yn ei gylch, cafwyd allan nad oedd iddo un tâd, lieithr mai un o'r ysprydion ellyllaidd oedd, y rhai a hanfodent o gylch ldaear.

Y cenhadon ar ol cael gafael ar y bachgen hwn, a'i dygasant at Wrthn, fel y lladdid ef. A'r bachgen a ofynodd i'r brenin yr achos o'i ddwyn ei fron, ac yntau a'i attebodd, mai iddei ladd y gwnaethpwyd hynny, er l ei waed iddei gymmysg â'r calch, i'r dyben i beri i'r adeilad sefyll. Y chgen gan hynny, a ddywedodd wrth y brenin, mai er celu eu hanwybodh eu hunain, yr oedd ei ddewinion wedi rhoddi y fath gyngor iddo. Ac ldeisyfodd ganiatad i holi y dewinion, perthynol i hyn. Ac ar ol eu cael r bron, gofynodd iddynt amryw bethau perthynol i'r adeilad, a'r lle; hr nid oeddynt alluog iddei atteb. Yna efe a ddywedodd, os cloddient n y sylfaen, y caent yno lyn o ddwfr, ac yn y llyn, gist, yn ffurfiedig o au faen cau; ac yn y gist honno, dwy ddraig yn cysgu. " Aphan ddeffnt, ymladd a wnant, a chan y cyffro hwnnw, y syrth y gwaith." Ar ol ddio i'r ddaear, cafwyd y llyn, megys y dywad y bachgen. "Ac erchi pyddu [sychu] y llyn a orug y brenin," ond ni allent wneyd hynny, "ac di na allent hwy dispyddu y llyn, Myrddyn o'i gelfyddyd a'i gollyngodd yn bymffrwd yn rhedeg." Ac yno cafwyd y gist-faen, a'r dreigiau ddi yn cysgu, yn ol gair Myrddin, yn gynnwysedig mewn pabell, wedi

' Felly y ceir yr hanes yn ngwaith Nennius; ond y Brut a ddywed mai *Caerfyrddin* d y lle, ac i'r dref honno dderbyn yr enw yma, ar ol yr amgylchiad hyn. Ac y mae yw draddodiadau yn cysylltu enw ac hanes Myrddyn a'r lle. Nid hoff dymchwelyd draddodiadau, pan fythont yn ddiniweid; ond annhirion iawn yw hanesyddiaeth tuag at han fwyaf o'r cyfryw; ac yn yr anghraifft dan sylw, nid ydyw fwy addfwyn; canys yn cael cadarnhad o'r haeriad i Gaerfyrddin dderbyn yr enw hwn oddiwrth Fyrddyn Emrys, llwn fod y dref honno, yn dwyn yr enw *Maridunum*, yn hir cyn ei eni, sef yn amser y afeiniaid.

Yn mhlith pethau traddodiadol ereill, yr wyf yn cofio clywed hen ddarogan, yr hon, os chyfeiliornaf, a honnid ei bod o eiddo Myrddyn, perthynol i dynged y dref uchod, sef,—

" Caer Fyrddyn cei oer fore',
Daear a gryn,—daw llyn i'th le!"

Y mae amrywiadau i'r geiriau, un o ba rai sydd, " *Daear a'th lwnc,—a dwr i'th le.*"

Pa fodd y daeth y gwahaniaeth rhwng Nennius a'r Brut, nis gwn; ond y mae yn amlwg i Maesaleg, a feddylir gan y cyntaf, mewn un ysgrif, " *Campum Æleeti,*" yw yr ymadldd.

ei phlygu yn nghyd. Ac o'r dreigiau, yr oedd un yn goch a'r llall yn wen

Ac fel yr oedd Gwrtheyrn a'i gyfeillion, yn syllu ac yn rhyfeddu am y pethau hyn, y dreigiau a ddihunasant, ac a ddechreuasant ymladd a'i gilydd, mewn modd tra ffyrnig. A'r ddraig wen a ymddangosodd yn gryf ach na'r llall, ac a'i gyrrodd dair gwaith hyd at ymyl y llyn, yr hyn a barodd iddi ddolurio a llidio yn fawr. Ond o'r diwedd, y ddraig goch, yr hon yn y dechreuad oedd y wanaf, a ymegniodd, ac a ddaeth yn gryfach na'r llall, a chan ei gwrthladd yn rymus, a'i gyrrodd at ymyl y llyn. A'r ddraig wen a ffôdd allan ac a ddiflannodd. Yna Myrddyn a ddangosodd iddynt, fod y ddraig goch, yn arwyddocau y Genedl Frytanaidd, a'r ddraig wen, Cenedl y Saeson. Ac a draethodd yno brophwydoliaeth dra hynod yr hon sydd yn gynnwysedig yn y Brut, eithr yn rhy hir iddei rhoddi yma: ond er boddhau y sawl nid ydynt berchenogion ar y gwaith hwnnw rhoddaf ychydig o'i ddechreu, allan o'r cyfieithad Cymraeg, yn yr hen lythyreniad.

"Gwae hi y dreic coch, kans y haball yssyd [ei phalliant y sydd] yn bryssyaw. gogoveu hi a achub y dreic wen, yr hon a arwyddoca y Saesson, a hodeist, [a wahoddaist] y dreic coch arwyddoca kenedyl y bryttanyeit, yr hon a gywarsegir [sengir] ygan y dreic wen, wrth hynny y mynyded awastateir mal y glyneu, ac auonoed [afonydd] y glyneu alitl rant owaet [o waed] Pwyll y Gristonogiaeth adileir, a chwymp yr eglwysseu a ymdewynni [yn amlwg] yny diwed y ran uwaa [adfywia] y gywsagedig, a dywallder [creulonder] y estronyon y gwrthwynebir, kanys baed kyrnyw aryd [baedd Cernyw a rydd] kanhorthwy a mynyglen [gyddfau] yr estronyen a sathyr dan y drayt, [ei draed,] &c."

Y canlynol, yw yr un peth yn y Lladin, o eiddo Sieffre o Fynwy:—

"Ve rubeo draconi, nam ejus exterminatio festinat: cavernas ejus occupabit albus draco qui Saxones quos invitasti significat. Rebeus vero gentem significat Britanniæ, quæ a albo opprimetur, montes itaque ejus ut valles æquabuntur, et flumina vallium sanguis manabunt. Cultus religionis delebit et ecclesiarum ruina patebit, prevalebit, tandem oppressa et exterorum sævitiæ resistet. Aper etenim Cornubiæ succursum præstabit et eorum colla sub pedibus suis conculcabit," &c.

Meddyliaf y gwelaf yn y cyfansoddiad hwn, gofrestr mewn iaith gysgodol, o amryw ddigwyddiadau, y rhai a gymmersant le, hyd at ddechreuad y canol-oesoedd. Ac ysgatfydd i'r hen ddefnyddiau, gael eu cymhwyso at ei amser ei hun, gan Sieffre o Fynwy. Ond gan ys pa beth oedd eu hamcan cysefin, y maent, yn y dull y gwelir hwy yn awr, yn dangos y fath glymmiadau anadrysadwy a diystyr, fel mai gwir ëofn ac hyderus rhaid i'r gwr hwnnw fod, yr hwn a gymmer mewn llaw eu dehonglyd. Y canlynol a gymmerir allan o ganol y cyfansoddiad, a gwasanaethant yn ddigonol o anghreifftiau o'r cyfan; canys nid oes fawr o amrywiad. Yr hen lythyreniad a gymhwysir mewn rhai geiriau.

"Oddiyna y cerdd aderyn o lwyn y *Caledyr*,* yr hon a gylchyna yr ynys, ddwy flynedd O nosawl lefain y geilw yr adar. A phob cenedl aderyn a gydymdeithoca iddi. Yn dd

* Galtres, yn swydd Gaerefrawc.

pwyll y rhai marwol a ruthrant, a holl grawn yr yd a lyncant. Oddiyma y daw newyn i'r bobl; yn ol y newyn girad [enbyd] angau. Pan orffowyso y faint anghyfnerth honno y cyrch yr ysgymmun aderyn hono glyn *Galabes*. Oddiyna yd ymddyrcheiff i fynydd; yn mhen hwnw y planna dâr. Ac yn ei changau y gwna ei nyth. Tri wy a deidy yn y nyth; o'r rhai y bydd llwynawc, a blaidd, ac arth," &c.

Etto,—

"Tair ffynnon a gyfyd o Gaer Wynt; ffrydiau y rhai hynny, a holltant y ddaear yn dair rhan, y neb a yffo o un o naddynt, o hir syched yr arfera, ac ni wrthrymir o glefyd rhagllaw. A yffo o'r ail, o anniffygedig newyn yd aballa. Ac yn ei wyneb y bydd aruthredd a glasedd. A a yffo o'r trydedd, o ddisyfyd angau y aballa, ac ni thrig ei gorff mewn bedd," &c.

Yn un o'r cyfansoddiadau dan enw Taliesin, ceir y canlynol;—

"Ysydd tair ffynawn,
Yn mynydd Ffuawn
Y sydd Gaer Gwarthawn
Y dan don eigiawn."

Ac meddyliaf y gall fod amryw ddarnau o hen draddodiadau Cymraeg, yn y crugiwyth uchod o ddefnyddiau anghyson. Ond beth a feddylir wrth y *tair ffynnon*, nis gwn.

Am y modd y daeth y dreigiau i gael eu cuddio yn y lle hwnnw, dangoswyd eisioes yn chwedl y *Tair Gormes*, tu dal. 5; a'r weithred hyn o'u datguddio, a grybwyllir am dano, yn y Trioedd, yn y modd canlynol;—

"Tair Cudd a Datgudd ynys Prydain.——

Ail ydoedd Esgyrn Gwrthefyr Fendigaid, a gladdwyd yn mhrif borthladdoedd yr ynys, a thra baint yn eu cudd, analledig gormes i'r ynys hono.

Trydydd oedd y dreigiau a guddiwyd gan Lludd ab Beli, yn ninas Pharaon, yn Nghreigiau'r Eryri: a'r tri chudd hynny a ddoded yn nawdd Duw a'i riniau, ac anpoed gwaeth o'r awr a'r un a'u datguddiau. Gwrtheyrn Gwrthenau a datguddiawdd y dreigiau, er dial anfodd y Cymry parth ag ef, ac a wahoddes y Saeson dan rith gwyr porth [cymmorth] i ymladd â'r Gwyddyl Ffichti. A gwedi hynny y datguddiodd efe Esgyrn Gwrthefyr Fendigaid, o serch ar Rhonwen, ferch Heagist Sais."—TRI. 53.

Gellir nodi yma ychydig o anghysondeb, rhwng y Triad a'r hanesion, eithr nid ydyw ond amrywiad yn unig, ac yn cadarnhau yr hyn a ryfygais haeru, sef, fod gan ffurfwyr y Trioedd, ryw ffynhonell o hanesyddiaeth, angen i waith Nennius, a'r Brut.

Ar ol y pethau hyn, Myrddyn a gynghorodd Wrtheyrn i ymadael o'r lle hwnnw, am nad allai adeiladu Castell yno. Ac efe ei hun a arhosai yno, canys y lle a roddasid iddo trwy dynghedfen, yn drigfa. Ac yno y brenin a roddodd iddo y lle, yn nghyd â meddiannau helaeth o'i amgylch, ac a aeth ymaith, A'r lle hwnnw yw *Dinas Emrys*, gerllaw *Beddgelert*, yn Eryri, yr hwn a elwir hefyd, *Dinas Ffaraon*.

Ar ol y digwyddiadau nodedig yma, Myrddyn a ddaeth i fod yn dra enwog, megys dewin; ac yn mhen ychydig amser cawn ef yn cyflawni gorchwyl tra hynod i Emrys Wledig, sef, trosglwyddo meini, *Côr y Cewri*,

[Stonehenge,] o'r Iwerddon, iddeu gosod yn gofadail, o gylch l pendefigion, y rhai a laddwyd yn mrad y cyllyll hirion.

Y meini hyn oeddynt ar fynydd *Kilara*, yn yr Iwerddon. Y yn "enryfedd eu hansawdd," ac yn perchenogi rhinweddau n iaethol tra anghyffredin. A'r Cewri gynt a'u dug hwynt yno, o e yr Yspaen, [neu yr Affrica,] ac a'u rhoddasant yn y modd yr oed

Pan wnaethpwyd rhinweddau y meini yn hyspys, penderfynw iddeu ymofyn. Ac Uthyr Pendragon a gychwynodd gyda byddi theg mil o wyr; ac ar ol ymladd gwaedlyd â *Gilamwri*, brenin yı on, daethant at y meini, ac ar ol i'r gwyr geisio â'u holl ymdrech, y meini, a methu a gwneyd hynny, Myrddyn heb lafur yn y byd, ei gelfyddydau cyfareddol yn unig, a ddug y meini i'r llongau; a annod, "o herwydd dyfod y gwynt," yr oeddynt yn mynydd . Wastadedd Caer Caradawc.

Ar ol hyn, cawn Myrddyn yn cyflawni y cymmwynas a nodw i Uthyr Bendragon, gan ei droi i rith Gwrlais, Tywysog Cernyw ymddangos ei fod yn berchennog ar y fath wybodaeth, o gelfydd gel, a diau deilyngu yr enwogrwydd, o fod yn ben ar holl ddewini Ac y mae efe yn mwynhau godidogrwydd tra nodedig, yn llys A

Y Brut Cymraeg a ddywad perthynol i'r gwr hwn, ar ol c Gwrtheyrn, fal hyn, " Ac *An vap y lleian*, [mynaches,] y gelw hynny, ac o hynny allan, Merddin, o achaws ei gael yn Nghaer F Ac y mae hyn yn cyttuno a chofiant yn mhlith Englynion y B hwn a fynega fal y canlyn;—

> " Bedd An ap llian yn Neweis,
> Fynydd llaagor llew Emreis,
> Prif ddewin Merddin Emreis."

Y gair *anfab*, a arwyddoca *Plentyn*: gwel Geiriadur O. Pughe.

Y mae yn ddyledus sylwi yma, fod dau o'r enw *Myrddyn*, sef M EMRYS, am yr hwn y traethir; ac hefyd MYRDDYN WYLLT, neu M AP MORFRYN,† yr hwn oedd yn fyw yn yr oes ganlynol. Yr o dau yn Feirdd; eithr nid oes dim ar glawr o waith y cyntaf, o amryw gyfansoddiadau, yn myned dan enw Myrddyn Wyllt, a gan mwyaf, yn ddaroganau; felly yn rhwysg amser, daeth enwo

* Y mae hyn yn fwy cyson âg hanesyddiaeth, sef fod Caerfyrddin yn d hwnnw, cyn amser Myrddyn Emrys. Ond ofer fyddai disgwyl gweled cyso yddol, mewn cyfansoddiad mor llawn o ffugiadau.

† Canfyddir fod yr enw hwn, yn cael ei lythyrenu mewn amrywiol ffyr gennyf un achos dewis un yn hytrach na'r llall, ond digwyddais arferyd yr un gwaith hwn, am i mi ei gael felly, yn un o'r hen ysgrifau a ddaeth gyntaf dan f

hyn, i ffurfio un dewin tra ardderchog, dan yr enw MERLIN. Cry-
lir am y ddau hyn, yn y Trioedd, fal y canlyn;—

i Phrifardd Bedydd ynys Prydain:—Merddin Emrys, Taliesin Ben beirdd, a
in ap Madawc Morfryn."—TRI. 125.

mae diwedd Myrddyn Emrys, yn gauedig dan yr un len o gaddug
m arall o'i hanes. Dywedir yn y Trioedd am dano yn y modd hyn;

"Tri difancoll ynys Prydain,———

Merddin Bardd Emrys Wledig, a'i naw Beirdd Cylfeirdd, a aethant i'r môr yn y Ty
rn, ac ni bu son i ba le idd aethant."—TRI. 10.

ill a haerant ei fod mewn cyflwr gorcheinedig, yn nghoed *Bresilien*,
ydaw; i ba gyflwr y syrthiodd trwy gamddefnyddiad, o'i swyn-gyfar-
ei hun. Canys trwy gais ei gyfeilles *Vivian*, mynegodd iddi hi rai
lfyddydau mwyaf nerthol; a hithau, yn dra anghall, a aeth i brofi
nwedd, ar Fyrddyn ei hun; a thrwy hyn, hi a berodd iddo gael ei gau
mewn llwyn draenen wen, yr hwn a ymddangosai iddo ef megys tŵr
, yn mha un yr oedd yn garcharor, ac allan o ba un nis gallai fyned.
ar ol llwyddo iddei swyno yn y modd hyn, ni fedrai ei ddadswyno
efn, eithr dyna lle yr arhosai; a phobl y wlad dros hir oesoedd a gred-
bod yn clywed ei lais ef yn y coed hwnnw, ar nosweithiau, yn ach-
herwydd ei gaethiwed: ond rhai ar y law arall a gredent fod Myrdd-
nghyd a'i holl gyfeillion o lys Arthur, yn byw mewn mawr dded-
wch yn ynys *Afallon*, yn ngwlad y Tylwyth Têg.

wele yn awr, ryw ddarllenydd dwys a phruddlawn, yn sorri yn
, ac yn llefain, "Och!—Paham ein blinir â'r chwedlach hyn; onid
ddau ydynt oll?—Attebaf finnau, "Ië, celwyddau ydynt,—cel-
u noethion,—moelion,—diystyr, ar a wn i, ac ysgatfydd digysgod
hefyd. Ond ychwanegaf un peth. Y celwyddau gorllym hyn, o
y Cymry, a effeithiasant ar anianawd cynheddfawl Ewropa, yn fwy
anesion gwirioneddol y cenhedloedd ereill. Canys nid oedd gwlad
nedl, o fewn terfynau y gorllewin, nag ychwaith o fewn gwledydd
ol y dwyrain, i ba un nid oedd clod y dewin Myrddyn, yn nghyd a'i
lion, wedi cyrhaedd. Ac er prawf o'r rhwysg a gafodd ar y cyfandir,
es achos ond yn unig ddywedyd, fod un o lëenyddion, y ddeu-
d ganrif, wedi ysgrifenu llyfr maith a dysgedig, er esponiad o bro-
doliaeth Myrddyn, o ba un y rhoddwyd yr anghreifftiau uchod!—A
dd bynag yr ymddengys i rai; o'm rhan fy hun, barnaf ei fod yn
mor addysgiadol i ni ambell waith, droi ein sylw at gynneddfrwysc
, ac agoriad, ac helynt y meddwl, trwy amrywiol oesoedd, ag y gall
gadw yn ddibaid at ddim ond rhyfeloedd a brwydrau, neu effeithiau

eiddigedd, neu uchelfrydedd llywiawdwyr. Y mae yn wir y gall y Cymr edrych yn ol ar helynt eu cenedl, gyda balchder a boddlonrwydd, pa gofiont y gwychder, gyda pa un y darfu iddeu hen deidiau amddiffyn e gwlad a'u rhydd-did. Ond amddiffyniad yn unig, oedd hyn, a chadw y eiddynt. Eithr pan edrychont ar effeithiau eu llëenyddiaeth, gwelan achos i ymfalchïo, nid am gadw eu heiddo yn unig, ond hefyd am orea-gyniadau o'r math mwyaf rhyfeddol ac anrhydeddus. Canys gwelant yno y darfu iddeu hen draddodiadau, yn nghylch Myrddyn, Arthur, ac Uthyr Bendragon, ymdaenu dros y cyfandir, a gafaelyd ar feddyliau y trigolion, i'r fath raddau, a gwthio ymaith draddodiadau cynhenid y gwledydd hynny, a sefydlu eu hunain yn eu lle. Ond gan y bwriadaf helaethu ar y testyn hwn, pan ddelwyf iddei le priodol yn yr hanes, gadawaf Myrddyn Emrys yn ei gastell draenen, neu yn ynys Afallon, fel y bytho ei gyflwr, ac af rhagof at ereill o'i gyd-oesolion, y rhai a ofynant gyfran o'r gwaith mewn llaw.

## Y Brenin Arthur.

Wele yn awr, y mae ein taith o'r diwedd, wedi ein harwain hyd at fren-hinllys y pennadur dieithr ac annirnadadwy hwnnw, ag sydd wedi peri cymmaint o ddyryswch i hanesyddion, a chwilwyr llëenyddol yn yr oes-oedd diweddar. Canys yn mhlith holl enwogion y byd, nid oes un wedi cyfarfod â thynged mor annghyffredin â'r brenin ARTHUR. Dros amryw gannoedd o flynyddoedd, ei glod oedd mor daenedig trwy'r byd, ac mor hardd ac uchelfrigog, ag nad oedd na gwron, na goresgynydd, nac Ymher-awdr, a allai ymgystadlu ag ef, mewn enwogrwydd. I'r fath raddau o ardderchogrwydd, yr oedd efe wedi cyrhaedd yn y canol-oesoedd, a bod *Alanus de Insulis*, ysgrifenydd o'r cyfandir, yn y 12fed ganrif, yn dy-wedyd am dano, yn y modd canlynol;—

"Quo enim Arturi Britonis nomen fama volans non pertulit et vulgavit: quousque Christianum pertingit imperium? Quis, inquam Arturum Britonem non loquatur, cum penè notior habeatur, Asiaticis gentibus, quàm Britannis; sicut nobis referunt Palmigeri nostri de orientis partibus redeuntes? Loquuntur illum orientales, loquuntur occidui, toto terrarum orbe divisi. Loquitur illum Ægyptus; Bosforus exclusa non tacet. Cantat gesta ejus domina civitatum Roma, nec emulam quondam ejus Carthaginem, Arturi prælia latent. Celebrat actus ejus Antiochia, Armenia, Palæstina. [*In ore populorum celebrabitur, et actus ejus cibus erit narrantibus.*]

"Canys i ba le ni ddygpwyd ac ni chyhoeddwyd enw ARTHUR, y Prydeiniad, gan glo-foredd hedegawg, belled ac y cyrhaedd Ymherodraeth Cristionogrwydd? Pwy, meddaf, siariada am Arthur y Prydeiniad, gan braidd, nad ydyw yn fwy adnabyddus i genhedlo- yr Asia, nac i'r Brytaniaid, megys y traethir i ni, gan ein pererinion yn dychwelyd o'r ard oedd dwyreiniol? Y dwyreiniaid a siaradant am dano, ac felly, y gwnant y gorllewinw a hwynthwy yn ranedig oddiwrth eu gilydd, Hed y ddaear oll. Yr Aipht a siarada am da

i'r Bospherus, nid yw ddistaw. Rhufain, arglwyddes y dinasoedd a gana ei orchestion ef, ac nid ydynt ryfeloedd Arthur, yn guddiedig oddiwrth ei chydymgeisydd gynt, Carthago. Ei wrhydredoedd ef a folychir gan Antiochia, Armenia, a Palæstina.

Ac yna yr awdwr a ail adrodda eiriau prophwydoliaeth Myrddyn, allan o Sieffry o Fynwy, "*yn ngeneu y bobloedd y clodforir ef, a'i weithredoedd a fydd bwyd i'r a'u datganant.*"

Gallasid meddwl, y buasai y fath uchelder gogonedd, a'r fath ehangder clod, yn gyflawn ddiogeliant rhag un amheuaeth, perthynol i hanfodiad y gwrthddrych; ond nid felly y bu; canys amryw rai, nid yn unig a amheuant, ond hefyd a gwbl wadant, fod y fath ŵr ag Arthur, erioed wedi hanfodi. Ac os gofynir iddynt, pa beth yw yr holl hanesion yma perthynol iddo, attebant mai celwyddau Sieffre o Fynwy ydynt oll, bob gair.—Yr ydwyf yn barod i dalu pob cydnabyddiad i Sieffre o Fynwy, neu *Gruffydd ap Arthur*, fel y mae ei enw cysefin, megys yr offeryn i wneuthur traddodiadau Cymru, yn fwy hyspys ar y cyfandir yn gyffredinol; ac ni allaf lai na rhyfeddu yn fawr ar yr effeithiau nerthol, a gafodd ei ysgrifeniadau, ar lëenyddion y byd. Ond etto nis gallaf addef mai efe oedd ffurfiwr y traethiadau, a geir yn ei waith, yn enwedig yn nghylch hanfodiad y brenin Arthur, a'i ddewrder, megys rhyfelwr; canys er y gallasai efe ychwanegu rhai amgylchiadau, etto y mae yn ddilys gennyf fod sylwedd y gwaith, eisioes mewn hanfodiad, a bod hen draddodiadau perthynol i'r testynau hyn, yn mhlith y Cymry, a'r Llydawiaid, yn hir cyn y 12fed ganrif. Ond y mae yn rhaid cyfaddef, fod y gorchestion a gyfrifir i'r brenin Arthur, yn y Brut, yn gystal ag amryw gyfansoddiadau ereill, mor annhebyg i wirionedd, ac mor anghyson âg hanesyddiaeth awdurdodawl, ag nad oes lle i ryfeddu, bod rhai ysgrifenyddion, wedi cael eu tueddu i wadu ei hanfodiad yn gyfan-gwbl. Ond mwy teilwng o feirniadyddion dawnus, a fuasai chwilio tystiolaethau yn fanwl, cyn penderfynu; canys pe gwnaethasent hynny, canfyddasent mai nid ffurfiad o'r canol-oesoedd, ydyw hanes Arthur, ond y gwyrthwyneb, ei fod yn pwyso ar awdurdod lawer henach. Ac er nad oes cymmaint yn adroddedig, perthynol i'r gwron hwn, ag a geir am rai ereill o'i gydoesolion, etto y mae digon ar glawr, i wrthbrofi pob dadleuad yn erbyn ei fodolaeth.

Y gwaith hanesyddol cynharaf, yr hwn a draetha am y BRENIN ARTHUR, yw eiddo NENNIUS. Y gwaith hwn a gyfansoddwyd yn y 9fed ganrif, ac y mae anghraifft o honaw mewn hanfodiad, mewn llawysgrif o'r 10fed ganrif, sef dros gant o flynyddau cyn amser Sieffre o Fynwy, ac yn y gwaith hwn, crybwyllir am y Brenin Arthur, yn y modd canlynol. Ar ol traethu am Hengist, dywedir,—

* Tunc belliger Arthur cum militibus brytanniæ. atque regibus contra illos pugnabat; et licet multi ipso, nobiliores essent! ipse tamen duodecies dux belli fuit. victorque

bellorum ; Primum bellum contra illos iniit juxta hostium fluminis quod dicitur glei Secundum et tertium. quartumque. ac quintum super aliam amnem quæ nominatur britta nicæ duglas quæ est in regione linnuis; Sextum bellum super flumen quod vocatur lusas Septimum contra illos iniit bellum in silva celidonis! quæ brittannicæ cacoit celida nominatur ; Octavum contra barbaros ægit bellum iuxta castellum guinnion! in quo ide arthur portavit imaginem sanctæ mariæ dei genitricis semperque virginis super humero suos! et tota illa die saxones per virtutem domini nostri Ihu Xpi. et sanctæ MARIÆ, matri eius in fugam versi sunt! et magna cede multi ex iis perierunt! Nonum ægit bellum in urbe leogis! quæ bryttannicæ cair lion dicitur ; Decimum vero gessit bellum in littore fluminis! quod nos vocamus trat, treuroit ; undecimum in monte qui nominatur breguoin: ubi illos in fugam vertit? quem nos cat bregion appellamus ; Duodecimum contra saxones durissime arthur bellum in monte badonis penetravit! in quo corruerunt impetu illius una DCCCC. XL. viri! nullo sibi brittonum in adiutorium adherente. preter ipsum solum domino se confortante ; In omnibus autem supradictis bellis protestantur semper eum fuisse victorem! sicut fuerunt et alii per plures militarii brittones! Sed nulla fortitudo vel consilium contra dei voluntatem : Quanto magis vero saxones prosternebantur in bellis! tanto magis a germania et ab aliis augebantur saxonibus sine intermissione! atque reges et duces cum multis militibus ab omnibus pene provintiis ad se invitabant ; Et hoc egerunt usque ad tempus quo ida regnavit."

" Y pryd hynny, y rhyfelgar ARTHUR, yn nghyda milwyr a brenhinoedd Prydain, a ymladdodd yn eu herbyn, [*y Saeson,*] ac er fod amryw yn fwy ardderchog nag efe, [*o ran genedigaeth, meddyliaf*] etto a fu ddeuddeg gwaith, yn dywysog rhyfel, ac yn fuddugoliaethydd y brwydrau.

Y frwydr gyntaf yn eu herbyn, a ymladdodd gerllaw aber yr afon, yr hon a elwir *Glein*.

Yr ail, y drydedd, y bedwaredd a'r bumfed, ar afon arall, yr hon yn y Frytanaeg a elwi *Duglas*, yr hon sydd yn ardal *Linnuis*.

Y chwechfed frwydr, a fu wrth yr afon, a elwir *Lusus*.

Y seithfed frwydr, a ymladdodd yn eu herbyn, yn nghoed *Celidon*, yr hon a elwir yn Frytanaeg, *Cad coed Celyddon*.

Yr wythfed frwydr, a ymladdodd yn erbyn y Barbariaid, gerllaw castell *Guinnon*, yn y hon, yr Arthur hwn a gludodd ar ei ysgwyddau, [*ar ei darian,*] ddelw y lân Forwyn FAI &c. a'r holl ddiwrnod hwnnw, trwy rinwedd ein Harglwydd Iesu Grist, a'r Santaidd FA ei fam ; y barbariaid a yrrwyd ar ffo, all lawer o honynt a drengasant trwy ddirfawr alanast

Y nawfed frwydr, a ymladdodd efe yn Ninas y leng, yr hon a elwir yn y Frytanaeg, *Cae Lleon.* [*ar Wysc.*]

Y ddegfed frwydr, a ymladdodd efe, ar lan afon, yr hon a alwom *Trat Treuroit,* [*Ribroit* ysgrif arall.]

Yr unfedarddeg, yn y mynydd a elwir *Breguoin*, lle y gyrrodd hwy ar ffo, yr hwn yr ydym ni yn ei alw *Cád Bregion.*

Y ddeuddegfed frwydr, o'r math ffyrnigaf yn erbyn y Saeson, a ymladdodd Arthur *mynydd Badon*, yn mha un y syrthiodd ar yr un amser, trwy ei ruthr ef ei hun, 940 o w a neb o'r Brytaniaid yn glynu wrtho er cynhorthwy, ond efe ei hun yn unig, yr Arglwy yn ei gyfnerthu.

Yn yr holl frwydrau rhagenwedig, mynegir ei fod ef yn wastad yn fuddugol, megys a buont amryw ereill o filwyr Brytanaidd. Eithr nid oes un dewrder, na challineb yn er ewyllys Duw. Pa faint bynag a laddwyd o'r Saeson mewn brwydrau, cymmaint rago ychwanegwyd hwy o Germania gan Saeson ereill, yn ddibaid ; a hwy a wahoddasant fr

hinoedd a blaenoriaid, oddiwrth yn agos, yr holl ardaloedd, attynt hwy. A hyn a wnaethant, hyd at yr amser, yn mha un y teyrnasoedd IDA."*

Y cyfryw, yw hanes Arthur fel ag y ceir ef yn ngwaith Nennius; ac oddieithr y rhifedi annghyffredin, a haerir iddo ladd a'i law ei hun, nid oes dim yn yr hanes, i gyffroi amheuaeth perthynol iddei hanfodiad. A gall fod peth annghywirdeb yn yr ail ysgrifiad o'r rhifedi yma; canys y mae yBrut, wrth grybwyll am yr un frwydr, sef *Mynydd Badon*, yn dywedyd mai 470, oedd y rhifedi a laddodd. Ond bydded hyn fel y bytho, nid rhyw un haeriad o'r fath hwn, sydd ddigonol i ddymchwelyd hanesiad cyfan; onite, nid aml y gwelem hanes awdurdodawl, yn perthyn i un genedl ba bynag. A meddyliaf am yr ysgrifenyddion, y rhai a amheuant hanfodiad Arthur, na ddarfu iddynt erioed ystyried ei wir hanes, ond yn unig edrych ar y ffugdraethodau, a geir yn y Brut, a'r hen gyfansoddiadau ereill, o'r canoloesoedd.

Am sefyllfaoedd y gwahanol leoedd, a enwir uchod, yn nghofrestr y brwydrau, nid cyfleol yma fyddai dadleuad o'u plegid, am fod y rhan fwyaf o honynt yn dra amheüus. Am yr enw *Glein*, y mae amryw sefyllfaoedd yn cael eu cynnyg. Rhai a honnant, mai yr un ydyw a'r *Lawen*, yr hwn le a enwir gan LLYWARCH HEN, yn mha un yr oedd ei fab *Gwên*, yn ymladd.

> "GWEN wrth *Lawen* ydd wylwys neithwyr,
> Arthur ni thecbas: (1)
> Aer(2) a drawdd ar glawdd glas."
>
> 1 ni ffodd.
> 2 brwydr.
>
> "GWEN wrth *Lawen* ydd wylwys neithwyr
> A'r ysgwyd(1) ar ei ysgwydd;
> A chan bu mab y'm, bu hywydd(2)."
>
> 1 tarian,—Scutum.
> 2 hyf,
>
> "GWEN wrth *Lawen* ydd wyliis
> Neithwyr, a'r ysgwyd ar ygnis;
> Can bu mab i mi ni ddiengys."

Y mae cynnifer afonydd, o'r enw *Duglas*, neu *Dulais;* mai anhawdd penderfynu i ba un y perthyn y rhagenwedig. Am *Guinion*, y mae yn debygol mai *Vinonia*, ydoedd, sef *Binchester*. *Urbs Legionis*, sef *Caerlleon ar Wysc*, sydd ddigon adnabyddus. Ac am *Fynydd Badon*, y mae yn dra thebygol mai gerllaw *Caerbadon*, sef *Bath*, yr oedd. Y mae Gildas

* Y mae yr ymadrodd, "*super humeros suas*,"—"*ar ei ysgwyddau*," yn y darn Lladin uchod, yn fy nhueddu yn fawr i dybied, fod yr awdwr yn cyfieithu o'r Gymraeg, ac yn camgymeryd yr ystyr. Y gair Cymraeg *Ysgwyd*, *Tarian*, ac *Ysgwydd*, *aelod o'r corff*, ydynt mor gyffelyb, yn enwedig mewn hen ysgrifiau, ac mae hawdd fyddai en camsyniad; ac yn lle cyfieithu "*Ar ei darian*," rhoddi "*ar ei ysgwyddau*." Ac y mae Gruffydd ap Arthur, yn rhoddi yr ymadrodd yn fwy eglur, yn y modd canlynol;—"*Humeris quoque suis, clypeum vocabulo*, PRIWEN; *in quo imago sanctæ* MARIÆ &c." "Ac ar ei ysgwyddau, darian, a elwid *Pridwen*, ar ba un yr oedd llun y Sanctaidd *Fair*, &c."

yn crybwyll am y frwydr hon, ac yn dywedyd iddi gymmeryd lle, y mlwyddyn ei enedigaeth ef,* yr hyn oedd bedair blynedd a deugain, cy yr amser yn mha un yr oedd efe yn ysgrifenu ei hanes. Ac y mae rh hanesyddion yn penderfynu am y flwyddyn honno, o frwydr mynyd Badon, mai B. A. 520, ydoedd.

Y mae Llywarch Hên yn crybwyll am frwydr arall, yr hon a ymladdod Arthur, sef yn *Llongborth*, ond ni wyddys pa le y mae. Ei eiriau ydyn y canlynol;—

> "Yn Llongborth llâs i Arthur,
> Gwyr dewr, cymmynynt(1) a dur;
> Ammherawdwyr, llywiawdyr llafur."

1 torrent i lawr.

Dywedir iddo gael ei ladd yn mrwydr *Camlan*, yr hon a ymladdwyd yn ei erbyn gan MEDRAWD, ei nai, wedi iddo uno â'r Saeson, ac mewn brad a gwrthryfel, gyfodi yn ei erbyn, a cheisio meddiannu yr orsedd, Crybwyllir am dano yn y Trioedd, fal y canlyn;—

> "Tri Charnfradwr, a fuant achaws i'r Saeson, ddwyn Coron ynys Prydain oddiar y Cymry.—
>
> Ail, ydoedd Medrawt, a roddes ei hun a'i wyr yn un a'r Saeson, er cadarnhau iddaw y Deyrnedd yn erbyn Arthur, ac achaws hynny o frad idd aethant laweroedd iawn o'r Lloegrwys yn Saeson."—Tri. 45.

Y mae brwydr *Camlan*, yn fynych yn goffedig, megys dygwyddiad tra alaethus. GRUFFYDD AP YR YNAD COCH, yn ei Farwnad ar LLYWELYN AP GRUFFYDD, a arfera y geiriau canlynol, am y cyfarfod hwnnw.—

> "Llawer llef druan, fal ban fu'r Gamlan."

Nid ydyw sefyllfa y lle hwn yn adnabyddus, eithr meddylir mai yn ngorllewindir Lloegr y mae, sef ar gyffiniau *Dyfneint*, ac iddo ddygwydd o gylch y flwyddyn 542.

Y mae enw Arthur yn weledig yn fynych yn ngwaith y beirdd, ond am y cyfryw nad oeddynt yn gyd-oesolion iddo, ni fyddai adroddiad o'u gwaith yn un cadarnhad i'r hanesion yma. Ond meddyliaf fod digon o brofion, eisioes ger bron, i sicrhau gwirionedd yr haeriadau, perthynol i hanfodiad y gwron hwn, megys pendefig clodfawr, a thywysog cadarn a buddugoliaethus, o'r Brytaniaid; ac weithian awn yn mlaen i daflu golwg ar y dull, yn mha un yr ymddengys, yn y cyfansoddiadau ffug-draethodawl, y rhai a ffurfiwyd yn y canol-oesoedd. Ac yno cawn ei weled, nid megys blaenor, ar ryw lwyth bychan o bobl, mewn cwrr neilltuedig o'r byd, ond fel pennadur goruchel, annghydmarawl, yn tramwy trwy'r gwledydd gyda rhwysg

* "Ex eo tempore,—usque ad annum obsessionis Badonici montis,—quique quadragesimus quartus, ut novi, orditur annus, mense jam primo emenso, qui jam et meæ nativitatis est."

goresgynydd anwrthladdadwy; ei lys yn ymgynhullfa i ddewrion y byd; ei farchogion ef, yn ddewraf o honont; ac yntau ei hun yn rhagori arnynt oll, mewn gwrolder a phob camp milwraidd. Gwelwn ef hefyd yn cael ei amgylchu gan fodau tra annghyffredin eu hanianawd,—dewinion,—ellyllon,—a'r Tylwyth Têg. Ei enw ef a geir yn nglŷn â chestyll, mynyddoedd, a meini, yn y fath fodd, ag na ddigwyddodd i un rhyw ddyniolyn arall a welwyd ar glawr elfydd. Ac mewn rhwysg oesoedd, i'r cyfryw fantioli y tyfodd efe, a chael ei goffhau, megys cawr anferthol, yn taflu creigiau, a meini hirion, o bennau y bryniau, yn mhell i waelodydd y dyffrynoedd isod. Ac felly cymmerwn ddrych ar ei hanes ffug-draethodawl, fel y ceir ef yn y canol-oesoedd, yn gyffredinol.

ARTHUR oedd fab i UTHYR BENDRAGON, megys y mynegwyd eisioes; ac yn fuan ar ol ei enedigaeth, anfonwyd ef trwy gyngor Myrddyn, yn ddirgel i'r wlad, at dylwyth pendefig, iddei fagu. Ac ar ol hyn Uthyr Bendragon a fu farw, a'r holl deyrnas oedd am hir amser, mewn cyflwr terfysglyd iawn, perthynol i'r etholiad Brenin yn ei le, am fod llawer yn cydymgeisio am yr orsedd, ond nid oedd neb etto wedi gallel ei hennill.

Ar ol bod y cyflwr ansefydlog a therfysglyd hwn, yn flinderus iawn i'r wlad, dros hir amser weithian, Myrddyn a gynghorodd, bod cymmanfa gyffredinol iddei chynnal yn Llundain, i'r dyben o geisio rhyw wellhad. Ac yno rhoddwa gwys allan; a'r holl bendefigion, a'r marchogion, a ymgynhullasant yno ar wyl Nadolig, yn y brif Eglwys: ac wele y boreu canlynol, canfyddwyd yn y fynwent, garreg fawr, ac eingion haiarn arni, ac ynddo yr oedd cleddyf hardd, a noeth, yn graff, a llythyrennau aur oddi amgylch, yn mynegi fal hyn,—"**Pwy bynag a dynno y cleddyf hwn allan o'r maen a'r eingion yma, sydd enedigol frenin Prydain.**" Yna pawb a ddymunai fod yn frenin, a geisiodd dynnu allan y cleddyf; ond ni allai neb ei syflyd. Ac felly wrth orchymmyn yr Archesgob, gosodwyd gwyliadwriaeth i cadw y cleddyf, a chyhoeddwyd bod caniatad i bawb a ewyllysiai, geisio tynnu allan y cleddyf. Ac ar ddydd Calan, yr oedd cyfarfod milwraidd cyffredinol yn gynnaledig; ac yn mhlith y rhai a ddaethant i fynu o'r wlad, ar yr achos hwn, yr oedd Arthur, a'i dad-maeth, a'i frawd-maeth. Yna wrth fyned tua'r maes, lle yr oedd y campau milwraidd yn cael eu cynnal, *Sir Kaye*, brawd-maeth Arthur, [*Cai ap Cynyr*,] a ganfu ei fod wedi anngofio ei gleddyf, ac Arthur, ag yntau yn llanc, a aeth yn ol iddei geisio iddo; ond gan nad allodd ei gael, ac ei frawd-maeth mewn brys mawr, Arthur a ddywedodd wrtho ei hun, "mi a af i'r fynwent, ac a gymmeraf y cleddyf sydd yn y garreg, canys ni chaiff fy mrawd fod heb gleddyf y dydd heddyw;" ac yno efe a aeth, ac a dynnodd y cleddyf allan yn esmwyth, ac a farchocâodd ag ef at ei frawd.

Ar ol hyn ni buwyd yn hir, cyn adnabod mai y cleddyf dieithr ydoedd. Ac Arthur a archwyd iddei osod yn ol yn y garreg; yr hyn a wnaeth, ac yno ni allai neb ei dynnu allan; ond efe ei hun a'i diweiniai, ac a'i gweiniai drachefn gyda phob hawsder.

Pan welwyd y weithred nodedig yma, canfyddwyd mai Arthur oedd etifedd yr orsedd; ac yn ganlynol, coronwyd ef yn frenin. A'r cleddyf, yr hwn a gafodd yn y garreg, a enwid *Caledfwlch*, yn y Lladin, *Caliburn*, ac yn y Ffrangaeg, *Excalibar;* ac â hwn y gwnaeth orchestion tra chlodforeddus.

Ac yn ychwanegol iddei gleddyf *Caledfwlch*, yr oedd ei holl arfogaeth, yn dra nodedig; ei darian a elwid *Pridwen*, a'i waewffon, a elwid *Rhon*, ac yr oedd ganddo benffestyn euraidd, a llun draig arno.

Ar ol ei goroniad, y Brenin Arthur a aeth i Gymru, ac yn Nghaerlleon ar Wysc, cynhaliodd wledd ogoneddus, a holl frenhinoedd yr ynys, a ddaethant yn nghyd yno. Ac Arthur wrth eu gweled, a orfoleddodd yn fawr, ac a aeth i gynnyg iddynt anrhegion gwerthfawr. Ond hwynthwy wedi eu cynhyrfu gan eiddigedd, a anfonasant i ddywedyd wrtho, nad oeddynt ddim well dyfod i dderbyn anrhegion oddiwrtho, ond i roddi iddo ef arnhegion, sef â chleddyfau celyd, rhwng ei wddf a'i ysgwyddau.

Yr ymddygiad hyn a barodd ryfel rhyngddynt. Ond Arthur a fu fuddugoliaethus, ac a lwyddodd i lonyddu ei deyrnas. Ac ar ol hyn, goresgynodd amryw deyrnasoedd ar y cyfandir, a darostyngodd amryw ormeswyr; lladdodd amryw gewri; ac yn mhlith gorchwylion enwog ereill, sefydlodd gyfundraeth y Ford Gron; a bu yn gynllun ardderchog o ddewrder, ac haelioni trwy'r holl fyd. Ond y mae yn rhaid gadael y rhan hyn o'i hanes, hyd achlysur arall, gan yn unig gyfeirio at ei ddiwedd, yr hwn nid oedd llai nodedig, na dechreuad ei rwysg.

Ar ol i Arthur deyrnasu yn y modd llwyddiannus a dewrwych yma, dros amryw flynyddoedd, dygwyddodd iddo ar ryw achlysur, fyned i'r Cyfandir; a thra'r ydoedd yno, Medrawd, ei nai, a wrthryfelodd yn ei erbyn, ac a gymmerodd arno ei hun y lywodraeth. Ar hynny, Arthur a ddychwelodd, ac a aeth yn ei erbyn, a'r ddau lu a ymgyfarfuasant ar faes *Camlan*, a bu brwydr ffyrnig a gwaedlyd rhyngddynt, yn mha un y syrthiodd yn agos pob un o farchogion Arthur. Ac yntau wrth weled yr alanastra, a sorrodd yn ddirfawr, a chan ganfod Medrawd ar y maes, efe a ruthrodd atto, ac a'i trywanodd yn angheuol, a'i waewffon. Yna Medrawd gan deimlo ei fod wedi derbyn clwyf marwol, a darawodd ergyd a'i gleddyf, a'i holl nerth, ar ben Arthur, ac a holltodd ei benffestyn, ac a'i clwyfodd yntau yn farwol yn ei ben; a chan syrthio i lawr, Medrawd a drengodd yn y man. Yna Arthur pan welodd fod ei glwyf yn farwol, a geisiodd gan *Sir Bedivere*, [*Bedwir*,] un o'i farchogion, i gymmeryd ei gleddyf *Caled-*

daflu i lyn, yr hwn a enwodd efe iddo. Bedwyr* wrth hynny a y cleddyf, ac a aeth tua'r llyn, ond wrth edrych ar y cleddyf wnnw, a chanfod ei wychder, a bod ei garn wedi ei harddu â rthfawr, bu anfoddlon iddei daflu i'r llyn, ac a'i cuddiodd ef ac a ddychwelodd, a dywedodd iddo daflu y cleddyf i'r llyn. a ofynodd iddo beth a welsai; ac efe a attebodd na welodd efe y dwfr a'r tonnau. Y brenin wrth hyn a ddywedodd wrtho, ei wyllo, ac a'i gorchymmynodd i fyned a chyflawni ei ddymuniad. eth, ond etto, nis gallai benderfynu taflu y fath gleddyf gwerth-n, a dychwelodd drachefn â'r un attebion. Yna y brenin a'i o frad a thwyll, ac o awyddu yn y cleddyf, o herwydd ei grwydd; ac a'i gorchymmynodd drachefn, i fyned ac i gyflawni Bedwyr y tro hyn a aeth, ac a safodd ar ymyl y llyn, ac a'i a daflodd y cleddyf iddo, mor belled ag y gallasai. Ac fel yr rthio, llaw a braich a ddaeth allan o'r llyn, ac a afaelodd ynddo garn, ac a'i ysgydwodd dair gwaith, mewn dull milwraidd, ac nodd ac ef dan y dwfr, ac ni welodd mo honaw mwyach. Pan dd Bedwyr, a mynegi hyn i Arthur, efe a geisiodd ganddo, ei t y llyn. A phan ddaethant yno, gwelent wrth yr ymyl, fâd c amryw rianedd ynddo, oll mewn arwisgoedd duon. Ac , yr oedd brenhines. A hwynt hwy pan welsant Arthur, a c a lefasant yn uchel.

h gais Arthur, Bedwyr a'i gosododd yn y bâd, a thair brenhines asant ef, ac un o honynt a'i cyfarchodd ef, gan ei alw yn frawd. ld MORGUEIN LA FAI, chwaer Arthur; a'r ail, oedd frenhines is, [h. y. Gwynedd;] a'r drydedd, oedd frenhines y *tiroedd* Ac yr oedd yno hefyd, NIMUE, prif Arglwyddes y llyn, yr hon a n o farchogion Arthur. Ar ol myned Arthur i'r bàd, y rhian-asant ymaith oddiwrth y tir; ac Arthur a ddywed wrth Bedwyr, yned i ddyffryn Afallon,† i gael gwella ei glwyf. A Bedwyr olwg ar y bâd, a aeth ymaith i'r goedwig.

wyaf o'r uchod a gymmerwyd allan o'r llyfr Saesonaeg, a elwir *thur*, yr hwn a gyfansoddwyd gan SIR THOMAS MAELOR, neu MAILORIE,] allan o hen ysgrifiau Ffrangaeg, fel y deallir; rphenwyd ganddo yn y flwyddyn 1470: ac a oedd argraffedig r a 1485.

ir yr enw, *Bedwir*, a *Bedwyr*, Nid hawdd penderfynu ar un gyfundraeth, i r hen enwau hyn, gan fod eu tarddiad yn anhyspys, a chymmaint o amrywiaeth u.

*allon* ydoedd hen enw Glastonbury, ond y ffug-draethodwyr, a'i harferent yn ddocau *Gwlad y Tylwyth Teg*.

Rhagor na hyn, perthynol i ddiwedd Arthur, y mae yr ysgrifenydd y dywedyd, na allodd efe erioed ddyfod i hyd iddo. Yr oedd hanesiad, fo Meudwy yn byw yn y coed, ac yn dywedyd y darfu y noswyl honno, y nghanol y nos, i nifer mawr o rianedd, ddyfod â chorff marw atto, g geisio ganddo ei gladdu. Ac meddyliai mai corff Arthur oedd; o medd yr Awdwr, "rhai a ddywedant mewn amryw fannau o Brydain, Brenin Arthur nid yw farw,"—ond y daw drachefn i gyflawni gwrold mawr. Ac amryw a ddywedant fod y geiriau hyn yn ysgrifenedig ar feddrod."—

"Hic jacet Arthurus, Rex quondam, Rexque futurus."

Sef yw,—

**"Yma gorwedd Arthur, Brenin gynt, a Brenin i ddyfod."**

Ond y tŷb cyffredinol am dano oedd, ei fod yn byw yn ngwlad y Tylwyth Teg, gada'i hen gyfeillion mewn mawr hyfrydwch, yn aros yr amser, yn mha un y byddai iddo ddyfod drachefn i blith dynolion. Canys credid y deuai ar ryw amser, i deyrnasu ar y Brytaniaid, ac iddeu harwain drachefn yn erbyn eu gormeswyr, gyda rhwysg mygedawg, a buddugoliaethus.

Y tŷb hwn, perthynol i ymadawiad Arthur, ac anhyspysrwydd ei gladdedigaeth, a oedd yn gyffredin yn y canol-oesoedd, trwy amryw wledydd. Ac y mae Alanus de Insulis, am yr hwn y soniwyd eisioes, yn dywedyd, ei fod mor gadarn yn mhlith y Llydawiaid, ag na byddai y gwr hwnnw mewn diogelwch yno, yr hwn a wadai ei fod etto yn fyw. Yr ysgrifenydd hwn, yr hwn a fu farw mor gynnar a'r flwyddyn 1181, wrth eglurhau yr ymadrodd yn mhrophwydoliaeth Myrddyn,—"*Et exitus ejus dubius erit.*"—"*A'i angau a fydd amheuus.*" A'i cyfeiria at Arthur, ac a ddywed fal y canlyn;—

"Verissime quidem, sicut hodieque probat, varia hominum de morte ejus et vita opinio. Quod si mihi non credis, vade in Armoricum regnum, id est, in minorem Britanniam, et prædica per plateas et vicos, Arturum Britonem more cæterum mortuorum mortuum esse, et tunc certè re ipsa probabis, veram esse Merlini prophetiam, qua ait: Arturi exitum dubium fore: si tamen immunis evadere inde potueris, quin aut maledictis audientium opprimaris, aut certè lapidibus obruaris."

"Tra gwirioneddol ydyw, megys y gwelir y dydd heddyw, fod amrywiol dybiau yn mhlith dynion, perthynol iddei angau a'i fywyd. Am yr hyn os na chredi fi, cerdda i deyrnas *Llydaw*, sef *Prydain Fechan*, a chyhoedda yno yn yr heolydd, a'r ystradoedd, fod Arthur y Prydeiniad, wedi marw yn yr un modd a marwolion ereill; ac yna y profi y ddiau, fod prophwydoliaeth Myrddyn yn wir, yr hon a ddywed fod marwolaeth Arthur yn amheüus, hynny yw, os gelli ddianc oddiyno mewn diogelwch, canys naill ai y'th orlwythir gan felldithion dy wrandawyr, neu yn ddiamheuol y'th labyddir."

Ac ymddengys mai nid gwneuthuriad estronaidd o'r canol-oesoedd,

ychwedl yma, perthynol i anhyspysrwydd claddedigaeth Arthur; canys y mae yr un peth yn ganfodedig yn Englynion y Beddau, fal y dangosa y canlynol;—

" Bet ymarch bet y gwythur,
Bet y gugavn Cletyfrud,
Anoeth bit bet y Arthur."

Yr hyn yn ol llythyreniad arferedig yn awr, a fyddai fal y canlyn;—

" Bedd i March, bedd i Gwythur,
Bedd i Gwgawn Gleddfrudd,
Anoeth bydd bedd i Arthur,"

Cyfieithad yr hyn, a hyderaf roddi yn y modd canlynol;—

"Hwn yw bedd MARCH AP MEIRCHION; a hwn yw bedd GWYTHYR AP GREIDIOL. Hwn yw fedd GWGAWN GLEDDFRUDD. Ond anhyspys yw bedd ARTHUR."

Ac yma, ni allaf lai na chyhuddo o gamsyniad, bob cyfieithad o'r geiriau a ddaeth dan fy sylw; canys hwy oll a gymmerant y ddau enw priodol, yn y linell gyntaf, megys geiriau cyffredinol; ac a'u cyfieithant;—

" Bedd y march, [*ceffyl,*] Bedd y rhyfelwr, [*gwyth-wr.*] "

Ond pan ddeallir fod *March ap Meirchion*, *Gwythyr ap Greidiol*, a *Gwgawn Gleddfrudd*, oll yn farchogion llys *Arthur*, a'r ail o honynt yn dâd i *Gwenhwyfar*, un o'i frenhinesau; meddyliaf na fydd un amheuaeth am gywirdeb y cyfieithad, yr hwn a roddaf.

Ymddengys fod y gred hyn, am anhyspysrwydd bedd Arthur, yn gyffredinol iawn yn y 12fed ganrif, canys y mae WILLIAM O MALMSBURY, yn dywedyd, "*Sed Arthuri sepulcrum nusquam visitur: unde antiquitas næniarum adhuc eum venturum fabulatur.*"—"*Ond bedd Arthur ni welir byth; wrth yr hyn y mae hen chwedlau yn ffugadrodd ei fod ef etto i ddyfod.*"

A chan fy mod wedi enwi BEDWYR, un arall o farchogion Arthur, a'r hwn a daflodd ei gleddyf i'r llyn; cymmeraf yr arfod i ddangos mai nid furfiad diweddar, yw ei enw yntau ychwaith, canys cawn ef hefyd yn Englynion y Beddau, fal y canlyn;—

" Bet mab Ossvran y Camlan,
Guedi llawer Kywlavan,
Bet Betuir in allt tryfan."

"Bedd mab OSFRAN, sydd yn *Ngamlan*, gwedi llawer galanastra. Bedd BEDWYR sydd yn *Allt Tryfan.*"

Y mae amrywiol gyfeiriadau ereill yn y Gymraeg, yn eglurhau hen ffi draethiadau canol-oesol y cyfandir, perthynol i Arthur a'i Farchogi eithr y mae yn rhaid eu gadael ar hyn o bryd.

Ond mewn perthynas i angau a chladdedigaeth y pennadur hyglod ym y mae un hanesiad mewn hanfodiad, yr hwn ni ddylid ei adael yn ddisyl sef yw yr un a draethir am gaffaeliad ei feddrod, wrth Fonachlog *Glaston-bury*, [*ynys Afallon*, neu *ynys Wydrin*,] yn amser HENRI II. Y hanesiad a fynega i'r Brenin hwn glywed gan Fardd Cymraeg, fod Arthu wedi ei gladdu yn Glastonbury. Ac yntau a roddodd orchymmyn chwilio am ei fedd. Ac yno cawsant ei fedd, yn ddwfn iawn yn y ddaea a'i esgyrn ynddo; y rhai oeddynt o faintioli mawr. Ac hefyd yr oed gweddill corff menyw yn yr un bedd, yr hwn a ymddangoswyd mai cor ei wraig ydoedd. Canys yr oedd yno groes blwm yn y bedd, ac arni y ysgrif ganlynol yn gerfiedig; "HIC JACET SEPULTUS INCLITUS RE ARTHURUS CUM WENEVERBIA UXORE SUA SECUNDA IN INSULA AFAL ONIA."—"*Yma gorwedd yn gladdedig, y clodforus frenin Arthur gyda Gwenhwyfar ei ail wraig; yn ynys Afallon.*" Yr hanesiad yma roddir gan GIRALDUS CAMBRENSIS, yr hwn oedd yn byw yn amser Henr II, a dywed iddo weled y groes blwm, a'r ysgrif arni. Ond er y meith rinaf bob parch tuag at yr awdwr dysgedig hwn, megys tyst geirwir, hy eithaf ei farn, mewn pob peth ag a ddeuai dan ei sylw; etto, nis gallaf y hyn o beth, lai nag uno gyda'r rhai a amheuant wirionedd yr hanesia hyn, ynghylch caffaeliad beddrod ac esgyrn Arthur yn y 12fed ganrif: meddyliaf y gall fod, mai ffurfiad twyllodrus oedd y cyfan, ac i Girald gael ei dwyllo ynddo, yn gystal ag ereill. Ac os syllwn dros ychydi ennyd ar gyflwr yr amseroedd, ni a gawn weled, fod achos da i gynn y drwg-dybiad yma, perthynol i'r amgylchiad.

Ar y pryd hyn yr oedd Henri yr ail, yn ymdrechu hyd eithaf ei allu ddarostwng y Cymry i ufudd-dod iddei lywodraeth; ond efe a'u cafod megys y cafwyd ar amryw achosion ereill, yn gryn gyndyn yn hyn o bet ac yn dra hwyrfrydig i gydymffurfio a'r fath gais Ac yn mhlith amry gynhyrfiadau ereill, y rhai oeddynt yn cydweithredu, tuag at gadw Cymry yn ddiysgog yn eu hegwyddorion cynhenid, oedd y gred gyffre inol, nad oedd y brenin Arthur ddim wedi marw, eithr ei fod i ddyf iddeu plith drachefn, iddeu harwain i fuddugoliaeth megys cynt, ac idd rhyddhau o dan ormesiad eu gelynion, a'u hadferyd i feddiant o'u a'u coron. A'r dysgwyliadau yma oeddynt yn gyffredinol, ac yn fyw yn eu plith, megys y ceir mewn amryw ddarnau o hen ddaroganau, enw Myrddyn ac ereill; ac hefyd oddiwrth yr hyn a fynegir mewn h esyddiaeth, perthynol iddeu cred yn hyn. Ac felly y mae yn amlwg fo dysgwyliadau hyn, a'r argyhoeddiad y byddai iddynt gael eu cyflawni,

ymddangos i frenhinoedd Lloegr, yn mhlith y moddion mwyaf effeithiol o rwystro eu cynnygiadau, tuag at oresgyniad y wlad Am hynny, os gallasai Henri, ddangos yn gyhoeddus fod y brenin Arthur wedi marw, a bod ei esgyrn yn y bedd, yn ynys Wydrin; yn ol pob tebygolrwydd, fe fuasai un maen-tramgwydd tra rhwystrawl wedi ei symmud oddiar y ffordd. A meddyliaf mai ffug-wneuthuriad oedd y cwbl, perthynol i gaffaeliad y beddrod, i'r dyben i anwireddu y chwedl am ddyfodiad Arthur. Ac am y groes blwm, yr hon a welodd Giraldus, nid oedd fwy o anhawsdra i ffurffo honno, nac yr oedd i ddychymmyg y twylliant. Ac wrth edrych ar yr ysgrif, er y gallasai Giraldus yn yr amser hwnnw o fabandod llēenyddiaeth, gael ei gamarwain, etto y mae amryw bethau ynddi, y rhai yn y dyddiau hyn o gelfydd-dra hanesyddiaethol, ni dderbynir megys eiddo y 6ed ganrif.

Ar ol caffael yr esgyrn, cludwyd hwy i'r Eglwys, a gwnaethpwyd iddynt feddrod hardd. A dros amryw oesoedd, sef hyd amser y diwygiad, dangoswyd yno ddau benglog, y rhai a haerid eu bod yn eiddo Arthur, a'i wraig, y rhai a berchid yn fawr, megys creiriau. Ac LELAND, yr hynafiethydd a'u gwelodd yno, yn nghyda'r groes blwm, a'r ysgrif arni. Ond erbyn hyn, yr oedd y groes a'r ysgrif, mewn gwirionedd yn dra hen; ac nid oedd dealldwriaeth hynafieithol, wedi cyrhaedd y gradd o gyflawnder y meddianna yr awr hon, hyd nod yn amser *Leland;* ac nid arferyd y manylrwydd annghenrheidiol, mewn chwiliadau o'r fath yma.*

Dywedir yn y Trioedd, y bu i Arthur dair o wragedd, oll o'r enw GWENHWYFAR; sef 1. Merch GWYTHYR AP GREIDIOL; 2. Merch GAWRWYD CAINT;† a 3. Merch GOGYRGAN GAWR: am yr olaf o ba rai y mae y cofiant anrhydeddus canlynol, yn adroddedig:—

> "Gwenhwyfar merch Ogyrfan Gawr,
> Drwg yn fechan, gwaeth yn fawr.

Ac y mae y cymmeriad hyn, yn cyttuno a'r hyn a roddir yn yr hen ffugdraethodau Ffrangaeg, i *Guenever*, brenhines Arthur; lle y ceir hi yn nodedig am ei hanniweirdeb, yn gystal ag am gynllwyn a chyfrwystra.

Yn y Trioedd yn mhlith amryw bethau ereill perthynol i Arthur, yn rhy

* Os cywir y traddodiad, nid rhyfedd fod Arthur yn derbyn parch yn Glastonbury; canys y mae William o Malmsbury yn dywedyd ei fod yn noddwr haelionus i'r Monachlog. "Imprimis Rex Arturus tempore Britonum dedit Brentemaris, Poweldon, cum multis aliis terris in confinio sitis pro anima Ider," &c.

"Yn 1af, y Brenin Arthur yn amser y Brytaniaid, a roddes Brentemaris, Poweldon, gydag amryw diroedd ereill ar y cyffiniad. dros enaid *Uthyr*.—Y sawl diroedd a gymmerwyd ymaith gan y Saeson Paganaidd, ac a ddychwelwyd ar ol eu troedigaeth i Gristionogrwydd, yn nghyda llawer ereill."

† GWRYT GWENT, ysgrif arall,

faith iddeu hail-adrodd ar hyn o bryd: y mae mynegiadau fod y gwron hwn, yn arddel effeithiau yr awen, yn gystal a brwdfrydedd rhyfelgar, canys mynegir am dano fal y canlyn;—

> "Tri oferfeirdd ynys Prydain.—
>
> Un, Arthur;—
> Ail, Cadwallawn ap Cadfan;—
> Trydydd, Rhyhawd eil Morgant Morganwg."—Tal. 123.

Am ei helynt barddonol, nid oes dim ar glawr, oddieithr un Englyn, y hwn a gyfrifir iddo; a'r hwn a goffheir yn y Trioedd, fal y canlyn;—

> "Tri Chadfarchawg Teyrn ynys Prydain:—Caradawc Freichfras, Llyr Lluyddawg, Mael ap Menwaed o Arllechwedd; ac Arthur a gânt iddynt hyn o Englyn."—
>
> "Sef ynt fy Nhri Chadfarchawg,
> Mael hir, a Llyr Lluyddawg,
> A Cholofn Cymru, Caradawg."

Y mae Caradawc Freichfras, yn dra nodedig yn mhlith yr hen ysgrifiau Ffrangaeg, yn mha rai y gelwir ef, *Carados Bris Bras*. Y mae ef hefyd yn enwog yn mhlith y Cymry, megys pencenedl. Ac y mae amryw o dylwythau Cymraeg yn olrhain eu hachau atto, y dydd heddyw.* Y mae yn debygol mai am y gwron hwn, y mae Aneurin yn crybwyll yn y Gododin.—

> "Pan gryssyei Garadawc y gat!(1)
> Mal baed coet trychwn trychyat.(2)
> Tarw bedin en trin gomynyat!(3)
> Ef llithyei(4) wydgwn(5) oe anghat."(6)

1 i gâd.
2 trychu,—torri.
3. cymyno,—torri i lawr.
4 llithio,—hudo.
5 gwydd-gwn.
6 angad,—llaw.

Sef yw,—

> "Pan gyrchai Caradawc i frwydr, mal baedd coed ydoedd, yn rhwygo ac yn archolli. Tarw byddin, mewn ymdrin naddiad-i-lawr, ef a dynnai ar ei ol y cŵn gwylltion, [at gelanedd,] o'i law."

Y mae y parch Evan Evans, [Ieuan Brydydd Hir,] yn ei gyfieithiad Lladin o'r uchod, yn rhoddi gwahanol ystyr i'r linell olaf, sef "*Is lignum [i. e. hastam,] ex manu contorsit.*"—"*Tynnai y pren, [sef y waew*

* Yn achau y tylwythau Cymraeg, dywedir mai ei fam oedd Gwenllian, merch Brychan Brycheiniog, a rhoddir ei hanniad yn y modd hyn;—"Caradawc Fraich Fras, ap Llyr Merini, ap Einion Yrth, ap Cunedda Wledig." A gelwir ef, yn Arglwydd Caerlleon, cheidwad y castell hwnnw.

*fon,*] *allan o law*."* Ond mwy cywir a ymddengys i mi, yr ystyr a rodda Davies, yr hwn a fabwysais uchod.

Etto, y mae Aneurin yn crybwyll am Garadawc yn y man nesaf, yn y modd yma,—

> "Gwyr a gryssiassant buaat gytneit,
> Hoedyl vyrryon medwon uch med hidleit.
> Gosgord vynydawc enwawc en reit.
> Gwerth eu gwled o ved vu eu heneit.
> Caradawc amadawc pyll ac yeuan!
> Gwgan a gwiawn. gwynn a chynvan.
> Peredur arueu dur! gwawrdur ac aedan.
> Achubyat eng gawr(1) ysgwydawr ankyman. 1 bloedd.
> A chet lledesynt wy lladassan!
> Neb y eu tymhyr nyt atcorsan."

"Gwyr a gyrchasant gyda brys yn unfryd, hoedl-fyrrion a meddwon uwch y medd dihidledig. Byddin MYNYDDAWC, enwog mewn angen. Pris eu gwledd o fedd, a fu eu bywydau; CARADAWC, a MADAWC; PYLL, ac IEUAN; GWGAWN,* a GWIAWN; GWYNN, a CHYNFAN; PEREDUR ARFAU DUR, GWAWRDDUR, ac AEDDAN, Noddiad oeddynt yn mloedd y frwydr; tarianwyr cyfresol. Ac os lladdwyd hwy, hwythau a laddasant. Neb iddei gartref ni ddychwelodd."

Ond weithian y mae yn bryd dychwelyd o wlad y Tylwyth Teg, os nad ydynt y cyfareddion yn rhy gedyrn, a cheisio allan pa faint o'r hyn a adroddir am Arthur, sydd yn ffurfio rhan o wir hanesyddiaeth.

Yn yr achau Cymraeg, dywedir fod Arthur yn fab i MEIRIC AP TEWDRIC, brenin *Morganwg*, a *Garthmathrin*, [*Aberhonddu;*] ac mai ei fam, oedd ANNA, merch AMWN DDU, a bod DEWI sant, yn ewythr iddo; a DYFRIG, Archesgob Caerlleon ar Wysc, yn un o'i gyfeillion. Felly gwelwn fod ychydig o amrywiaeth, perthynol iddei enedigaeth. Ac ysgatfydd fod hyn yn taflu ychydig oleuni ar haeriad Nennius, fod amryw bendefigion o fwy uchel radd nag efe, [*nobiliores.*] Ac o'r cyfryw, meddyliaf y gallai fod hiliogaeth Gwrtheyrn Gwrthenau. Ac yma, megys mewn amryw bethau ereill, perthynol i'r oesoedd cynnar hyn, y mae yn rhaid i ni ymfoddloni aros mewn amheuaeth.

Ymddengys fod i Arthur, er nid yn flaenaf o ran etifeddiaeth etto gael

* Cymmerais y darn uchod o'r Gododin, allan o hen ysgrif o fy meddiant fy hun, yr hon nid oedd gan olygwyr y Myv. Arch. Gwelir fod peth gwahaniaeth rhyngddi, a'r un a arferodd Iesau Brydydd Hir, megys y gair *mal*, yr hwn sydd ganddo ef, *mab*, ac felly cyfieitha,—

> "Quando ad bellum properabat CARADOCUS,
> Filius apri sylvestris qui truncando mutilavit hostes,
> Taurus aciei in pugnæ conflictu,
> Is lignum," &c.

* Gwgawn Gleddfrudd, yr hwn a enwyd eisioes, meddyliaf.

ei ethol yn flaenor ar y byddinoedd, yn ol rheol unbennaeth Prydain. Ac y mae yn ddilys ei fod yn llwyddiannus yn ei ryfeloedd yn erbyn y Saeson; ac nid oes un achos i ammeu gwirionedd haeriad Nennius, am y deuddeg brwydr a ymladdodd efe yn eu herbyn, a'r buddugoliaethau a ennillodd. Wrth edrych ar yr hanesion, perthynol i'r amseroedd hyn, canfyddwn mai y gwrthwynebydd mwyaf cyfrifol â'r hwn a ymladdodd, oedd *Cerdic*, brenin y Saeson. Ac y mae pob tebygolrwydd, y darfu i Arthur trwy ei ddewrder, ei ymdrechiadau, a'i ddoniau rhyfelgar, gadw y pennaeth cadarn hwnnw, yn gystal a llwyth Hengist o fewn iddeu terfynau cysefin, ar oror ddeheuol y wlad; ac na allasent ennill ond ychydig, neu ddim o dir, tra yr oedd efe yn en gwrthwynebu; ac yn mrwydr *Mynydd Badon*, y mae yn debygol, yn rhoddi y fath ergyd iddynt, ag na allent dros hir amser, ymnerthu drachefn. Am y frwydr honno, y mae rhai hen linellau yn gadwedig: eithr nis gwn pwy yw eu hawdwr; ant dan enw Myrddyn, ac hefyd, Taliesin; cymmerais hwy o waith *Usher*.—

" Gwae yntwy yr ynvydion,
Pan vy waith Vaddon,
Arthur benn haelion,
Y lafneu by gochion,
Gwnaeth ar y alon.
Gwaith gwyr gafynion,
Gouynion gwaed daredd,
Mach deyrn y gogledd,
Heb drais, heb drossedd."

Y mae RANULPH HIGDEN, yn dywedyd, y ceir mewn hen hanesion, fod i Arthur, trwy gael ei flino wrth ymladd a Cerdic, o'r diwedd, ammodi ag ef, a rhoddi iddo ardaloedd *Hampshire*, a *Somerset*, [Gwlad yr Hâf,] er telerau heddychiad. Eithr nis gwn am un awdurdod am hyn, heblaw haeriad rhy ddiweddar iddei dderbyn megys prawf.

Nid oes un hyspysiad boddhaol, fod dim hiliogaeth i Arthur; ond y mae mewn hen ysgrif, yn cynnwys cofrestriadau Llandaf, yr hwn a elwir *Llyfr saint Chad*, a'r hwn sydd yn awr, yn Eglwys Gadeiriol *Lichfield*, fynegiad am *Noe*, mab i Arthur, yr hwn a roddodd amryw diroedd i Eglwys Llandaf; ond nid yw y cyfryw fynegiad yn rhydd oddiwrth amheuaeth, canys rhai a haerant, mai nid mab i Arthur, brenin Prydain, oedd, ond i ryw bendefig, o'r enw *Arthruis*. Ac felly, hyd nes ceir allan ryw awdurdod, llai amheuadwy, rhaid gadael hyn lle y mae.

Ac megys y mae yr amheuaeth hyn yn glynu wrth Arthur a'i hiliogaeth, felly canfyddwn fod yr un dynghedfen, yn estyn at ei geraint a'i gyfellion yn gyffredinol; enwau pa rai a newidir, a'u hachau a anffurfir yn y fath fodd, ag braidd y gellir eu hadnabod drachefn. Er anghraifft, chwaer

', mewn un man a elwir *Anna*, ac mewn man arall, *Morguein la Fai*, ae y cyfryw gyfnewidiadau mor aml, fel ag mai ofer fyddai edrych cysondeb yn yr hanesion hyn; canys y ffug-draethodwyr, ni ofalent am gywirdeb hanesyddol, ond cyfnewidient enwau ac amgylchiadau, yddai mwyaf cyfleus iddynt, yn eu cyfansoddiadau; ond yr oeddynt ny yn wastad, yn cadw digon o'r cysefin mewn golwg, i allu canfod dyn a tharddiad eu traddodiadau. Ac er cadarnhad o hyn, nid oes ond cyfeirio at ryw un o honynt, gan hyspysu fod amrywiol yn yr un cyflwr; ac yma ar hyn o bryd, sylwaf ar y marchog hwnnw, a elwyd GWALCHMAI. Pan arferid yr enw hwn yn y , er mwyn cydymffurfio âg anianawd y iaith honno, cyfnewidiwyd *'alganus*, a *Walwein*. Ac yn y Ffrangaeg, gwelir ef yn dwyn rhith, ymgysoni ag arnodiadau y iaith honno, sef *Gawain*, a *Govein*. Ac y achau wedi dyfod i'r un fath ddyryswch. Yn yr ysgrifiau Cymraeg, ef *Gwalchmai ap Gwyar;* ond mewn hanesion ereill, dywedir mai LLEW AP CYNFARCH, ydoedd, a nai, mab chwaer, i Arthur. Ac yn y hyn y crybwyllir am dano, gan WILLIAM O MALMSBURY, yr hwn a a am gaffaeliad ei feddrod, yn Rhôs, yn Swydd Benfro,* yn amser n, y goresgynydd. Ei eiriau ydynt y canlynol;—

ac in provincia Walliarum quæ Ross vocatur inventum est sepulcrum Walwini, qui d degener Arturi ex sorore nepos; regnavitque in eâ parte Britanniæ quæ adhuc tha vocatur, miles virtute nominatissimus.——repertum est super oram maris decim pedes longum."

amser hwnnw, mewn talaeth o Gymry, a elwir Rhôs, y cafwyd bedd GWALCHMAI, oedd nai, nid dirywiedig† i Arthur, mab iddei chwaer: a theyrnasodd yn y rhan Brydain, yr hon a elwir etto *Walwertha*. Marchog tra enwog ydoedd o ran gwych- .——Ei fedd a gafwyd ar lann y môr, yn bedair troedfedd ar ddeg o hyd."

hr dywed nad oeddynt yn cyttuno mewn perthynas iddei angau. haerent iddo gael ei glwyfo gan ei elynion, a goddef llongddrylliad; ill a ddywedent, iddo gael ei ladd gan ei gyd-ddinasyddion, mewn d gyhoeddus. "Am hynny," medd efe, "Y mae y gwirionedd mewn aeth." Ac oddiwrth hyn, yr unig beth a gasglaf yw, fod yn y lle, raddodiad perthynol i Walchmai.

wn cyttuniad a'r uchod, y mae yn ardal *Rhôs*, yn Swydd Benfro, hen iad, a elwir *Castell Gwalchmai*, a *Walwyn's Castle*, lle y dywedir wyd y beddrod rhagenwedig. Ychydig filltiroedd o'r lle hwnnw, y Capel *Saint Govan*, ond nis gwn a oes un berthynas rhwng yr enwau.

* Gwel USHER.

† Cyfeiria yma at ei frawd bradychus, *Medrawd*.

Ond gan ys pa beth a dderbynir am yr amgylchiadau uchod, y ma mynegiad am y gwron hwn, yn Englynion y Beddau, yr hwn a arwyddoca ei fod wedi ei gladdu yn rhyw le ar lann y môr; ac felly yn hynny, yn cyttuno â'r uchod.—

" Bet Gualchmai ym pyton,
Ir dilif y dyneton,*
In llan Padarn bet Kinon."

Am y Gwalchmai hwn, y mae amrywiol bethau tra nodedig yn fynegol, yn y Gymraeg, yn gystal ag ieithoedd ereill; ond rhag i ni etto gael ein dyrysu yn ngwlad y Bendith-y-mammau, trown yn awr at yr hyn a ymddengys, megys yn mhlith y defnyddiau hanesiol, y rhai a gyfrifir yn awdurdodol.

Ni a sylwasom eisioes, ar ddyfodiad ac ymsefydliad y Saeson yma. Cyflwr dirywiedig y Brytaniaid Rhufeinaidd, oedd yr achos o'u derbyn megys cynnorthwywyr cyflog; a brad cydymgeiswyr uchelfrydaidd, yn nghydag ymrysonau cartrefol, oedd yr achosion o'u cefnogi yma cyhyd o amser, nes y bu iddynt trwy wahanol ddyfodiadau, ymliosogi i'r fath raddau, a goresgyn y rhan oreu o'r wlad, i'r hon y daethent gyntaf megys amddiffynwyr. Yr oedd cyflwr y trigolion dwyreiniol, yn ddiau yn wael iawn, o ran gwrolder a gwladgarwch; ac ysgatfydd mai y llwythau gorllewinol, a ffurfient yr unig luoedd, y rhai a wrthladdasant y Saeson, yn rhyfeloedd Emrys Wledig, ac Arthur. Ond gan ys pa wrolder bynnag a feddianent, neu ryfelgarwch, nid oedd ond o ychydig werth er amddiffyniad iddeu gwlad, pan droent eu harfau yn erbyn eu gilydd, ac y treulient eu nherthoedd mewn brwydrau cartrefol. Canys ymddengys fod y fath eiddigedd a digasedd yn hanfodi yn eu plith; a gwell oedd ganddynt ymryson a'u gilydd, am ryw dameidach o diriogaethau, ac hyd nod arfogi dieithriaid yn eu herbyn eu gilydd, na ymuno yn erbyn eu gelynion cyffredinol. Ac yn gyttunol â hyn, y bu canlyniad. Tra yr oedd Arthur yn mwynhau cydweithrediad y pendefigion yn gyffredinol, yr oedd yn anorchfygol, ac yn cadw y gelynion o fewn iddeu terfynau arforol; ac er eu bod yn barhaus yn derbyn ychwanegiadau o'r cyfandir, etto ni lwyddiasant i estyn eu terfynau yn mhell; ond fe gyfododd brad a gwrthryfel; ac yno y Brytaniaid a orthrechwyd, a'r gelynion a ymsefydlasant yn y wlad, gyda'r fath gadernid, ag na allwyd fyth ar ol hynny eu gyrru ymaith. Ac o'r amser hwnnw allan, Saeson Hengist gadwasant deyrnas Caint; a llwyth Cerdic a barhasant i feddiannu yr ardaloedd, y rhai a ffurfient teyrnas Wessex. Ond yr oedd Cernyw a Dyfnein

* *Dineu*, yw *tywallt*. Eithr dichon mai y *nawfed don*, a arwyddoceir yma.

yn parhau i arbed eu rhydd-did cynhenid. Ac y mae yn debygol, y i amryw o filwyr Arthur gilio i'r ardal hon, ar ol brwydr ddinystriol lan. Ac oddiwrth y modd y cysylltir enw a gweithredoedd Arthur an hyn o'r ynys, y mae yn ddilys fod llawer o'r dewrion hynny, y sawl addent dan ei dywysiad ef, yn frodorion o honi.

GERAINT AB ERBIN.

mhlith y gwronion o'r ardaloedd yma, nid cyfiawn fyddai annghofio GERAINT AB ERBIN, yr hwn oedd dywysog o'r dalaeth a elwid aint, [*Devon,*] a'r hwn a elwir yn y Trioedd, yn un o'r "Tri Llyng- g ynys Prydain." Yr oedd efe yn wrthwynebydd cadarn i'r Saeson, hiodd mewn brwydr yn ymladd yn eu herbyn, o gylch y flwyddyn wyr ydoedd i CYSTENYN GORNEU, a rhestrir ef hefyd yn mhlith y ac y mae yn ddilys ei fod yn amddiffynydd o'r grefydd Gristion- yn erbyn ymosodiadau y Saeson Paganaidd. Y mae yn ngwaith ARCH HEN, gyfansoddiad, a elwir "*Marwnad Geraint ab Erbin,*" a a gynnwysa 26 pennill. Dechreua fal y canlyn;—

**"Pan aned Geraint oedd agored pyrth nef,**
**Rhoddai Grist a arched,**
**Pryd mirain(1) Prydain ogoned.** — 1 hardd.

**"Moled pawb y rhudd Eraint,**
**Arglwydd: molaf innau Eraint,**
**Gelyn y Sais, càr i Saint.**

**"Rhag Geraint gelyn dyhad,**
**Gwelais i feirch cymmrudd o gàd,**
**A gwedy gawr,(1) garw bwyllad(2)** — 1 blocdd. 2 Rhuthriad.

**"Yn Llongborth gwelais i wythaint,(1)** — 1 digter.
**An elorawr mwy no maint,**
**A gwyr rhudd(2) rhag rhuthr Geraint.** — 2 cochion.

**"Yn Llongborth gwelais waedffrau,**
**Ac elorawr rhag arfau,**
**A gwyr rhudd rhag rhuthr angau.**

**"Yn Llongborth gwelais i arfau,**
**Gwyr, a gwyar(1) yn dineu,(2)** — 1 gwaed. 2 rhedeg.
**A gwedi gawr garw adneu.(2)** — 3 adnau—llefiad.

**"Yn Llongbortb gwelais gymminad,(1)** — 1 naddu lawr.
**Gwyr yn nghryd, a gwaed ar iad,**
**Rhag Geraint mawr mab ei dad.**

"Yn Llongborth gwelais drabludd,
Ar fain(1) brain ar golydd,(2)
Ac ar grân cynran man rudd(3)

1 meini. 2 ym
3 *ac ar ael y blaen*

"Yn Llongborth y llas Geraint,
Gwr dewr a goettir Dyfnaint,
Wyntwy yn lladd gyd a'i lleddaint."

Oddiwrth yr hyn a fynegir mewn pennill arall, [tu dal 262,] y fod Arthur yn flaenor llu, yn mrwydr Llongborth: ac felly ddilys ei fod ef yn ben-llywydd yno, canys dangoswyd eisioe waith Nennius, ei fod yn meddiannu awdurdod pennadurol ar y defigion ereill,

## IDA.

### B. A. 547.

Yr ydym hyd yn hyn, wedi bod yn cadw ein golwg ar y rha o'r ynys: ac wedi ystyried dyfodiad, ac ymsefydliad y llwyth aidd, y rhat a oresgynasant y wlad honno; a'u helynt, hyd Camlan, a marwolaeth Arthur yn y flwyddyn 542. Hyd yma, dan ein sylw, oeddynt y *Saxoniaid*, a'r *Iutiaid*, Ond yn aw gofyn i ni fudo tua gogledd-dir yr ynys: ac yno cawn we newydd o'r un genedl, yn ymddangos ar y maes, sef ciwdawd y neu yr *Angli*, y rhai a ddaethant drwodd, dan dywysiad b enw Ida.

Pa un a oedd marwolaeth Arthur, a llwyddiant y Saeson y wedi peri cychwyniad yr Eingyl, nid yw hyspys; ond yn fuan i dygwyddiad hwn, sef yn y flwyddyn 547; ac yn tynnu yn a mlynedd ar ol dyfodiad Hengist, y daeth Ida drwodd, yn nghy o ddeugain o longau, ac a diriodd yn yr ardal a elwid *Deifyr*, yr hon yn awr a elwir Northumberland, ac a lwyddodd i ores honno, ac i sefydlu ei genedl ynddi. Y mae yn ymddangos fo lwythau Saxonaidd, wedi ymsefydlu ar y gororau, yn ngogledd- yn gystal ag yn yr Alban, cyn hyn. Ond nid oedd un goresg wedi ymddangos yn yr ardaloedd hynny, iddei gydmaru i l lliosogrwydd ei ganlynwyr, a llwyddiant ei rwysg milwraidd ddychrynllyd ydoedd yn ei gadgyrchiadau, a bod y Brytaniaid iddo yr enw *Flamddwyn:* ond ar ol amryw frwydrau, bu farw haerir, iddo gael ei ladd gan *Owain ap Urien Rheged.*

Yn yr amser hyn, yr oedd gogledd-dir yr ynys gwedi bo dalm, yn yr un modd a'r deheudir, yn ranedig yn amrywiol dyw

bychain, dan wahanol bendefigion, y rhai a elwir gan un ysgrifenydd, "*Teyrnedd y Gogledd.*" Cyffiniau y talaethu hyn, nid ydynt hollol adnabyddus y dydd heddyw; ond y mae rhyw amcan, perthynol iddeu sefyllfaoedd cyffredinol. Y talaethau mwyaf cyfrifol, oeddynt *Deifyr*, *Bryneich*, *Strathclud* a *Rheged*.

## DEIFYR.

Talaeth *Deifyr* a elwir yn yr ysgrifiau Lladin, *Deira*. Y wlad honno ydoedd, a elwir yn awr *Northumberland:* ni wyddys fawr am ei helynt, ar ol ymadawiad y Rhufeiniaid; ond y mae yn debygol i amryw lwythau Saxonaidd, ymsefydlu ar ei gororau yn gynnar iawn, ac mai at y rhai hyn y daeth IDA drwodd,

## BRYNEICH

Y rhan hon o'r ynys, a elwid hefyd *Bernicia*, ei sefyllfa ydoedd yn yr Alban, ac ar yr oror ddwyreiniol, yn cyffinio â *Deifyr*, Am hynny gwelwn yr enwau *Deifyr a Bryneich*, yn aml yn gysylltiedig. Ysgrifir y gair hefyd, *Brynych*. Y mae helynt y wlad hon yn yr un cyflwr anhyspys, a'r rhagflaenol; ond y mae tebygolrwydd fod y rhannau arforol o honi, wedi eu meddiannu gan y Saeson, hyd nod tra'r oedd y byddinoedd Rhufeinig yn yr ynys. Y Trioedd a grybwyllant am dri o feibion i DYSGYFEDAWC, [neu DYSGYVYNDAWT,] sef GALL, a DIFFEDEL, ac YSGAFNELL, y rhai a elwir y "Tri unben Deifyr a Bryneich."—"A mab beirdd oeddynt y tri, [h. y. beirdd oeddynt;] a wedi eu myned wrth gerdd, y rhoddwyd arnynt Unbennaeth Deifyr a Bryneich." A dywedir iddynt gyflawni y "Tair mad gyflafan ynys Prydain;" sef lladd dau aderyn Llychwin Gwendolew, &c. Ond y mae yr amgylchiadau yn rhy chwedleuaidd, iddeu cyfrif yn mhlith hanesion geirwir; ac yn hytrach yn perthyn i'r gyfundraeth ffug-draethol: yr unig beth a sylwaf, yw eu bod yn cael eu hamseryddu yn y 6ed ganrif.

Oddiwrth y cyfansoddiad cyffredinol o enwau y talaethau yma, gellir casglu eu bod yn y 6ed ganrif dan yr un lywodraeth. Ceir hyn yn y modd yma, yn ngwaith Aneurin.—

"Kwydei(1) pym pymwnt(2) rac y lafnawr(3)
O wyr deifyr a brennych dychiawr
Vgein cant eu diuant(4) en un awr."(5)

1 syrthiai. 2 torf liosog. 3 gwaewffon. 4 dychiaw,—ocheneidio,—dychrawr, ysgrif arall. 5 difant.

Ac mewn man arall y mae y bardd yn arwyddocau fod trigolion yr ardal yma yn elynion i'r Cymry.

> " Ardeulu brenneych beych barnasswn,
> Dilyw(1) dyn en vyw nys adawswn.

1 delw, ysgatfydd,

A oedd Dysgyrnin Disgyffedawt, [tu. dal. 38,] yn dwyn rhyw berthynas a'r llwyth yma, nis gwn. Os ydoedd, y mae hynny yn cyfrif am anianawd cyhuddawl y cofiant am ei fedd.

## STRATH CLUD.

Y deyrnas hon a elwir gan rai, *Ystrad Clwyd.* Ei sefyllfa oedd ar yr afon *Clyde*, a'i phrif gaer oedd *Alclud* [*Dunbarton.*] Y mae ei hanes yn llawer mwy hyspys na'r ddwy rhagflaenol; a chan y ffurfia ran helaeth o'r gwaith hwn dros rai oesoedd, nid rhaid ar hyn o bryd, ddywedyd rhagor am dani.

## RHEGED.

Y mae yn beth tra annghyffredin, er cymmaint a sonir gan y Beirdd am deyrnas *Rheged*, nad oes neb yn gallel dywedyd, yn mha gwrr o'r ynys yr oedd. Y mae yn ddilys oddiwrth haeriadau y Beirdd, mai yn y gogledd-dir yr ydoedd, eithr pa un ai yn yr Alban, neu yn Lloegr, nid oes prawf. Am danaf fy hun, tueddaf at y dyb a feithrinir gan rai, mai ardal ydoedd, yn cynnwys y wlad a elwir yn awr, *Cumberland*, a meddyliaf y gallasai estyn dros rannau helaeth o'r ardaloedd cyfnesol yn yr Alban, ac hefyd yn Lloegr. A hyn a farnaf, am nad oes un enw Cymraeg i Cumberland, ar a wn am dano, ac oddieithr mai yn Rheged yr oedd, nid oes hyspysiad am y fath wlad. Ac nid yw yn debygol y buasai teyrnas annibynol a dewrwych, fal Cumberland, yn myned yn hollol ddienw, yn mhlith dynion o'r un genedl, megys y Cymry. Ac yn y man nesaf, cawn enwau tywysogion Rheged, yn mhlith y rhai oeddynt yn gwrthladd Ida, brenin Northumberland; ac felly y mae yn addas feddwl mai cymmydogion oeddynt. Gofynir i mi ysgatfydd, paham na allasai Rheged fod yn nghanol Lloegr, neu yn cynnwys yr ardaloedd helaeth, ar yr oror ddwyreiniol? Attebaf nad ydyw anianawd y bobl, ddim yn caniattau i mi feithrin y fath dŷb. Pobl dirywiedig oeddynt drigolion y gororau dwyreiniol; gwedi eu llygru yn hollol, gan foethusdra Rhufeinig. Nid oes prawf iddynt ymladd ergyd yn erbyn y Saeson. Ond yn y gwrthwyneb, y mae yn amlwg iddynt ymddar-

ostwng i gaethiwed, yn ddiymdrech; a'r unig wrthwynebiad a wnaethpwyd, a fu gan y llwythau gorllewinol. Ac o'r cyfryw, y mae yn ddiau gennyf, yr oedd trigolion Rheged.

Heblaw y rhaniadau cyffredinol hyn, y mae yn debygol fod y teyrnasoedd yma yn ranedig ynddynt eu hunain, rhwng amrywiol bendefigion o is radd, y rhai oeddynt yn Arglwyddi, ar ryw diriogaethau o wahanol faintioli, ar ba rai y meddiannent awdurdod neilltuol; ac weithiau y gelwid hwy yn frenhinoedd. Ond yn mhlith yr holl bendefigion, y rhai a wrthladdasant y Saeson, un o'r mwyaf clodfawr oedd Urien Rheged. Efe oedd y gwrolaf i wrthwynebu cadrwysg Ida; ac ymddengys iddo gyflawni ei ddyledswydd, tuag at ei wlad a'i genedl, dros hir amser yn y modd teilyngaf. Nid oes gennym gofiant, ond am ychydig o'r ymdrech a fu rhwng y ddau flaenor yma; eithr y mae digon ar glawr i ddangos anianawd gwaedlyd y rhyfel; yn nghyd a gwrolder tywysog Rheged, a'i gyfeillion. Y mae Taliesin yn mawrygu y blaenor hwn mewn amryw odlau, ac yn crybwyll am ei frwydrau. Ac y mae ganddo un awdl ar frwydr *Argoed Llwyfain*, yr hon a ymladdwyd rhwng Urien, ac Ida; canys felly y deallir yr enw *Flamddwyn*, am yr hwn y crybwyllir gan y Bardd, megys gwrthwynebydd Urien. Yr awdl sydd fal y canlyn;—

## GWAITH ARGOED LLWYFEIN.

"Y bore Dduwsadwrn Cad fawr a fu
Or pan ddwyre haul(1) Hyd pan gynnu,(2)
Dygrysowys(3) fflamddwyn yn bedwarllu,
Goddeu a Reged i ymddullu.
Dyfwy o Argoed hyd Arfynydd,
Ni cheffynt eiryoes hyd yr undydd,
Atorelwys fflamddwyn fawr drybestawd,
A ddodynt yngwystlon a yn parawd
Yr attebwys Owain ddwyrain ffossawd,
Nid dedynt nid ydynt nid ynt parawd,
A chenen mab coel byddai cymwyawr lew,
Cyn attalai o wystl nebawd,
Attorelwys Urien Udd yr echwydd
O bydd ynghyfarfod am garennydd,
Dyrchafwn eidoed odduch mynydd,
Ac ymporthwn wyneb odduch emyl,
A dyrchafwn beleidr odduch ben gwyr,
A chyrchwn fflamddwyn yn ei lyydd,
A lladdwn ag ef ai gyweithydd,
A rhag Gwaith Argoed Llwyfain,
Bu llawer celain,
Rhuddei frain rhag rhyfel gwyr,
A Gwerin a gryswys gan ei newydd,
Arinaf y blwyddyn nad wyf Kynnydd,
Ac yna y fallwyf hen,

1 cyfodi. 2 dys-gynnu,—disgyn.

**Ym dygn angeu angen,**
**Ni byddif ym dyrwen**
**No molwyf Urien."**

Yr awdl uchod sydd gyfansoddiad diamheuol o eiddo Taliesin, a thrwy gymmorth y cyfieithad yn y Myv. Arch. o waith L. MORRIS, rhoddaf yma yr eglurhad canlynol;—

**" Boreu dydd Sadwrn brwydr fawr a fu, o godiad haul hyd pan fachludodd. Cyrchodd FFLAMDDWYN, gyda phedair byddin, i ymladd â gwyr *Goddeu*, a *Rheged*. Cyrhaeddasant o *Argoed*, hyd *Arfynydd*,, ond ni chawsant einioes mwy nag un diwrnod.**

**Croch-lefodd FFLAMDDWYN mewn mawr ffrwst, " A roddant hwy, [sef y Brython,] wystlon ?—a ydynt parawd ?—**

**Attebws OWAIN, gyda dyrchafedig ergyd, " Ni roddant wystlon,—nid ynt parawd. A CHENEU AP COEL, fyddai lew cynhyrfiedig, cyn y talai o wystl i neb,"**

**Croch-alwodd URIEN, blaenor y gwyr, " Bydded ymgynhulliad perthynasau. A chyfodwn ein baneran ar y mynydd; a chodwn ein gwynebau tua'r gororau; a dyrchafwn ein gwaew-ffyn uwch bennau gwyr; a chyrchwn FFLAMDDWYN yn ei luoedd; ac ymladdwn âg ef, a'i gynnorthwywyr."**

**A rhag brwydr *Argoed Llwyfain*, bu llawer celain; y brain a liwyd yn goch gan w[...] o herwydd rhyfel milwyr; a'r bobl gyffredin a aethant ar hyd y wlad, â'r newydd. [...] ddeallaf y linell nesaf.]* Ac hyd nes y pallwyf gan henaint, a dyfod at farwolaeth a[...] bedol; na fydded i mi fyth wenu, oni chlodforaf URIEN.**

Yn mha le yr oedd *Argoed Llwyfain*, ofer fyddai holi y dydd heddy[...] Rhai a dybiant mai yn, neu yn agos i Cumberland yr oedd; ond gan ys [...] fodd yr oedd hyn, ymddengys fel pe bai yn cynnwys cyfran gyfrifol o[...] wlad, canys Taliesin a ddywed am dano yn y modd hyn;—

**" Ys meu eu rheufed(1)**      **1 llawnder[...]**
**Llwyfenydd diredd."**

Y mae Taliesin hefyd yn enwogi brwydr arall, yr hon a ymladdod[...] Urien, sef " *Gwaith Gwenystrad*," ond pa un ai *Ida*, [*Fflamddwyn*,[...] oedd ei wrthwynebydd, ai rhyw flaenor arall, nid ymddengys. Dechreu[...] yr awdl,—

**" Arwyre gwyr Kattraeth gan ddydd**
**Am wledig gwaith fuddig warthegydd."**

**"Cyfodent wyr Cattraeth gyda'r dydd, yn achos y brenin frwydr-fuddugawl âmddiffynydd."**

A dengys y bardd, ei fod ef ei hun yn gyd-drychiol ar y pryd, ac yn dyst o'r hyn a adroddai.—

*** L. M. a'i cyfieitha " Daroganaf y flwyddyn, yn mha un ni fydd llwyddiant." Eithr meddyliaf fod y gair *cynnydd*, yma, o'r un ystyr ag yr ail llinell, ac yn arwyddocau machludiad; a bod y Bardd yn datgan, " y noda efe y flwyddyn honno hyd amser ei drancedigaeth."**

'Gwelais wyr gwychion yn lluydd,
A gwedi boregat briwgig,
Gwelais i dwrf teirflin trancedig,
Gwaed gohoyw gofaran gowlychyd," &c.

"Gwelais filwyr gwych yn lluoedd; a gwedi boreu frwydr, cnawd archolledig. Gwelais dyrfa daer laddedig, a gwaed rhedegog a wlychai yr ymladdwyr blaen-rhesol."

O gylch yr amser hwn, sef yn ystod y 6ed ganrif, ymddangosa y fath lawer o bendefigion, a rhyfelwyr clodwiw, ag na chaniata terfynau y gwaith hwn ychwaneg nag yn unig adrodd enwau y mwyaf nodedig, yn nghydag ychydig sylwadau ar eu hanes. Ar ol y brenin Arthur, helynt pa un sydd guddiedig dan y fath len o gaddug; y nesaf mewn enwogrwydd, yw URIEN RHEGED; ac am ba un y mae llawer mwy ar glawr yn ngwaith ei gyd-oesolion, nag am Arthur ei hun.

URIEN RHEGED.

Dywedir am y pendefig hwn, ei fod yn fab i *Cynfarch ap Meirchion ap Gul, ap Gwrwst Ledlwm, ap Ceneu, ap Coel Codebog*. Ac megys nad ydyw sefyllfa ei diriogaeth, *Rheged*, yn adnabyddus, felly nid oes hyspysiad am amser ei farwolaeth. Y mae yn ddilys ei fod yn byw yn amser Taliesin, canys gwelwyd eisioes, fod y Bardd hwnnw yn dywedyd ei fod ef ei hun, yn dyst o'i orchwychder rhyfelgar. Ac y mae yn ymddangos hefyd, iddo ei angau, ddygwydd yn amser LLYWARCH HEN. Canys ceir yn mhlith ei brydyddiaeth, "*Farwnad Urien Rheged*," yn yr hon y dywed iddo gael ei ladd, yn *Aber Lleu*, eithr pa le mae ei sefyllfa, ni wyddys.—

"Handdid Eurddyl aflawen henoeth,
A lluosydd amgen:
Yn Aber Lleu lladd Urien."

"Bydd EURDDYL [chwaer Urien,] yn drist heno. Canys y mae y llywiawdwr yn eisiau,—Yn Aber Lleu lladdwyd Urien."

Y Farwnad hon a gyfranna ychydig, tuag at gadarnhau awdurdod yr hen achau Cymraeg; canys y mae y rhan o eiddo Urien a geir ynddi, yn cyttuno â'r hyn a draddodir yn y cofiant hynny. Y pennill canlynol, a fynega enw ei dad.—

" Y gelain feinwen a oloir(1) heddiw,
Yn mhlith pridd a thywarch,—
Gwae fy llaw, lladd mab CYNFARCH.

1 a guddir.

A'r canlynol a draetha am ei fab, enw yr hwn hefyd a geir yn yr achau;

"Y gelain feinwen a oloir heddiw,
A dan bridd a main,(1)—
Gwae fy llaw, lladd tad OWAIN." 1 mei

Deallir iddo gael ei lofruddio gan un o'r enw LLOFAN LLAWDIFO; weithred hon a elwir yn un o'r "*Tair anfad gyflafan.*" Ac me ysgrif attodol wrth ddiwedd gwaith Nennius, arwyddoceir i'r gyflafan y gael ei chyflawni trwy fradwriaeth un o'i gyd-deyrnedd, o'r enw MORGAI

"Contra illos quatuor reges, Urbgen, et Ryderthen, et Guallanc, et Morcant dimic erunt. Deodric contra illum Urbgen cum filiis dimicabat fortiter. In illo autem temp aliquando hostes, nunc cives vincebantur; et ipse conclusit eos tribus diebus et trib noctibus in Insula Medcant; et dum erat in Expeditione jugulatus est, Morcanto d tinante pro invidia, quia in ipso præ omnibus Regibus virtus maxima erat instauratio Belli."

"Yn eu herbyn hwy, [y brenhinoedd Saesonaeg,] yr ymladdodd pedwar brenin; URII RHYDDERCH, GWALLAWC, a MORCANT. DEODRIC, yntau a ymladdodd yn ddewrwych erbyn Urien, gyda'i feibion. Ac yn yr amser hwnnw, weithiau y gelynion, ac weithiau trigolion a orthrechid. Ac efe a'u gwarchaeodd hwy dri diwrnod a thair noswaith, ynys *Medcant.** A thra yr oedd yn y gadrwysg, llofruddiwyd ef o herwydd cynfigen, tr gynllwyniad Morgant, o achos ei fod ef yn rhagori ar y brenhinoedd ereill oll mewn de dwriaeth, yn nhrefniadaeth y rhyfel."

Nid oes hyspysiad am yr adyn yr hwn a darawodd yr ergyd, rhagor chrybwylliad am ei feddrod yn unig.—

"Bed Llofan llaw divo,
Yn ar ro Venai yn y gwna ton tolo."

"Yn ngro Menai, lle y gwna y don groch-sain."

Y mae hen ysgrif yn dywedyd i Urien ddyfod i ddeheubarth Cymru cynnorthwyo i anfon ymaith y Gwyddelod, y rhai oeddynt wedi sefydlu yn y wlad. Dichon fod hyn yn wir; yr oedd llawer o gyfeillgarw yn hanfodi rhwng y Cymry a'r Brython gogleddol; ac y mae Ur Rheged yn cael ei gyfrif yn bencenedl i amryw o dylwythau Cymru dydd heddyw, megys y gellir gweled yn llyfrau yr achau, y rhai a hanfod mewn gwahanol lyfr-gelloedd, yn gystal ag mewn ach-ysgrifiau neilltu Ond ni allaf gydnabod mai yn Neheubarth Cymru yr oedd talaeth RHEGI fal yr haerir gan rai.

Y mae Taliesin yn mawrygu ei lewder a'i wychder, megys llywyd mewn modd arbennig; ac yn dangos mor ddychrynllyd yr oedd i'r Lloeg wys, sef trigolion Lloegr, y rhai yn yr amser hyn, oeddynt yn

* *Lindisfarne*, neu *Holy Island* dywedir, gerllaw aber y *Tweed*.

adroddiad y Triad, "wedi myned yn Saeson;" ac yn uno a'u hen elynion, yn erbyn y Cymry;—

" Lloegrwys a'i gwyddant,
Pan ymadroddant
Angeu a gawsant,
A mynych goddiant,
Llosgi eu trefred,
Adwyn eu tudded."(1)

1 a dwyn.

Eithr nid yn unig megys arweinydd byddinoedd, y clodforir Urien Rheged, ond ymddengys hefyd ei fod yn ymladdwr dewrwych, yn ymdrech law-law mewn brwydr.

" Dwys dy bleidrad
Pan erglywad cad." Taliesin.

" Trwm yw ergyd dy waewffon, pan clywir twryf brwydr."

Gelwir ef yn y Trioedd yn un o'r "*Tri tharw cad ynys Prydain.*" Ac y mae yn dra enwog yn yr hen ffug-draethodau Ffrangaeg, megys un o farchogion Llys Arthur, lle y gelwir ef *y Brenin Urien;* ac hefyd *Yrience*, a *Rience.*

Ceir yr enw *Urien*, yn mhlith meibion Llywarch Hen; ond pa un ai atto ef neu at *Urien Rheged*, y cyfeiria y Cof-Englyn canlynol, nis gwn.

" E beteu ae gulich Kauad,
Gnir ni lesseint in lledrad,
Gwen ac Urien ac Uriad."

"Y beddau a'u gwlycha cawad eiddo ydynt i wŷr ni laddent yn lladradaidd; sef Gwen, ac Urien, ac Uriad.

Ceir enw Urien Rheged yn mhlith Seintiau ynys Prydain, yn Nghôr Cattwg, yn Llancarfan: ond nid yw hyn ddim yn gyson a'r mynegiad am ei farwolaeth, pan yn blaenori ar y byddinoedd cyfunol yn y gogledd. Ac meddyliaf iddo ef yn gystal ag am amryw flaenoriaid ereill o'r oes honno, gael ei gyfrif yn nifer y Seintiau, nid o herwydd ei fod yn arwain buchedd Eglwysig, eithr yn hytrach am ei ymdrechiadau megys Tywysog Cristionogol, yn erbyn ymosodiadau y Saeson Paganaidd.

Ymddengys fod iddo amryw o feibion gwladgar a dewrwych; ac y mae Taliesin mewn un man, yn datgan eu clod fal y canlyn:—

" Dy deyrn Veibon,
Haelaf dynedon,
Wy canan eu hysgyron(1)
Yn anhiredd eu galon."(2)

1 seiniant eu pelydrau.
2 gelynion. [O. Pughe.

Pa sawl o feibion oedd iddo nid ymddengys, ond rhoddir yr canlynol yn eu plith, sef OWAIN, PASGEN, RHIWALLAWN, CADEL ELPHIN.

OWAIN AP URIEN.

Y pendefig hwn a haedda ei resu yn mhlith yr enwocaf o ddewr Cymry. Ymladdodd yn wrol yn erbyn y Saeson; a deallir mai e law ei hun a laddodd y blaenor Saesonaidd dychrynllyd hwnnw, *F ddwyn*, sef *Ida*, brenin Northumberland.* Gelwir ef yn y Trioedd, o'r "*Tri Gwyndeyrn;*" ac y mae amryw grybwylliadau am dan ngwaith y Beirdd: ac yn mhlith prydyddiaeth Taliesin, ceir ei farw yr hon a roddir isod. Nid ymrwymaf i brofi mai diamheuol waith Tal ydyw; barned y darllenydd drosto ei hun.

MARWNAD OWAIN AP URIEN RHEGED.

Enaid Owain ap Urien
Gobwyllid ei Ren
Oi Raid

Reged Udd ai cudd tromlas
Nid oed fas
Ei gywyddeid

Isgell cerddglyd clodfawr
Esgyll gwaywawr
Llifeid

Cany cheffir cystedlydd
I Udd llewenydd
Llathreid

Medel galon gefeilad
Eissilud y tad
Ai taid

Pan laddawdd Owein Fflamddwyn
Nid oedd fwyn
Og ef cysgeid

Cysgid Lloegr llydan nifer
A lleufer
Yn eu llygaid

Y rhai ni ffoynt hayach
A oeddynt * * * * ach
No chaid

Owain ai cospas yn ddrud
Mal cnud
Yn ymlid defeid

Gwr gwiw uch ei amliw seirch
A roddei feirch
I eirchiaid

Cyd as cronnai mal caled
Ni ranned
Rhag ei enaid

Enaid Owain ap Urien, &c.

Ni chymmeraf arnaf eglurhau y cyfan o'r cyfansoddiad hwn; eit hyfforddiad i'r sawl ni pherchenogant gyfrwng gwell i ddyfod at ei

* Blaenor yr Eingyl ydoedd Ida, eithr arferir eu rhesu dan yr enw *Saeson*.

rhoddaf yma gymmaint ag a ddeallaf o honaw mewn ymadroddion eglurhaol.—

Enaid Owain ap Urien, bydded iddei Arglwydd ystyriaid ei angheuraid.—Pendefig Rheged, y dywarchen las a'i cuddia. Nid oedd wael ei gynneddf.

Mewn isel gell y mae y cerdd-ddyrchafedig clodfawr, blaenor y pelydrau asgellog [saethau ?] awchlym.

Ni cheir cyfartal y pendefig bro LLEWENYDD disgleirwych, gafaelydd medel y gelynion, gwr eppill ydoedd iddei dad a'i deidiau.

Pan lladdodd OWAIN y blaenor FFLAMDDWYN, nid ydoedd tirion, eithr yn awr efe a huna.

A gysgai Lloegr lydan liosawg, a'r goleuni ar ei llygaid!

Y rhai ni ffoent weithiau, a oeddynt * * * * [*gwall yn yr ysgrif.*]

Owain a'u cospodd yn drwm, megys haid o gwn yn ymlid defaid.

Gwr anrhydeddus ydoedd, uwch ei amryllw farch-wisgiadau; a rhoddai feirch i'r rhai a'u gofynent.

Os arbedai ei gyfoeth megys cybydd, na chyfraned neb tuag at dalu am weddiau dros ei enaid."

Nis gallaf roddi un ystyr i'r ban olaf, ond yr uchod. Gwn na fydd yn boddhau pawb; odd nis gallaf wyrdroi yr hyn a farnaf ei fod yn iawn amcan y cyfansoddiad, er mwyn ei gymhwyso at archwaeth yr oes bresennol.

Y mae Owain ap Urien yn dra nodedig yn yr hen ffugiadau Ffrangaeg, lle y gelwir ef *Yvein*. Ac y mae hefyd ei enw iddei weled yn fynych, yn yr hen draethodau ffugiol Cymraeg, y rhai a elwir y Mabinogion, a dywedir yn y Trioedd, mai enw ei farch ydoedd *Carnaflawc*.

Pa dynged a fu i Owain, nid yw hyspys; ond nid annhebygol iddo megys y rhan fwyaf o wronion yr oes honno, syrthio mewn rhyfel, tra yn amddiffyn ei wlad. Yn Englynion y Beddau, y mae y coffadwriaeth canlynol am le ei gladdedigaeth.—

"Bet Owein ap Urien ym petryal hyd,
Dan guerid llan Morvael,
In Abererch Riderch Hael."

"Bedd Owain ap Urien sydd y bedair-onglog, [sef o gist-faen,] dan dywarch Llan Morvael."

Am y lleill o feibion Urien, ceir eu henwau yn mhlith pendefigion yr oes; eithr nid oes ond ychydig o'u hanes ar glawr. Dywedir am PASGEN, ei fod yn un o'r "*Tri Thrahaawg*," y rhai trwy eu traha, a barhasant niweid iddeu cenedl, ond canmolir RHIWALLAWN am ei wrolder; ac hefyd y lleill.

Ac, weithian y mae yn ddyledus sylwi ar y tri brenin, y rhai megys cyd-ryfelwyr Urien yn erbyn Fflamddwyn, sef *Rhydderch*, *awc*, a *Morgant*.

RHYDDERCH HAEL.

Er nad ydyw yr ysgrif yn ei arnodi felly, etto nid oes le i amr RHYDDERCH HAEL, a arwyddoceir wrth yr enw *Ryderthen*. hwn oedd frenin *Strathclud*, neu *Ystrad Clwyd* yn yr Alban. am dano yn y modd canlynol, yn muchedd *Sant Columba;* cyfan a gredir ei fod yn iawn eiddo ADOMNAN, yr hwn oedd Abbad Io flwyddyn 679; sef,—"*De Rege Roderco, filio Totail, qui Clothe regnavit.*"—"*Am y brenin Rhydderch yr hwn a dey yn Alclud.*"——Y mae y geiriau hyn yn llawn ddigon i brofi ca yr haeresyddion hynny, y rhai a haerant mai yr un tiriogaeth oedd a *Strath Clud*, canys ni a welwn fod gwahanol frenhinoedd i'r ddw as, a hynny ar yr un pryd; sef URIEN, brenin *Rheged*, a RHY brenin *Strath Clud;* megys y gwelwyd eisioes, yn yr ysgrif wrth gwaith Nennius. Mab ydoedd *Rhydderch Hael*, i *Tudwal T ap Cedic*, *ap Dyfnwal Hên*, *ap Ednyfed*, *ap Macsen* Crybwyllir am dano yn y Trioedd fal y canlyn;—

"Tri Haelion Teyrnedd ynys Prydain:———

Rhydderch Hael ab Tudwal Tudclud; a Mordaf Hael ab Serfan; a Nudd Senyllt; a u cynneddfau oeddynt ni phellynt o un peth bynnag o'r byd ac o ryw oeisiai hyd y bai ganddynt, nag a gaent yn rodd, neu yn echwyn, neu o gyfarch; chas na thras nag estron, a'i ceisiai."—TRI. 30.

Afreidiol fyddai dywedyd mai chwedleuaidd a ffugiol, ydyw y d uchod; rhoddaf ef yma er mwyn dangos arnodiad cynnwysfawr pan ffurfiwyd y Triad, yn hytrach nag o achos un pwys a osodaf ar odiad; er dichon y gall feddiannu rhyw gyfran o wir yn gymmys ffugiad. Ond bydded haelder y blaenor hwn fel y bytho, y mae y mai gwr o anianawd tra egniol ydoedd, ac yn amddiffyn ei wlad yn teilyngaf, yn erbyn yr amrywiol elynion, y rhai a ymosodent arni c Gwelwyd eisioes ei fod yn rhyfela yn erbyn yr Eingyl, gydag Urien gerllaw ynys Medcant. Ac ymddengys ei fod hefyd yn gorfod wynebu ymosodiadau y Scottiaid, sef y Gwyddelod; canys dea orthrechu arnynt mewn brwydr, pan gwrthwynebasant ef dan ei *Aeddan*, mab *Gafran*.

Heblaw hyn, yr oedd Rhydderch Hael yn gorfod cynnal rhyfel rhan o'r genedl Gymraeg, yn gystal ag estroniaid. Oblegid gwel

ymladd yn erbyn brenin o'r enw GWENTOLEU AP CEIDIAW, yr hwn a orthrechodd efe, ac a laddodd yn mrwydr *Arderydd*, yn mha un yr oedd y Scottiaid dan Aeddan yn ymgystlun a'i elynion. Y frwydr hon a ddygwyddodd yn y flwyddyn 577; ac y mae yn ddilys i'r fuddugoliaeth a ennillodd efe ynddi, gyfrannu tuag at sicrhau ac ehangu ei wladwriaethau.

Yr oedd y brenin Gwentoleu yn noddwr i FYRDDIN WYLLT, yr hwn a alara yn fawr am ei laddedigaeth. Ac y mae y PARCH E. DAVIES, yn casglu oddiwrth waith y Bardd hwnnw, ei fod ef a'i bendefig yn arddel daliadau y Derwyddon, a bod Rhydderch Hael yn amddiffynwr o Gristionogaeth yn eu herbyn hwy. Ac y mae yr awdwr dysgedig, yn haeru fod Myrddin yn cyfarch y Derwydd, dan enw *parchell;* ac yn ei gynghori i gilio allan o ffordd Rhydderch.

> "Oian a Phorchellan a pharchell dedwydd,
> Na chladd dy red kyr yn mhen mynydd,
> Cladd yn lle argel yn argoedydd,
> Nac erwys Rydderch hael rwyfadwr ffydd."

"Clyw O barchellyn, O barchell dedwydd!—Na chladd yn amlwg yn mhen mynydd. Cladd yn lle dirgel yn argoedydd, lle nad adwaen Rhydderch hael, pendefig Cristionogaeth."

Ac etto,—

> "Oian a pharchellan a pharchell gwyn gwys
> Na chysgi hun fore
> Na chladd yn mbrysg rhag dyfod
> Rhydderch Hael ai gwn cyfrwys
> Gan gaffael o honatti y coed
> Rhedawdd(1) dy chwys."

1 todda.

Ac y mae Davies yn barnu oddiwrth yr hyn a geir mewn cyfansoddiad arall o waith Myrddin, a elwir yr *Afallenau*. fod pleidwyr Derwyddiaeth, ar ol derbyn yr ergyd hwn o law Rhydderch Hael, yn mrwydr Arderydd, yn gorfod cilio i'r neilltu, a'u bod yn cynnal eu defodau mewn rhyw goedd dirgel ac anial, o fewn, neu ar gyffiniau *Coed Celyddon*. Ac y mae efe yn meddwl fod Myrddin yn darlunio daliadau, neu ryw sefydliadau o eiddo y Derwyddon, dan rith *Afallenau*, a'i fod dan argudd y cyfryw ddull o ymadroddiad, yn mynegi am y sefydliadau hyn; megys,—

> "Afallen beren beraf ei haeron,(1)
> A dyf yn argel yn Argoed Celyddon."

1 ffrwythau.

Hefyd,—

> "Afallen beren a dyf yn Llannerch,
> Angerdd(1) ei hargel rhag rhien(2) Rhydderch

1 annhelfydd.
2 Tywysogion.

Gan ys pa beth a feddylir am gywirdeb Davies, yn y dychymmygiad hyn, y mae yn eglur fod Myrddin yn cyfeirio at ryw beth na'i gilydd, a oedd mewn perygl oddiwrth elyniaeth Rhydderch Hael. Y mae yn debygol iawn mai *Lanark*, yn yr Alban, ar yr afon *Clyde*, yw *Llanerch*. Ac y mae yn haeddiannol o sylw, fod y dyffryn rhwng y dref honno a *Glasgow*, ar hyd lannau yr afon, yn nodedig y dydd heddyw am goleddiad afallenau, gan ei fod yn agos yn llawn o berllannau dros amryw filltiroedd: felly, os celu gwrthddrych ei gyfansoddiadau dan iaith gysgodol yr oedd Myrddin, ni allasai ddewis un peth llai tebygol i gyffroi drwg-dybiad, na'r pren afalau.

Ond pa fodd bynnag yr oedd Myrddin a'i blaid yn annghydffurfio â daliadau yr Eglwys, os ydoedd felly, y mae yn eglur nad oedd efe ei hun ddim yn Bagan cyfan-gwbl, canys y mae amryw arwyddion ei fod yn arddel Cristionogaeth. Ond ar yr un pryd, er cyfiawnder tuag at Davies, y mae yn rhaid cyfaddef fod haeriadau cadarn, i ddangos fod adfeiliad mawr wedi cymmeryd lle, a dychweliad at Baganiaeth; ond ai Derwyddiaeth ydoedd, nid yw hyspys. Ac y mae hefyd fynegiad fod Rhydderch Hael yn glynu wrth y ffydd Gristionogol, ac o achos hynny yr oedd efe yn mwynhau parch yr Eglwys. Canys felly y darllenwn yn ngwaith *Iohannes Tinmuthensis*, yr hwn, wrth grybwyll am *y deyrnas Gymruaidd*, ["*in Cambrensis regno*,"] sef yn y gogledd, a ddywed fod "trigolion yr ardal wedi gadael ffordd yr Arglwydd, ac megys cŵn yn dychwelyd at eu chwydiad, wedi gwrthgilio at ddefodau eilunaddoliaeth."—"*Regionis incolæ viam Domini relinquentes, et tanquam canes ad vomitum reversi ad idololatriæ ritum prolapsi sunt.*" "Ond," medd yr awdwr, "Yr Arglwydd o'r diwedd a gyfododd i fynu frenin o'r enw RHYDDERCH, wedi ei fedyddio gan ddisgyblion Sant Padrig yn yr Iwerddon, yr hwn gan geisio yr Arglwydd â'i holl galon, a ymdrechodd i ad-ddwyn ffydd Crist iddei deyrnas." "*Suscitavit tandem Dominus regem nomine* REDERECH, *a discipulis Sancti Patricii in Hibernia baptizatum qui in toto corde quærens Dominum, fidem Christi reparare in regnum studebat*" Ac adroddir am y nawdd a roddodd efe i Gyndeyrn [*Sant Kentigern.*]*

Ceir hefyd yr un fath fynegiadau am Rhydderch Hael a chyflwr ei deyrnas, yn hanes bywyd Sant Kentigern; lle y dywedir ei fod yn gweled y grefydd Gristionogol yn agos wedi ei llwyr ddifa yn ei deyrnas, ac iddo lafurio yn egnïol tuag at ei hadsefydlu. "*Rex Rederech quem Dominus suscitaverat super regnum Cambrinum, videns Christianum Religionem in regno suo pene deletam, magnam operam adhibuit quomodo repararet eam,*" &c.

* Gwel USHER.

RODERCO filio *TOTAIL*, qui *Petra Cloithe* regnavit, beati viri prophecia.

in tempore, ut erat Sancti viri amicus, aliquam ad eum occultam per *Lugbeum* itionem misit, scire volens si ab inimicis esset trucidandus an non. At vero ncto interrogatus, de eodem rege, et regno, et populo ejus, respondens quasi t; " Quid de illo inquiris misero, qui qua hora ab inimicis occidatur nullo otest?"—Sanctus tum deinde profatur; " Nunquam in manus tradetur inimi- sua, super suam plumatiunculam, morietur domo." Quod Sancti de rege icinium plene adimpletum est; nam juxta verbum ejus domo sua morte placida

rdoliaeth y Gwr bendigaid, am y Brenin RHYDDERCH mab TUDWAL, yr hwn nasu yn Al-clud."

arall yr un brenin, [*Rhydderch*,] gan ei fod yn gyfaill i'r Gwr Sanctaidd, [*Col-* nodd atto gennadwri cyfrinachol, trwy gyfrwng un o'r euw *Lugbe Mocumin*, gan rbod a fyddai iddo gael ei ladd gan ei elynion a'i na fyddai. A phan yr holwyd Sant, perthynol i'r brenin a'i deyrnas, a'i fobl; efe a attebodd megys un yn io;—" Pa beth a ymholi am y truan hwnnw, yr hwn ni all mewn un modd r y lleddir ef gan ei elynion. Y Sant er hynny a lafarodd:—" Ni thraddodir ylaw ei elynion, eithr efe a fydd farw yn ei dŷ ei hun ar ei obenydd ei hun." hwydiad o eiddo y Sant am y brenin Rhydderch, a gyflawnwyd yn gyfan oll; i air, efe a fu farw trwy drancedigaeth tangnefeddawl, yn ei dŷ ei hun."

y ceir yn yr uchod, ddull trancedigaeth Rhydderch Hael; felly rn mywyd Cyndeyrn, yr amser yn mha un y dygwyddodd, sef dyn 601.

Eodem anno quo Sanctus Kentegernus rebus exemptus humanis ad cælos ex Redereoh, in villa regia quæ *Pertmet* nuncupatur, diutius solito commo-

a flwyddyn [601] yn mha un y bu i Sant Cyndeyrn, gan gael ei gymmeryd o

" Yn yr un flwyddyn, yn mha un y bu farw y sanctaidd Esgob Cyndeyrn, bu farw y brenin, a'r pendefig rhagenwedig, ac a'u claddwyd yn *Glasgow*.

Gwelir yma annghysondeb rhwng y mynegiad am le ei gladdedig a'r hyn a 'geir yn yr Englyn, [tu dal. 285,] ond os *Abererch*, yn sı Gaernarfon yw y lle a enwir yno, y mae yn ddilys fod camsyniad n yn y traddodiad.

### GWALLAWC AP LLEENAWC.

Gelwir y pendefig hwn yn un o'r "*Tri phost Càd*;" ac o'r "*Aerfeddawc.*"—Y mae yn ngwaith Taliesin ddau o gyfansoddiada arwyrain iddo, y maent ill dau yn dywyll iawn, o herwydd hendra y iaitl nghyda llygriad y llythyreniad; ond er dim a allaf ddeall, ni chynhv ant gymmaint o fynegiadau hanesyddol, a'u hail-adrodd yma gyda fath o foddlonrwydd. Ysgatfydd mai atto ef y cyfeiria y Bedd-En canlynol,—

" Yn Abergenoli y mae Bet Pryderi
Yn y tereu tonneu tir
Yn Carrawc bet Guallauc hir."

### MORCANT.

Nid oes ond ychydig ar glawr yn yr hanesion Cymraeg, ag a ell gyfeirio at yr adyn hwn. Llywarch Hen, yn Marwnad Urien Rhege grybwylla am un o'r enw; eithr pa un ai megys cyfaill neu elyn, nic amlwg i mi; ac ni wn am un hanesiad Cymruaidd i roddi pellach eglu o'i gymmeriad. Ond y mae yn hanes-bywyd Sant Kentigern, grybwy am un o'r enw *Morken;* yr hwn oedd wrthdeyrn, neu frenin trwy dı feddiant ar y *Deyrnas Gymruaidd*, sef Strath-clud; ac y mae y dueddiant cryf i feddwl mai yr un ydyw *Morcant*, a *Morken;* cat mae yr arnodiad cymmeriadol a roddir i'r olaf o'r enwau, yn ddig brofi cymhwysder i ymosod at yr ysgeler-waith, yr hyn a gyflawno cyntaf.

Yn mywyd Sant Kentigern mynegir am dano yn y modd hyn;—

" DXLIII. Quidam tirannus, vocabulo Morken, Cambrensis regni solum asc cui potestas, honor, et divitiæ ambulare in magnis et in mirabilibus super se persua Sed cor illius, sicut elevatum erat in superbiam, ita e regione contractum et exe extitit per avaritiam. Hic viri Dei vitam atque doctrinam sprevit, atque despexit, &

" Yn y flwyddyn 543, rhyw wrthdeyrn o'r enw *Morken*, a esgynodd i orsedd y D Gymruaidd, yr hwn a hudwyd gan awdurdod ac anrhydedd, i ymdrafod â phethau m a rhyfeddol uwch nag ef ei hun. Eithr gan fod ei galon gwedi ei huchelu trwy fal felly yr oedd ar y llaw arall, gwedi ei chyfyngu a'i lleihau gan gybydd-dra. Hwn mygai fuchedd Gwr Duw, ac a'i gwaradwyddai, &c."

A'r hanes a fynega iddo ar ol pallu cyfrannu tuag at anghenion y Sant, a chablu mewn modd echryslawn, gan ddiarddel Rhagluniaeth Duw, gael ei gospi trwy golli ei foddion; gan y darfu i'r afon *Clyde*, yn annisgwyliadwy, ddylifo dros y dolydd, a dwyn ymaith ei ysguborau, a'i holl ŷd. Ond y gwr hwn yn lle edifarhau am ei ddrwg-fuchedd, a lidiodd wrth y Sant, ac a'i tarawodd a'i droed. Ond dial a'i goddiwesoddd, canys daeth chwyddiad iddei droed, yr hwn yn y diwedd, a achlysurodd ei farwolaeth.

Pan gymharer yr amgylchiadau adroddedig yn y tudalennau olaf yma, â'r hyn a ddywedir am adfeiliad Cristionogaeth yn Nghymru, o gylch amser Brychan Brycheiniog, canfyddir ddigon o gysondeb rhyngddynt, i gadarnhau yr hanesyddiaeth dan ein sylw, megys y ceir yn gyffredinol; er y gall amryw ddygwyddiadau neilltuol fod yn ddisail.

Yr hen ysgrif rhagenwedig wrth ddiwedd llyfr Nennius, hefyd a fynega i un o'r enw "*Dutigirn*, yn yr amser hynny, ymladd yn wrol yn erbyn cenedl yr Eingyl."*

Y mae yr enw hwn yn dwyn cyffelybiaeth i *Tydeyrn*, eithr ofer fyddai colli amser i geisio sefydlu eu hunolder.

Yn y pigion rhagflaenol, canfyddir ychydig o hanes y brenhinoedd Cymraeg, y rhai oeddynt yn gwrthwynebu ymosodiadau Ida, a'i ganlynwyr. Tra yr oedd Urien Rheged yn fyw ac yn llywiaw y byddinoedd, deallwn fod y Cymry yn fuddugoliaethus; ond ar ol cymmeryd ymaith y gwron ardderchog hwnnw trwy lofruddiad, gallwn gasglu fod eu llwyddiant yn aballu. Canys cyn hir gwelwn deyrnas yr Eingyl yn ymhelaethu, mewn modd na allasai, pe na fuasai cyfnewidiad mawr wedi cymmeryd lle yn ngwahanol helynt y ddwy genedl. Ac megys ag yr oedd cynfigen ac eiddigedd yn hanfodi yn mhlith y llwythau Cymraeg, ac yn peri eu gwanhau trwy ymrysonau cartrefol; felly ar yr un pryd, yr oedd undeb eu gelynion, ar amlhad o'u rhifedi, trwy ddyfodiadau newyddion, yn foddion o'u cyfnerthu i'r fath raddau, a'u bod yn mhen ychydig o amser, mewn meddiant o'r rhannau goreu o'r wlad, ac yn mwynhau yr oruchafiaeth wladwriaethol, megys y genedl gryfaf o'r ddwy. A phan syllom ar y troseddau atgas hyn o gyflawniad ein cenedl, yn erbyn eu gilydd a'u dyledswyddau dinasyddawl, a phan ychwanegwn at hynny, eu gwrthryfel yn erbyn Duw, yn eu dychweliad at eilunaddoliaeth, ni allwn ryfeddu fod cospedigaeth yn dyfod arnynt, trwy beri iddynt gilio o flaen eu gelynion, ac ymadael a'r meddiannau a'r breintiau hynny, o fwynhad pa rai y dangosent eu hunain mor annheilwng.

Am hen ardaloedd Deifyr a Bryneich cyn dyfodiad yr Eingyl, yr wyf

* "Item Dutigirn in illo tempore fortiter pugnabat contra gentem Anglorum."

eisioes gwedi mynegi fy marn, nad yw eu cyffiniau ddim yn hyspys; ac am y tiriogaethau hynny, ar ol sefydliad y deyrnas Einglaidd, y mae amrywiol dybiau. Richard o Hexham a ddywed fod Deifyr yn gorwedd rhwng yr afonydd *Humber*, a *Tees;* a bod Bryneich yn estyn o'r *Tees*, hyd at y *Tweed*. Ond rhai a fynnant fod y dalaeth olaf yn estyn yn mhell i'r Alban. Ac yn y Trioedd, rhoddir cyffiniau deheuol yr unol ardaloedd hyn, yn yr un modd.—

"Tair prif afon ynys Prydain;—Hafren, yng Nghymru; Tain, yn Lloegr; a Hymyr, yn Nyfr a Bryneich."

Ond yr eglurhad o'r annghysondeb hyn ydyw, fod cyffiniau yr ardaloedd hyn yn cael eu cyfnewid o bryd i bryd, fel ag yr oedd yr Eingyl yn helaethu eu meddiannau gwladol: ac yn y diwedd yr oedd teyrnas Northumbria, yn cyrhaedd hyd at yr afon Hymyr; megys y mae yr enw yn arwyddocau, er na wyddys ei chyffiniau gorllewinol; sef ar bwys teyrnas Cumbria.

## TEYRNAS EINGLAIDD NORTHUMBRIA.

Gan nad oes gwybodaeth am helynt nac enwau y blaenoriaid Saesonaidd, y rhai a ymsefydlasant yn Neifyr a Bryneich, cyn dyfodiad Ida, y mae yn arferol ei roddi efe yn nechreu cofrestr brenhinoedd y talaethau hynny, megys sylfaenydd y deyrnas. Ida a ddaeth drwodd yn y flwyddyn 547, a bu farw yn 560. Ac yno y mae yn debygol i'r deyrnas gael ei rhannu yn ddwy dalaeth; canys cawn enw ADA, mab Ida, yn frenin Bryneich; ac ELLA, mab YFFE, yn frenin Deifyr. Ac o hynny allan y mae yr hanes yn dywyll iawn dros amryw flynyddoedd. Eithr yn 645, OSWY, brenin Bryneich, a orchfygodd ac a laddodd OSWIN, brenin Deifyr, ac o hynny allan, parhaodd y wlad yn un bennadwriaeth, hyd 794; pan ar ol marwolaeth Ethelred, rhwygwyd hi gan ymrysonau cartrefol, ac yn mhen ychydig amser, aeth yn ysglyfaeth rhwng y Daniaid a'r Scottiaid. Ac ar ol colli y rhannau ar yr ochr ogleddol i'r Tweed, yn y flwyddyn 827, ymddarostyngodd i Egbert, brenin *Wessex*, yn yr un modd ag y darfu i deyrnas Caint, a'r lleill o deyrnasoedd Saesonaeg Lloegr.

## CYMRU.

Yr ydym yn awr gwedi taflu golwg ar amgylchiadau yr eithafoedd deheuol a gogleddol o wlad Lloegr; bellach bydded i ni fudo dros ennyd, tuag at ei hymylau gorllewinol, sef at gyffiniau Cymru; ac yno ni gawn weled yr ymdrech yn cael ei gynnal yn erbyn y Saeson, ag mewn ardaloedd er[illegible]

ɔesoedd hyn, sef y 6ed a'r 7fed ganrifau. Yn yr amseroedd yma, yr Cymru yn ranneaig yn amrywiol deyrnasoedd bychain. Y mae int a phedair ar ddeg o'r cyfryw, yn cael eu henwi. Byddai hyn o n ddigon i osod un brenin yn mhob Swydd o'r Dywysogaeth ; ond iaf y gallasai ar brydiau, fod hyd nod lawer rhagor na hyn, canys th amseroedd terfysglyd, yr oedd pob pendefig, yr hwn a feddiannai ; o diriogaeth, yn gallel cynnal llywodraeth annibynol o fewn iddei u neilltuol, heb fod yn gyfrifol i un ryw gyfraith, neu unbennaeth ol; oddieithr ei fod yn dewis hynny, i'r dyben i ymgyfnerthu yn rhyw elyn cryf, yr hwn a fygythiai y wlad âg anrhaith a gormes nol. O'r pennaethiaid hyn, neu y *brenhinoedd*, fel eu gelwir, yr hai yn gadarnach, ac yn meddiannu helaethach tiriogaethau nag ac hefyd naill ai trwy eu rhagorocach ddewrder, neu eu dedwydd-nged o ran doniau eu hanesyddion, yn mwynhau gogoneddach wydd nag ereill o'u cyd-oesolion.

yf yn cael fy nhueddu i ffurfio y tyb yma, am amlder y pennaduriaid ı hyn, yn gystal a'u cyflwr annibynol, nid yn unig oddiwrth yr adroddir am gyflwr cymdeithasol yr amseroedd hynny, ond hefyd lifaddef oddiwrth yr hyn a feddyliaf fy mod yn canfod yn anianawd dfol y genedl Gymraeg. Canys tybiaf eu bod hwy wedi cadw yn h y teimladau a'r arferiad Patriarchaidd, perthynol i drefniadau ld, yn nghyda'r dull-lywodraeth deilliedig oddiwrth hynny, yn hwy ;ryfach, nag amryw o'u cymmydogion. Effeithiau a gweithrediad oedd yn achlysuro gwahaniaeth mawr yn eu hamgylchiadau gwladol. l tueddiad y teimladau Patriarchaidd hyn ydoedd, fod pob perchen neu ben-teulu, yn bennaeth yn ei dŷ, ac yn derbyn ufudd-dod y n ei ofal. Y pen-teulu hwn, yntau, a arddelai ryw ben-cenedl dogaethol, yr hwn trwy etifeddiaeth, a fwynhaai y fraint o flaenori vyth. Ac ysgatfydd y byddai y pen-cenedl yn talu ryw fath o lod ewyllysgar i ryw bendefig arall. Eithr pellach na hyn, meddyl-estynai y gadwyn o ddeiliadaeth, er fod cyduniad cyngreiriol yn orydiau, fath o lywodraeth helaethach. A'r pendefigion pennaethol eddynt y brenhinoedd y rhai a grybwyllir am danynt, awdurdod sgatfydd, ni chyrhaeddai yn mhellach nag un o'r swyddau presennol, hiau nid mor belled. Ac y mae yn ddilys fod amryw o ben-teulu-ychain, yn frenhinoedd o fewn iddeu cymmydd culion eu hunain ; ɔli yn gadarn ac yn ddiwrthwynebiad, a hynny heb na deddf na th wladwriaethol, ond yn unig trwy rym teimladau Patriarchaidd y a pharch at hen ddefodau traddodiadol, y rhai a gynhalient yn eu r amseroedd y Derwyddon.

efn hyn o lywodraeth ydoedd y gadarnaf, ac ysgatfydd y dded-

wyddaf, tuag at reolaeth ardal fechan, neu lwyth anaml o fobl g
Ond y drefn waethaf ydoedd tuag at lywiaw teyrnas helaeth, ac un
lwythau tuag at ryw gydweithrediad pwysfawr.

Gwelwyd effeithiau niweidiol y cyflwr hwn yn ymddygiad y l
Brytanaidd, y rhai a ymgynnullasant yn erbyn y Rhufeiniaid; n
dim cydweithrediad yn eu plith, ond yn y gwrthwyneb; pob un a
awai a'r fyddin fel y gwelai yn dda, neu yr hyn oedd waeth, ymgyf
â'r gelynion. Yr un peth a welwyd ar amryw achosion, o'r amser
i waered.

Ond tra yr wyf yn cyhuddo y drefn hon yn y modd yma, 'ni a
attal rhag mynegi fy marn, mai i'r anianawd hyn o eiddo ein cen
tueddiant tuag at y dull-lywodraeth llwythol, a breniniaethau
neilltuol, yr ydym yn ddyledus am ein hanfodiad megys cenedl,
heddyw. Yr anianawd a gynnwys egwyddor o rydd-did neilltu
wyddoca eiddigedd mewn perthynas i lywodraeth pellenig, ac felly
lonrwydd i ufuddhau i'r cyfryw. Y pen-teuluoedd bychain y rhai a
a oeddynt bob un yn frenin yn ei gwm ei hun. A diamheu yn ba
amser i ymbigo ac ymryson â'r pen-teulu cymmydogaethol, yn
nesaf; a llwythau pob un o'r ddau, oeddynt lawn mor barod a'u pe
iaid i gychwyn i ryfel yn erbyn eu gilydd; ond yr oedd yr un
eiddig, llidiog ac ymrysongar, yn peri iddynt fod yn wastad y
mor barod i wrthwynebu ymosodiadau estronaidd. Pe buasai u
hanfodi yn erbyn y cyfryw estroniaid, buasai y fath yspryd rhyf
eu gwneyd yn anorchfygol. Ac fel ag yr oedd, darfu iddynt
gorchestion tra nodedig. Y Rhufeiniaid yn ddiau a ganiatasant
eu defodau, ac amrywiol freintiau gwladol, megys y dangoswyd
oddiwrth hanfodiad eu hiaith gysefin, a galluogrwydd eu pen
genedigol ar ymadawiad y llengoedd Ymherodrol. Y Saeson a
ymladd eu ffordd bob yn droedfedd, dros dri chant o flynydd
gallel cwbl feddiannu Lloegr. A phan ddaeth y Normaniaid i
goresgynasant y Saeson ar un ergyd, sef yn mrwydr Hastings; or
dros ddau cant o flynyddau yn cynnal rhyfeloedd parhaus yn
Cymry, yn nghyd a holl gadernid Lloegr, cyn llwyddo i uno y D
aeth, â choron y deyrnas honno.

Yn awr gall ryw un ddywedyd, Pa rinwedd sydd yn hyn oll?—Y
yn dwyn yn mlaen yr yspryd cyndyn ac ystyfnig hyn, megys yn wrt
canmoliaeth; Ond yn mha le y mae ei deilyngdod?—Attebaf f
mae yn ddilys, deilyngdod a rhinwedd dirfawr, yn nglŷn â'r e
hyn. Canys oni fuasai i'r yspryd annibynol ac eiddigus yma, fe
Cymry yn cael eu dwyn i'r un cyflwr o drueni a gorthrymder, a'r
O herwydd y Normaniaid ar ol darostwng Lloegr, a afaelasant

iau y bobl yn ddi-oddieithr. Gwilym y Goresgynydd, a rannodd oll rhwng ei ganlynwyr; y trigolion Saesonaeg a wnaethpwyd yn ision, a ffurfiwyd y cyfreithiau mwyaf gormesol iddeu llywodr- Ac mor enbyd oedd y drefn, ag nad oes yn awr ond ychydig iawn edd Lloegr, a allent ddwyn eu hachau yn ol at eu rhieni o waed- Saesonaidd, gan y darfu iddynt gael eu darostwng mor hollol, a'u ly dros gynnifer o oesoedd, a bod eu holl freintiau gwedi eu llwyr amu. Ac oni fuasai i'r egwyddor eiddig a chynhyrfadwy rhag- ig o eiddo y Cymry, diau na fuasent yn mwynhau gwell triniaeth nmydogion. Felly yr anianawd hyn a fu yn achlysur o ddirfawr r genedl ar amrywiol achosion, trwy gyfrannu tuag at lwyddiant ion. Ond bu hefyd yn foddion o fuddioldeb annrhaethadwy, trwy r mewn bodoliaeth, fel ag ein gwelir y dydd heddyw, a'n harbed ddamwain ddaearol waethaf a all ddygwydd i un rhyw bobl, sef d megys cenedl.

## CYNDDYLAN.

i'r pennaethiaid mwyaf enwog yn mhlith pobl Cymru, yn yr wn, oedd Cynddylan ab Cyndrwyn, Tywysog ar un o ardaloedd tiriogaethau pa un oeddynt yn cynnwys y wlad oddiamgylch i'r aig, gerllaw i'r hwn le yr oedd *Pengwern*, llys Cynddylan. wysog hwn oedd yn ryfelwr dewr, ac yn cynnal rhyfel yn erbyn n mewn modd tra gwych ac egniol. Ac megys llawer o'i gyd- r cyfoesol, syrthiodd mewn rhyfel tra yn amddiffyn ei wlad a'i id. Y Bardd a'r Tywysog godidog hwnnw, Llywarch Hen, a o'r Gogledd ar ol colli ei feddiannau yno, ac a dderbyniodd nawdd nddylan; ac efe a alara yn drwm am ei drancedigaeth, mewn d gryn faith, allan o ba un y cymmerir y pennillion canlynol. ia y Bardd gan alw am sylliad ar annrheithiad Pengwern.

### MARWNAD CYNDDYLAN AB CYNDRWYN.

| | |
|---|---|
| wch allan forwynion, a syllwch werydre ddylan.—Llys Pengwern neud tandde? le ieuainc a eiddynt brodre." | Sefwch allan forwynion, ac edrych- wch ar annedd Cynddylan.—Llys *Pengwern*,—Onid tanllwth!—Gwae yr ieuainc, eiddo y rhai yr oedd yn gartref. |

fe a â rhagddo i ddarlunio rhinweddau ei gyfaill,—

"Cynddylan calon milgi
Pan ddisgynai yn mhymhelri câd,
Celanedd a laddai."

"Cynddylan calon hebawg,
Byddai'r enwir cynddeiriawg,
Cenau(1) Cyndrwyn Cyndyniawg."

"Cynddylan calon gwyth-hwch(2)
Pan ddigynai yn mhrif-lwch cad,
Celanedd yn ddeu-drwch."

Y cyfansoddiad hwn a ddengys anianawd pennodol bardd Llywarch Hen, yn gystal ac ereill o'r hen Feirdd, yn yr aml-drac o'r un geiriau yn nechreu amryw bennillion yn ddigyfnewid. Meg

"Ystafell Cynddylan ys tywyll heno
Heb dân, heb wely—
Wylaf dro, tawaf wedy."

---

"Ystafell Cynddylan ys tywyll heno,
Heb dân, heb ganwyll,
Namyn Duw, pwy a'm dyry pwyll, &c."

---

"Ystafell Cynddylan ys tywyll heno
Heb dân, heb gerddau,—
Dygystydd deuredd dagrau.,"

---

"Ystafell Cynddylan ys oergrai heno,
Gwedy y parch a'm buai,
Heb wyr, heb wragedd a'i cadwai."

---

"Ysfafell Cynddylan a'm gwân ei gweled,
Heb doëd, heb dân,—
Marw fy Nglyw,(1) byw fy hunan."

---

"Ystafell Cynddylan a'm erwan pob awr;
Gwedy mawr amgynnyrddan
A welais ar dy bentan."

Y mae 16 o bennillion yn dechreu yn y modd yma, allan o l mae yr uchod yn bigion. Ac y mae cymmaint ag 11, yn dechreu geiriau,—*Eryr Eli*, ac *Eryr Pengwern*. A darlunia yr adar yn ysgrechain yn wancus am yr ysglyfaeth, ac i ymborthi ar Cynddylan.

"Eryr Eli, ban ei lef
Llewsai gwyr llyn,
Crau calon Cynddylan wyn."

" Eryr Eli gorelwi heno
Yn ngwaed gwyr gwynnofi
Ef yn nghoed,(1) trwm hoed i mi

1 ysgrin estyllod.
[*Gwel eglurhad o kyn* tu dal. 87.

Eryr Pengwern pen-garn(2) llwyd
Aruchel ei adlais,
Eiddig am gig a gerais.

2 pig.

" Eryr Pengwern, pen-garn llwyd,
Aruchel ei ieuan,
Eiddig am gig Cynddylan."

Ymddengys fod Cynddylan yn amddiffynydd o'r Grefydd Gristionogol, n erbyn ymosodiadau y Saeson Paganaidd.

" Eglwysau Bassa ynt dirion heno,
Ys gwaedlyd eu meillion:
Rhudd ynt hwy,—rhwy fy nghalon.

Eglwysau Bassa collasant eu braint
Gwedy y difa o Loegrwys
CYNDDYLAN ac ELFAN(1) POWYS."

1 brawd Cynddylan.

Y mae yr hen fardd hefyd yn arwyddocau yr ymladd enbydus a fu hwng y ddwy genedl, yn gystal ag anianawd rhyfelgar deiliaid Cynddylan.

" Y dref wen yn mron y coed,
Ys ef yw ei hefras(1) erioed,
Ar wyneb y gwellt y gwaed."

1 ieuenctyd.

---

" Y dref wen yn y dyffrynt,
Llawen y byddair wrth gyfammug cad,
Ei gwerin, neu'r derynt!(2)

2 oni ddiflanasant!

---

" Y dref wen rhwng *Tren* a *Throdwydd*
Oedd gnotach ysgwyd ton
Yn dyfod o gâd nog yt ych yn echwydd."

oedd mwy mynych tarian friw yn dychwelyd o frwydr na'r ych yn y cyfnos. O. Pughe.
neu *mewn iau*, meddyliaf.

---

" Y dref wen rhwng *Tren* a *Thrafal*,
Oedd gnotach(3) y gwaed
Ar wyneb gwellt, nog eredig braenar."

3 amlach.

Y mae yn amlwg hefyd fod Llywarch Hen wedi bod ei hun yn dyst o odrechiadau Cynddylan, a'i wrolder.—

2 N

"Gwelais ar lawr *Maes Togwy*
Byddinawr, a gawr(1) gymmwy(2)—
Cynddylan oedd cynnorthwy."

1
2 yn

Y mae y bardd hefyd yn enwi amryw o'i gyd-ryfelwyr, y rhai yı a Chynddylan, oeddynt wedi ei adael ef yn ei hen oedran i alaru hymadawiad.—

"Tywarchen *Ercal* ar âr dywal
Wyr, o edwedd Morial;
A gwedy *Rhys* mae rhysonial."

"Tywarchen bro *Escal* sydd yn cuddio y dewrwych wyr.——O achos tra *Morial*, ac ar ol *Rhys* y mae galarnad."——Neu ysgatfydd, "*ar ol rhuthr rhyfel,*" ystyr, ac nad yw *Rhys* ddim yn enw priodol yma.*

"Llâs fy mrodyr(1) ar unwaith
CYNAN, CYNDDYLAN, CYNWRAITH
Yn amwyn *Tren*, tref ddiffaith."

1 ei gyd-r

"Ni sangai wehelyth(2) ar nyth Cynddylan,
Ni thechai droedfedd fyth,
Ni fagas ei fam fab llyth(3)."

2 un gi
3

Hyd yn hyn, y mae iaith Llywarch Hen yn y Farwnad hon, m ei waith yn gyffredinol,—yn iaith symyl; ac oddieithr yr hen -anarferedig,—y mae yn iaith hawdd, heb ond ychydig o arnodia yddiaeth. Ond yn yr Englyn olaf o'r cyfansoddiad, y mae yr megys yn neidio allan o'i sefyllfa arferol, ac yn gafaelyd mewn dull- oddiad mwy awenyddawl a barddonawl.—

"Arbenig lleithig llurig,
Yn nghyhoedd aer gwyth gwaith-fuddig,
Fflam daphar llachar LLEMENIG."

"Pennadur teyrnorseddol llurygog, mewn cyffredinol ddigter brwydr, rhyfel f iaethus fflam-daenydd ddisgleirwych LLEMENIG, [mab MAHAWEN."]

Y mae hefyd Farwnad ar Gynddylan, gan MEIGANT, un o'i gyd-oe yr hon a ddechreua gyda'r geiriau canlynol;—

"Dyhedd deon die bir by
Rhiau a Rhirid a Rhiossedd."

Y bardd a grybwylla am *Tren*, y dref a enwir yn y cyfansoddiad o waith Llywarch Hen, ac hefyd adrodda enwau ereill, y sawl a

* Yr wyf dan ddyled i gyfieithad y DR. OWAIN PUGHE, am hyfforddiad tra gw yn fy eglurhad o'r Englynion hyn, er y canfyddir nad wyf yn wastad yn gallel cydfyr

dwyn yn mlaen megys eglurhad o hanesyddiaeth; ond y mae y Farwnad hon o waith Meigant, yn ymwahaniaethu yn fawr oddiwrth eiddo Llywarch Hên, y mae y iaith yn fwy dyrys, a'r dull o brydyddu yn llawer mwy barddonawl, ac felly nid mor hawdd iddei thrafod megys defnydd hanes; ac am hynny yr ychydig o honi ag yr wyf yn ei ddeall, a ofynai am gymmaint o egluriadau ar fy llaw, ag na thybiaf yn fuddiol ar hyn o bryd, i golli amser o'i phlegid.*

Yn Englynion y beddau, y mae cofiant am orweddle Cynddylan yn y geiriau canlynol;—

"Gwedi gueli a gwaedlan
A guiscau seirch a meirch can
Neud yw hun bet Cintilan."

"Gwedi olwyfau a gwaed-dywalltiad a gwisgo march-arfogaeth, a meirch gwynion, said hwn yw bedd Cynddylan!—

Pwy oedd y blaenor Saesonaeg yr hwn a achlysurodd angau Cynddylan, ni wyddys; Llywarch Hen a rodda iddo yr enw *Twrch.* Yr oedd yr enw *Swein,* yn gyffredin yn mhlith y Llychlynwyr, ysgatfydd mai cyfieithad o honaw yw Twrch, h. y. *Swine*

Yn y *Chron. Saxon.* y mae crybwylliad am un o'r enw *Condidan,* a rhai a feddyliant mai *Cynddylan* oedd ef. Y mynegiad sydd fal y canlyn;

"An. DLXXVII. Her Cuthwine and Ceawlin fuhton with Bryttas. and hy III. cyningas ofslogon. Commail, and Condidan, and Farinmail, &c.".

"577, yn y flwyddyn hon, *Cuthwine* a *Ceawlin,* [Saeson,] a ymladdasant yn eibyn y Brytaniaid, ac a laddasant tri brenin, sef *Commail, Condidan,* a *Ffarinmail,* mewn lle a elwir *Dwrham;* ac gymmerasant dair o drefydd, sef *Caerloiw,* a *Chaer ceri,* a *Chaer baddon.* [*Gleawan-cester, & Cyren-cester, & Bathan-cester.*"]

Ac hefyd tybia rhai mai *Caranmael,* mab Cynddylan, yw *Commail,* yr hwn a enwyd eisioes, tu dal. 224. Ond barnaf fod yr enw yn atteb yn well i *Cynfael,* yr hwn a grybwyllir am dano, ei fod yn gorwedd yn un o'r "*Tri bedd ar Gefn Celfi,*" [tu dal. 34.] Am *Ffarinmail,* nid oes dim ar glawr. Yr oedd un o'r enw, yn frenin Gwent, yn y 9fed ganrif.

## CASWALLAWN LAW HIR.

Hwn ydoedd fab i Einion Yrth, ab Cunedda Wledig; yr oedd yn bennaeth ar ran o ogledd-dir Cymru, yn y 5ed ganrif, a gelwir ef yn

* Yr unig beth a sylwaf arno yw, fod y bardd yn arferyd un gair Saesonaeg, yr hwn ni welais erioed mewn un cyfansoddiad Cymraeg arall, sef y gair *Plwde,* yr hwn y mae yn ddilys gennyf yw y Saesonaeg *blood,—gwaed;* ei eiriau ydynt, *Plwde y danaf hyd ymhen fy nghlun."*

Dywysog Gwynedd, yn yr un modd a'i dâd; ond meddyliaf iddo hau, os nid sefydlu ei hawl i'r sefyllfa hynny, trwy ei fuddugolia Gwyddelod, y rhai oeddynt wedi gafaelyd ar amryw o ardaloedd G yn yr oes honno; canys nid oedd ei dâd, Einion Yrth, yn medd cyfryw awdurdod, o herwydd nid ydoedd hwnnw ond un, yn amryw frodyr, y rhai a gawsant diriogaethau yn Nghymru; a'i fe ydoedd *Caer Einion*. Felly gellir rhoddi Caswallawn Law Hir, sylfeinydd Tywysogaeth Gwynedd. Rhoddwyd hanes ei ddaro o'r Gwyddelod, eisioes, tu dal. 155; ac ail-enwir ef yma i'r ddangos trosglwyddiad yr orsedd honno, ac achau ei pherchenogi

## MAELGWN GWYNEDD.

Hwn oedd fab i Gaswallawn Law Hir, yr ydoedd yn bennadur ond ar yr un pryd o ymddygiad gormesol ac o fuchedd atgas, ydyw a'r hwn a ddarlunir gan Gildas, dan yr enw *Maglocunus.* yr awdwr hwnnw a ddifenwa y cyfryw, megys adyn o'r ysgelera mae Sieffre o Fynwy yn crybwyll am dano, dan yr enw *Malg* ail-adrodd cyhuddiad Gildas; a Giraldus Cambrensis a afaela y cyhuddiad, ac a'i helaetha mewn modd tra anawdurdodawl. A cwbl, nid oes sicrwydd fod Gildas yn bwriadu iddei eiriau gael mewn ystyr llythyrennol, canys ychydig yn mhellach yn ei waith, yr un fath iaith at frenhinoedd annghyfiawn yn gyffredinol; [ *reges,*"] gan adrodd geiriau y Prophwyd Esai.

Dywedir i'r pennadur hwn ddyfod iddei angau trwy ryw haint, "*Y Fâd Felen.*"——Dechreuodd deyrnasu o gylch 517, a bu 560. Canlynwyd ef yn ei deyrnas, gan ei fab Rhun.

## RHUN AP MAELGWN GWYNEDD.

Hwn oedd Dywysog dewr a rhyfelgar: gelwir ef yn y Trioedd o'r "*Tri Gwyndeyrn,* ac o'r "*Tri Aurhualogion,*"—"sef y iddynt wisgaw hualeu euraid am eu breicheu, ac am eu gliniau, a gyddfeu, ac ar hynny y rhodded iddynt braint Teyrnedd yn mhol a chyfoeth yn ynys Prydain."

Yn y cyfreithiau Cymraeg, y mae mynegiad am bedwar ar freintiau gwladol i drigolion Arfon. Y mae yr hanesiad yn dwy o arnodiadau ffug-draethodawl, ond y mae yn debygol fod rhyw s o ran ei sylwedd, canys y mae yr ysgrifenydd yn cyfeirio at ei dystio gan arwyddocau fod yr ysgrifau yn gadwedig yn monachlogydd

a Chlynog.—"*Ac o bydd a amheuo un o'r breintiau hynny, Clas Bangor a rhai Beuno a'u ceidw.*" Y canlynol yw dechreuad y rhaithysgrif:—

"Yman y llas *Elidyr Mwynfawr*, gwr o'r Gogledd. A gwedi ei ladd y daeth gwŷr y gogledd yma i'w ddial. Sef gwŷr a ddaethant yn dywysogion iddynt; *Clydno Eiddyn*, a *Nudd Hael mab Senyllt*, a *Moriaf Hael mab Servari*, a *Rhydderch Hael mab Tudawal Tutclyd*, ac a ddaethant Arfon. Ac wrth [*o herwydd*] lladd Elidyr yn *Aber Mewedus* yn Arfon y llosgasant Arfon yn rhagor dial. Ac oddiyna y lluyddaws *Rhun mab Maelgwn* a gwŷr *Gwynedd* gantho ac y daethant hyd yn nglau *Gweryd* yn y Gogledd; Ac yna y buant yn hir yn ymryson pwy a ddylyai fyned yn mlaen trwy afon Gweryd. Ac yna ydd ellyngws Rhun gennad hyd yn Ngwynedd, i wybod pieufai y blaen. Rhai a ddywed, panyw *Maeldaf Hynaf*, pendefig *Pengardd* a'i barnws i wŷr Arfon. *Iorwerth mab Madawc* trwy gyfarwyddyd y cyfarwyddyd a'i cadarnha panyw Idno Hen, i wŷr y *Pyst penddu*. Ac yna ydd aethant gwŷr Arfon yn y blaen ac y buant da yno; ac y cant *Taliesin*—

"Cyglyw wrth wres eu llafnau
Gan Run yn rhudder byddinau
Gwyr Arfon rhuddion yw rhyddihau."

Rhai a fynnant fod y pendefig hwn yn anneddu yn *Nghaer Rhun*, ac iddo roddi ei enw i'r lle. Bu farw o gylch 586, a chanlynwyd ef yn y frenhiniaeth gan ei fab Beli, a hwnnw a ganlynwyd gan ei fab yntau, Iago; am y rhai nid oes ond ychydig yn hyspys, oddieithr fod yr olaf wedi cyfrannu tuag at gynhaliaeth Monachlog Bangor.

Yn yr amser hwn, ymddengys fod rhyfel parhaus yn gynhaliedig rhwng y Cymru a'r Saeson; canys y Chron. Sax. a ddywed gyferbyn y flwyddyn 584, i Ceawlin a Cutha, y blaenoriaid Saesonaeg, ymladd yn erbyn y Brytaniaid, mewn lle a elwid *Fethanleag*, ac i Cutha gael ei ladd, ond i Ceawlin gymmeryd amryw drefydd, a dychwelyd at ei gyfeillion gyda dirfawr yspail. Ac etto yn y flwyddyn 591, i alanastra fawr gael ei chyflawni gerllaw Wodnesbeorge, lle y gyrrwyd Ceawlin allan o'i deyrnas, a *Ceolric* a deyrnasodd yn ei le. Ac etto yn 597, arwyddoceir fod brwydrau mynych rhwng y Cymru â Saeson Wessex, dan *Ceolwulph*. Ond ni hyspysir enwau neb o'r pendefigion Cymraeg, y rhai a flaenorent ar yr achlysurau hyn, oddieithr fod y canlynol yn un.

## TEWDRIC.

O gylch yr amser hyn, coflyfr Llandaf a fynega fod Tewdric yn frenin Morganwg; ac efe gan benderfynu ymadael â thrafodiad gorchwylion y byd, a roddodd i fynu yr orsedd iddei fab Mouric, ac a ymdynnodd i'r neilltu, i arwain bywyd Meudwy, yn mhlith creigiau, *Dindyrn*, [*Tintern.*] Tra yr ydoedd felly, y Saeson a ddechreuasant ymosod ar diriogaeth Mouric, a gorfu ar *Dewdric* ddyfod allan o'i gilfa, iddeu gwrthladd.

Canys dywedwyd na chafodd erioed ei orthrechu gan ei elynion, ond ei fod ef bob amser yn fuddugoliaethus, a pha bryd bynnag y gwelwyd ei wyneb yn y frwydr, y gelynion a gaent yn ddiattreg eu gyrru ar ffo. Gwedi i'r Saeson gan hynny gyrchu i'r wlad honno, Tewdric a'u cyfarfyddodd gerllaw Tintern, ar lann yr afon Wy, ac a'u gorthrechodd. Ond efe ei hun a dderbyniodd glwyf yn ei ben, o ba un y bu farw gerllaw Aber yr Wy, ar lann Hafren. Claddwyd ef yn y lle hwnnw, a chyfodwyd yno Eglwys, yr hon a elwid gynt *Merthyr Tewdric*, ond y dydd heddyw, *Mathern.*

Yr amgylchiad hyn a gymmerodd le yn y flwyddyn 610, a honnir mai Ceolwulph, brenin Wessex, oedd y blaenor Saesonaidd.* Pa fodd bynnag yr oedd hyn, y mae un peth yn ddealladwy yn yr hanes yma; sef bod rhyfeloedd parhaus rhwng y Saeson â thrigolion Morganwg, yn yr amseroedd yma; canys hyn a arwyddoceir yn y mynegiad, yn nghylch aml fuddugoliaethau Tewdric. Ac y mae yr hanes yma hefyd, yn taflu goleu ar yr hyn a ddywedir am ferthyron yr oes honno, a dengys yn amlwg anian y merthyrdod hynny, megys yr eglurhawyd eisioes; tu dal. 192.

## CADFAN.

Cadfan, mab Iago ab Beli, a ddaeth i orsedd Gwynedd o gylch y flwyddyn 603. Y pennadur hwn sydd dra enwog am y gwrthladdiad llwyddiannus a roddodd i Saeson Deifyr a Bryneich, ar ol y gyflafan echryslon a gyflawnasant ar y myfyrwyr Eglwysig, wrth Bangor Iscoed; hanes pa un sydd mor gyssylltiedig âg eiddo Brochmael Ysgythrog, fel na ellir ei roddi, oddieithr dan yr un pennodiad.

## BROCHMAEL YSGYTHROG.

Y pennadur anrhydeddus hwn oedd yn frenin ar ran o Bowys,† o gylch dechreuad y 7fed ganrif; yn yr amser hwnnw, Awstin Fonach, wedi dyfod o Rufain, a llwyddo i droi Ethelbert, brenin y Saeson Dwyreiniol i Gristionogaeth, yn nghyd â'i ddeiliaid; a drôdd ei fwriad at y Cymry, y rhai oeddynt eisioes yn Gristionogion, ond yn pallu arddel awdurdod Eglwys Rhufain. Ac ar ol cynnal cymmanfa, i'r dyben i geisio eu dwyn i ufudddod, ac iddynt hwy mewn modd penderfynol ballu cydfyned a'i gais, efe a'u gadawodd, gan fwgwth os na fynnent hwy ymheddychu âg ef, y byddai iddynt gael eu difetha trwy ddwylaw y Saeson.

* Sharon Turner † Brochmael Ysgythrog oedd fab i *Cyngen* ap *Cadell Deyrnllug*—

Ac yn unol â'r bygythiad hyn, haerir i Ethelbert, gynhyrfu ETHELFRITH, brenin Paganaidd Northumbria, yr hwn oedd wedi llwyddo yn erbyn y Scottiaid, i droi ei arfau yn erbyn y Cymry. A'r pennadur hwnnw yn ganlynol, a arweiniodd ei fyddinoedd tuag at y wlad hon, ac a ddaeth mor belled a Chaerlleon Gawr, gerllaw yr hwn le, yr oedd monachlog *Bangor Iscoed;* myfyrwyr pa un oeddynt wedi cynnal cymmanfa, ac wedi penderfynu ar y gwrthodiad o gynnygion Awstin. Ac yno maes o law, Brochmael Ysgythrog, Tywysog yr ardal honno, a gynhullodd fyddin, ac a frysiodd iddei gyfarfod: ac yn uniongyrchol y ddau lu a ruthrasant i frwydr; ond gan fod canlynwyr Brochmael, yn llawer llai lliosog nag eiddo Ethelfrith, gorthrechwyd hwy gyda galanastra fawr, a gorfuwyd ar Brochmael ffoi oddiar y maes.

Yr oedd ar y pryd, nifer lliosog o Fonachod a myfyrwyr Eglwysig, wedi ymgrynhoi yn ngolwg y byddinoedd, er ceisio nawdd rhag y Saeson; a'r rhai hyn oeddynt yn gosod i fynu eu gweddiau dros lwyddiant eu cydwladwyr. Ac yno Ethelfrith a drôdd ei lid yn erbyn y diarfogion hyn, ac a'u llofruddiodd yn y modd mwyaf didrugaredd; a dywedir i ddeuddeg cant gael eu difetha gan yr adyn gwaedlyd hwnnw.* Ar ol hyn, Ethelfrith a aeth hyd at athrofa Bangor Iscoed, ac a lwyr ddiffeithiodd y lle, gan losgi a dinystrio y cyfan, yn nghyd â'r lyfr-gell odidog a gwerthfawr. Yno wedi cyflawni y gorchwylion ysgeler hyn, yn chwyddedig gan lwyddiant, efe a geisiodd ymwthio yn mlaen i ganol Cymru. Ond wrth groesi yr afon Dyfrdwy, gerllaw Bangor, cyfarfyddodd efe a'i ganlynwyr gwaedlyd, â'r gospedigaeth, yr hon yr oeddynt yn ei haeddu mor deilwng. Oblegid yr oedd yn awr, fyddin gadarn a dewrwych o'r Cymry wedi ymgynnull dan CADFAN, brenin Gwynedd; MEREDYDD, brenin Dyfed; BLEDRWS, Tywysog Cerniw; a Brochmael Ysgythrog: a hwynthwy a ymosodasant ar y fyddin Saesonaidd gyda'r fath egni, ag iddynt ar ol brwydr galed eu llwyr ddymchwelyd, gan ladd deg mil o wŷr, a pheri i Ethelfrith ffoi allan o'r wlad gyda gweddill ei ganlynwyr, a dychwelyd iddei ardal ei hun. Yr amgylchiadau hyn a gymmerasant le, o gylch y flwyddyn 607

*Bangor Iscoed* oedd ar lann Dyfrdwy, gerllaw *Wrtin Fadog,* [*Overton,*] yn Swydd Fflint. Gelwir y lle hefyd *Bangor* yn *Maelor,* a *Bangor Dunawd.* Dywedir iddo gael ei sylfaenu gan Lles ap Coel. Ac yn y 6fed ganrif yr oedd yn dra enwog, megys Monachlog, ac athrofa; a dywed Beda fod yno gynnifer o Fonachod, a'u bod yn ranedig yn saith dosparth, ac nad oedd un o'r cyfryw yn cynnwys llai na thri chant o ddynion, y cyfan o ba rai a arferent fyw wrth lafur eu dwylaw eu hunain, ac a rannent eu hamser rhwng gweithio a gweddio. A dywed rhai eu bod yn trefnu eu

* Ysgrifau ereill a roddant 200, yn unig fel rhif y lladdedigion.

gweinidogaeth yn y fath fodd, a bod cant o honynt yn ymgynnulledig mewn gweddi bob awr, yn y fath fodd a bod gwasanaeth Eglwysig yn gynnaledig yno yn ddibaid, ac yn ddiorphen, ddydd a nos. Ar ol y galanastra a'r diffeithiad rhagadroddedig, y lle a syrthiodd i adfeiliad, a William o Malmsbury a ddywed, nad oedd yn ei amser ef, ond gweddillion yn unig o ardderchogrwydd cyntefig y lle. Ac yn awr nid oes hyd nod gweddill iddei weled. Diamheu fod dinystr y fath athrofa odidog yn golled annhraethadwy i Gymru, trwy ei hamddifadu o'r dysgedigion, a'r llyfrau gwerthfawr, yn nghyd a'r holl foddion llëenyddiaeth, y rhai a hanfodent yn y fath sefydliad helaeth a threfnus.

Ar ol y fuddugoliaeth hon, sef o gylch y flwyddyn 613, CADFAN a etholwyd yn ben-llywydd ar y byddinoedd Cymraeg; yr hyn a wnaethpwyd, medd y Brut, mewn cymmanfa o'r Tywysogion Cymraeg, yr hon a gynhaliwyd yn Nghaerlleon Gawr: ac ychwanega iddo ymlid ar ol Ethelfrith, tua gwlad Northumbria: ond i'r ddau frenin, cyn cyfarfod mewn brwydr, ymheddychu â'u gilydd.

Nid oes ond ychydig iawn iddei weled yn ngwaith y beirdd, perthynol i Gadfan, nac ychwaith i Frochmael, yr hyn ni ellir cyfrif am dano oddieithr trwy feddwl fod y cyfansoddiadau, y rhai a gyfeirient attynt, wedi myned ar goll. Ceir enw Brochmael yn ngwaith Llywarch Hên, yn y pennill canlynol:—

"Eryr Eli gorthrymed heno
Dyffrynt Meisir, mygedawg
Dir *Brochfael*; hir rhygodded."

Cadfan a fu farw o gylch y flwyddyn 630. Y mae yn *Llangadwaladr*, neu *Eglwys Ael*, yn Môn, garreg âg hen ysgrif arni, yr hwn a feddylir ei fod yn cynnwys enw CADFAN; a'r hyn a bâr y tyb, i'r Tywysog hwnnw gael ei gladdu yno. Y mae hefyd yn *Nhowyn*, garreg yn dwyn cyffelyb enw, ond y mae yn amlwg mai nid eiddo y Tywysog rhagenwedig ydyw, eithr *Cadvan Sant*, mab *Eneas Ledewig o Lydaw*.

## CADWALLAWN.

Ar ol marwolaeth Cadfan, daeth ei fab CADWALLAWN i feddiant o'r orsedd, megys brenin Gwynedd: ac hefyd yn ben-llywydd y Cymry oll. Ac yr oedd o ran ei wrolder a'i ymdrechiadau diflino dros ei genedl, yn wir haeddiannol o'r arbennigrwydd anrhydeddus hynny. Ond yn ol yr ysgrifau Saesonaidd, yr oedd yn dra chreulon a gwaedlyd tuag at ei elynion, gan ddiffeithio y gwledydd a oresgynai, mewn modd annrhugarog. Ond y

mae yn ddyledus gofio fod y dynion hyn gwedi bod dros hir flynyddau, yn cyflawni yr un gormesiadau tuag at y Cymry; ac yn awr nid oedd dialedd Cadwallawn, ddimyn ychwaneg na dyledus gospedigaeth.

Y Brut a gynhwysa lawer o fynegiadau perthynol i'r gwron hwn ; ond gan eu bod, fel pob rhan o'r llyfr hwnnw, yn gymmysgiedig â phethau hollol chwedleuaidd, nid hawdd penderfynu ar yr hyn a ddylid ei dderbyn megys hanesiad gwirioneddol. Ond wrth gymharu y mynegiadau hyn, â chynhwysiad ysgrifau ereill, ysgatfydd na cheir y canlynol o fuch-draethawd Cadwallawn, yn mhell oddiwrth gywirdeb.

Ar ol marwolaeth Cadfan, ei fab Cadwallawn a ddaeth i orsedd tywysogaeth Gwynedd ; ac ysgatfydd fy caniatawyd iddo feddiannu trwy etifeddiaeth, y sefyllfa oruchafiaethol o unben Prydain. Yn yr amser hyn, yr oedd ymraniadau yn hanfodi yn mhlith Saeson Deifyr a Bryneich. Yr oedd Ethelfrith gwedi llwyddo hyd hyn, i gadw meddiant ar y ddwy dalaeth; gan yrru i alltudiaeth, EDWIN mab Ella, iawn frenin Deifyr. Eithr hwnnw yn y diwedd, a orchfygodd Ethelfrith, yn y flwyddyn 617, ac a ddaeth yn ei le yn frenin Northumbria. Y Brut a ddywed i Edwin gael ei fagu yn llys Cadfan, a'i fod yn frawd-maeth i Gadwallawn. Ond ar ol hyn, pan ddaeth i feddiant o'i deyrnas, naill ai efe a annghofiodd ei ddyledion i fab ei amddiffynwr, neu ynte efe a gynhyrfiwyd gan ryw annogiad annghyfiawn ar ran hwnnw; ac efe a ddechreuodd ryfel ffyrnig yn erbyn Cadwallawn, ac a lwyddodd i'r fath raddau, ag nid yn unig ei orthrechu mewn brwydr, ond hefyd ei yrru i alltudiaeth; a gorfu ar Gadwallawn ffoi i'r Iwerddon, lle y cafodd noddfa rhag ymlidiad ei elynion, yr hwn a gyrchodd i Gymru, gan anrheithio y wlad yn echrys. Coffeir am yr amgylchiad hyn yn y Trioedd :—

"Tri theulu Diwair ynys Prydain :——Teulu Cadwallawn eil Cadfan, a fuant gydag ef saith mlynedd yn y Werddon, ac yn hynny o amser ni ofynasant na thal nag iawn yn y byd, rhag gorfod arnaddynt ei adaw, ac nis gallai efe'r iawn a ddylesynt."

Cyfeirir atto hefyd, yn y cyfansoddiad a elwir "*Cywryssedd Gwynedd a Deheubarth.*"*.

> "Pan ddyvu Gatwallawn
> Dros eigiawn Iwerddon."

Tra yr oedd Cadwallawn mewn alltudiaeth, aeth drwodd i Lydaw at Solomon, brenin y wlad honno; ac y mae yn debygol iddo gael cynhorthwy ganddo i ail ennill ei deyrnas, canys yr oedd y Llydawiaid yn wastad yn barod i gynnorthwyo y Cymry yn eu hymrysonau, â'i gelynion

* Rhesir y cyfansoddiad hwn yn mhlith gwaith Taliesin, eithr yn annghywir; canys yr oedd y bardd hwnnw wedi marw yn hir cyn hyn.

Seisnigaidd. Ac yr oedd amryw o'r Cymry yn yr oesoedd hyn, yn ffoi Lydaw rhag gormes y Saeson yn Mhrydain; ac hefyd y mae yn ddilys ma ar ol dyfodiad y Saeson yma, yr aeth y nifer liosocaf o'r boblogaeth Gym roaidd drwodd, er y gallasai fod sefydliad helaeth yno, er amser Cona Meiriadawc. Ond pa un ai trwy gynhorthwy Llydawaeg, neu ryw foddion ereill y daeth i ben, ar ol bod saith mlynedd mewn alltudiaeth, Cadwallawn a ddychwelodd iddei feddiannau; ac a ymosododd, nid yn unig i amddiffyn ei wlad, ond hefyd i ymddial ar ei elyn, Edwin, yr hyn a wnaeth yn y dull cyflawnaf.

Yn yr oes hon, yr oedd teyrnas Saesonaidd wedi cyfodi yn orllewin Lloegr, yr hon a elwid *Mercia*, a'r hon a enwyd gan y Cymry, mewn ysgrifau hen, *y Mers*.* Brenin yr ardal hon oedd *Penda*, yr hwn oedd yn ŵr o gynheddfau egniol, ac yn cynnal rhyfeloedd yn erbyn rhai o'r brenhinoedd Saesonaeg ereill. Cadwallawn ar ol ei ddychweliad iddei deyrnas, a unodd ei luoedd âg eiddo Penda; a hwynthwy ill dau a gyrchasant yn erbyn Edwin, ac a'i gorchfygasant mewn brwydr, gan ei ladd, yn nghyd â'i fab *Osfrith*, ac yn agos y cyfan o'i fyddin. Y frwydr hon a ymladdwyd yn y flwyddyn 632, gerllaw y lle a elwid *Hethfeld;* sef *Hatfield*, yn Swydd Gaerefrog, y tybir.

Ar ol y fuddugoliaeth hon, y ddau frenin,—*Cadwallawn* a *Penda*, a anrheithiasant gwlad Northumbria, mewn modd tra enbyd, gan beri i dylwyth Edwin ffoi oddiyno i wlad Caint, a gadael yr orsedd i ereill. Ac Osric, nai i Ella, a afaelodd ar orsedd Deifyr; ac Eanfrid, mab Ethelfrith, a ddaeth i Fryneich.

Ond nid ydoedd dialedd Cadwallawn etto gwedi ei ddiwallu; canlynodd y rhyfel yn erbyn ei elynion Saesonaidd, yn nghanol eu gwlad eu hunain. Tra yr ydoedd yn canlyn ei rwysg fuddugoliaethus yn y wlad hon, cymmerodd ei sefyllfa yn ninas Caerefrog; ac Osric wedi cynnull byddin gref, a ryfygodd ei warchae yno; eithr Caswallawn a dorrodd allan yn ddisymmwth, ac a orthrechodd ar ei fyddin, gan ei adael yntau yn farw ar y maes.

Dros ystod blwyddyn, Cadwallawn a barhaodd i anrheithio gwlad Northumbria; ac yno Eanfrid, a ddaeth atto gyda deuddeg o'i ganlynwyr, i geisio sefydlu ammodau heddwch; a dywedir, i Gadwallawn beri eu llofruddio hwy oll, yn y modd annghyfiawnaf, heb y parch lleiaf iddeu sefyllfa a'u neges. Os gwir yr hanesiad hyn, y mae yn dduad gwarthus ai gymmeriad y blaenor dewrwych hwn; ond y mae yn rhaid cofio, fod llawer o'r cyfryw gyhuddiadau, yn cael eu gwneud gan ysgrifwyr gelyniaethol

* Y mae yr enw yn gyfystyr â'r gair Saesonaeg *Mark*, ac a arwyddoca *cyffin-dir*, ga fod y wlad honno yn cyffinio âg yn agos y cwbl o'r teyrnasoedd ereill.

'yn hollol ddisail; a'r hyn a elwir yma yn lofruddiad, dichon nad ddim arall na gorthechiad mewn rhyfel, neu ysgatfydd ad-daliad am ryw gamweddau, neu sarhâd a gyflawnasid gan y gwŷr hynny; i a wyddom yn dda, fod y Saeson yn eu hymddygiad cyffredinol, Hengist a Brad y Cyllyll Hirion, yn dangos y fath arnodiadau ethol, a gofyn arnom oedi ychydig cyn derbyn y cyfryw gyhudd-chod, yn erbyn y blaenor Cymraeg. Ac fe'm cadarnheir yn fy ın yr hyn a draethir gan Beda, perthynol i'r amgylchiad yma. d a ail-adroddir gan Fordun, mewn modd tra phenderfynol. yr ysgrifenydd hwnnw a ddywed fod y ddau frenin, Eanfrid, :, ar ol arddel Cristionogaeth, a derbyn bedydd,* gwedi gwrthgilio ıiaeth, a dechreu canlyn eu hen arferion eilunaddolgar, gan ddi-ldu y ffydd Gristionogol; ac ychwanega fod eu difethiad an-gan y brenin Cadwallawn, yn gyfiawn ddialedd oddiwrth Dduw.† ɜ yn wir fod yr awdwr hwn, yn ei ail-draethiad o'r hanes, yn arddel ıawnder y weithred, [*impia manu;*] ond y mae ar yr un pryd, yn bucheddau y ddau frenin hyn, yn y cyfryw ddull, a gadael lle i na fyddai i'r gwŷr, y rhai a fradychent eu crefydd yn y fath fodd, ŗu llawer i gyflawni un rhyw ysgelerdra arall, a dwyn arnynt eu megys cyfiawn gospedigaeth.

: ydoedd Cadwallawn yn cynnal ei rwysg llwyddiannus yn North-Oswald, brawd Eanfrid, wedi dyfod i feddiant o'i orsedd, a ıdd fyddin, ac a gyfarfyddodd â'r lluoedd Cymraeg mewn brwydr, ın y syrthiodd Cadwallawn, yn nghyd â rhifedi dirfawr o'i ganlyn-' frwydr a ymladdwyd gerllaw y mur Rhufeinig, a elwid *Thirwall; ıl Severus*, yn Northumberland, gerllaw *Denisbourne:* sef y *enis*. Dygwyddodd o gylch y flwyddyn 634.

f at-dodawl Nennius a grybwylla am y cyfarfod hwn, wrth yr enw · *Catscaul*, yr hyn yn ddiamheu nid yw amgen nag enw Cymraeg, ddocau y sefyllfa gerllaw y mur, sef *Caul-y-wal;*‡ y geiriau ydynt ıol;—" *Osuuald filius Eldfred,——ipse occidit Catgublaun Guenedotiæ Regionis, in bello Catscaul, cum magna clade ex-ɜui.*"——"*Oswald mab Eldfred,——efe a laddodd Cadwallawn*

'edydd Edwin, ymddengys megys pe cawsai ei weini gan fab i Urien Rheged, canys ıllaf yr ysgrif, yr hon ar ol crybwyll am ei fedyddiad ef yn nghyd â'i genedl, a ' *Si quis scire voluerit, quis eos baptizavit, Runmap Urbgen baptizavit eos.*"—"*Ac os b wybod pwy a'u bedyddiodd hwynt, RHUN MAB URIEN, a'u bedyddiodd.*"

quidam reges *Andefridus* et *Osricus* utcunque regna receperant, fidem abnegantes n serviendum idolis redierunt,&c."——" Nec mora regem utrumque *Cadwallo* rex ı impia manu, sed ultione Dei justa, peremit."

ldengys oddiwrth Nennius, fod y mur Rhufeinig, yn cael ei alw yn y iaith Frytan-*ritannico Sermone*,] *Gwal.*—Gwel tu dal. 121.

*brenin ardal Gwynedd yn mrwydr* Catscaul *gyda mawr alan o'i fyddin.*"

Felly y syrthiodd Cadwallawn, mewn brwydr ar wyneb y maes, r amryw o ddewrion ei genedl yn mhob oes. Ac yn mhlith yr ardderc o ba rai, y dylid ei gyfrif yntau. Llywarch Hên, yr hwn oedd oesydd iddo, a grybwylla am ei ymdrechiadau clodwiw yn mhlaid ei a chyfeiria at yr amrywiol weithiau, yr arweiniodd y llwythau Cyı i frwydr yn erbyn y Saeson. Ei dystiolaethau am wrolder y blaenor ydynt ganfodedig yn y cyfansoddiad a elwir "*Marwnad Cadwall fab Cadfan Frenin Prydain;*" yr hwn a ddechreua yn y modd canl

" Cadwallawn cyn noi ddyfod,
A'i gorug a'n digonod,
Pedair prif-gad ar ddeg
Am brif-dêg Prydain,
A thri-ugain cyfarfod."

Cadwallawn cyn ei drar aeth, a ymladdodd yn gyflaw

Enwa y bardd amryw leoedd, yn mha rai yr ymladdodd y pem hwn; canys diau mai hyn sydd iddei ddeall wrth yr ymadroddion p ynol i wersylliadau ei luoedd.—

" Lluest Cadwallawn ar *Gaint*
Lloegyr ardres ormes arnaint
Llaw dillwng ellwng oed fraint.

Lluest Cadwallawn ar *Yddon*
Afar anwar ei alon
Llew llwyddaw ar Saeson.

Lluest Cadwallawn ar *Hafren*
Ac o'r tu draw i *Ddygen*
A breiaid yn llosgi *Meigen.**

Lluest Cadwallawn ar *Wy*
Maranedd wedi mordwy
A ddylynad cad cylchwy.

* Y mae yn debygol mai y lle yn yr hwn y goresgynwyd Edwin, yw *Meigen*; ca ysgrif rhagenwedig a rydd enw yr hwn sydd dra thebyg iddo, fel sefyllfa y frwydr sef *Ineicen*, yr hwn a feddyliaf sydd gamsyniad yn yr ail-ysgrifiad; megys *ineicen*, *meicen*; trwy rannu yr *m*, a'i gwneud yn *in*.

" Duo filii Edguin erant, et cum ipso corruerunt in bello Ineicen: et de Origine nunquam iteratum est Regnum, quia non exivit unus de genere illius de isto bel interfecti fuerunt omnes cum illo ab exercitu Catguallum Regis Guondotiæ Regioı " Yr oedd gan Edwin, ddau fab; a syrthiasant gydag ef yn mrwydr Ineicen. feddiannodd neb o'i hiliogaeth ef, yr orsedd ar ol hynny, oblegid ni ddihangodd eppil, o'r frwydr honno; eithr hwy oll a laddwyd gydag ef, gan fyddin Cadwallawn, ardal Gwynedd."

Lluest Cadwallawn ar *Ffynnawn Fedwyr*
Rhag milwyr magai dawn
Dangosai Gynon yno haeru iawn."

A'r canlynol a ddangosa, er mewn iaith ormodus, y'fath fuchedd egniol a diflino, yr arweiniai:—

" Lluest Cadwallawn glodrydd,
Yn ngwarthaf *Digoll Fynydd*
Seith-mis a seith-gad beunydd."

Y mae y bardd yn yr un modd yn enwi amryw leoedd ereill, yn y awl y gwersyllai, neu yr ymddangosai llu Cadwallawn; gan arwyddocau ei fod wedi rhyfela yno, ac am rai, mynegir fod galanastra fawr wedi cymmeryd lle; megys,—

" Lluest Cadwallawn ar *Dyffyrdd Afon*
Gwnaeth eryron yn llawn
Gwedy trin dywyneu dawn."

Ac etto,—

" Lluest Cadwallawn ar *Deifi*
Cymmysgai waed a heli;
Angerdd Gwynedd gwynygai."[1]

[1] digter Gwynedd a [gynddeiriogai.

Os sylwir ar y lleoedd a enwir yn y Farwnad hon, ceir gweled fod *pedwar ar ddeg* o enwau yn adroddedig, yr hyn a atteb at y mynegiad yn y pennill cyntaf; canys meddyliaf fod y lluestiad yn *Mhenfro*, yn arwyddocau yr un frwydr, ag a nodir dan yr enw *Cowin*, yn y pennill rhagflaenol; ac hefyd fod *Hafren*, *Dygen*, a *Meigen*, yn gyfrifadwy dan yr un pen. Enwau lleoedd y brwydrau, ydynt y canlynol; a rhesaf hwy, megys y barnaf y dylid eu rhifo, er ffurfio y *pedair prif-gad ar ddeg.*—— 1, *Caint*;—2, *Yddon*;—3, *Digoll Fynydd*;—4, *Hafren*, tu draw i *Ddygen*, a llogiad *Meigen*;—5, *Wy*;—6, *Ffynnawn Fedwyr*;— 7, *Táf*;—8, *Tawy*;—9, *Caer Caew*;—10, *Cowin*, a *Penfro*;— 11, *Teifi*;—12, *Dyffyrdd afon*;—13, *Bro Dunawd*;—14, *Meinin.*

Ond y mae un peth iddei sylwi arno, yr hyn a bâr nid ychydig ddyryswch i mi; sef fod agos yr holl leoedd a enwir yn y Farwnad, yn Nghymru, mor belled ag y maent yn adnabyddus; ac nad oes un crybwylliad am frwydrau Cadwallawn yn Neifyr a Bryneich, nac am y lle y syrthiodd. Ac oddieithr fod *Caint*, yn arwyddocau yr afon *Kent*, yn Ngogledd-dir Lloegr, nid oes dim yn cyfeirio at ei gadrwysg yn erbyn Osric. Ond gan fod y Farwnad hon, megys pob cyfansoddiad o eiddo Llywarch Hên, yn dwyn arnodiadau, ei bod yn cyfeirio at wir amgylchiadau, ac nid yn ffugiad prydyddol; y mae yn ddilys fod y mynegiadau, y rhai a gynhwysa, yn gyson â gwir

hanesyddiaeth. Ac yn ganlynol i'r egwyddor hon, os ceisir cyfrif cyfyngiad hyn o sylwadau y Farwnad, at weithredoedd Cadwalla' Nghymru; yr unig atteb a allaf ddychymmyg yw, fod sylw y bard ei droi mewn modd neilltuol, at y rhyfeloedd a gynhaliwyd gan y b hwn yn ei wlad ei hun. Ac y mae yn ddilys gennyf, fod Edwin gyrru Cadwallawn ar ffo, wedi cymmeryd meddiant o amrywiol leo fewn i gyffiniau Cymru; a bod Cadwallawn ar ol ei ddychweliad, yn ymladd ei ffordd bob yn droedfedd, i feddiant o'i deyrnas drache ymlid y byddinoedd Saesonaeg allan o'r lleoedd, y rhai yr oeddynt gafaelyd arnynt, neu i'r rhai y cilient rhag ei ddialedd. Ac y m yn cyttuno âg ymadroddion y Farwnad, y rhai a arwyddocant, n Saeson yr oedd efe yn ymladd, hyd nod yn eithafoedd Cymru. Ca mhlith yr enwau Cymraeg, ceir y canlynol:—

"Lluest Cadwallawn ar *Gowin*[1]
Llew lluddedig ar awin;
Gwyr *Lloegr* lliosawg eu cwyn."

[1] afon rhwng Benfro a Chaerf

"Lluest Cadwallawn heno
Trathir yn nhymmyr Penfro;
Am nawdd fawr anhawdd i ffo."

Ond os nad ydyw y cyfrifiad hyn yn foddhaol, nis gallaf gyn arall, oddieithr dychymmygiad ei fod yn ddichonadwy, fod rhann Farwnad ar goll; neu ynte, fod y brwydrau yn Neifyr a Brynei gynnwysedig yn nifer y *tri-ugain cyfarfod*. Eithr nid ydyw te oblegid mai ymladdiadau cyffredinol ydoedd y rhai hynny; sef *gadoedd*, rhwng byddinoedd Cadwallawn, a holl gadernid yr Eing o'r pwysfawrogrwydd mwyaf i genedl y Cymry. Ac am hynny, nis feddwl y buasai y bardd yn cyfrif y fath ymdrechiadau gorchest mhlith *cyfarfodydd*, yn unig.

Ar ol marwolaeth Cadwallawn, daeth ei fab CADWALADR i'r o ond gan ei fod ef yn llanw sefyllfa tra phennodol yn hanes y Cym yn byw mewn oes, ychydig ddiweddarach na'r un a fu, hyd hyn, dan gadawn ef dros hyn o ennyd, a thrown ein golwg tuag at yr enw ereill o'i ragflaenwyr, y rhai a adawsom heb eu henwi; ac yn n y rhai hyn, dechreuwn gyda theyrnllin Arthur.

## CYSTENYN, &c.

Gan nad oedd eppil i Arthur, y Brut a fynega iddei deyrnas dd feddiant ei nai, CYSTENYN, mab CADWR, tywysog Cernyw, yr hwn a

lidiodd meibion *Medrawd*, y bradwr, ac a'u difethodd; eithr ef ei hun, a laddwyd gan AURELIUS CONAN, [*Cynan Wledig*,] yr hwn a'i canlynodd yn y deyrnas; ac yntau a ganlynwyd gan VORTIPOR, [*Gwrthefyr*.] Ac ar ei ol ef, daeth MAELGWN GWYNEDD; ac wedi hwnnw, CEREDIC. Ond y mae yn ddilys oddiwrth waith Gildas, nad oedd y rhai hyn, ond pendefigion talaethol yn unig ac nid yn bennaduriaid gwledigol; canys deallwn fod rhai o honynt yn teyrnasu ar yr un pryd. Ac y mae gormod cymmysg yn yr amseryddiad, i osod un pwys ar y mynegiadau hyn. Sonir hefyd am ymosodiad ar y Brytaniaid, gan *Godmund*, brenin yr *Affrica;* yr hyn, debycaf, a gyfeiria at ryw flaenor Llychlynaidd.

Oddiwrth yr hyn a allwn gasglu, y mae yn ymddangos fod Arthur gwedi bod yn cynnal ei ymdrechiadau, gan mwyaf, yn Neheudir yr ynys, lle hefyd y cafodd ei ladd; ac felly y rhai a feddiannent yr orsedd ar ei ol ef, yn mraint ei ach a'i berthynas, a ymgadwasant, gan mwyaf, yn yr un parthau, ac a gynhaliasant eu hawdurdod yno, yn enwedig yn Nghernyw; ac felly ni a welwn fod lle i lwyth arall gyfodi i'r oruchafiaeth deyrnol yn Nghymru ar yr un pryd; sef llwyth *Cunedda Wledig*, yn Ngwynedd; o'r hwn y deilliodd Cadfan a Chadwallawn, a'r hwn a barhaodd i fod yn llwyth brenhinol ac arbennig, o'r amser hwnnw allan.

Ond heblaw y gwronion a enwyd eisioes, y mae amrywiol ereill yn gyfeiriedig attynt; ond gan nad oes, oddieithr eu henwau yn unig ar glawr, ni ellir eu dwyn yn mlaen, megys gwrthddrychau hanesyddiaeth; er eu bod yn wronion clodwiw yn yr hen oesoedd. Ac er anghraifft o hyn, rhoddaf yma un neu ddau o'r cyfryw.

## RHUFAWN BEFYR.

Hwn yn ddiamheu ydoedd bendefig tra enwog yn y cynoesoedd; a pharhaodd yn wrthddrych clod, hyd nod mor ddiweddar a'r 12fed ganrif; canys nodir ef felly yma, gan Hywel ap Owain Gwynedd, yr hwn a ddechreua un o'i odlau yn y modd canlynol:—

> "Tonn wenn orewyn a orwlych bet
> Gwytua ruuawn bebyr benn teyrnet."

Sef yw, yn y llythyreniad presennol,—

> "Ton wen orewyn a orwlych bedd
> Gwyddfa Rhufawn Befyr, Ben Teyrnedd."

Y mae yn ddilys fod hanesiad, naill ai ysgrifenedig neu traddodiadol,

am y pendefig hwn yn hanfodi yn amser y bardd yma, ac hy( wriaeth am le ei gladdedigaeth. Enwir ef yn y Trioedd, yn ȷ

"Tri Eurgelein ynys Prydain:———Madawc mab Brwyn; Ceugaı Rhuawn Befr ab Gwyddnaw Garanhir, sef yn gelwid felly achaws rhod aur am danynt o ddwylaw a'u lladdes."—Tri. 77.

### YNYR GWENT.

Efe oedd yn frenin Gwent o gylch diwedd y 6ed ganrif, c( mhlith y Seintiau, ac hefyd enwau amryw o'i blant; megys *C( Cynheiddion*, ei feibion; a *Tegiwg*, ei ferch.

Ac heblaw y rhai hyn yn Nghymru, y mae yn perthyn yr ynys, niferoedd o frenhinoedd a gwronion, o'r sawl y ma ar glawr, a dim arall a ellir ei ddefnyddio at eglurhad hanes cyfryw, ydynt amryw o'r dewrion, y rhai a enwir yn y ( Englynion y Beddau, ac mewn hen gyfansoddiadau ereill gradd ydynt amryw o farchogion llys Arthur; yn mhlith pa cynnifer o ffug-hanfodiadau, ag mai nid hawdd rhannu ryfelwyr yr oes honno, â bodau dychymmygol; y rhai a fl ffug-draethodwyr, neu a fabwyswyd oddiwrth henach drac eiddo amseroedd, llawer gynharach nag oes Arthur.

### GWYDDNO GARANHIR.

Ond yn mhlith nodedigion yr oesoedd hyn, nid iawn fyddai ı i Wyddno Garanhir yn ddisylw, nag i'r ddamwain alaethus odd iddei feddiannau. Y pendefig hwn a ddywedir, a oedd frer a elwid *Cantre'r Gwaelawd*, gwlad frâs a helaeth, yn gorwedd mor-gilfach Ceredigion y dydd heddyw; ond yr oedd y tir ( gwastad, a bod gorfod cadw allan y môr trwy fôr-glawdd, ı iddo ddylifo drosto. Ond dinystriwyd y cyfan oll, trwy yn o'r enw Seithenin Feddw, yr hwn yn ei feddwdod, a ago glwydi, ac a ollyngodd y môr dros y wlad. Y dygwyddiad dano yn y Triad; yn yr hwn hefyd y ceir dysgrifiad yr ardal.

"Tri Charnfeddwon ynys Prydain:———

Trydydd, Seithinyn feddw ab Seithyn Saidi, brenin Dyfed, a ollyngwys môr dros Gantre'r Gwaelod, oni chollwyd o dai a daear y maint ag oedd yn y caid un ddinasdref ar bymtheg yn oreuon ar holl drefydd a dinasoedd C( amgen Caerllion ar Wysg. A chyfoeth Gwyddnaw Garanhir, brenin Gere Cantre'r Gwaelawd; ac yn amser Emrys Wledig y bu hynny; a'r Gwyr rag y bawdd hynny a diriasant yn Ardudwy a gwlad Arfon, a mynyddo lleoedd ereill nad oeddent gyfannedd cyn no hynny."—Tri. 37.

Y mae ar yr oror honno, amryw leoedd am y rhai yr hanfoda traddodiadau perthynol i'r amgylchiad hwn; megys *Sarn Badrig*, grwn creiglyd yn y môr, yn estyn cymmaint ag un filltir ar hugain, o ba un y mae naw milltir yn sych ar isel-drai; dywedir mai y grwn yma oedd un o fôr-gloddiau Cantre'r Gwaelod. Rhai a amheuant hyn, ac a ddywedant mai craig anianawl ydyw. Ond ereill a'u hattebant, poed felly; ond etto ar y grwn creigiog hwn yr adeiladwyd y clawdd, neu yn hytrach y mur, ac y mae etto rai o gerrig yr adeiladaeth iddeu gweled dan y dwfr.

Heblaw yr uchod, y mae yn agos i Aberystwyth, rwn arall, a elwir *Sarn Gynfelyn*, yn estyn saith milltir i'r môr, ac wrth ei ben pellaf, y mae megys adfeiliau muriau, y rhai a ddygant yr enw o *Gaer Wyddno*, yr hon a haerir oedd frenhinllys y dalaeth. Hefyd, y mae ar yr oror, *Sarn y Bwch*, *Sarn Ddewi*, a *Sarn Gadwgan*; y rhai ydynt lai cyfrifol o ran eu hyd.

Hen ddihareb a gyfeiria at y dichwain yma; sef,—

"Ochenaid Gwyddno Garanhir,
Pan droes y don dros ei dir."

Y mae yn y Myv. Arch. ddau o gyfansoddiadau, y rhai a ânt dan enw Gwyddno Garanhir. Y maent yn ddiamheuol yn dra hen, ac ysgatfydd o'r 6ed neu y 7fed ganrif. Y canlynol yw un o honynt. Yr awdwr a eilw ar Seithenyn Feddw, i syllu ar ei weithred.

"GWYDDNEU ai cant, pan ddaeth y môr tros Gantrev y Gwaelawd."

"Seithenin saw di allan ag edrych
Uirde varanres mor maes Gwitneu
rhytoes

Seithenin saf di allan ac edrych ar drigfan gwronion.——Gwastadedd Gwyddno, y môr a'u gorchuddia.

"Boed emendiceit y morwin
A bellyngant gwydi e wyn
Ffynnaun wenestyr mor terrwyn

Bydded felldigedig y morfin, a ollyngodd, gwedi yfed gwin, ffynnon agoriad y môr rhuadwy.

"Boed emendiceit y vachdeith
Ai golligant gwedi gweith
Ffynnaun wenestyr mor diffeith

Bydded felldigedig y dwfr-geidwad, a ollyngodd gwedi *cyfeddach*, ffynnon agoriad y môr diffeithiawl.

"Diasbad wererit yar van kaer
Hyd ar Duw i dodir
Gnawd gwedi traha tranc hir

Llef mererit o uchelder y gaer, ar Dduw y doder.—Mynych ar ol gormodedd, y daw hir ddinystr.

"Diaspad mererit y ar van kaer
Hetiu ar Duw y dadoluch
Gnawd gwedi traha attregwch

Llêf mererit o uchelder y gaer.—Heddyw ar Dduw y gwaeddir. Mynych ar ol uchelfryd y daw aballiad.

| | |
|---|---|
| "Diaspad mererit am gorohwyt heno<br>Ac nim haut gorluyt<br>Gnawd gwedi traha tramcwyt | Llêf mererit a'm trafferth heno, ac i<br>mi hawdd lwyddiant. Mynych ar o<br>ryfyg, y mae tramgwydd. |
| "Diaspad mererit y ar gwineu<br>Kadir Kedaul Duw ae goreu<br>Gnawd gwedi gormod eisseu | Llêf mererit uwch *Gwinnau Cadir*<br>Duw a'i achlysura. Mynych gwedi<br>y bydd eisiau. |
| "Diaspad mererit a'm kymbell<br>Heno wrth vy estavell<br>Gnawd gwedi traha trano pell." | Llêf mererit a'm cymmell heno oddi<br>lletty, Mynych ar ol traha y b<br>ddinystr. |

Ni ddeallaf y cwbl o'r uchod, yn enwedig y gair "*mererit.*" Pughe, a'i cyfieitha "*y don orllewinol.*" Pwy bynnag a dd[illegible] weled ei gyfieithad, edryched yn y *Cambrian Quarterly Mag*[illegible] Am y gair *Cedawl*, y mae yn ddilys gennyf ei fod yn cyfeirio at ry[illegible] agos i *Gors y Gedol*, gyferbyn a Sarn Badrig.

Y mae etto gyfansoddiad byr arall dan enw Gwyddno, yr hw[illegible] lawer mwy annealladwy na'r rhagflaenol. Ei ddechreuad a d[illegible] gyfeiriad at dynged Cantre'r Gwaelod.—

| | |
|---|---|
| "Kyd karui vi morva, kassaa vi mor | Tra y caraf y morfa, casâf |

Ac etto,—

| | |
|---|---|
| "Kyd karui vi morfa cassaa vi don<br>Digoneis don dreis oer kleis y ron." | Tra y caraf y morfa casâf<br>Cyflawnodd y don or[illegible]<br>clais erchyll i fy mron |

Am feddrod Seithenin, y mae yr Englyn canlynol ar glawr;—

| | |
|---|---|
| "Bet Seithenin synwyr van[1]<br>Rwng kaer kenedir a glan<br>Mor maurhydic a kinran." | [1] synwyr wan, med |

Y mae hefyd gyfansoddiad tra hen, a elwir "*Ymryson* [illegible] *Gwyddneu a Gwyn ab Nudd.*"* Ond y mae yn llawer diweddara[illegible] oes y gwŷr hynny.

Mewn perthynas i'r hanesiad hwn, ni ellir haeru dim megys *pra*[illegible] mhellach na'r hyn a roddwyd eisioes. Ond y mae lle i gredu na[illegible] traddodiad ddim yn hollol ddisail; canys dywedir fod amryw d[illegible] aethau diamheuol, fod y môr wedi ennill ar y tir, ar hyd y gororau[illegible] enwedig. Megys gwreiddiau a bonau prennau yn y môr; y [illegible] brydiau a welwyd megys gweddillon coedwigau helaeth, ac ôl y

* Gwel y Myv. Arch.

anynt yn eithaf amlwg. Ac nid o fewn i'r oesoedd diweddar y gorchuddiwyd hwy, o herwydd mynegir am danynt gan Giraldus Cambrensis.*

Ond er yr arddelaf y tebygolrwydd fod rhyw sail i'r hanesiad uchod, a bod cyfran o'r wlad ar oror môr-gilfach Ceredigion, ar ryw amser neu ilydd, gwedi cyfarfod â'r dichwain alaethus o orchuddiad gan y môr; to nis gallaf roddi cred i'r hyn a adroddir am helaethrwydd yr ardal onno, os mor ddiweddar a'r 5ed ganrif y dygwyddodd yr amgylchiad; herwydd yn y man cyntaf, nid ydyw yr enw a roddir i'r ardal, sef *antref*, yn arwyddocau y fath diriogaeth ehang, ag a gynhwysai *un-ar-mtheg* o ddinas-drefi mawrion.† Yn y man nesaf, nid oes yn yr hen grifau ar ddaearyddiaeth, un peth i'n hawdurdodi i feddwl fod y fath dal yn hanfodi yn amser y Rhufeiniaid; canys ni chawn nac yn naearddiaeth *Ptolemæus*, nac *Antoninus*, nac ychwaith yn eiddo *Richard o Grencester*, un cadarnhad o'r hanes; oblegid er fod yr awduron hyn n crybwyll gyda thwysged o fanylrwydd, am ffyrdd a dinas-drefi Prydain, an lywodraeth y Rhufeiniaid; etto nid oes yn eu gwaith y cyfeiriad leiaf, fod y fath ardal a Chantre'r Gwaelod, mewn hanfodiad. A phe buasai y fath ardal frâs a helaeth yn bod, ni allaf feddwl y buasai yr ysgrifwyr hyn yn ei hesgeuluso mor hollol, a pheidio rhoddi hyd nod cymmaint ag amnaid, perthynol iddi.

## CADWALADR.

Y pennadur yma, yr hwn a elwir CADWALADR FENDIGAID, a ganlynodd ei dad, CADWALLAWN, yn unbennaeth Prydain; ac y mae yn mwynhau nodedigrwydd neilltuol yn hanes y Cymry; eithr meddyliaf ei fod yn fwy dyledus am hynny i amgylchiadau damweiniol, nag i un teilyngdod o'i eiddo ei hun: canys oddieithr mai ei dynged ef o fod yn ddiweddaf o frenhinoedd unbennaethol Prydain, nis gallaf ganfod un peth yn ei hanes, iddei gynysgaeddu â'r enwogrwydd yr hyn a feddianna.‡

Y mae dau wahanol hyspysiad am yr unben hwn; sef un yn ngwaith Nennius, a'r llall yn y Brut. Ac os cywir yr esponiad a roddir yn gyffredinol i eiriau Nennius, y mae y fath annghysondeb rhwng y ddau hanesiad, a'i wneud yn anghenrheidiol i ni wrthod un o'r ddau yn gyfan-gwbl. Canys y mae Nennius yn ol esponiad rhai, yn haeru i GADWALADR farw

* Gwelir casgliad o'r tystiolaethau ar y testun hwn, yn y llyfr a elwir *Welsh Minstrelsy*, gwaith JEFFERY LLEWELYN PRITCHARD.

† Yn y cyfreithiau Cymraeg, dywedir fod 25,600 o erwi mewn Cantref.
" Eirif erwi yn y Cantref chwe cant a phum mil ar hugain, nid mwy nid llai."

‡ Y mae yn wir fod Hywel dda yn cael ei alw yn *Frenin*, eithr nid yn *Frenin Prydain*, ond *Brenin Cymru oll*.

mewn haint, yn Mhrydain; eithr y Brut a rodda i ni hanesiad am ei fyned iad i Rufain, a diweddu ei einioes yno: ac y mae yn cysylltu yr amgylchiad hwn, âg ereill tra phwysfawr yn hanes ei genedl, yn y fath fodd ag na ellir fyned heibio i'r gŵr hwn, megys gwrthddrych cyffredin.

Hanesiad Nennius sydd yn fyr iawn, ac hefyd ychydig yn aneglur. Y canlynol ydynt y geiriau:—

"Osguid filius Eldfred regnavit XXVIII annis et sex mensibus: dum ipse regnabat venit mortalitas hominum, Catgualat regnante apud Britones post patrem suum, et in ea periit. Et ipse occidit Pantha in Campo Gai, &c."

Cyfieithad pa un yw y canlynol:—

"Oswy mab Eldfred, a deyrnasodd 28 mlynedd a 6 mis: tra y teyrnasodd efe, daeth marwolaeth dynion; Cadwaladr oedd yn teyrnasu yn mhlith y Brython, ar ol ei dad, ac yn honno trengodd. Ac efe a laddodd Pantha yn Maes Gai, &c."*

Ond yn awr, y gofyniad yw, Pwy a drengodd yn y farwolaeth?—Ai Cadwaladr, neu ynte Oswy?——Fy marn briodol fy hun ydyw, mai Cadwaladr a arwyddoceir; ond ar yr un pryd, y mae cymmaint yn adroddedig mewn ysgrifau ereill am ei fod yn fyw ar ol yr haint rhagenwedig, ac na allaf lai na dychymmyg fod camsyniad yn y mynegiad am ei drancedigaeth, ac iddo ddianc rhag y clefyd i'r Cyfandir, megys yr haerir yn y Brut. Sylwedd yr hyn hanesiad sydd fal y canlyn:—

Tra yr ydoedd Cadwaladr yn teyrnasu megys brenin unbennaethol y llwythau Cymraeg, daeth haint a newyn echryslawn i'r ynys; yr hyn a barodd i Gadwaladr, yn nghyda thorfeydd nifeiriol o'i gydwladwyr, ffoi i Lydaw, lle y cawsant dderbyniad lletteugar gan ALAN, brenin Llydaw, nai i Solomon. Ac yn yr amser hyn daeth lluoedd newyddion o'r Saeson drwodd, ac a ymsefydlasant ar y gororau, yn mhlith eu cyd-wladwyr.

Ar ol bod talm o amser yn Llydaw, a'r haint wedi gostegu yn Mhrydain, Cadwaladr a geisiodd gan Alan, gynhorthwy i ad-ennill ei feddiannau. A'r brenin hwnnw a gydsyniodd â'i gais, ac a ymosododd at ddarparu

* Y canlyniad o'r ymadrodd sydd fwy annealladwy i mi na'r uchod: crybwylla am *Frenhinoedd y Brython;* eithr pa un ai ymladd o honynt neu gael eu lladd, a arwyddoceir wrth *interfecerunt*, nis gwn. Mynega hefyd am ryw gyfoeth a ranwyd gan Penda, rhwng Brenhinoedd y Brython; ac i Gatgubail, brenin Gwynedd, gilio ymaith yn y nos yn nghyd â'i fyddin, am yr hyn y gelwid ef Catgubail Catguommedd, [*Cad-gommedd,*] eithr, wele yr ymadrodd yn y cysefin: Yn yr ysgrif at-dodawl y mae.

"Et ipse occidit Pantha in Campo Gai, et nunc facta est Strages Giti Campi, et Reges Britonum interfecerunt, qui exierunt cum Rege Pantha in expeditione usque ad urbem quæ vocatur Judeu. Tunc reddidit Osguium omnes Divitias quæ erant cum eo in urbe usque in manu Pendæ, et Penda distribuit eas Regibus Britonum, id est Albert Judium. Solus autem Catgubail, Rex Guenedotæ Regionis, cum exercitu suo evasit de nocte consurgens, quapropter vocatus est Catgubail Catguommedd."

uag at hynny. Eithr yn y cyfamser, Angel a orchymmynodd i dr ymattal rhag ei benderfyniad, gan nad ydoedd yn ganiatâol i'r deyrnasu yn hwy yn yr ynys, hyd nes delai yr amser, yr hwn a odd Myrddin ger bron Uthyr Pendragon, a ger bron Arthur. ımynodd hefyd iddo fyned i Rufain, at *Sergius* y Pab, yn mha :ymmeryd ei benyd yno, y caffai ei gofresu yn mhlith y Seintiau. wyd wrtho hefyd, y byddai i'r Brytaniaid trwy haeddiant ei ffydd neddiannu drachefn eu goruchafiaeth yn yr ynys, pan ddelai yr ngedfenawl; eithr na ddygwyddai hyn ddim, nes caent feddiant rrn ef, a'u cludo i Brydain.

lerbyniodd Cadwaladr y gennadwraeth yma, aeth yn ddioed at : yno Alan a chwiliodd mewn amryw lyfrau, megys, prophwyd-'r Eryr, a brophwydodd yn Nghaer Septon, [*Caerbaladr*, sef *try*,] a chathlau y Sibylla, a phrophwydoliaethau Myrddin, i weled a ıtganiad i Gadwaladr, yn cyttuno â'r daroganau hynny; a phan na ddim yn annghysoni, cynghorodd ef i gydymffurfio â'r gorch-a gawsai. Yna Cadwaladr a aeth i Rufain, "ac e cadarnhaodd :f yn mhlith y Seint gleinion. Ac yn y lle y clefychodd o orthrwm ıc a fu farw yno, ar y 12fed o Fai, yn y flwyddyn 688.

fynir, paham y cyffroir un ddadl perthynol i'r hanesiad olaf, gan llawer mwy cynnwysfawr na'r ychydig eiriau a geir yn Nennius, yw, nid o achos y chwedl am yr Angel; canys pe gwrthodem :s o'r oesoedd cynnar, yr hwn a gynnwysa chwedlau ofergoelus, i gennym ddim dan rith hanesyddiaeth mewn hanfodiad. Ond bod amheuacth perthynol i hanes Cadwaladr, yw, fod *Beda*, yr l Saesonaeg, ac hefyd y Chron. Saxon. yn adrodd yn agos yr un iadau, megys yn dygwydd i'r brenin Saesonaeg, *Ceadwala*, yr d yn gydoesydd i Beda, fel na allasai gael ei gamarwain gan hanes-hagflaenol; sef yw, i Ceadwala fyned i Rufain at y Pab, Sergius, i fedyddio ganddo, a marw yno ar y 12fed o Fai, yn y flwyddyn

r, wrth gymharu y gwahanol hanesion yma, y mae yn rhaid cyf-fod yn dra thebygol, fod rhyw gymmysg wedi cymmeryd lle, a .wr y Brut wedi cymhwyso rhai o weithredoedd *Ceadwala*, at *idr;* ond nis gallaf gredu fod y cyfan yn ffugiol perthynol i fyned-laf i Lydaw; canys heb ganiatau rhyw sylwedd i'r hanesiad nis gallaf amgyffred pa fodd y daeth y chwedl i gael y fath dder-ffredinol yn mhlith y Cymry; o herwydd os edrychir yn ngwaith hyd nod rhai o'r sawl a ddygant arnodiad o fod yn go hen, ceir nw Cadwaladr megys yn nglŷn â rhyw amgylchiadau dyfodol, o a llwyddiant i lwythau y Cymry. Os attebir mai Sieffre o Fynwy

yw awdwr y chwedl, ac mai cyhoeddiad ei lyfr ef a'i gwnaeth mor hyspys y mae gwrth-attebiad yn barod, yn yr hyn a ddywedir ganddo ef ei hun perthynol iddei wrthodiad o brophwydoliaeth yr Eryr; ac y mae yn ddigon i wrthbrofi yr haeriad, mai efe oedd ei awdwr: ei eiriau ydynt canlynol, gan grybwyll am y brenin *Hurdibras*, neu *Hudibras*.

"Condidit etiam Kaerguen, hoc est Guintoniam atque oppidum montis paladur quod Sophonia dicitur. Ibi tunc aquila locuta est dum murus ædificaretur; cujus sermones veros esse arbitrarer sicut cætera non memoriæ tradere diffugerem."

"Adeiladodd hefyd *Caerwynt*, hon yw *Guintonia*, a thref *Mynydd Paladr*, yr hon a elwir *Sophonia*, [*Caer Septon.*] yno Eryr a lefarodd, tra yr ydoedd y mur yn adeiladu; geiriau pa un, pe eu barnwn yn wir, megys y pethau ereill, nis gwrthodwn eu traddodi i goffadwriaeth."

Yr *Hudibras* uchod a elwir yn y Gymraeg, *Rhun Baladr-bras*. Teyrnasodd, yn ol y Brut, amryw oesoedd cyn Cred. Nis gwn gan bwy cyfansoddwyd y brophwydoliaeth ragenwedig, nac yn mha iaith; ond yn ei dull presennol, nid yw yn henach na dyfodiad y Normaniaid, can y ceir yr enw Normandi ynddi. O ran sylwedd y cyfansoddiad, y mae yn debyg i eiddo Myrddin Emrys, perthynol i'r ddwy ddraig; a'r hon a gyfeirwyd atti, tu dal. 254, fel y gellid meddwl mai parhad o'r cyfansoddiad hwnnw ydyw: er cynllun, rhoddaf ei ddechreuad yma:—

"Megys y gwrthlat y wen y dreic goch velly y bwrw y dywyll y wen. Dreic arathyr waethaf athecca ac o chwythat y geneu o flamawl dan alysc yr holl ynys gan y llynn. O arennev hwnnw y daa maharen man yguv a diwyllya dyrnodieu y gyrn yny dwyrein. Odyna ydaa ystlum gwenwynic y olwc ac ar y edrychiat ydechryn fyd achreuyd, [*y dychryn fydd a chrefydd*,] Oddiyna y daa llew auesao yr ystlum lluchyadenawc ac adan y lywodraeth yllygryr sychet gwirioned. Crang or mor adynessa yr llew ac adan y vediant ydivlanna rydit o rydit. Gwedy y trosser y keibieu yn wauwyr, [*y troer y ceibiau yn waew-ffyn*] Baed danhedawc anessa yr crang ac awalha [*gwna ei wdl*] yny mieri tew ac alymha y danned yny kedernyt ydeyrnas, &c."

Etto, mewn llythyrenniad presennol,—

"Gwaed a gyfyd yn erbyn eu gwaed yn y darffo yr Alban wylaw penyd y pereryn, ac anobeithiol boen a fydd. Yna y daw cynnwrf cadarn o wynt dwyrain ac a ruthra i'r gorllewin, ac a ddiwreiddia holl gadernid Ywerddon, &c."

Y mae yn ddilys mai y chwedl hon yn nghylch Cadwaladr, a achlysurodd gyfansoddiad y rhan olaf o'r *Awdl Fraith*, yr hon a gyfrifir i *Daliesin*. Ond gan ei bod yn cyfeirio at Gadwaladr, nis gall fod yn eiddo y bardd hwnnw; wele y rhan o honi ag sydd yn perthyn i'r achlysur yma:—

"Mawr gefais innau
Yn fy Mardd-lyfrau
Holl gelfyddydau
Gwlad Europa

Och Duw mor druan
Y daw'r ddarogan
Drwy ddirfawr gwynfan
I lin troea

Sarffes gadwynawg
Falch annrhugarawg
A'i hesgyll yn arfawg
O Germania

Honno a oresgyn
Holl Loegr a Phrydyn
O lan môr Llychlyn
Hyd Sabrina

Yna bydd Brython
Yn garcharorion
Yn mraint alltudion
O Saxonia

Eu ner a folant
A'u hiaith a gadwant
Eu tir a gollant
Ond gwyllt walia

Oni ddel rhyw fyd
Ar ol hyd benyd
Pan fo gogyhyd
Y ddau draha

Yno caiff Brython
Eu tir a'u coron
A'r bobl estronion
A ddiflana

Geiriau yr Angel
Am hedd a rhyfel
A fydd diogel
I Brytania

Mi wn eu cerdded
A'u twng a'u tynged
A'u tro a'u trwydded
Hyd ultima."

Wrth gymharu yr uchod â dechreu un o ysgrifau Brut y Tywysogion, gan Caradawc o Lancarfan, y mae yn ddiamheuol fod yr ysgrifenydd wedi cymmeryd ei eiriad allan o'r *Awdl Fraith*, ac felly mae y cyfansoddiad hwnnw yn henach na'r cyfryw ysgrif; ac os geiriad Caradawc ydyw, y mae yr awdl mor hened a chanol y 12fed ganrif, ar y lleiaf; eithr nid af i benderfynu ar y cyfryw ddadleuon, pan nad oes ond mor ychydig o brofion ar glawr. Geiriau yr ysgrif ydynt y canlynol:—

"Cadwaladr—a aeth i Rufain wrth gyngor Angel a welsei efe yn ei lesmair, ac yno y bu efe bum mlynedd ac y bu farw yno, a phan ddel ei esgyrn ef oddiyno yn ol i ynys Prydain cant y Bryttaniaid eu Braint a'u Coron yn ol y dywed yr Angel wrth Gadwaladr."

Felly er nas gallaf sefydlu oes cyfansoddiad yr awdl uchod, etto y mae rhai pethau yn amlwg ddigon perthynol iddei hoed; sef yw, yn y man cyntaf, ei bod yn ddiweddarach nag amser Cadwaladr; ac yn y man nesaf, ei bod yn henach na'r ysgrif uchod, o hanes Caradawc o Lancarfan. Ond nis gwn pa beth i feddwl am yr ymadrodd, "*Hyd Sabrina,*" yn yr hyn yr arwyddoceir fod yr afon Hafren yn terfynu tiriogaethau y Saeson. Canys nid ymddengys y iaith, i mi, mor hened a'r 8fed ganrif; ac nid oes amheuaeth y darfu i'r Saeson ymwthio tu yma i Hafren, cyn diwedd yr oes honno. Eithr barned y beirdd am hyn. Ond nid allaf ymattal rhag sylwi ar un peth, yr hwn sydd yn dyfod âg amodiadau neilltuol y genedl Gymraeg ger bron, mewn modd tra chanfodadwy, a hynny yw y

gwahanol effeithiau a gafodd y ddau hanes uchod, sef eiddo *Cadwala* ac eiddo *Ceadwala*, ar y ddwy genedl. Yr hanesiad Seisnigaidd yn o: adrçdd, a syrthiodd i'r llawr yn farw ac yn ddieffaith. Ni sonia neb *Ceadwala*. Ond y chwedl Gymraeg a effeithiodd ar y genedl, ac a fu fynych yn foddion o'u diddanu a'u cysuro mewn amgylchiadau o gyfyng der; ac megys y chwedlau yn nghylch Arthur a Myrddin, ac ereill, arwydd oca ddawn cynhenid tra neilltuol, yr hwn a berthyn i'r genedl.

Gellir dywedyd ysgatfydd nad oedd gan y Saeson ddim achos cofleidi yn y fath chwedlau, oblegid eu bod yn fuddugoliaethus, ac heb eisiau o fath gysuron iddeu cymmorth. Ond gwelwyd y Saeson mewn cyfyngd mawr, yn griddfan dan ormesau y Daniaid a'r Normaniaid: eithr ni welwy yn eu plith un arwyddnod o hanfodiad y cyfryw ddawn awenyddol, o ffurfi traethiadau o'r fath. A'r ychydig ffurfiadau o'r anian yma, y rhai a ha fodant yn eu plith, ydynt mor ddiegni a gwag, ag nad effeithient lawe hyd nod ar eu cenedl eu hunain, heb son am ymdaenu i wledydd dyeithi ond ffugiadau y Cymry ydynt adnabyddus i'r byd yn gyffredinol, ac y dra mynych wedi cilgwthio i'r neilldu, nid yn unig traddodiada genedig y cyfryw wledydd, ond hefyd wedi cymmeryd y flaenoriaeth, hy nod ar eu hanesion gwirioneddol. Mor dreiddiol ydyw yr awenyddiae Gymraeg. Felly, gan fod hanes Cadwaladr mor ddyrys ac amheuadw nid ymboenaf o'i blegid; boddlonir fi trwy syniaw ar ei helynt ffugi gan nad allaf benderfynu ar ei wir hanesiad.

## IFOR AP ALAN.

Ar ol i Gadwaladr, trwy gyngor ei gefnder Alan, fyned i Rufain er leshad ysprydol, ymddengys nad oedd Alan ddim yn ansynhwyrol ddyledswydd, o edrych ar ol ei feddiannau tymhorol; ac felly anfonodd fab ei hun, IFOR, yn nghyda'i nai, YNYR, i gymmeryd meddiant o'r deyrn Frytanaidd. Yr oedd Cadwaladr ar ei ymadawiad, wedi gadael ei fab IDW IWRCH, yn llys Alan; ond am ryw achos neu gilydd, Alan a ddewiso yn hytrach anfon ei fab ei hun i ail-ennill teyrnas Cadwaladr: ond, gan pa beth oedd yr achlysur o'r dewisiad, pa un ai ieuangdra Idwal Iwr neu mwy dealltwriaeth rhyfelgar yn Ifor, neu ynte, hunangarwch a phle iad at ei hiliogaeth ei hun, y mae yn amlwg iddo farnu yn gywir nghylch cymhwysdra Ifor ac Ynyr, at y neges ar ba un yr anfonw hwynt; canys llwyddiasant yn neilltuol i wrthladd gormesiad y Saeson, i ail-ennill rhan fawr o'r tiriogaethau Brytanaidd.

Yr hanes a fynega i'r ddau Lydawiad uchod, ddyfod drwodd â llyn gadarn, a thirio yn ardal Cernyw, ac i'r Saeson grynhoi byddin dra llio iddeu gwrthwynebu; yno y bu brwydr waedlyd; eithr y Brytaniaid a or

ant: a'r Saeson a ffoisant, gan adael yn eu meddiant y cyfan o wlad Cernyw a Dyfnaint, a Gwlad yr Hâf.

Wrth weled yr anffawd hyn, CENTWIN, brenin Saesonaeg Wessex, a gasglodd lu dirfawr o'r Saeson, ac a ddaeth yn erbyn y Brytaniaid; ond cyn cyfarfod mewn brwydr, ymheddychasant â'u gilydd, a chyttunwyd i Ifor briodi *Ethelburga*, cyfnither Centwin, a mwynhau y tiriogaethau, y rhai ennillasai. Ifor, ar ol teyrnasu o gylch 30 mlynedd, a aeth i Rufain, ac adawodd deyrnas y Brytaniaid i'r iawn etifedd, Rhodri Molwynoc, mab Idwal Iwrch, ac ŵyr i Gadwaladr.

Megys ag yr amheuir cywirdeb hanes Cadwaladr, felly yr amheuir eiddo Ifor; a dywedir mai at *Ina*, y brenin Saesonaidd, y mae yr amgylchiadau yn perthyn, ac nid at *Ifor*. Gan nad oes awdurdod am yr hanes hyn, namyn yr hyn a geir yn y Brut, annichonadwy dyfod i un penderfyniad o'i blegid; a phan cofiom gynnifer o bethau disail a welir yn y llyfr hwnnw, y mae yn addas cyfaddef y gall fod llawer o gyfeiliorni a chymmysgedd yma. Ond er y cyfaddefaf y tebygolrwydd o gamsyniad; etto nis gallaf yn hollol wrthod yr hanes, perthynol i diriad byddin o Lydawiaid, yn Nghernyw; canys y mae y cyffelybiaeth a geir rhwng y ddwy iaith, mewn pethau yn mha rai y maent ill dwy yn amrywiaw oddiwrth y Gymraeg, yn fy nhueddu i feddwl, fod cyfeillgarwch a chyfathrach cyffredinol gwedi hanfodi rhwng Cernyw a Llydaw, lawer yn hwy na rhwng yr olaf a Chymru.

Yr oes hon o eiddo Cadwaladr, megys y gwelodd ddiffoddiad unbennaeth y genedl Gymraeg, felly gwelodd gyfyngu terfynau Cymru, yn agos iddei hanfodiad presennol, a sefydlu cyffiniau gwlad *Y Mers*.

## MERCIA.

Teyrnas Saesonaidd *Y Mers*, a gynhwysa diroedd gorllewinol Lloegr, yn pwyso ar ymylau Cymru, o aber Gwy hyd aber Dyfrdwy. Cymmerwyd meddiant ar y rhannau hyn o'r ynys, gan y Saeson, dan eu blaenor *Crieda*, o gylch 582; ond y mae yn debygol eu bod yn arddel rhyw radd o ddarostyngiad i frenhinoedd Deifr a Bryneich, hyd amser *Penda*, yr hwn a ddaeth i orsedd Y Mers, o gylch 626: a'r hwn, yn nghyd â Chadwallawn, a'r byddinoedd Cymraeg, a gynhaliodd ryfel yn erbyn y gwledydd hynny, gan eu gorchfygu a'u hanreithio, megys y dangoswyd eisioes. *Y Mers*, a barhaodd yn deyrnas annibynol, hyd nes diffoddwyd hi, trwy ei chysylltu â'r uniad cyffredinol yn y 9fed ganrif.

Un o'r brenhinoedd mwyaf enwog o wlad y Mers, ydoedd *Offa;* ac y mae un o'i orchwylion etto yn weledig, yn y gwaith a elwir *Clawdd Offa*, yr hwn a ffurfiodd, er cyffiniad rhwng y Mers a Chymru.

*Cofrestr brenhinoedd y Cymru. o ymadawiad y Rhufein amser CADWALADR* :—

| | |
|---|---|
| CUNEDDA WLEDIG. B. A. 389. | Pen-cenedl y Cymry. Da o'r Gogledd, g a gyrrodd ymai elod o amryw |
| EINION YRTH. | Arglwydd un o feibion rhai a ymsef Nghymru. |
| CASWALLAWN LAW HIR, o 443, i 517. | Gyrrodd ym ill o'r Gwydd Fôn, a] man a dechreuod iaeth unbenn Cunedda. |
| MAELGWN GWYNEDD. o 517, i 560. | Cadarnhaod iaeth ei deulu ostwng iddei amryw dalaeth ogaethol. |
| RHUN. | Rhyfelwr nid oes faw mewn hanfodi |
| BELI. | Dim o'i han |
| IAGO. o 599, i 603. | Lladdwyd ellawd, [ergyd Cadafael Wy ychwaneg ar |
| CADFAN. o 603, i 630. | Etholwyd ef ydd ar y bydd raeg. |
| CADWALLAWN, o 603, i 660. | Brenin de ymladdodd y iaethus yn erb a'r Eingyl, Bryneich. |
| CADWALADR, o 660, i 703. | Y diwedda oedd unbenna ry. |

GWRTHEYRN GWRTHENEU. Cyn ac ar ol 449 — GWRTHEFYR.

EMRYS WLEDIG,

UTHYR PENDRAGON, brawd Emrys. — Arthur, o 517, i 542.

Y tri phennadur hyn a fwynhaent y fraint o fod yn ben-llywyddion cenedl y Cymry, sef yn frenhinoedd Prydain. Ond y mae yn debygol, fod eu llywodraeth yn gyfyngedig i'r rhan ddeheuol o'r ynys, ac nid yn estyn i'r Alban. Ac yr oedd ar yr un pryd, amrywiol bendefigion ereill yn y wlad, pob un o ba rai, ydoedd yn frenin yn ei dalaeth fechan ei hun.

Yn awr yr ydym gwedi canlyn helynt ein cenedl, hyd at ddiddymiad ei goruchafiaeth unbennaethol, a'i rhaniad yn ngwahanol ddarnau, rhanedig oddiwrth eu gilydd, gan diriogaethau gelyniaethol. O hyn allan cyfyngir ein sylw at y rhan honno o'r ynys, a elwir Tywysogaeth Cymru, yn nghyd a'r trigolion, y rhai a'i meddiannant. Ond er hyfforddiad yn y gwaith hwn, taflwn gip-olwg ar y dosparthau ereill o'r genedl, y rhai a hanfodant, neu a fuont yn hanfodi mewn mannau ereill o'r byd, ar ol y diffeithiad a oddefodd, trwy ddyfodiad yr estroniaid Saesonaeg i'r ynys; a'r dosparthau hynny ydynt y canlynol; *Strathclud*, *Cumbria*, *Cernyw*, a *Llydaw*: ac felly, dechreuwn gydag ardal *Strathclud*.

## STRATHCLUD.

Y deyrnas hon oedd ar yr afon *Clyde*, yn yr Alban, yr hyn sefyllfa a achlysurodd yr enw, yr hwn atteba yn ei ystyr i'r enw a geir mewn ysgrifau Cymraeg o'r canol-oesoedd; sef *Ystrad Clwyd*. Ond pa un ai *Clud*, ai *Clwyd*, yw cysefin seiniad yr enw, ni chymmeraf arnaf yn awr benderfynu: gellir cael afonydd yn Nghymru i gefnogi pob un o'r ddau; megys y *Clwyd*, yn y Gogledd; a'r *Clydach*, mewn amryw fannau yn y Deheudir: ac mewn hen ysgrifau, y mae yr un fath anwadalwch perthynol i'r enw; megys *Alclud*, ac *Alocluothe*, &c. Enw yr afon yn amser y Rhufeiniaid, oedd *Glotta*.

Yr ardal yma oedd yn y rhan honno o'r ynys, a elwir yr Alban; eithr pa un a oedd y trigolion cysefin, yn gyfrifedig yn mhlith y *Caledoniaid*, nid yw hyspys; ond os oeddynt, y mai yn ddilys mai Cymry oedd y Caledoniaid.

Ar ol darostwng yr ardal hon gan y Rhufeiniaid, ffurfiwyd y wlad yn dalaeth neilltuol, i'r hon y rhoddwyd yr enw *Valentia*, er cymmediw i'r Ymherodwyr, *Valens*, a *Valentinianus*; ac estynai oddiwrth y mur gogleddol, rhwng y *Clyde* a'r *Forth*, hyd at y mur deheuol, rhwng y *Tyne* a'r *Solway Frith*. Ac felly yn ol y cyffiniad hynny, yr oedd yr Alban yn estyn i ganol Northumberland, ac yn cynnwys gwlad Bryneich, megys yr arwyddocawyd eisioes. Ond ar ol i'r Eingyl ddarostwng y wlad, symmudasant derfynau Lloegr, yn mhellach i'r Gogledd, sef at yr afon *Tweed*.

Prif ddinas Valentia, ydoedd *Dunbarton*, yr hon a elwid *Theodosia*, oddiwrth y blaenor Rhufeinig, *Theodosius*; ac mewn amseroedd diweddarach, gelwid hi, *Alclud*, sef *Craig y Clud*, gan fod y gaer yn sefyll ar graig gron, serth, ac uchel, yn yr afon, yr hon sydd yn wrthddrych tra hodedig, ac yn ganfodadwy o bell; ac wrth sylwi ar ei harnodiadau, gallwn ddeall, mor anhawdd ydoedd ei chymmeryd trwy rym arfau, pan

fyddai yn amddiffynedig gan lu o wŷr dewrion a rhyfelgar, megys B Strathclud. Mewn oesoedd diweddarach, cafodd yr enw *Dunl* hynny yw, *Dun Bretton*, sef *Dinas y Brython*, gan mai yr enw v un yr adnabyddwyd y trigolion, gan eu cymmydogion Seisnigaid( *Bretts*, a *Bretton*. Y gaer hon a elwir wrth yr enwau *Alcluith*, *A Aldclyhit*, *Alcwith*, *Alocluathe*, *Arecluta*, &c. y rhai nid ydyı dulliau anghelfydd o ysgrifenu yr enw cysefin Cymraeg. Gelwir hi yn y Lladin, *Petra Cloithe*, yr hyn sydd gyfieithad o'r llall. Ar fodiad y Saeson, trigolion yr ardal hon a elwid *Strathclud Walli*, *cled Walli*, a *Stratclutenses*.

Pan dynnwyd ymaith y llengoedd Rhufeinig yn y 5ed ganrif, ymdd i ardal Strathclud gael ei rhannu rhwng amryw bendefigion, neu fr oedd, y rhai a gynhalient eu hannibynolrwydd neilltuol, pob un o iddei gyffiniau ei hun, megys y gwnelid trwy yr ynys yn gyffredinc nad oes gennym fawr o'u hanes hyd amser *Rhydderch Hael*. On y crybwyllwyd am dano ef eisioes, yn gystal a'i gyd-oesolion, ni wna ychwaneg na rhoddi cofrestr byr, o'r amgylchiadau mwyaf node( ddygwyddasant yn y deyrnas hon, fel ag y ceir yn y cofion Gwydd ac ysgrifau ereill.

B. A.

400. O gylch y flwyddyn hon, ganed *St. Padrig* yn ardal Strathcl

520. Ganed *Gildas* yn Alclud.

540. Yr oedd *St. Kentigern* yn llafurio yma.

577. Brwydr *Arderydd*.

584. Lladdwyd *Gwrgi*, a *Pheredur*, meibion *Eliffer Gosgordd*

500, i 600. } Yr oedd *Rhydderch Hael*, *Gwyndolew*, *Morcen*, *Caw*, *Hy* *Chystenyn*, yn teyrnasu; ac o fewn i'r amser yma, y *Myrddin Wyllt* yn byw.

642. *Donald Brec*, brenin y Scottiaid, a laddwyd yn mrwydr *F Cairvin*, gan *Owain*, brenin y Brython. Y mae annghyson yr amseriad a roddir i farwolaeth y gŵr hwn; am yr hyn bwyllir drachefn.

Yr un flwyddyn bu brwydr *Offa*, gan y Brython.

657. Bu farw *Gwiret*, brenin Alclud, [" *Mors Guiret, Regis cluathe*."]

693. Bu farw *Dyfnwal* mab *Owen*, brenin Alclud, [*Daniel mac Rex Alocluathe moritur*."]

81. Brwydr *Rathmore*, rhwng y Brython a rhyw rai o'r estroniaid.

12. Brwydr â'r Gwyddelod.

0. Cyfarfod rhwng y Brython a'r Dalriaid, yn mha un y gorchfygwyd y Brython.

6. Brwydr arall rhyngddynt, yn nghyd â'r un canlyniad.

1. Bu farw *Bile*, mab *Elphin*, brenin Alclud, [" *Bile mac Eilphin, Rex Alocluaithe moritur.*"]

4. Brwydr â'r Pictiaid.

9. Brwydr *Cato*, rhwng y Pictiaid a'r Brython.

9. Llosgwyd Alclud yn mis Ionawr.

6. *Eadbert*, brenin Seisnaeg, ac *Unust*, brenin y Pictiaid, a arweiniasant fyddin yn erbyn dinas Alclud; a'r Brython a ymddarostyngasant ar ammodau, y dydd cyntaf o fis Awst.

5. Bu farw *Conan*, mab *Ruorach*, brenin y Brython.

18. Y Brython a losgasant *Dunblane*.

19. Alclud a ddiffeithiwyd gan y Daniaid.

1. Ymosodwyd ar y Brython, gan y Llychlynwyr, dan *Aulaiv*, ac *Ivar*.

2. *Artga*, brenin Brython Strathclud, a laddwyd trwy offeryndod *Constantinus*, mab *Cinaoch*.

5. Y Llychlynwyr a anrheithiasant Strathclud. " *And se [hethen] here——oft hergade on Peohtas and on Stræcled-Weales.*" Chron. Sax.

6. O'r amser hyn allan, bu amrywiol ymosodiadau ar yr ardal hon.

7. *Roary*, mab *Murmin*, brenin y Brython, a ddaeth i'r Ywerddon, er nawdd rhag y Llychlynwyr.

10. Yn yr amser hyn, daeth ymosodiadau y Llychlynwyr ac ereill i fod mor ormesol, a gorfod ar amryw o bobl Strathclud, ffoi i Gymru er nawdd: yr hyn amgylchiad a fynegir gan Caradawc o Lancarfan, yn y modd canlynol:—

'Oed Crist 890, y gorfu ar wyr Ystrad Clud ymadael a'u Gwlad, y rhai ni fynnent naw â'r Saeson, a dyfod i Wynedd, ac Anarawd a roddes iddynt gennad i wladychu'r d a ddyged oddiarnaw gan y Saeson, ni amgen na Maelawr, a Dyffryn Clwyd, a Rhufong, a Thegeingl, os gyrru ymaith y Saeson a fedrynt, a hynny a wnaethant yn ddihafarch, Saeson a ddaethant yr ailwaith achaws hynny yn erbyn Anarawd, lle bu waith Cymryd, i'r Cymry yn fuddugolgvrch ar y Saeson, a'u gyrru o'r wlad yn ollawl, ac felly y rhydd-i Gwynedd oddiwrth y Saeson trwy nerth Gwyr y Gogledd."

Felly y mae yn amlwg, fod gwaedoliaeth Cymry Strathclud, etto yn hanfodi yn Ngwynedd: canys os daethant drwodd yn fath rifedi, a galled cyflawnu y gorchestwaith uchod, diau na ddiwreiddiwyd erioed o honynt allan ar ol hynny; ond y mae eu hiliogaeth, etto yn anneddu yno.

899. *Edward*, brenin y Saeson, a dderbyniodd ufudd-dod oddiwrth frenhinoedd y Scottiaid a'r Brython.
O gylch yr un amser, crybwyllir am *Dovenald*, brenin y Brython, yr hwn a gaulynwyd gan un arall o'r enw, sef *Dovenald*, mab *Eda*, [*Hugh.*]

944. Anrheithiwyd Strathclud gan y Saeson.

970. *Culen*, brenin y Scottiaid, a'i frawd *Eochod*, a laddwyd mewn brwydr gan y Brython.

975. *Dunwallon*, brenin Strathclud, a aeth i Rufain.

1018. Brwydr fawr rhwng y Saeson a'r Scottiaid; yn mha un yr oedd *Owain Foel*, brenin Strathclud, ar blaid brenin y Scottiaid.

Teyrnas Strathclud a wanhawyd o bryd i bryd, trwy ymosodiadau ei gelynion oddiamgylch, nes yn y diwedd, y cafodd ei llwyr diddymmu. Pa hyd y parhaodd y iaith, neu arnodiad neilltuol y bobl, nid yw hyspys. Ond y mae rhai yn meddwl, eu bod yn gallel canfod rhyw arwyddion o anianawd Gymreigaidd yn rhannau o'r wlad honno, hyd y dydd heddyw, yn eu dull a'u hagwedd, yn gystal ag yn llafarsain eu hymadroddion.

Pobl dewrion, rhyfelgar, a gwladgar, oeddynt trigolionStrathclud, yr hyn a ganfyddir yn y gwrthladdiad hir, egnïol, a diflino, a gynhaliasant i'r ormes Saesonaidd; ac yn ol y cymmeriad hyn, y crybwyllir am danynt gan y bardd *Golyddan*:—

"Dybi o Alclwd gwyr drud diwair."

Hen iaith Strathclud, ydoedd y Gymraeg; ac nid ymddengys fod un gwahaniaeth pa bynnag, rhyngddi a iaith y Cymry: canys yr oedd Aneurin, yn frodor o'r ardal honno; ac y mae y Gododin yn cael ei gyfrif yn Gymraeg ddilediaith. Ond y mae Davies, yn meddwl fod yn yr oesoedd hynny, i ryw amrywiaeth Gwyddelaeg ddyfod i mewn; a hyn a ddychymmyga oddiwrth ran o waith Myrddin Wyllt, sef y linell, yr hon a ddechreua amryw o bennillion, yn un o'i gyfansoddiadau. A'r geiriau ydynt y canlynol:—

"Oian a phorchellan a pharchell dedwydd."

haera, fod y gair *Oian*, *clyw*, yn Wyddelaeg perffaith, a bod y
d, "*a phorchellan,*" yn cyttuno â'r iaith honno. Ond Owen
dai hyn, ac a ddaliai mai Cymraeg ydoedd. Am danaf fy hun,
achos i ryfeddu, pe canfyddem amrywiaeth Wyddelaeg yn iaith
yn y 6ed neu y 7fed ganrif. Canys yr oedd y Gwyddelod yn
Cludwys ar hyd ymylau y wlad, dros ran fawr o'i hystod; ac
ydderch Hael, brenin Strathclud, yn cynnal cyfeillgarwch â
r hwn oedd Wyddel; a'i Gôr yn ynys Iona, yn Wyddelod o
. Ac heblaw hyn oll, nid oes amheuaeth i'r iaith Wyddelaeg,
d, gael ei derbyn gan ran fawr o drigolion Strathclud yn gyfan-
ys pan collasant y Gymraeg yn y canol-oesoedd, yr oedd yn
d wedi cymmeryd, naill ai at y Saesonaeg, neu'r Wyddelaeg.
ddyw, Saesonaeg yw eu hiaith yn gyffredinol; ac nis gwn fod
g yn cael ei siarad mewn un rhan o'r ardal.*

## CUMBRIA.

*Cumbria*, a gynhwysai yr ardal a elwir yn awr Cumberland,
â rhan o'r wlad gyfnesol. Y mae yn debygol mai y wlad
eyrnas *Rheged*, ar ba un yr oedd Urien Rheged yn frenin. Ei
s, oedd *Caerliwelydd*, yr hon a elwid gan y Rhufeiniaid,
*um;* a'r dydd heddyw, adnabyddir hi wrth yr enw *Carlisle*.
s hon a gynhaliodd ryfeloedd dibaid, yn erbyn y Saeson, y
r Scottiaid, dros amryw oesoedd, nes yn y diwedd, iddi gael ei
gan y Saeson. Rhai o'r dygwyddiadau mwyaf nodedig yn ei
r enw Cumbria, ydynt y canlynol:—

aniaid, y rhai oeddynt wedi ymsefydlu yn Northumberland, a
aent aml ymosodiadau ar wlad Cumbria.

i ddeunaw mlynedd yn ol, rhyfygais gynnal ymryson â'r clodfawr Owen
ynol i'r haeriad hwn o eiddo Davies, bod amrywiaeth Gwyddelaeg yn ganfod-
ith Myrddin; a chefnogwn farn Davies, Ac Owain Pughe a'i gwrthddadleuai
l, fel y gellir gweled yn Seren Gomer. Y mae'llai na deunaw mlynedd yn
suraw amywiol gyfnewidiadau yn meddyliau dynion; ac er nad ydyw rhwysc
wedi peri i mi gydnabod yn gwbl gyfeiliorni y daliadau a gefnogwn, etto nis
yd, nad wyf yn teimlo rhyw betrusder, neu yn hytrach yn ffaelu a meithrin yr
lo ag ar y pryd hynny, a hyn, o herwydd na cheir yn holl waith Myrddin, ond
o dri gair yn unig, yn yr hwn y gellir haeru fod y cyfryw amrywiaeth yn
Ond er na's gallaf ddywedyd dim yn ychwaneg ar y pen hwn, naill ai er
gwrthddadleuad; etto y mae cyfiawnder yn galw arnaf, i wneuthur un cyf-
eddus, perthynol i'r ymryson rhagenwedig. Ar y pryd hwnnw, myfi yn fy
a'm ffrwst, a'm hunan-ddigonedd, a haeres gydag eondra mawr fod *ffordd
cerdded trwy y clawdd amgylchawl, wrth* ***STONEHENGE,*** *sef* ***GWAITH***
o Owain Pughe, a wadai gywirdeb y cyfryw haeriad. Ac yn awr, ar ol
le, a manwl sylwi arnaw, yr wyf yn argyhoeddedig, mai nid *Ffordd Rufeinig,*
g sydd yn croesi y clawdd, ond mai un o ffyrdd cyffredin y wlad, ydyw.

899. *Edward*, y brenin Saesonaeg, a ddarostyngodd wlad Cumb a'i dygodd dan ufudd-dod iddo.

934. *Athelstan*, y brenin Saesonaeg a ymosododd ar y gwledy gleddol; a gorfu ar Owain, brenin Cumbria, ffoi.

938. *Athelstan*, a orchfygodd mewn brwydr, frenhinoedd y Sc a'r Cumbriaid.

945. *Edmund*, y brenin Saesonaeg, a ddiffeithiodd Cumbria, ac odd y wlad honno i Malcolm, brenin y Scottiaid; ac brawd a chanlynwr Edmund, a dderbyniodd lŵ o ffydd oddiwrth frenin Cumbria.

973. *Malcolm*, mab *Domnald*, brenin Cumbria, a fu farw.

1000. *Ethelred*, y brenin Saesonaeg, a aeth i Cumberland ac a' ddiffeithiodd.

1052. *Malcolm*, mab brenin Cumbria, yn cael ei wneud yn fren gylch yr amser hyn, yr oedd y wlad yma, dan lywodraeth y iaid; ond ar ol hynny, ennillwyd hi gan frenin Lloegr, fwynhaodd fyth mwyach ei hannibynolrwydd; eithr perth wastad i ryw un o'r ddwy deyrnas gyfnesol. Nid oes h rwydd pwy oedd y diweddaf o frenhinoedd Cumbria; ond traddodiad, mai *Dunmail*, oedd ei enw; ac mai ei feddro y carn o gerrig, a elwir *Dunmail-raise*, a welir ar ochr y rhwng *Ambleside*, a *Penrith*.

Y mae yn ddilys mai yr un oedd iaith Cumbria a'r Gymraeg; a pob tebygolrwydd, fod anghraifft o honi iddei weled yn ngwaith Ll Hên, gan fod y bardd hwnnw yn frodor, naill ai o Cumbria, neu ry gyfnesol. Ni wyddys pa hyd y parhaodd i gael ei siarad yno; mae lle i gredu, ei bod yn hanfodi lawer yn hwy na llywodraeth an y wlad.

## CERNYW.

Y mae yn amlwg fod yr enw yn deilliaw o'r un gwraidd, a'r gai ac yn arwyddocau llun daearyddol y wlad, sef penrhyn yn estyn Enw Rhufeinig trigolion Cernyw, oedd *Carnabii.* Y wlad a dda wyd gan fyddinoedd Rhufain, yn y ganrif gyntaf; ac o'r amser ni chlywn ddim am ei hanes, hyd ymadawiad y rhai hynny. A hyn, cyfododd i gyfrifoldeb tra neilltuol; a rhoddodd hanfodiad gwronion godidocaf, yn mhlith gwrth-laddwyr y Saeson; ac hefy

helaeth tuag at ffurfiad o'r traddodiadau ffugiol awenyddol
rhai a effeithiasant mor rhyfeddol ar lëenyddiaeth Ewropa.
lad Cernyw, y perthynai amryw o'r dewrion hynny, y rhai a
it gydag Arthur, yn erbyn gelynion eu cenedl; ac yn Nghernyw,
ell *Tintagol*, yn yr hwn y dywedir, y bu Arthur yn anneddu.
narwolaeth y pennaeth hwnnw, y Cernywiaid a gynhaliasant
yn y Saeson, dan amryw lywiawdwyr, dros hir amser. Yn
raladr, oeddynt aflwyddiannus, a'r Saeson a'u gorthrechasant,
ant ar eu gwlad; ond Ifor ac Ynyr, a ddaethant drwodd o
nghyd â byddin gref, ac a yrrasant y gelynion hynny ymaith,
ill y gwledydd cyfnesol, a rhannau o'r wlad honno. A'r
a barhasant i fwynhau eu hannibynolrwydd, dros amryw oes-
'd at o gylch yr amser yr unwyd Lloegr oll yn un deyrnas dan
bert, yn y 9fed ganrif; neu yn ol rhai, yn amser Athelstan.
ernywaeg, oedd mor debyg i'r Gymraeg, ag y gellid dywedyd,
eddynt; neu ynte, nad oedd dim gwahaniaeth rhyngddynt, yn
ag ychydig amrywiaeth. Parhaodd y Gernywaeg i gael ei
o fewn i'r ganrif ddiweddaf; ond yr oedd wedi bod yn colli tir
oesoedd; ac yn amser y diwygiad, yr oedd y bobl mor ad-
'r Saesonaeg, ag na welwyd achos i gyfieithu y Bibl, a'r Llyfr-
Gernywaeg. Ac oddiwrth yr hyn a fynegir gan *Hals*, yn ei
rnyw, ymddengys fod y iaith honno yn adfeilio yn feunyddiol:
il yr awdwr hwnnw, fod gweinidog St. Foec, gerllaw Falmouth,
wyddyn 1650, yn gorfod gweini y Cymmun, i rai o'r hen bobl,
Gernywaeg, o achos nad oeddynt yn deall Saesonaeg. Ond y
mryw flynyddau, gwedi llwyr ddystewi, megys cyfrwng ym-
; a'r unig weddill o honi yn llafarseiniol, yw adroddiad ambell
gan rai o'r hen bobl, er math o gofiant am yr hyn a fu unwaith
wlad.
'mharu y Gernywaeg, â'r Gymraeg, ac â'r Lydawaeg, gwelir
hreifftiau o gyttundeb rhyngddi â'r olaf yn hytrach na'r llall,
d oes gennyf un awdurdod am yr achlysur o hyn, nid âf i ben-
mmygion o'i blegid; cynnygais un cais at ddehonglyd y peth
udalennau yn ol, wrth grybwyll am Ifor ac Ynyr.
aifft canlynol, yn cynnwys rhan o ddechreu y bennod gyntaf o
, allan o un o gyhoeddiadau DAVIES GILBERT, a wasanaetha i
iodiad y iaith:—

**lath Deawe wraze neave ha an eare**

**rrah an beaz reb composter ha reb kenefratra ha tulder rag meare a downder, peres Deawe reege gwayeyoch worr bedgeth an dowre**

**3. Ha Deawe laveras gurenze boze gooloh ha therrah goolloh.**

**4. Ha Deawe a wellas an goolloh tha boaze dah : ha Deawe deberhas an gollol an tulder.**

**5. Ha Deawe a grias, an goolloh deathe ha an tulder eave a grias noze, ha mett gurthuher owe kenssa Iornah."**

Mewn cyhoeddiad arall, rhodda anghraifft gwahanol, yr hwn a ddengys fel pe byddai yn iaith fwy pur, a'r llythyreniad, mwy yn ol y na'r uchod.

**"1. En dallathvaz Dew aveth' wraz neve ha noare.**

**2. Ha thera an noar heb roath, ha gwag, ha veth an tewlder war bedgeth a'n dov ha sperez Dew rig gwayath war bedgeth an dowrow.**

**3. Ha Dew lafarez, gwrenz boz goollo, ha enathera goollo, &c."**

Nid oes dim gweddillion cynoesawl o'r Gernywaeg ar glawr, ni ychwaith yn henach na diwedd y canol-oesoedd. Ysgatfydd m anghraifft henaf o'r iaith hon, yw y cyfansoddiad prydyddol, a *Mynydd Calfaria*, a gyhoeddwyd gan Davies Gilbert. Y m debygol ei fod yn henach na'r diwygiad; canys y mae yn ysgrif ar femrwn, mewn hen law. Cynhwysa 259 o bennillion: y cyntaf rai sydd fal y canlyn :—

**" Tays ha mab ha Speris sans wy abys a kon golon**
**Re wronte theugh gras ha whans the wolsowas cy basion**
**Ha thymmo gras ha shyans the therevas pare lavarow**
**May fo the Thu the worthyans ha sylwans then eneoow."**

Y Tad a'r Mab a'r Yspryd sanctaidd chwi a ddeisyfwch a ffyddlon galon
I roddi [*waranti*] i chwi ras a dymuniad i wrandaw [traethiad] y dyoddefain
Ac i minnau gras a gwybodaeth [*science*] i dderbyn trwy y geiriau,
Fod i Dduw y gogoniant ac iachawdwriaeth [*salvatio*] i'n henediau.

## LLYDAW.

Y wlad yma, sydd yn y gyfran honno o dir Gâl, yr hon a elv y Rhufeiniaid, *Gallia Celtica*. Ei chysefin enw, yn yr ysgrifau einig, oedd *Armorica*; a'r hwn yn ol y tyb cyffredin, ydoedd yr gair Cymraeg, *Arforig*; h. y. ardal yn pwysaw ar y môr.

Yr hanes cyntaf a gawn am y wlad hon, ydyw yr un a roddir gan Cæsar; yr hwn a draetha gyda llawer o fanylrwydd, am ei ryfel thrigolion yr ardal yma; y rhai yn nghyd a'r lleill o drigolion yr ar cyfnesol, a ddarostyngwyd ganddo ef.

Trigolion Armorica, y pryd hyn, oeddynt yn ddynion dewr a rhyfelgar; ac hefyd i raddau pell, yn wareiddig, ac yn berchenogion ar amryw gelfyddydau. Canys deallwn oddiwrth Cæsar, eu bod yn meddiannu llyngesau o longau mawrion, a hwyliau o grwyn, a chadwynau heiairn, iddynt yn lle rhaffau; yr hyn ni allasai fod gan genedl wyllt, neu anwareiddiedig.

Oddiwrth yr hyn a ddeallir am y cyffelybrwydd rhwng pobl Gâl, a Phrydain, yn eu hagwedd corfforol, eu hiaith, a'u defodau, y mae lle i farnu, eu bod o'r un hanniad. Ac y mae un o'r Trioedd, yn dywedyd, i lwyth y Brython, ddyfod yn ddechreuol i Brydain, o Lydaw, [gwel tu dal. 9.] Ac hefyd y mae rhai amgylchiadau, perthynol i Lydaw, yn cadarnhau y tyb yma, am hanniad y ddwy genedl. Y mae yn Llydaw, amrywiol weddillion Derwyddol; megys cromlechau, a meini hirion, yn arwyddocau under defodau crefyddol y gwahanol wledydd. Ac y mae hefyd gyffelybrwydd rhwng rhai o hen enwau Llydaw, a Chymru; megys yr enw *Veneti*, llwyth o bobl a grybwyllir am danynt, gan Cæsar; y rhai a anneddent yn y wlad, a elwir yn awr yn y iaith Ffrangaeg, *Vannes*. Y Llydawiaid, y dydd heddyw, a alwant yr ardal honno, *Gwenez;* yr hwn sydd mor debyg i'r Cymraeg, *Gwynedd*, a pheri cred, mai yr un gair ydyw. Ac y mae yn amlwg, mai nid enw a drosglwyddwyd gan y Cymry i Lydaw, ydyw; canys hanfodai yn amser Cæsar. Y mae hefyd yr enw *Cernyw*, yno, ond ni ellir profi ei hendra yn y wlad; eithr gall fod yn enw cyseftin fel y llall.

Ar ol i Armorica gael ei darostwng gan y Rhufeiniaid, ni chlywn fawr am ei helynt, hyd amser y cyffroad cyffredinol; yr hwn a achlysurodd gwymp yr awdurdod Ymherodrol. A'r pryd hwnnw, pan oedd newydd gyfodi i sylw, yr ydoedd wedi derbyn llwyth dyeithr, o drigolion o ynys Prydain. Ac i'r rhai hyn o'r amser hwnnw allan, y perthyn hanes y wlad; ac ni wyddys, pa ran o'i phoblogaeth, a oedd o'r hen waedoliaeth Armoricaidd; neu pa radd o ymdrech a ddangosasant, yn y gorchwylion gwladwriaethol. Eithr hyn sydd eglur; sef, mai i'r gwaedoliaeth Cymraeg, y perthyna yr egni, a'r yspryd annhlygadwy, yr hyn a arnoda trigolion yr ardal honno, o'r cynoesoedd y waered.

Y crybwylliad cyntaf am sefydliad y Brytaniaid yn Llydaw, yw yr un a geir yn hanes Macsen Wledig; lle yr haerir, i lu o filwyr Prydeinig, dan dywysiad Conan Meiriadawc, gymmeryd meddiant o'r ardal honno, o gylch y flwyddyn 383. Eithr rhai a wadant gywirdeb yr hanesiad hwn; ac a haerant na ddaeth un llwyth Prydeinig, drwodd cyn y flwyddyn 458. Ond gan fy mod gwedi sylwi eisioes ar y ddadl hon, [tu dal. 139,] ni ychwanegaf yma, ond yn unig ail-adrodd fy marn, nad allaf weled un fath o achos i fabwysaw y cyfryw wadiad o'r hanes.

Eithr pa fodd bynnag y penderfynir am y sefydliad haeredig yma, y mae yn ddilys fod yn y 6ed a'r 7fed ganrif, rifedi mawr o'r Cymry, yn Llydaw;

canys o gylch yr amser hyn, cawn hwy yn cynnal rhyfeloedd â'r talaetha cymmydogaethol; ac hefyd yn anfon cynhorthwy, at eu perthynasau y ynys Prydain, yn erbyn y Saeson; megys y tystiolaetha Golyddan:—

> "Dybi o Lydaw prydaw gyweithydd
> Cedwyr ar Gadfeirch ni pheirch eu henydd."

Dros rai oesoedd, yr oedd Llydaw yn deyrnas anranedig, ac annibynol, dan lywodraeth un brenin unbennaethol. Ac yr oedd yn cynnwys pedwar o dalaethau, y rhai oeddynt dan bendefigion neilltuol, yn arddel awdurdod brenin y wlad. Ond ar ol hyn, pan wanhawyd y genedl, gan ormesiadau y Ffrancod, a'u dwyn dan dreth; y pennaduriaid, ni elwid mwyach yn frenhinoedd, eithr yn *Dduciaid*. Ar yr un pryd ag yr oedd y talaethau, bob un dan is-lywodraeth pendefig neilltuol, yr hwn a elwid yn y Ffrangaeg, *Compte*, gair yn deilliaw o'r Lladin, *Comes*, ac yn atteb i'r hen air, *Iarll.*' Yn y modd hyn y parhaodd y wlad, yn mwynhau math o annibynolrwydd talaethol, etto yn arddel ufudd-dod i frenhinoedd Ffrainc, hyd nes unwyd hi â'r deyrnas honno, trwy weithred seneddawl, yn y flwyddyn 1532; a hynny a ddaeth i ben, trwy gyfathrach ac uniad tylwythau brenhinoawl y ddwy wlad; ac nid trwy oresgyniad rhyfelawg. Rhai o'r dygwyddiadau mwyaf nodedig yn hanes Llydaw, ydynt y canlynol;— Sefydliad y Cymry yn y wlad.——Rhyfel â'r *Ffrancod*, dan *Clovis*, o gylch y flwyddyn 390.——Rhyfel â'r Ymherawdr *Charlemagne*, o gylch 799.——Rhyfel â'r *Normaniaid*, o gylch 888.——Ufuddhad yr ardal, awdurdod y Ffrancod; ac yn y diwedd, eu huniad â theyrnas Ffrainc yn 1532. Ond er y rhoddir yr amgylchiadau hyn, megys y nodedical etto, nid oedd gwlad Llydaw, nemmor o amser erioed heb ryfel, naill yn erbyn estroniaid, neu rhwng y trigolion â'u gilydd.

Ac y mae y gwahanol amgylchiadau hyn, yn hanes Llydaw, we achlysuraw dirfawr ymryson, rhwng hanesyddion; ac etto, heb bend fyniad boddhaol iddynt.

Y cyntaf o wrthddrychau y dadleuon hyn, ydyw yr holiad, A oes gw ionedd yn yr hanes, am sefydliad Conan Meiriadawc, yn y wlad, yn niwe y 4edd ganrif?

Yn nesaf; Pan dreiddiodd *Clovis*, brenin y Ffrancod, i wlad Llyd ac ennill yno rai buddugoliaethau, A ddarfu iddo ddarostwng y wlad dwyn y Llydawiaid dan lywodraeth y Ffrancod?—Rhai a haerant ic lwyddo i wneuthur hyn; ac ereill a'i gwadant, yn groch ac yn ëon.

Etto, pan ddarfu i'r Ymherawdr, *Charlemagne*, ryfela â'r Llydawia A lwyddodd efe iddeu darostwng, ai naddo?—Y mae yr un canlyn perthynol i'r holiad hwn, sef annghyttundeb rhwng hanesyddion.

etto, drachefn, pan ddaeth y *Normaniaid* ac anrheithio a gormesu y iid yw eglur, i ba raddau y llwyddiasant iddei darostwng. Ond gan odd y bu yn y cadgyrchiadau olaf, o eiddo y Normaniaid, y mae wg fod annibynolrwydd Llydaw gwedi dechreu adfeilio.

berthynol i'r gwaith presennol, fyddai holiad yn nghylch teilyng-amrywiol haeriadau hyn; ac felly ni sylwaf, oddieithr ar y cyntaf it, a hynny yn unig i nodi y tywyllwch, yr hwn a hanfodai yn y yr oesoedd, yn mha rai yr aeth y Cymry drwodd i Lydaw; .canys hyspysiad boddhaol, perthynol i un o'r amgylchiadau canlynol;

iha oes yr aeth y cyntaf o'r ymsefydlwyr Cymraeg, o Brydain i ?—A gawsant hwy ganiatad gan yr hen drigolion; neu ynte, cym-meddiant o'r wlad, trwy rym arfau a wnaethant; neu ynte, Ai wn lleoedd anial, ar y cyntaf, lle ni ofalai neb pwy a feddiannai y

—

i gair, y mae yr hanes hyn yn hollol dywyll; a'r unig beth a ellir yd, yw, ein bod yn y 6ed, ac hyd mor gynnar a'r 5ed ganrif, yn teyrnas gadarn o Gymry, yn yr ardal hyn o Ffrainc, mewn cyflwr ynolrwydd, ac yn cynnal rhyfeloedd yn erbyn talaethau ereill.

gan ys pa beth a achlysurodd y sefydliad cyntaf, y mae yn ym-i fod amrywiol luoedd o'r Brytaniaid, yn yr oesoedd canlynol, wedi rwodd o Brydain i Lydaw, er ffoi rhag gormes y Saeson. Ac y peth tra nodedig, yn hanes y genedl yn nglŷn â'r amgylchiad hyn; yw, y modd y bu hiliogaeth y Brytaniaid hynny, oesoedd ar ol offerynau i ddial ar y genedl honno, a berodd iddynt felly, eu eu hunain. Canys pan ddaeth Gwilym y Goresgynydd drwodd, o a darostwng teyrnas Lloegr, yr oedd yn mhlith ei filwyr, rifedi Lydawiaid; a'r rhai hyn a gyfranasant eu hymdrechiadau i ddar-y bobl Saesonaidd, ac i osod iau estronawl ar eu gyddfau, yr hon ydasant fyth ymaith yn gylan-gwbl. Felly gwelwn yma, ad-daliad edd. Y Saeson, trwy drais a gormes, a yrrasant luoedd o'r Cymry, i alltudiaeth. Ac yn ol pump cant o flynoddoedd, wele th yr alltudion hynny, yn dychwelyd yn arfawg, ac yn dialu ar y ormesawl honno, trwy gydweithredu iddei dwyn dan gaethiwed. fedd ac anchwiladwy ydyw trefniadau Rhagluniaeth, yn rhwysc oedd a gwladwriaethau!

i gofynir beth oedd y moddion, trwy ba rai yr achlysurwyd dar-id Llydaw, gan y Ffrancod, yr atteb yw, yr un rhai ag a berasant yngiad Cymru, gan y Saeson; sef gwanhad y wlad, trwy ei rhan-amryw dalaethau; yr hyn a arweiniai i beri eiddigedd, ac an-undeb cartrefol, yn nghyd âg amrywiol ymrysonau. Yn y man nesaf,

ymgyfeillachu gormod âg estroniaid, a pharchu eu harferion hwy, nag eiddo eu gwlad enedigol, a thrwy hyn, dwyn i mewn ddye iddeu plith; y rhai yn y diwedd, a ddygasant eu gwlad oddiwrthy

Y mae hanes Llydaw, mor faith, ag na allwn mewn gwaith o' hwn, hyd nod rhoddi talfyriad o hono; a'r unig beth a gynnygi gosod i lawr ychydig o gyfeirnodau, trwy ba rai y gall, y rhai ni fedd gwell cyfleusdra, ganfod rhyw faint o helynt ein cenedl, yn y wlad A hyn a geisiaf ei wneud, trwy roddi yma gofrestr, o rai o'r brenl a'r pendefigion talaethol, y rhai a lywodraethent yn y wlad honno.

BRENHINOEDD LLYDAW.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1. | Conan Meiriadawc. | 9. | Hywel III. | 17. | Daniel Dren |
| 2. | Gradlon. | 10. | Judicael. | 18. | Argant. |
| 3. | Salomon, I. | 11. | Salomon, II. | 19. | Meliau. |
| 4. | Auldran. | 12. | Alan, II. | 20. | Nominoe. |
| 5. | Budic, I. | 13. | Conobert. | 21. | Erispoe. |
| 6. | Hywel, I. | 14. | Budic, II. | 22. | Salomon, II |
| 7. | Hywel, II. | 15. | Theodoric. | | |
| 8. | Alan, I. | 16. | Riwallon. | | |

Yr olaf o'r pennaduriaid hyn, a lofruddiwyd yn y flwyddyn chydag ef y syrthiodd teyrnas Llydaw, yr hon a sefydliasid gan Meiriadawc; a hiliogaeth pa un, yn ol y gred gyffredinol, a fedd yr orsedd.

Ac weithian rhoddaf er anghraifft, gofrestr o'r pendefigion hy rhai, ar ol diffoddiad o'r fraint frenhinol, a lywodraethent y wlad, enwau o *Compte*, a *Duc;* gan eu rhesu dan eu priodol dalaethau; neu gilydd, o ba rai a feddiannai yr anrhydedd olaf, sef o'r en Rhai o'r pendefigion oeddynt yn meddiannu eu sefyllfaoedd, cy Salomon, y III.

COMPTIAID [NEU IARLLOD] A DUCIAID LLYDAW.

| Vannes. | Rennes. | Nantes. | Cornoua |
|---|---|---|---|
| Alain, IV. | Berenger, | Alain, IV. | Gurmailho |
| Drogon, | Conan, I. | Drogon, | Alain Cag |
| Hoel, IV. | Geoffroi, I. Duc Llydaw, 992. | Hoel, IV. | Hoel, V. Llydaw, |
| Gwerech. | | Gwerech, | Alain Fe Duc Lly 1084. |
| Alain, V. Duc Llydaw, 1008 | | Alain V. Duc Llydaw, 1008, | Conan, III Llydaw, 1 |
| Conan, II. Duc Llydaw, 1040. | | Iudicael, | |
| | | Budic, | |
| | | Hoel, V. Duc Llydaw, 1066. | |

O'r amser hwn allan, fel ag y daeth gwlad Llydaw, yn fwy dan aeth y Ffrancod, ni a welwn enwau y Duciaid, yn dwyn arno

ewidiad hynny; megys *Peirre de Dreux,—Jean de Montfort*, &c.
i cymharir amrywiol o hanesion Llydaw yn nghyd, ceir gweled nad
t oll yn cyttuno a'u gilydd, yn enwau a rhifedi y brenhinoedd; ac
nid rhyfedd, os bydd annghysondeb rhwng y cofrestr uchod, a'r hyn
ethir mewn rhai o'r cyfryw hanesion. Nid fy amcan i, yn y traeth-
ma, yw eglurhau na chyweirio yr annghysondeb hyn; a'r unig sylwad
if, ydyw, ei fod yn ddichonadwy, fod peth o'r annghysondeb yn
w allan o'r arfer gan rai, o roddi enw brenin i ambell i bendefig, yr
nid oedd ond Iarll Talaethawg, yn unig; ac nid yn meddiannu
naeth y wlad. Canys yr oedd amryw o'r pendefigion hyn, yn arwain
oedd yn erbyn y Ffrancod, ac yn eu gwrthladd gyda dewrder tra
moladwy; a hwynthwy ar yr un pryd, heb fod yn mwynhau awdurdod
inol. O'r cyfryw bendefigion, oedd *Warroch*, yr hwn a ryfelodd yn
ac yn llwyddiannus, yn erbyn *Childebert*, brenin y Ffrancod; ac
rth ei gadernid, a'i odidogrwydd, gallem ddisgwyl gweled ei enw yn
restr y brenhinoedd. Ond nid oedd yn frenin, eithr yn Iarll, ar dalaeth
es. Yr un peth a ellid ei ddywedyd am ereill.
igoswyd eisioes, mai yr hen enw a berthynai i'r wlad hon, oedd
*orica*. Ond ar ol ymadawiad y Rhufeiniaid, cawn hi yn myned dan
w *Llydaw;* sef, yn y Lladin *Letania*. Ond ni ellir dyfod i
ndeb, perthynol iddei ystyr, nac amseriad ei fabwysiad. Rhai a ddy-
it, ei fod wedi ei roddi i'r wlad hon, gan y Rhufeiniaid; o herwydd eu
'n arfer danfon i'r wlad honno, rhyw ddynion alltudiedig, i'r rhai y
ent yr enw, *Leti:* ond nid oes ond ychydig o awdurdod, am yr
d hwn. Ereill a fynnant, fod y gair yn deilliaw oddiwrth *lled-aw*,
i *pwysaw ar y môr;* ond y mae hwn, yn llawn mor anmhrofedig
ll. Yr hen hanesion Brytanaidd a fynnant, fod yr enw yn tarddu
rth y gair, *llediaith;* a hynny, o achos torri ymaith tafodau y
gedd Armoricaidd, gan eu gwŷr Brytanaidd, rhag iddeu plant ddysgu
iaith, ac annghofio eiddo eu tadau. Ond y mae H. Llwyd, yn
g dehongliad arall; sef, fod yr enw yn deilliaw oddiwrth *littus*,
'*arforol*. Ac y mae cadarnhad i hyn, yn yr enw a roddid i'r swyddog,
'n a warchadwai y gororau; megys, "*Comes littoris Britannicæ*,
Ond wedi'r cyfan, rhaid gadael yr enw hwn mewn amheuaeth; canys
es ond dychymmyg yn unig, am ei ystyr.
enw, wrth ba un yr adnabyddir y wlad gan y Ffrancod, yw *Bretagne*,
eithiau, *La Petite Bretagne*, sef *Prydain fechan;* a'r enw hwn a
l, yn gynnar iawn ar ol sefydliad y Brytaniaid ynddi; canys gelwir
yr ysgrifau Lladin, *Britannia minor;* ac er gwahaniaeth, rhoddir
ys hon, yr enw *Britannia major*. A thyma beth tra nodedig i sylwi
Mudiad y llwyth hwn o Gymry, i'r gongl fechan honno o'r byd,

a achlysurodd, bod yr ynys hon yn mwynhau yr enw o *Brydain Fawr*. Ac wele y modd neilltuol, y parha yr hen genedl gysefin, i effeithio ar anianawd y wlad, ac i gyfrannu iddi, yr enwau hynny, y sawl ydynt mor hoff gan ei thrigolion, y dydd heddyw. Llwyth y *Brython*, a roddodd iddi yr enw *Britannia;* ac ymadawiaid dosparth o'r bobl hynny, i wlad bellenig, a roddodd iddi yr enw o *Brydain Fawr*.*

Yr enw a roddir i'r wlad gan y Llydawiaid eu hunain, ydyw *Breiz*. Y iaith, a alwant *Brezonec;* a hwynthwy eu hunain, *Breiziaded;* yn yr unigol, *Breiziad*. Yr ynys hon, a alwant *Breiz veur*, [*fawr:*] a phan crybwyllant am eu gwlad eu hunain, gyda golwg ar wahaniaethu rhwng y ddwy wlad, galwant hi *Breiz vihan*, [*fechan.*] Rhannir Llydaw, yn ddau ddosparth, sef y wlad *uchel*, a'r un *isel:* a'r rhai hyn a elwir gan y Llydawiaid, *Breiz uchel*, a *Breiz isel*. Ac weithiau *Gorre-Vreiz*, a *Gweled-Vreiz*, sef *Gor*, a *gwaelod*. Galwant eu hunain hefyd *Bretoned;* yn yr unigol *Breton*, neu yn hytrach, *Bretwn*

Y dydd heddyw, y mae y iaith Lydawaeg yn gyfyngedig i'r dosparth o'r wlad, a elwir *Breiz isel*, ac yn y Ffrangaeg, *Basse Bretagne*, yr hon a gynnwysa y rhan orllewinol iddi; oddieithr fod cwrr bychan, a elwir *Batz*, yn *Loire Inferieure*, lle yr erys y iaith etto. Trigolion y trefydd, a'u cymmydogaethau, a fedrant y Ffrangaeg; ond y mae amryw yn y wlad, y rhai ni ddeallant un iaith, ond y Lydawaeg yn unig. Rhifedi trigolion Llydaw, ychydig flynyddoedd yn ol, oedd 1,941,614. Ac yn ol y cyfrifiad cywiraf a fedraf ei wneud, barnaf y gall fod yn agos i *Saith can' mil*, yn medru siarad Llydawaeg; a rhan fawr o'r cyfryw, yn ei harfer hi yn feunyddiol, ac hefyd amryw o honynt yn Lydawiaid uniaith.

Y dosparth o'r wlad, yn mha un yr arferir y Lydawaeg, a elwir yn y Ffrangaeg, *La Bretagne Bretonnante*, h. y. *Llydaw Llydawegol*. Ac os dymuna neb weled maintioli a sefyllfa yr ardal yma, cymmered ddaearlen Llydaw, a chan ddechreu wrth yr oror ogleddol, gyferbyn a *Guingamp*, tynned linell trwy dref *Chatelaudren*, a *Quintin*, ac ardal *Noyal*, i'r tu dwyrain i *Pontivy;* ac oddiyno trwy *Elven*, a *Muzillac*, hyd at lann yr afon *Vilaine*, gyferbyn a *La Roche Bernard*, ac oddiyno at y môr, wrth aber yr afon honno; ac yno caiff weled ei fod gwedi rhannu y wlad, yn ddwy ran, gan linell o fôr i fôr. Ac i'r gorllewin i'r linell honno, y mae y Lydawaeg, yn arferedig; yn y graddau y mynegwyd uchod.

Yn mha oes y cyfyngwyd y Lydawaeg o fewn i'r ardal hyn, nid yw hyspys; eithr deallwn, nad ydyw, nac wedi colli nac ennill nemmor, werth sylwi arno, o ran ei chyffiniau tiriogaethol, dros hir amser. Ond y mae

* Gwn i'r enw hwn gael ei osod ar yr ynys hon, trwy weithred seneddawl, o fewn i'r oesoedd diweddaf; megys enw iddei arferyd mewn ysgrifau Swyddol. Ond yr oedd y hanfodi er y cynoesoedd, fel y gwelir mewn amrywiol lyfrau.

g masnach, o fewn i'r blynyddoedd diweddaf, wedi peri mwy o d o'r Ffrangaeg, yn y wlad, nag yn yr oesoedd a aethant heibio. hyn o beth, y mae y fath gyffelybiaeth rhwng mabwysiad o'r aeg, gan y Llydawiaid, ac o'r Saesonaeg, gan y Cymry; ag nad nyg cymhwysach anghraifft, er eglurhad o honaw.

ae y Lydawaeg, o ran ei sylwedd, yn dangos yn amlwg, nid yn unig larddiad a'r Gymraeg o ran gwreiddiau a geiriau, ond hefyd gysmor unol, ag na ellir amheu mai yr un iaith oeddynt, o fewn i ; o oesoedd yn ol. Y mae hyn yn ymddangos yn y iaith redinol; ac mewn modd neilltuol yn nhroddiad ymadroddion ldanawl. Er anghraifft, y Llydawiaid a ddywedant, *terri he sechcd*, sydd yn atteb i'r Gymraeg, *torri ei syched;* eithr nid yw yn cyt- r Ffrangaeg; canys yn y iaith honno, yr ymadrodd yw *etancher* ac nid *rompre le soif:* ac nid ydyw chwaith yn atteb i'r Saesonaeg. m yr ymadrodd *gwell yw gen i*, y Llydawiaid a ddywedant, *gwell én*. Ond y Ffrancod a ddywedant *j'aime mieux*, ac nid *mieux e moi*. Ac heblaw y fath a hyn, y mae y iaith yn llawn o droddchain, cyffredinol yn y Gymraeg; megys yn y gair *brith ;* sef *brith* , [*brith glefyd*,] h. y. *clefyd ysgafn*,—hefyd yn y fath eiriau ag *a*, [*ymwisgo*,] *piou-bennag*, [*pwy bynnag*,] *pegement-bennag*, *ymmaint bynnag*,] *e walcha*, [*ei wala;*] hefyd yn y fath *dourgi*, [*dyfrgi*,] *morvran*, [*morfran*,] *les-fab*, [*llysfab ;*] ac yn g o amryw eiriau; megys *askourn*, *eskern*,—*crogan*, *cregin*, cregin,] *daved-deved*,—*irvinen-irvin*, [*erfinen*, &c.] ac etto, *l*, [*dyrnaid*,] *carrad*, [*carraid*,] *braz-brazder*, [bras, &c.] *teo* [tew, &c.] Y mae hyn yn ddigon i brofi cyffelybrwydd y ddwy Ond y maent hefyd mewn rhai pethau, yn ymwahaniaethu; megys *well*—*gwella*,—*drouk*—*gwaz*—*gwasa;* sef graddau cymhariaeth *wg*. Ac y mae yn dra nodedig fod y Lydawaeg, mewn amryw yn cyttuno â'r *Gernywaeg*, yn hytrach na'r Gymraeg; a hynny led a rhoddi lle i feddwl, fod amrywiaeth cynoesawl yn hanfodi yn yw; neu ynte, fod rhyw amgylchiadau neilltuol, gwedi peri i'r eg, a'r Gernywaeg, gyd-gerdded yn y canol-oesoedd, i ffurfio y mrywiaeth fel yr hanfoda yn awr. Er eglurhad, rhoddaf yma yr ftiau canlynol;—

e y Lydawaeg a'r Gernywaeg yn meddiannu y ban-nod anmhenn atteb i'r Saesonaeg *a*, ac i'r Ffrangaeg *un*, yr hyn nid oes gan y g. Y gair hwn yn y Lydawaeg, sydd *cunn*, *cur*, ac *cul;* ac yn y aeg, *a*, neu *y*, ac weithiau *un*.

e hefyd gyffelybiaeth yn y terfyniad lliosog, yr hyn yn y ddwy genwedig, sydd *ou*, sef *ow*, pan yn y Gymraeg, arferir *au*, neu *eu* :

gwelir hefyd gyffelybiaeth yn y treigliad canlynol, o'r geiriau *awel,* yr hyn a eglurheir trwy gyfrwng y Saesonaeg, yn ol y Grammadeg:

| | Llydawaeg. | | Cernywaeg. | | Cym |
|---|---|---|---|---|---|
| Unigol. | avel | wind | levar | book | |
| | ann avel | the wind | an levar | the book | |
| | eur ann avel | of the wind | a'n levar | of the book | [odd] |
| | d' ann avel | to the wind | d'han levar | to the book | [idd] |
| Lliosog | Avelou. | | Levrou. | | Llyfr |

Gwelir hefyd yr un cydrediad yn rhifyddiaeth y ddwy blaid.

| | Llydawaeg. | Cernywaeg. | Cymraeg |
|---|---|---|---|
| 1 | unan | onen | un |
| 2 | daou | deau | dau |
| | diou | | dwy |
| 3 | tri | trei | tri |
| | teir | | tair |
| 4 | pevar | padzar | pedwar |
| | peder | pider | pedair |
| 5 | pemp | pemp | pump |
| 6 | chouech | wheh | chwech |
| 7 | seiz | seith | saith |
| 8 | eiz | eath | wyth |
| 2 | nao | naw | naw |
| 10 | dek | deag | deg |
| 11 | unnek | eduack | un-ar-ddeg |
| 12 | daouzek | dowthag | deuddeg |
| 13 | trizek | tardhack | tri-ar-ddeg |
| | | tretheck | tair-ar-ddeg |
| 14 | pevarzek | puzwarthack | pedwar-ar-d |
| 15 | pemzek | pemthack | pymtheg |
| 16 | chouezek | whettack | un-ar-bymth |
| 17 | seitek | seitag | dau-ar-bymt |
| 18 | triouech | eatag | tri-ar-bymth |
| 19 | naontek | nawnzack | pedwar-ar-b |
| 20 | ugeint | ugent | ugain. |

Yn yr uchod cawn fod y Llydawiaid a'r Cernywiaid, yn rhifo trwy ychwanegu deg at ddeg; ond fod y Cymry yn gwneuthur wrth bymtheg, ac yn cychwyn o'r newydd, gan ychwanegu pum pump-ar-ddeg rhagflaenol.

Heblaw yr uchod, y mae amryw eiriau, y sawl a welir yn y Ly a'r Gernywaeg, yn gydystyr, ond a ydynt naill ai yn hollol anarfer y Gymraeg, neu ynte, yn ymwahaniaethu yn eu hystyr; megys y ga Yn y ddwy iaith dan sylw, cawn y geiriau *den braz,* yn atteb i'r Gy *dyn mawr,* [o gorffolaeth.]

l y gair *dwrn* yn y ddwy iaith hynny, a arwyddoca *llaw*; cithr
mraeg, ei ystyr yw *llaw gauedig*.
*ober*, *gweithredu*, nid ydyw yn y Gymraeg.
o, y Llydawaeg, *Tud*, a'r Cernywaeg, *Tiz*, a arwyddoca *pobl*;
heir y gair yn yr ystyr hyn, mewn Geiriaduron Cymraeg.
n peth ag sydd etto yn fwy nodedig, ydyw sain y lythyren *z*, yr
ferir yn y Lydawaeg, yn gystal a'r Gernywaeg, mewn amryw
yr un man ag y ceir yr *dd*, neu yr *th*, yn y Gymraeg. Ac y mae
sylwi yma, fod y Llydawiaid yn gyffredinol yn anadnabyddus o
*d*, a'r *th*. Yn *gyffredinol*, meddaf, eithr nid yn hollol: canys
lais unwaith â Llydawiad mewn cwr o'r wlad honno, yr hwn a
y seiniau hyn mor groyw a nyni y Cymry; ac a ddywedai fod pobl
ef, ychydig o filltiroedd o'r lle hwnnw, oll yn arferyd yr un seiniau.
oedd gennyf amser i fyned iddeu plith. Y Llydawiaid a fedd-
yr *ch*, ond nid oes ganddynt yr *ll* Gymraeg.
es dim o'r Lydawaeg ar glawr o eiddo y cynoesoedd, nac ychwaith
ch na diwedd y canol-oesoedd; a'r darnau henaf a geir, ydynt yn
gymmysgedig a'r Ffrangaeg, a'r hyn a siaredir y dydd heddyw.
yma anghraifft o'r iaith, allan o hen gyfansoddiad, yr hwn a
fod o'r 16eg ganrif; ac a elwir,—

ar pevar mab Emon Duc D'ordon, Laget e form un Drajedi."

d y pedwar mab Emon, Duc Dordogne, wedi ei osod mewn dull *Tragedy*.

iith hwn sydd fath o chwarëyddiad hanesiol; testun pa un, yw
iad chwedleuaidd, perthynol i'r Ymherawdr CHARLEMAGNE, a'i
n. Y cyfansoddiad a ddechreua yn y modd canlynol:—

QENTA DIALOG.

amagn Ampereur ha Roue Franç, azeet var e drôn; ar Prinç *Lohier* e Vab. An
ad a Franç. Suit ar Roue"

AR ROUE.

Me a meux an enor da vea Roue Franç
Hac Ampereur Romen, dre ar guir Brovidanç
Me so mab da Bepin, ar monarq immortel
A verit un enor a vezo eternel,
An histor a raport pa voe ganet va zad
E c'hoarveas un dra marvaillus admirabl
Rac er moment memes ma teuas er bed-mâ
E voe un tarch curun a lagas da grena
An douar en antier gant troue ha tintamar.

ddanlad cyntaf.—*Charlemagne*, Ymherawdr a brenin Ffrainc, yn eistedd ar ei
r tywysog *Lohier* ei fab. Y deuddeg Tad [Pendefig] Ffrainc. Canlynwyr y

**Myfi a feddaf yr anrhydedd o fod yn frenin Ffrainc, ac Ymherawdr Rhufeinig, trwy gwir Ragluniaeth. Myfi wyf fab i *Pepin*, y brenin anfarwol, a feddianna anrhydedd, fod dragwyddol. Hanes a draetha, pan ganed fy nhad, y dygwyddodd peth rhyfedd nodedig. Canys y fynydyn y daeth i'r byd-yma, bu ergyd taran, yr hwn a berodd crynu ddaear yn hollol, gan drwst ei seiniad."**

Canfyddir yma, fod rhan fawr o'r iaith yn ffurfiedig o eiriau Ffrangaeg wedi eu cyfnewid, a'u cymhwyso at anianawd y Lydawaeg. Ac er eglurhad o hyn, rhoddaf yma anghraifft arall allan o'r un cyfansoddiad, gan osod y geiriau Ffrangaeg mewn llythyrenau lleddfon. Y darn, a gynhwysa ymostyngiad *Renaud*, y gwrthryfelwr, ger bron yr Ymherawdwr.

**" Charlsmagn hac e *suit*. Renod hac e Vreudeur**

**Renod en em dol d'an daoulin dirac ar *Roue* hac a lavar"**

**O *Monarq redouted*, va *mestr* ha va *Roue***
**Setu deut dirazoch ha va breudeur ha me**
**Evit *renta* dec'h, *Sir, homaj, soumission*.**
***Pardonit* a'chanomp, mo *ped* a vir galon,**
**Ni a *acomplisso* ar pes a *zeziret*."**
**Setu amàn va marc'h Boyard en ho *sauet***
**Hac ive va breudeur *prest clos* d'o *servichi*;**
***Considerit* anê, va *Roue* m'o *supli***
**Ha me en em *brepar* da vonet em *beach***
**Bete Jerusalem en guir *pelerinach*."**

**Charlemagne a'i ganlynwyr. Renod a'i frodyr. Renod a ymdafl ar ei ddau-lin o flaen y Brenin ac a lafara;—**

**O Deyrn ardderchog, fy meistr a fy mrenin! Wele yn dyfod ger eich bron, fy mrodyr a fy hun, i roddi i chwi Arglwydd ein hufudd-dod a'n ymostyngiad. Maddeuwch i ni, mi a ddeisyfaf arnoch o wir galon. Nyni a gyflawnwn y peth a ddymunwch. Wele yma fy march *Boyard*, at eich ewyllys. Ac hefyd fy mrodyr yn barod i'ch gwasanaethu. Ystyriwch o honof fy mrenin, mi a erfyniaf; ac mi a ymddarparaf i fyned mewn heddwch tua Jerusalem mewn gwir bererindod.**

Y mae y cyfryw anghreifftiau a hyn, yn mynegi yn eglur, fod y iaith wedi syrthio i gyflwr o lygredigaeth a gwaeledd mawr. A pha fodd y gallai fod amgen, pan gwelwn fod y prydyddion yn lle ei choethi, yn myned at iaith estronaidd am eu hymadroddion? Canys y mae yn amlwg fod awdwr y gwaith hwn, pan yn teimlo eisiau ymadrodd awenyddol, yn myned at y Ffangaeg am dano, yn lle chwilio am un yn ei iaith ei hun, neu ffurfio un at ei achos, allan o wreiddiau y iaith honno. Y mae yn wir fod y drefn hon o arferyd geiriau Ffrangaeg, wedi dechreu yn gynnar iawn yn mhlith y Llydawiaid, sef mor gynnar a'r henaf o'r gweddillion sydd ar glawr. Ond y mae ynwyf rhyw dueddiad i feddwl, fod diwygiad wedi dechreu, perthynol i hyn: canys meddyliaf fy mod yn canfod purach iaith yn rhai cyfansoddiadau y dydd heddyw, nag yn yr hen ysgrifau; yn enwedig

eiddo Le Gonidec, awdwr clodwiw y Geiriadur Llydawaeg, a chyfieithydd y Beibl i'r iaith honno.

Un achlysur arall o lygriad y Lydawaeg, y mae yn ddilys genyf, oedd eisiau hanfodiad y corff barddonawl yn y wlad. Canys er fod yn mhob oes, brydyddion yno, ni fu o fewn i'r canrifau diweddaf, un gradd o ddynion yn dwyn enw, nac yn ar. del rheolau *beirdd.* Ac yn ganlynol i'r colledigaeth hyn, o'r gyfundraeth farddonawl, nid oes yn mhlith y Llydawiaid, ddim o'r rheolau, perthynol i gyfansoddiad, y rhai a feddiennir gan y Cymry. Er anghraifft, ni wyddant ddim am *Gynghanedd.* Ni welais erioed ddwy linell gynghaneddol yn y iaith, nag hyd nod gymmaint ag un, oddieithr yr hyn a ymddangosai fod yn effaith damwain yn unig; ac felly yn anfwriadus gan y prydydd. Ac hefyd y cyfansoddiadau yn awr mewn hanfodiad, ydynt *ganuau*, neu hanesion byr ar fesur cân; ac nis gwn am un peth yn y iaith yn atteb i *odlau* y beirdd Cymreg.

Ac megys ag y mae y Llydawiaid yn meddu amrywiol *ganuau*, felly y mae ganddynt hefyd lawer o *donau*, ar ba rai y canant hwy; ond nid oes, ar a allais ganfod, fawr o gyffelybiaeth rhyngddynt a'r tonau Cymraeg. Ac hefyd y mae yn eglur fod yr olaf yn rhagori yn fawr mewn celfydd-dra peroriaethawl. Ac yn hyn, y mae y Llydawiaid etto wedi goddef colled. Nid ydynt wedi cadw y delyn yn eu plith, megys y Cymry. Yr offer cerdd, y rhai a hanfodant, ydynt y rhai a welir mor gyffredinol, yn agos yn mhob gwlad, sef y *crwth* a'r *pibau-cerd.* Am yr olaf o ba rai, analluog ydyw canu gyda hwy â'r llais mewn un modd. Ac er y gellir hynny gyda'r crwth mewn rhyw ddull, etto nid ydyw yr offeryn hwnnw yn gwahodd y llais, fel y delyn; ac nid yw alluog i gadw peroriaeth mewn rhagor nag un rhan; ac felly collir yr îs-alaw. A diflas iawn yw peroriaeth, yn yr hyn ni chlywir ond yn unig un rhan.

## YR EGLWYS.

Yn y traethiad a roddwyd eisioes ar gyflwr yr Eglwys yn Mhrydain yn y cynoescedd, canlynwyd ei helynt yn mhlith y trigolion Cymroaidd, mewn perthynas iddei hamgylchiadau cyffredinol, hyd at y canol-oesoedd. A chan na fu i un dygwyddiad neilltuol gymmeryd lle yn yr ystod hynny, effeithiedig ar ei sefydliad, nid oes achos myned dros y tir hwnnw drachefn; ac felly, ni wnaf yma fawr ychwaneg, na chrybwyll am rai o'r enwogion, y rhai a fuont fwyaf llafurus yn ei gwasanaeth. A chydag hyfrydwch y gellir sylwi, eu bod yn yr amseroedd hyn, mor lliosog, ag nad ellir cynnyg [illegible] hyd nod eu henwau oll, chwaithach helaethu ar eu hanes; am hynny, [illegible] ymfoddhau i bigiad allan o'r cofrestr yn unig. A phwy bynnag a

ddymuna gyflawnach fynegiad am danynt, edryched yn *Hanes y Seintiau Cymraeg*, gan y PROFESSOR REES; i ba un yr wyf yn ddyledus am lawer o hyfforddiad yn y gwaith hwn.

DYFRIG.

Crybwyllwyd eisioes am deulu Brychan Brycheiniog: a'r nesaf mewn amseriad, yn gystal ag enwogrwydd, ydyw DYFRIG, [*Dubricius*,] yr hwn hefyd a elwir DYFRIG BENEUROG. Am yr hwn y mae y Professor Rees, yn rhoddi dadleuon tra chedyrn, mai ŵyr i Brychan ydoedd. Dyfrig a wnaethpwyd yn Esgob Llandaf,* o gylch y flwyddyn 470, ac yn Archesgob Caerlleon ar Wysc, yn 490; yn yr olaf o ba swyddau, dywedir yn y Brut, iddo goroni y Brenin Arthur.

Dyfrig a lafuriodd yn ddiwyd yn achos crefydd, trwy sefydlu a chynnal Ysgolion ac Eglwysydd; a gwiliad yn ofalus dros iawndra y ffydd. Ac un o'i orchwylion mwyaf nodedig, ydoedd y gwrthladdiad a roddodd i ddaliadau Pelagius. Yr ydoedd cyfeiliorni y gau-athraw hwn unwaith etto, yn dechreu cyfodi ei ben yn Eglwys Prydain; eithr Dyfrig a gynnullodd Gyngor, yr hwn a gynhaliwyd yn lle a elwid *Brefi*, [Llanddewi Brefi] yn Ngheredigion, lle y collfarnwyd y daliadau hyn, ac eu llwyr ddarostyngwyd.

Ar ol y cyfryw fuchedd llafurus, Dyfrig, gan deimlo effeithiau hen oedran, a giliodd i'r fonachlog yn ynys *Enlli*, yn Môn, i dreulio y gweddill o'i einioes, mewn llonyddwch a myfyrdod. Ac yno y bu farw, ac a'i claddwyd yn y flwyddyn 522.† Ymddengys iddei weithred yn hyn effeithio i raddau helaeth, ar grefyddwyr yr oesoedd canlynol; canys hynny allan, daeth arferiad i grefyddwyr gilio i ynys Enlli, i ddiweddu heinioes; a dywedir fod *ugain mil* o'r cyfryw, yn gladdedig yn yr ynys honno.

DEWI.

Ar ymadawiad Dyfrig, etholwyd DEWI, yn ei le; mab ydoedd i *Sandde ab Ceredig ab Cunedda Wledig;* ei fam oedd *Non*, merch *Cynyr Gaergawch*. Dywedir ei fod yn ewythr i'r Brenin Arthur. Dewi ydoedd wedi bod yn fyfyriwr, yn nghôr Illtud; ac yr oedd yn ŵr o fuchedd sanctaidd, a doniau godidog. Pan gymmerodd arno y swydd Archesgob

* Dywedir ei fod yn byw yn y *Garnllwyd*, a bod ffynnon gerllaw, yn dwyn ei enw; sef *Ffynnon Ddyfrig*.

† Trwy ganiatad Gruffydd, tywysog Gwynedd, yn y flwyddyn 1120, *Urban*, Esgob Llandaf, a berodd symmud esgyrn Dyfrig o ynys Enlli i Eglwys Llandaf, lle y claddwyd hwy drachefn.

on ar Wysc ydoedd y brif Sedd; ond Dewi a'i symmudodd i ı Mhenfro; yr hwn le a enwyd o hynny allan, *Ty Ddewi;* ldo ddewis y lle hwn, o achos ei fod trwy ei lonyddwch a'i yn fwy hyfforddiol i fyfyrdod crefyddol, na *Chaerlleon*, yr pryd hwnnw, yn ddinas boblogaidd, yn llawn o hudoliaethau hefyd yr oedd ganddo yn yr ardal yma, yn Mhenfro, feddian- ı o diriogaethau. Bu farw yno mewn gwth o oedran, o gylch 544.

Dewi yn anfoddlon i gymmeryd arno faich yr Archesgobaeth. ei dderbyn, cyflawnodd ei ddyledswydd gyda diwydrwydd tra ıc yn mhlith gorchwylion ereill, cynhaliodd Gyngor, er gwrth- daliadau Pelagius, y rhai oeddynt etto wedi ymddangos yn y no efe a lwyddodd, nid yn unig iddeu darostwng, ond yn hollol io, fel y galwyd y cyfarfod hwn, "*y Cyngor buddugol.*"

ddilys fod Dewi, o herwydd uchelder ei sefyllfa, rhagorolrwydd a'i ddoniau, yn nghyda'i lafuriad diflino ar blaid Cristionog- nwynhau parch ei gydwladwyr i raddau helaeth, yn ystod ei 'i gofiant a barhaodd mor fywiog mewn oesoedd canlynol, a iol bethau coel-grefyddol yn cael eu ychwanegu at ei wir hanes. ıol-oesoedd pan cyfododd yr arferiad, i bob gwlad ddewis rhyw ldwr iddi, nid oedd neb yn fwy anwyl gan y Cymry, na Dewi; ;hafwyd ef i'r anrhydedd yma; ac arwisgwyd ef â'r holl addurn- ıai oeddynt gymmwys i'r cyfryw sefyllfa. Ac er fod rhwysg redi peri diflaniad yr ofergoelion, etto y mae enw Dewi yn mhlith ein cenedl, megys un a fu yn ymdrechgar ac yn llesiol ac y mae y diwrnod a ddewiswyd i gynnal coffadwriaeth am nnyg achlysur i'r Cymry ymgynnull yn nghyd er meithriniad :h, ac er cynhaliad o'r cyfryw sefydliadau ac arferion, ag a ıag at anrhydedd eu cenedl a'u gwlad gynhenid.

.mryw Eglwysydd yn dwyn enw Dewi; rhai o'r sawl yn ddiau d ganddo ei hun, neu a adgyweiriwyd dan ei ofal; ac ereill a l iddo mewn oesoedd diweddarach. Crybwyllir am Dewi yn y y canlyn :—

teion Gwynwyddedig ynys Prydain:———Dewi Padarn, a Theiliaw; sef au ım ydd elynt yn Westeion i Dai Bonedd, a Gwreng, a Brodor ac Aillt, heb rhodd na gobr, na bwyd na llyn, eithr dysgu'r ffydd Ynghrist a wnaent i bawb ı diolch, eithr i dlawd ac anghenus y rhoddynt roddion o'u haur a'u harian, l a'u bwydydd."—TRI. 19.

th "*Englynion y Klywcit,*" y mae y canlynol:—

" A glyweisti a gant Dewi
Gur lluyt llydan y deithi[1]
Goreu denant daioni."

[1] cynneddfau.

Yn ol Giraldus Cambrensis, enw canlynwr Dewi, yn yr Archesgobaeth oedd *Cenauc*, [*Cynog*,] ond nid oes dim ar glawr perthynol iddei hanes.

### TEILIAW.

Y gwr yma, yr hwn a gynhwysir yn yr un cofrestr a Dewi a Phadarn oedd yn fab i *Hydwn Dwn ab Ceredig ab Cunedda.* Ei fam oed *Tegwedd*, merch *Tegid Foel*, o *Benllyn*. TEILIAW oedd enedig o wlad Penfro, ac yn gydfyfyriwr â Dewi. Ar ol llafuriad diwyd yn y weinidogaeth derchafwyd ef i Esgobaeth *Llandaf;* ac wedi marwolaeth Cynog, cafodd Archesgobaeth Ty Ddewi.

Oddiwrtho ef y cafodd Llandaf, yr enw o *Esgobaeth Teiliaw*, a *Plwyf Teiliaw*. Ac y mae amryw o Eglwysydd yn dwyn ei enw: bu farw yn *Llandeilo fawr*. Dywedir am dano fal y canlyn :—

" A glyweisti a gant Teilaw
Gwr a fu 'n penydiaw?
'A Duw nid da ymdaraw."

### PADARN.

PADARN ydoedd mab *Pedredin ab Emyr Llydaw*. Daeth o Lydaw i'r wlad hon, o gylch y flwyddyn 516, a bu yn fyfyriwr yn Nghôr Illtud Ar ol hynny, sefydlodd Gôr yn *Llanbadarn fawr*, yn mha le y sylfaenodd Esgobaeth, ar ba un yr oedd yn Esgob. Yr Esgobaeth honno, a barhaodd mewn hanfodiad dros rhai oesoedd; ond trwy ryw achos na wyddys, cafodd ei huno â Thy Ddewi. Ni adnabyddir terfynau Esgobaeth Llanbadarn y dydd heddyw; ond meddylir ei bod yn cynnwys rhan helaeth o'r ardal amgylchynawl. Padarn, ar ol amryw flynyddau, a ddychwelodd iddei wlad enedigol, a bu farw yn Ffrainc. Dywedir am dano yn y modd hyn:

" A glyweisti a gant Padarn
Pregethwr cywir cadarn
A wnel dyn Duw a'i barn."

### CATTWG.

Y gŵr yma, yr hwn a elwir CATTWG DDOETH, oedd fab i *Gwynlliw ab Glywis ab Tegid ab Cadell Deyrnllug*. Dywedir ei fod yn un o farchogion Arthur: ac os felly, dilys iddo adael ei fucheidd filwraidd, i gymmeryd at un eglwysig. Ac y mae hyn yn cyttuno â'r hyn a ddywedir, iddo wrthod etifeddu meddiannau ei dad, yr hwn oedd arglwydd *Gwentllwg*, a dewis yn hytrach bywyd o fyfyrdod crefyddol. Efe oedd yr Abbad

cyntaf ar fonachlog *Llancarfan*. Y mae yn amlwg ei fod yn ŵr cyfrifol yn ei ddydd, gan fod cynnifer o Eglwysydd yn dwyn ei enw.

Yn y Myv. Arch. gwelir crynhoad a amrywiol gyfansoddiadau byr, y rhai a gyfrifir i *Gattwg Ddoeth*. Dichon y gall ambell i ddarn fod yn eiddo iddo; ond y mae yn ddilys fod y rhan fwyaf, yn llawer diweddarach. Rhoddaf y pigion canlynol, megys rhai o'r mwyaf teilwng o sylw.

*Chwedlau y Frân.*

"Brân a gant chwedyl yn nyffryn,
Wrth chwiliaw am ei gronyn;
Nid dysg dysg heb ei ddilyn

Bran a gant chwedl ar uwchder
Derwen, uwch deuffrwd aber,
Trech deall no grymusder.

Bran a gant chwedl o frig on
Wrth adar o gybyddion;
Tlawd pawb niw gwel eu digon.

Bran a gant chwedl gan bwyll
Wrth a gafai 'n anarbwyll:
Wrth ddall ni wiw dal canwyll."

Etto,—

"Yn ansawdd lle bo'n lledrad
Cyndyn gwlân a'r holl ddavad
Drwg yw Drwg yn mhob tyviad."

"Na ystyr maint y pechawd
Ystyr maint anuvydddawd
Dod bob peth ar ei waelawd."

Hefyd,—

"Gwylia dro dy droed beunydd,
Anamlwg yt ath orvydd,
Gwell angeu no chywilydd.

Gwilia verw dy vryd beunoeth,[1]
Gwell pwyll i ddyn nog aur coeth,
Gwell angeu no byw annoeth.

Gwilia bwyll dy ben beuawr[2]
Anmhwyll o'th bell nid nemawr
Gwell bedd no bywyd gwydvawr."[3]

[1] bob nos.

[2] bob awr.

[3] *gwyd*, pechod.

---

"Gwna y goreu yn mhob angen,
O'r peth a fo'n dy berchen,
Gwell no dim gwasgawd brwynen.
Cattwg Ddoeth ai Cant."

Y rhan fwyaf o'r hyn a gyfrifir i Gattwg, sydd mewn rhyddiaith ac mewn dull diarhebol; ond y mae llawer o honaw mor ddistadl, ag na haedda le mewn gwaith hanesyddol; ïe, pe bai yn ddiamheuol waith y gwr parchedig hwnnw, yr hyn yn ddiau nid ydyw.

Y mae yn ddyledus syniaw, fod un arall o'r enw *Cattwg*, neu *Gadog*, yn mhlith meibion Brychan Brycheiniog; ac y mae rhai Eglwysydd yn

gyflwynedig iddo; am hyspysiad o ba rai, gwel Hanes y Seintiau Cy
gan REES.

AFAN.

Gelwir ef AFAN BUELLT; mab ydoedd i *Gedig ap Ceredig ap Cu*
Y mae ei feddrod yn mynwent *Lanafan fawr*, yn swydd Frycheir
charreg yn dwyn yr ysgrif ganlynol, mewn hen lythyrenau.

HIC IACET SANCTVS AVANVS EPISCOPVS.

*Yma gorwedd y sanctaidd* AFAN, *yr Esgob*

Y mae yn debygol mai un o Esgobion Llanbadarn fawr ydoed
oddiwrth y mynegiadau am ei achau, y mae yn amlwg ei fod yn b
amser Teiliaw, sef yn y 6ed ganrif.

CYNDEYRN.

CYNDEYRN GARTHWYS, oedd fab i *Owain ap Urien Rheged.* (
ef *Sant Kentigern:* ac hefyd, cafodd yr enw *Mwyngu*, yr hwn a ly
i *Sant Mungo.* Efe oedd sefydlydd Esgobaeth *Glasgow;* a dywed
rai, mai efe a sefydlodd Esgobaeth *Llanelwi;* ond ereill a feddylia
y Côr hwnnw, yn ddyledus i CYNDEYRN, *ap Arthog ap Ceredig,*
ddechreuad. Y mae bywyd Cyndeyrn mewn hanfodiad yn y Llad
hwn a ysgrifenwyd o gylch y flwyddyn 1180; yn mha un y gwelw
Cyndeyrn yn gydoesydd ac yn gyfaill i Rhydderch Hael, ac iddynt
farw yn yr un flwyddyn, [gwel tu dal. 208, a 289.] Yn y Trioedd, d
fod *Cyndeyrn* yn ben Esgob ar *Benrhyn Rhionydd*, yn y Gogledd
hwn le a enwir megys prif sefyllfa, un o'r "*Tri Lleithig Llwyth
Prydain.*"

ASAF.

*Asaf*, neu *Asaph*, oedd fab i *Sawyl Benuchel;* ei fam oedd *Gwen*
merch *Rhufon Rhifoniog.* Dysgybl oedd i Cyndeyrn. ASAF o
Esgob Llanelwi.

DEINIOL.

DEINIOL WYN, mab *Dunawd ab Pabo Post Prydain.* Efe
ydlodd Fonachlog *Bangor Iscoed*, yn swydd Callestr; ac wedi l
sefydlodd *Bangor Deiniol*, neu *Bangor Fawr*, yn Arfon. Tua
y 6ed ganrif, ffurfiwyd Bangor, yn Esgobaeth; o ba un, Deiniol ydo
Esgob cyntaf. Ac y mae amryw o Eglwysydd yn dwyn ei enw.

BEUNO.

Oddiwrth rifedi yr Eglwysydd cyflwynedig iddo, nid llai nag un-ar

y mae yn amlwg mai gŵr o enwogrwydd helaeth oedd Beuno, yn ei ddydd; er nad oes yn awr ond ychydig ar glawr, perthynol iddo. Sefydlodd Gôr Eglwysig yn *Nghlynnog Fawr*, yn Arfon, yn 616. Y tir a roddwyd iddo gan CADFAN, brenin Gwynedd; a Beuno a roddodd iddo yntau deyrnwialen aur, er cydnabyddiaeth o'r anrheg. Yr oedd GWENFREWI, yn un o'i ddysgyblion.

CYBI.——SEIRIOL.

Mab ydoedd CYBI, i *Selyf ab Geraint ab Erbyn*. Sefydlodd Gôr yn *Nghaer Gybi*, yn Môn. Yn ei amser ef, *Seiriol*, mab *Owain Danwyn*, oedd wedi sefydlu Côr yn *Mhenmon;* ac y mae chwedl, fod Cybi a Seiriol yn cyfarfod bob wythnos yn *Clorach*, ger llaw *Llanerch y Medd*. A chan fod Cybi yn teithio yn y boreu tua'r dwyrain, ac yn y prydnhawn tua'r Gorllewin, ac felly yn wastad yn edrych tua'r haul, a Seiriol yntau yn y gwrthwyneb; galwyd y ddau yma, "*Seiriol wyn, a Chybi felyn.*" Cybi a elwir weithiau yn Esgob, er nad oes hyspysrwydd am ei Esgobaeth.

Nid hawdd dyfod i benderfyniad, perthynol i lywodraeth Eglwysig yn mhlith y Cymry yn yr oesoedd hyn: sef, pa awdurdod a feddiannai Archesgobaeth, ar yr Esgobaethau ereill? a chan fod mor lleied ddefnyddion ar glawr, i ffurfio barn foddhaol, ofer fyddai treulio amser yma, i geisio eglurhad o hono. Yr unig beth a allaf wneuthur, yw cyfeirio at y Trioedd.—

"Tri Archescobawt ynys Prydain, &c."—TRI. 62. Gwel tu dal. 179.

Hefyd,—

"Tri Lleithig Llwyth ynys Prydain:——

Un Caerlleon ar Wysg, ac yno Arthur yn Benrhaith, a Dewi Sant ab Cunedda Wledig yn Benescob, a Maelgwn Gwynedd yn Bennhynaif.

Ail, Celliwg yng Nghernyw, ac yno Arthur yn Benrhaith a Bedwini yn Benescob a Charadawg Fraichfras yn bennhynaif.

A'r Trydydd, Penrhyn Rhionydd yn y Gogledd, ac yno Arthur yn Benrhaith a Chyndeyrn Garthwys yn Benescob, a Gwrthmwl Wledig yn Bennhynaif."—TRI. 63.

Am BEDWINI, nid oes dim ar glawr: ond ei fod unwaith yn enwog yn mhlith y Cymry, sydd amlwg oddiwrth yr englyn canlynol:—

"A glyweisti a gant Beduini
Oed escaub donyawc dyffri
Racreithia[1] dy eir kyn noi dodi."

[1] ystyria.

ILLTYD.——LLANILLTYD FAWR.

LLANILLTYD FAWR, yn Morganwg; yr hwn le a elwid hefyd CÔR

ILLTYD, a BANGOR ILLTYD, a gafodd ei enw oddiwrth ILLTYD FARCHAW yr hwn a'i adgyweiriodd ar ol ei ddiffeithiad gan y Gwyddelod, yn y 5 ganrif. ILLTYD oedd nai i EMYR LLYDAW, ac a ddaeth drwodd gy GARMON, ac a osodwyd yn flaenor ar yr athrofa yma; yr hon, yn ol hae iad rhai, a elwid cyn hynny, *Côr Tewdws*, a *Chaer Worgorn*. Ond mai yr un Côr y gallasai fod, nid boddhaol i mi, mai yr un lle oedd *Ca Worgorn*, a *Llanilltyd fawr*.

Illtyd yn ddiau, oedd yn ddyn o ddoniau a dysgeidiaeth godidog; on ymddengys nad oedd ei lafuriadau ddim yn gyfyngedig i bethau crefyddo eithr ei fod hefyd yn wasanaethgar i'r Cymry mewn pethau tymhorol, fel ceir yn y Triad canlynol:—

"Tri chyfarwysawg Cenedl y Cymry:———

Cyntaf Hu Gadarn, a ddangoses y ffordd i aru tir i genedl y Cymry, pan oeddyn yng Ngwla yr Haf, sef y lle y mae Constinoblis yn awr, cyn nou dyfod i ynys Prydain.

A Choll ap Coll Frewi, a ddaeth gyntaf a Gwenith a Haidd i ynys Prydain, lle nid oed namyn Ceirch a Rhyg cyn no hynny:

A Elldud farchawg Sant o Gor Dewdws a wellâes y modd a erid tir ac a ddysges iddy y drefn a'r gelfyddyd ar aru y tir ysydd yn awr; canys cyn nog amser Elldud ni chyferid eithr a chaib ac arad arsang yn unrhyw a ffordd y Gwyddelod."

Megys ag yr oedd Llanilltyd fawr yn enwog yn yr hen amseroedd, felly y mae y dydd heddyw yn un o'r lleoedd mwyaf nodedig yn yr ynys, o ran ei gweddillion hynafiaethol; yn enwedig yr ysgrifau cynoesawl a hanfodant yno ar y meini; un o'r rhai hyn sydd ar golofn maen yn y fynwent, yn mynegi i'r golofn honno gael ei gosod i fynu gan SAMSON, yr hwn oedd flaenor ar Gôr Illtyd, yn y 6fed ganrif. Yr ysgrif arall sydd ar garreg golofnawl, yn syth wrth fur yr Eglwys, a'r hon a gafwyd gan Iolo Morganwg, yn y ddaear gerllaw yr un man, yn y flwyddyn 1789, lle yr oedd wedi ei chladdu er cyn côf. Arweiniwyd ef i chwilio am dani trwy hen draddodiad, ei bod gwedi syrthio, trwy dorri bedd yn rhy agos iddi. Yr ysgrif a ddengys i'r garreg yma, yr hon fel y llall, oedd baladr croes, gael ei gosod i fynu gan yr un gŵr, sef SAMSON. Mab oedd efe i AMWN DDU brenin *Graweg*, yn Llydaw.

## SANT FFRAID.

Y Santes hon oedd Wyddeles, a pha fodd y daeth i fod mor anrhydedd yn mhlith y Cymry, ni wyddys; nac ychwaith yn mhlith y cenhedlodd c nesol: canys nid oes un o'r gwledydd Prydeinig, lle ni cheir Eglwys yn gyflwynedig iddi: gelwir hi hefyd *Sant Bride*, a *St. Bridget*.

Oddiwrth y sylwadau rhagflaenol, gellir canfod, fod cynnydd ma wedi cymmeryd lle mewn sefydliadau Eglwysig, ar ol yr adfeiliad yn amseroedd terfysglyd, ar ymadawiad y Rhufeiniaid. Ac y mae yn bet

gyffroi diolchgarwch, fod offer o'r fath uchod, wedi eu cyfodi i adgyweirio y bylchau y rhai a wnaethpwyd yn yr amseroedd blin hynny: canys y mae mynegiadau eglur, fod Cristianogrwydd wedi syrthio i adfeiliad galarus; a bod eilunaddoliaeth yn gynnaliedig mewn amrywiol fannau yn yr ynys, yn mhlith y trigolion cyntefig, y rhai oeddynt ychydig o'r blaen yn arddel y wir ffydd.

Ond heblaw yr ymdrechiadau uchod yn yr Eglwys Gymroaidd, dygwyddiad arall a gymmerodd le yn yr amser yma, yr hwn a fu o anfeidrol bwys i Gristionogrwydd, a hynny oedd tröedigaeth y Saeson, yr hwn a ddygwyd i ben yn y modd canlynol.—

## TROEDIGAETH Y SAESON.

Y Pab GREGORIUS, yr hwn a elwir GREGORIUS FAWR, pan oedd etto ond Diacon, unwaith wrth rodio yn marchnatfa y caethweision yn Rhufain, a welodd rai gweision ieuainc yno, yn cael eu cynnyg ar werth, y rhai oedd yn hardd a theg eu hagwedd. A phan ddeallodd mai Paganiaid oeddynt, gofynodd o ba genedl oeddynt, a dywedwyd wrtho, mai *Angli*, [Eingyl] oeddynt. Ac yntau a attebodd, eu bod hwy megys *Angeli* [*angylion*,] o ran gwedd, a dylent fod yn gyd-etifeddion âg angylion. Gofynodd wedi hynny, o ba wlad yr oeddynt yn dyfod, ac attebwyd, o *Deira*, [*Deifyr*,] Ac yntau a ddywedodd mai eu dyledswydd, oedd eu gwared hwy, "*de ira Dei;* [*allan o ddigofaint Duw.*] Etto gofynnai, pwy oedd brenin y wlad honno? ac attebwyd, *Ella:* ac yntau a ddywedodd bod yn rhaid canu *Alleluia* yno. Ar hyn Gregorius a benderfynodd fyned ei hun i Brydain, megys cenhadwr; ond lluddiwyd ef yn ei amcan. Eithr ar ol ei dderchafu i'r orsedd Babaidd, nid annghofiodd ei fwriad, perthynol i dröedigaeth yr Eingyl; ac efe a anfonodd drwodd AUGUSTINUS, yr hwn a elwir AWSTIN FONACH, a'r hwn, gydag amryw ganlynwyr Eglwysig, yn y flwyddyn 597, a diriodd yn Nghaint, lle yr oedd ETHELBERT, yn frenin; ac ar ol llawer o lafur, efe a lwyddodd i argyhoeddi y brenin hwnnw, ac iddei droi yn Gristion; cynllun yr hwn a ganlynwyd gan ei holl deyrnas. Y mae yn ddyledus sylwi, fod y frenhines BERTHA, eisioes yn Gristianoges; ac nid yw annhebygol fod rhyw dueddiad tuag at Gristionogrwydd, etto yn llechu yn y wlad, yn mhlith y gweddillion o'r Brytaniaid, y rhai yn ddilys a oeddynt yn hanfodi heb eu llwyr ddiwreiddio; er mewn cyflwr o gaeth-wasanaeth, yr hyn dueddiad a gydweithredai tuag at hyfforddi y gorchwyl o dröedigaeth.

Ar ol hyn, Awstin a wnaethpwyd yn Archesgob ar ei ddysgyblion newydd, ac yno efe a drodd ei feddwl tuag at ddwyn Eglwys Cymru dan awdurdod Rhufain: ac i'r dyben i gyflawni hyn, efe a geisiodd gyfarfod

âg Esgobion y wlad yma, yr hyn a ganiatawyd iddo; eithr er iddo gym-meryd arno gyflawni gwyrth, sef dychwelyd ei olwg i ddyn dall, etto l-lwyddodd i argyhoeddi ei wrthddadleuwyr; ond hwynthwy a ddywedasant, fod yn rhaid iddynt ymgynghori â'u cyfeillion yn gyffredinol. Felly cy-tunwyd gyfarfod drachefn i'r un dyben, mewn cymmanfa liosocach. *Ac* yn ganlynol i hyn, daeth yn nghyd, saith o Esgobion Cymru, heblaw amryw o dduwinyddion ereill, yn nghyda *Dunawd*, Abbad Bangor Iscoed. Y gwŷr hyn, cyn myned i'r cyngor, a aethant at Feudwy doeth a duwiol, yn eu gwlad, i ofyn ei gyngor, pa un a ddylent ufuddhau i Awstin ai peidio. Y Meudwy a ddywedodd, "Os gŵr Duw ydyw, canlynwch ef." A hwynthwy a ofynasant, Pa fodd y gallent wybod hynny. Ac yntau a ddywedodd, Os nad ydoedd yn ostyngedig o galon, ni allai fod o Dduw. A hwynthwy etto a ofynasant, Pa fodd y gallent gael allan hynny. Yna y Meudwy a ddywedodd wrthynt, am adael i Awstin a'i gyfeillion ddyfod i'r lle yn gyntaf, ac os cyfodai efe ar eu dyfodiad, y dylent wrandaw arno yn ufudd; ond os na chyfodai, am iddynt ei ddiystyru.

Hwynthwy a wnaethant yn ol y cyngor hyn, ac Awstin ni chyfododd iddeu derbyn, ond parhaodd i eistedd yn ei gadair. A hwynthwy yn canfod hyn, a gynhyrfiwyd â digter, wrth weled y fath falchder; ac a wrth-wynebasant bob peth ag a ddywedai.

Ac yntau yn gweled eu hanysgogrwydd, a ddywedodd wrthynt, er eu bod hwy yn annghyttuno âg ef mewn cynnifer o bethau, etto goddefai hynny oll gydag amynedd, os ufuddhaent iddo mewn tri pheth: sef, "Cadw y Pasc yn ei wir bryd; gweini bedydd yn ol defodau Eglwys Rhufain; a phregethu gyda hwy, Air Duw i genedl yr Eingyl." Ond hwynthwy a attebasant, na wnelent un o'r pethau hyn, ac na fynent ef yn Archesgob; gan ystyried yn mhlith eu hunain, os na chyfodai o'i eistedd ar y pryd hynny, pa faint mwy y dirmygai efe hwy, os deuent yn ddarostyngedig iddo.*

Ar hynny, Awstin a ragddywedodd wrthynt mewn llais bygythiol, Os na fynent heddwch gyda brodyr, y caent ryfel â gelynion; ac os oeddynt yn anfoddlon i bregethu ffordd y bywyd i genedl yr Eingyl, y caent, trwy ddwylaw y rhai hynny, oddef dialedd angeu" Ac ychwanega Beda, y hwn a draetha yr hanes yma, y darfu i'r rhagfynegiad hyn gael ei ddwyn i ben, yn yr alanastra a gyflawnodd *Aedilfrid*, [*Ethelfrith*,] brenin Eingyl, ar fyfyrwyr Bangor; am yr hyn y crybwyllwyd eisioes, tu dal. 3

* Dangosir hen weithred Gymraeg, yr hon a haerir mai atteb yr Esgobion hyn ydy ond nis credaf ei bod mor hened a'r 6fed ganrif; ac felly nis gwnaf yma, ond cyfeirio a yn unig. Dechreua, "Bid yspys a diogel i chwi, yn bod ni holl ac arall, &c" Ac yn â yn mlaen i wadu awdurdod y Pab, ac i ddywedyd eu bod hwy "dan lywodraeth Esgo Kaerllion ar Wysc, &c."

Yn yr hanesiad hyn, y mae amryw bethau yn ganfodedig, yn haeddianol o sylw. Gwelir yma awyddfryd canmoladwy Gregorius, dros dröedigth cenedl bellenig, yn nghyda'i ymddygiad Cristianogol yn anfon cennad wodd at y gwaith: yr hyn oll a gyhudda yn llym ein cydwladwyr am hesgeulusiad pechadurus o'r ddyledswydd hyn, o bregethu yr efengyl i'r ganiaid, y rhai a drigent yn eu hymyl. Yn y man nesaf, gwelwn falchr gwrthun y cennadwr Awstin: ac etto hwnnw, er ychwanegu bai ein lwladwyr, yn cael ei wneuthur yn offeryn effeithiol i weithredu tröedeth cenedl Baganaidd.

Gwelwn hefyd yn mhlith eu holl feiau, ymddygiad dewr ac anysgogawl hynafiaid, yn pallu rhoddi lle dros funud, iddeu gwrthwynebydd, ond egniol yn gwrthsefyll pob cynnyg iddeu darostwng i ufudd-dod i Eglwys ufain. Pe buasent mor dirion tuag at eneidiau eu cymmydogion ganaidd, ag yr oeddynt ddewrion yn erbyn ymosodiadau estronaidd, n y buasai rhyw fodd neu gilydd yn gweithredu er daioni iddynt eu nain, a'u cenedl.

## Y BEIRDD.

Yn y canrif nesaf ar ol ymadawiaid y Rhufeiniaid, a dyfodiad y Saeson, vn liaws o brydyddion yn ymddangos ar unwaith yn mhlith y ythau Cymraeg, y rhai a dywalltent eu hodlau mewn modd tra doniol. mae yn ddilys fod ymosodiadau ffyrnig yr estroniaid gwedi cyffroi egni nbenid y Cymry; a'r awen gwedi deffro, yn cyd-weithredu er amddiffiad rhydd-did, yn dysgleirio gyda llewyrchiad anarferol.

Oddiwrth anianawd y prydyddiaeth boreuaf ar glawr, gallwn benderfynu hyderus, mai nid hwn oedd y cyntaf yn mhlith y Cymry: canys y mae medrusrwydd a ddangosir yn y cyfansoddiad, yn dangos yn foddhaol, l y cyfryw brydyddion yn gynnefin â'u gwaith; ac y mae y cyffelybiaeth eu dull o brydyddu, yn dangos cyfundraeth gyffredinol yn eu plith. Ac ly y mae yn ddilys fod y Cymry yn perchenogi y fath radd o ddynion yn ser y Rhufeiniaid, er nad oes enw neb o honynt wedi ei draddodi i ni, na m o'u cyfansoddiadau, oddieithr y gallwn dderbyn felly rai o'r darnau a feiriwyd eisioes attynt, megys yn cynnwys cyfeiriadau at grefydd y rwyddon. Ac y mae hyn yn cyttuno â'r mynegiadau a gawn yn yr grifau Rhufeinig, &c. perthynol i'r beirdd. Canys dywedir fod yn hlith y *Celtiaid*, ar y cyfandir, radd o ddynion a elwir *Bardi*, y rhai a fansoddent brydyddiaeth, ac a'i canent gydag offer cerdd, yn debyg i'r yra; wrth yr hyn yn ddiau, yr arwyddoceir *Telynau*. A chan fod y eltiaid yn nhir Gâl, yn dwyn y fath berthynas agos i'r Brytaniaid yn eu fferion, gallwn dderbyn y mynegiad uchod, megys yn estynedig at ynys

Prydain, yn gystal a'r cyfandir. Ac y mae y fath gyffelybrwydd rhwng y geiriau *Bardus*, a *Bardd*, ac nad oes lle i feithrin un amheuaeth o'i blegid.

Y beirdd cynnaraf yn mhlith y Cymry, gwaith pa rai sydd ar glawr, ydynt y rhai a ganent yn y 6fed ganrif; y sawl oeddynt *Taliesin*, *Aneurin*, *Myrddin*, *Llywarch Hên*, a *Golyddan*. Ac yn y canrif nesaf yr oedd *Meigant*, ac *Elaeth*. Heblaw y rhai hyn, yr oedd yn y 6fed ganrif ereill, gwaith pa rai sydd ar goll, sef *Talhaiarn*, a *Cian*. Enwir hwy yn ysgrif attodawl Nennius, yn y modd canlynol, wrth grybwyll am yr oes honno.—

"Item Talhaern Talanguen in Poemate claruit, & Nuevin, & Taliessin, & Bluchbar, & Cian qui vocatur Gueinchguant, simul uno tempore in Poemate Britannico claruerunt."

Yr hyn y mae Ieuan Brydydd Hir, yn ei ddehonglyd fal y canlyn;—

Hefyd TALHAIARN TATANGWN a lewyrchodd mewn prydyddiaeth. Ac ANEURIN a TALEISIN a LLYWARCH, a CIAN yr hwn a elwir GWYNGWN yn yr un amser a lewyrchasant mewn prydyddiaeth Brytanaidd.

Ac er cadarnhau ei farn am yr enwau hyn, efe a gyfeiria at y cyfansoddiad a elwir *Angar Cyfyndawd*, yr hwn a gyfrifir i Daliesin, lle y ceir enw Talhaiarn.—

"Trwy iaith Talhaiarn
Bedydd bi ddydd farn."

Ac hefyd yn yr un cyfansoddiadau, crybwyllir am CIAN, megys yn clodfori llawer mewn barddoniaeth.—

"Cian pan ddarfu
Lliaws gyfoli."

Hefyd dangosa fod Aneurin yn crybwyll am yr un dyn, yn y Gododin, lle y dywed i fab iddo syrthio yn mrwydr Cattraeth.—

"Un maban y Gian o faen Gwyngwn."

Yr oedd amryw feirdd ereill yn yr oes hon, y rhai ni cheir ond eu henwau yn unig ar glawr. O'r cyfryw oedd MYRDDIN EMRYS, bardd *Uthyr Pendragon;* TRISTFARDD, bardd *Urien Rheged*, DYGYNNELW, bardd *Owain ap Urien;* AFAN FERDDIG, bardd *Cadwallon ap Cadfan;* AFAON, mab *Taliesin*, *&c.* Am yr olaf o ba rai, y mae y cofiant canlynol;

"A glyweisti a gant Avaon
Vab Talyessin gerd govyon
Ni chel grud gystud calon."

) cywir y traddodiadau, y mae yn ddilys fod amryw ereill o'r corff ddonawl yn byw yn y 6ed ganrif, o ba rai nid oes cymmaint a'u henwau i disgyn attom. Ond awn rhagom at y rhai hynny y mae eu gwaith lawr.

## TALIESIN.

nghedfen dra nodedig yw eiddo enwogion y Cymry. Yn yr un r ag y maent enwog, y maent anadnabyddus. Arthur, a Myrddin od un yn ben ar frenhinoedd y byd, a'r llall ar y dewinion, ni wyddys yn awdurdodawl am eu hanniad, ac weithiau amheuir eu hanfodiad. Taliesin, yntau, gan ei fod yn ben ar y beirdd, sydd â'i hanes yn dywyll, a'i gyfansoddiadau mor llawn o gymmysg-waith oesoedd darach, ag braidd y gellir dywedyd pa ran sydd o wir ganiad y bardd ı. Yr unig hanes am Daliesin, ar glawr, ydyw yr un a geir yn y nogion, yr hwn, fel y cwbl o gynhwysiad y cyfansoddiadau hynny, mor llawn o gymmysgiadau chwedleuaidd, fel nis gellir adrodd un › honaw, megys hanesyddiaeth; ond gan fod fynychaf ryw sail na'i l i'r rhan fwyaf o'r cyfryw draddodiadau, felly gallwn feddwl, fod Taliesin hefyd yn cynnwys ambell gyfeiriad cywir. Yn ol yr hanes yr oedd gan Tegid Foel, o *Benllyn*, gerllaw Llyn Tegid, wraig o'r Ceridwen, yr hon oedd Wyddones; a' hi wedi esgor ar fab, a'i nodd mewn sach groen, ac a'i taflodd i'r môr; ac efe a gafwyd y drannoeth gan Elphin, mab Gwyddno Garanhir, mewn cored otta, rhwng Dyfi ac Aberystwyth. Ar ol dattod y sach, yr agorwr, ganfod wynebpryd y plentyn, a ddywedodd wrth Elphin, "Llyma sin."—"*Taliesin* bydded ei enw, ebai Elphin." Ac efe a'i cymmerdref gydag ef. Ar y ffordd, y plentyn a ganodd dyhuddiant i Elphin gysuro, am fethu o honaw gael dim pysgod yn y cored, y dydd w.

mhen ychydig o amser, Taliesin gwedi dangos rhagoroldeb ei au, a aeth i gastell *Dyganwy*, i lys Maelgwn Gwynedd, ac yno, er nachgen, efe a drechodd ar yr holl feirdd cynnulledig, ac a berodd d mawr am y galluoedd a berchenogai.

awr, gellir gofyn, Pa ddefnydd a wneir o'r cyfryw fynegiadau chwedl-l? Yr atteb yw, gan fod rhyw sail i gynnifer o draddodiadau ereill fath, dichon y gall fod i'r chwedl hon hefyd; ac felly y mae lle i l, ei bod yn cyfeirio yn wirioneddol at wlad enedigol Taliesin; sef dd-dir Cymru. Ac yn y cyfansoddiad a elwir *Anrheg Urien*, y n arwyddocau fod ei annedd ar lann *Llyn Geirionydd*, yn swydd arfon.

"Urien o Reget hael ef syd ae a fyd
Ac a fu yr Adaf letaf ei gled
Balch ynghynted
Or tri theyrn ar ddeg or gogled
A un eu enu Aneuryn guautryd auenyd
A minneu Dalyesin o lann llyn Geirionnydd."

Ond er fod Taliesin yn hannedig o Gymru, gwelir fod rhan fawr o'i brydyddiaeth yn cyfeirio at amgylchiadau Gogledd-dir yr ynys; ac y mae ganddo amryw odlau er mawl i Urien Rheged, ac hefyd ereill o wronion y gwledydd gogleddol.

Gan fod y bardd hwn yn cael ei gyfrif yn ddewin, y mae amryw gyfansoddiadau yn gyfrifedig iddo, y rhai ni welodd efe erioed. Am y prydyddiaeth yn y Myv. Arch. yr hwn a geir tan enw Taliesin, gellir canfod, wrth yn unig droi y dail, fod llawer o honaw yn ddiweddarach na'i amser ef. Ac os edrychir yn fwy manwl ar y casgliad hwnnw, ceir gweled fod y fath gymmysg ynddo, ac na ddylid derbyn un gyfran megys awdurdodawl, heb ystyried ei anianawd gyda llawer o ofal. Canys y cyhoeddwyr ni chymmerasant arnynt bigo allan yr hyn oedd iawn eiddo pob bardd; ond rhoisant bob peth fel y cawsant yn yr ysgrifau o'u blaen. A hyn oedd eu dyledswydd, a chyflawnasant ef gyda ffyddlonrwydd: gall pob darllenydd yn awr farnu drosto ei hunan. Ac er anghraifft o annghywirdra yr ysgrifau, sylwaf ar Ddyhuddiant Elphin, tu dal. 20. Y mae y cyfansoddiad hwn wedi ei uno â *Gorchan Tutfwlch*, o waith *Aneurin*, yn y fath fodd ag na allasid gwybod eu bod yn wahanol odlau, oddieithr cael allan ysgrif gywirach ar ol cyhoeddiad y gwaith; ac y mae yn ddilys gennyf bod llawer peth o'r un fath yn hanfodedig yn y casgliad. Am hynny ni ddylid collfarnu y cyfan o un cyfansoddiad, am fod ymadroddion diweddar mewn rhan o honaw; nid annichonadwy mai gorchwyl ydyw, ffurfiedig o ddarnau o amryw oesoedd, wedi eu glynu yn nghyd trwy annghelfydd-dra yr ysgrifenydd.

Am waith Taliesin, y mae yn ddilys fod amryw o'r cyfansoddiadau yn y Myv. Arch. yn wir eiddo iddo: o'r cyfryw, y mae *Gwaith Gwenystrad*, *Gwaith Argoed Llwyfain; amryw o'r odlau i Urien Rheged*, *Gorchan Maelderw*, *&c.* Cyfrifir fod Taliesin yn canu rhwng y flwyddyn 520, a 570. Y mae traddodiad, fod y bardd hwn unwaith yn fyfyriwr yn Nghôr Cattwg; ac y mae yn llawer o'r gwaith a gyfrifir iddo, arwyddion o ddysgeidiaeth, digon i gadarnhau y cyfryw fynegiad.

### ANEURIN.

ANEURIN GWAWDRYDD, oedd fab i CAW O GWMCAWLWYD, pendefig gogleddawl; Sefyllfa tiriogaeth yr hwn, nid yw hyspys. ANEURIN

iodd tua chanol y 6fed ganrif; sef, rhwng 520, a 570. Y mae yn rol rhoddi iddo ef y blaenoriaeth, o ran amseriad, ar y beirdd ereill gyd-oesolion: ond gan nas gwn fod un awdurdod am y cyfryw radd-;aeth, a chan fod TALIESIN yn mwynhau yr anrhydedd o'i alw yn *ı-beirdd*, dechreuais y cofrestr hwn â'i enw ef. Os ydoedd Aneurin ydig flynyddoedd yn henach nag ef, y mae y profion o hynny yn fygiol y dydd heddyw.

yfansoddiadau Aneurin, yn awr mewn hanfodiad, ydynt y *Gododin*, *archan Adebon*, *Gwarchan Cynfelyn*, *Gwarchan Tutfwlch*, ac *ilynion y Misoedd.*

*Gododin*, yw y cyfansoddiad prydyddol hwyaf, o waith y beirdd )esawl; cynnwysa o gylch naw cant o linellau: ond y mae yn debygol yw rhan fawr o'i ddiwedd, ddim amgen, na chasgliad o amrywiaethau w rannau rhagflaenol, yn gymmysg â darnau a bannau annghydiedig gyfran sydd ar goll: canys dywedir ei fod yn ei gyflwr cysefin, lawer hwy nag y ceir ef y dydd heddyw. Yr ysgrif henaf o'r gwaith hwn lawr, a fernir ei bod wedi ei ffurfio o gylch y flwyddyn 1200. Y cyf-)ddiad a gynnwysa amryw fesurau. Y mae llawer o ddychymmygion i eu cynnyg, perthynol i amcan y Gododin; ac amryw gyfieithadau, l ai o'r cyfan o honaw, neu o ryw rannau pennodol. Am y cyfieith-ı, y maent, mewn amrywiol fannau, mor wahaniaethol iddeu gilydd, ıe perthynent i gynnifer o wahanol gyfansoddiadau, ar amryw destunau. ım ystyr neu amcan cyffredinol y gwaith, y mae yr un fath o annghyt-leb. Rhai a farnant ei fod yn cyfeirio at frwydr neilltuol, sef brwydr *traeth;* ereill a feddyliant, mai nid at un frwydr bennodol y cyfeiria at amryw frwydrau. Davies, yntau a haera, mai nid at frwydr y iria, ond at alanastra lofruddiol, sef *Brad y Cyllyll Hirion*, yn aith Emrys, [gwel tu dal. 240,] a barna ei fod yn llawn o ddaliadau wyddol. Am y gair *Cattraeth*, ni welais erioed un esponiad boddhaol ). Ond am enw y gwaith, sef, *Y Gododin*, ymddengys fel pe bai ryw i'r dychymmyg, mai yr un gair ydyw ag *Ottadini*, enw llwyth, yn er y Rhufeiniaid, yn y Gogledd, yn nghymmydogaeth *Bryneich;* a y fath ardal yn adnabyddus o gylch amser Aneurin, gallwn gasglu iwrth eiriau Nennius, yr hwn a ddywed i Gunedda, Gorhendad ılgwn Gwynedd, ddyfod yn ddechreuol, yn nghyda'i feibion, o'r parth leddol "o ardal, a elwir *Manau Guotadin.*"

Maelcunius magnus Rex apud Britones regnabat, id est, in Regione Guenedotæ, quia us illius Cunedag cum filiis suis (quorum numerus octo erat) venerat prius de parte trali, de Regione quæ vocatur Manau Guotadin. CXLVI annis ante quam Mailcun uet; et Scotos cum ingentissima clade expulerat ab istis Regionibus, et nusquam mi fuerunt iterum ad habitandum."

"Maelgwn, brenin mawr, a deyrnasodd yn mhlith y Brython, hynny yw, yn ardal Gwynedd: canys ei orhendad, Cunedda, yn nghyda'i feibion, (rhifedi pa rai, oedd wyth, a ddaeth ar y cyntaf o'r parth gogleddol, o'r ardal a elwir Manau Guotadin, 146 o flynyddau* cyn i Maelgwn deyrnasu; ac a yrrodd ymaith y Gwyddelod gyda dirfawr alanastra, allan o'r ardaloedd hynny; ac ni ddychwelasant fyth drachefn i aneddu."

Oddiwrth yr hyn a fynegwyd, perthynol i'r annghyltundeb yn nghylch amcan ac ystyr y Gododin, ni chanaf allan o'm lle, mor belled, a cheisio rhoddi un eglurhad, pa bynnag, o'r cyfansoddiad, gyda golwg ar symmud ymaith achlysur yr ymrafaelion hyn; ond yn unig rhoddaf ychydig anghreifftiau o'r gwaith, er dangos i'r rhai ni feddant ef, ei ansawdd cyffredinol. Y bann cyntaf sydd fal y canlyn:—

"*Hwn yw e gododin. aneirin ae cant.*"

"Gredyf[1] gwr oed gwas  
Gwrthyt[2] am dias  
Meirch mwth myngvras.  
A dan vordwyt megyrwas.  
Ysgwyt ysganyn lledan  
Ar bedrein mein vuan.  
Kleduawr glas glan  
Ethy eur aphan.[3]  
Ny bi ef a vi  
Cas erof a thi.  
Gwell gwneif a thi  
Ar wawt dy uoli.  
Kynt y waet elawr[4]  
Nogyt y neithyawr.  
Kynt y vwyt y vrein  
Noc y argyurein.  
Ku kyueillt ewein.  
Kwl y uot a dan vrein,  
Marth ym pa vro  
Llad vn mab marro."

[1] greddf.
[2] gwrdd.
[3] a phan, medd rhai, [brethyn, pannus.]
[4] y llawr, medd rhai.

O gynneddf gwrawl oedd y llanc; dewr mewn brwydr. March cyflym mwng-dew [mwnwgl] a oedd dan forddwyd yr ardderchog was. Tarian ysgafn lydan, a oedd ar bedrain fain gyflym, [y march.] Cleddyf glas gloyw oedd iddaw, yspardunau† aur a brethyn [*teg a gwerthfawr.*] Nid myfi a roddaf i ti ymadrodd digasog; gwell a wnaf a thi, ar gerdd moliant dy glodfori.——Cynt y meddianeist dy elor waedlyd, nag y mwynheaist dy wledd briodas.—Cynt y porthai brain [*ar dy gelain,*] nag i ti drachefn ymdrechu mewn brwydr. Fy anwyl gyfaill Owain, diegni ydwyt odditan y brain.—Tristwch sydd yn y wlad, am ladd mab *Marro.*

Gan fod cynnifer o amrywiaethau i'r cyfansoddiad hwn, braidd nad hyderwn innau gynnyg un, i'r linell olaf ond dwy; sef, *Cul y vot a dan vein,*—*Cul yw dy annedd odditan y meini;* h. y. ei feddrod yn y garnedd.

Fe ganfyddir oddiwrth y darn uchod, yn nghydag ereill a roddwyd

* Ysgatfydd fod teyrnasiad Maelgwn yn gynnwysedig yn y rhifedi uchod, neu ynte, fod rhyw gamsyniad yn hanfodi: canys y mae 146 o flynyddau, yn dalm hir iawn, i ddim ond tri theyrnasiaid.

† Yn ol *Owain Pughe, ethy,* yw *yspardun.*

eisioes, [tu dal. 241,] mai Cymraeg digymmysg yw iaith Aneurin. Ac er y gall fod peth amrywiaeth ardalog, a pheth cyfnewidiad yn rhwysg amser, ac amryw eiriau wedi syrthio i anarferiad, etto, pan gymhwysir yr hen lythyreniad, ni ellir lai na chyfaddef, fod anian y iaith yn gwbl gyson â'r Gymraeg y dydd heddyw. Er anghraifft;—

"Gwyr a aeth Gattraeth vedvaeth vedwn
Phyru fruythlaun oed cam nas cymhuyllun
Eam lavnawr goch gorfawr gwrmwn
Dwys dengyn yd ymledyn aergwn."

"Gwyr a aeth Gattraeth fedd-faeth feddwn,
Ffurf, ffrwythlawn, oedd cam nas cymhwyllwn
Y am lafnawr coch gorfawr gwrmwn
Dwys dengyn yd ymleddynt aer-gwn."

Gwyr a aethant i Gattraeth ar ol cyfeddach médd, Diysgog a buddiol oeddynt; byddai yn gamwedd pe nas adgofiwn, yn nghyda llafnau cochion, gorfawr, a gleision, dwys a dygn yr ymladdent y cŵn rhyfel

Ond y mae yn rhaid cyfaddef, mai nid pob rhan sydd mor ddealladwy; oni te ni fyddai cymmaint o ymrafael yn y dehongliad.

Megys ag y mae amcan y Gododin yn anhyspys, felly y mae eiddo y *Gwarchanau*. Y mae Davies yn haeru, mai math o swyn-gyfareddau ydynt; ac y mae yn dadleu yn anattebadwy, fod Gwarchan Cynfelyn, yn cynnwys cyfeiriadau at yr un gwrthddrych, ag a welir ar yr hen fathau aur Brytanaidd; sef, y March afluniaidd, a'r pen aderyn; gwel tu dal. 41. Am *Englynion y Misoedd*, nid ydynt amgen, na chasgliad o ymadroddion diarhebawl.

Yr oedd Aneurin, nid yn unig yn deffroi gwladgarwch a dewrder ei gyd-genedl trwy ei awenyddiaeth, ond hefyd yr oedd yn cyfranu ei ymdrechiadau priodol tuag at amddiffyniad o'u breintiau; canys yr oedd efe yn gyd-ddrychiol yn mrwydr Cattraeth; ac yn un o'r ychydig a ddiangasant o'r alanastra. Bu hefyd am ryw amser, yn garcharor: canys dywed,

"Ystynnawc fyg glin[1]
Yn y ty deyerin
Catuin[2] heyernin
Am ben fy deulin."

[1] fy nghlun.
[2] cadwyn.

Ac arwyddoca iddo gael ei wared o'r lle hwnnw, ac o ddihenyddiad, gan *Ceneu* ab *Llywarch*.

"O nerth y cleddyf claer y hamuc[1]
O garchar anwar daear ym duc
O gyvle anghen o anghar dut[2]
Ceneu vab Llywarch dihavarch[3] drut[4]

[1] amddiffyn.
[2] lle.
[3] egniol.
[4] dewr.

Ond er atgor yn ddiogel o frwydr ddychrynllyd Cattraeth, a dia cadwyn haiarn yn y tŷ daeeryn, etto y bardd nid attaliodd y d a ddygwyddodd i gynnifer o'i gyd-oesolion, naill ai ar y maes trwy fradwriaeth: canys efe a gafodd ei ladd trwy ergyd bwyall *Eiddyn ab Einygan* megys y gwelir yn y Trioedd,—" *Tair* *fwyellawt Ynys Prydain. Bwyellawt Eiddyn ym pen Aneurin* TRI. XXXIX.

Rhai blynyddau yn ol rhyfygais gynnyg, mewn ysgrif yn y *Cam Quarterly Magazine*. Vol. I. p. 352, ychydig sylwadau ar y *Dyfynawl Frych* yn y Gododin; gan haeru, mai yr un ydyw a *D Brec*, brenin y Scottiaid, yr hwn a laddwyd gan *Owain*, brenin y Bry ac os cywir fy marn yn hyn, y mae yn dangos fod y Gododin, yn l beth, ar y lleiaf yn cyfeirio at ryfeloedd yn y Gogeddd, [gwel tu dal. Yr unig beth a ellir ei ddywedyd yn erbyn y cyfryw haeriad, yw ydyw yr amseriad ddim yn cyttuno âg eiddo Aneurin. Ond y m rhaid sylwi, fod yn yr hen gofiaint Yscottaidd, y fath annghysonde nis gellir eu derbyn, megys awdurdod yn hyn. Y maent fel y ca megys y ceir yn ngwaith RITSON, ac ereill.—

| | |
|---|---|
| " DCXLII. Domnail [Brec] in bello Fraithe Cairvin [l. Straithcair-maic] in fine anni m. Decembri interfectus est [ab Hoan rege Brittonum] et annis quindecim regnavit." | 642. *Donald Brec*, a laddwyd yn Fraith Cairvin, &c. yn niwedd y fl yn mis Rhagfyr, gan *Owain*, b Brython; teyrnasodd 15 mlynedd. |

Etto,—

| | |
|---|---|
| "DCVXXVIII. Bellum I Calatros. i apud Calaros in quo victus est Domnall Brecc." | 678. Bu brwydr wrth Calatros, yn y gorchfygwyd Donald Brec. |

Ac etto,—

| | |
|---|---|
| " DCVXXXVI. Talorg mac Acithen Daniel Breoo [l. Brecc] mac Eacha mortui sunt." | 686. Talory, mab Acithen, a Brec, mab Eochy, a fuont feirw. |

Gelwir ef hefyd *Dovenald Varius*,—

| | |
|---|---|
| " DCXXIX. Dovenald varius filius Eochid quatuordecim annis [regnavit.]" | 629. *Dovenald Frych*, mab E a deyrnasodd 14 mlynedd. |

Yr hyn a ddengys gyttundeb yr enwau, gan fod *Varius* yn y L a *Brec* yn y Wyddelaeg, yn arwyddocau *Brych*: ac felly yn att ymadrodd Cymraeg yn y Gododin.

" A phen dyvynaul vrych breis ae cnoyn."

Y mae yr hen hanesydddion Scottaeg, mor synhwyrol o'r annghysondebau uchod, a bod rhai yn ceisio dychymmyg, fod mwy nag un o'r enw uchod. Os felly, gallasai fod un o honynt yn byw yn amser Aneurin. Ond y mae y fath annghysondeb, yn ddigon i daflu y camsyniad oddiar ysgwyddau yr hanesiadau Cymraeg. Am hynny, meddyliaf fod lle i gredu, fod y Gododin mewn rhan, os nid yn hollol, yn cyfeirio at amgylchiadau Gogleddol. Am yr ymadrodd arall, sef—

"Er pan aeth daear ar Aneurin."

Cyfaddefaf y gall, yn ol esponiad y cyfieithwyr, gyfeirio at garchariad y bardd yn *y ty daearin*, ac nid at ei gladdedigaeth; ac felly y gall fod yn rhan o'i briod gyfansoddiad ei hun.

## LLYWARCH HEN.

Y milwr clodfawr hwn, oedd fab i *Elidyr Lydanwyn*, *ap Meirchiawn*, *ap Grwst*, *ap Ceneu*, *ap Coel Codebog;* ei fam oedd *Gwawr*, merch *Brychan Brycheiniawc*. Yr oedd yn bendefig o ryw ardal yn ngogledddir yr ynys; eithr sefyllfa y lle nid yw hyspys: tebygol mai *Argoed*, oedd ei enw. Ar ol rhyfeloedd hir a gwaedlyd, yn mha rai y syrthiodd ei feibion, a'i gyfeillion, Llywarch Hên a orfu adael ei etifeddiaeth yn nwylaw ei elynion Saesonaidd, a ffoi i Gymru, lle y cafodd noddfa, gan *Gynddylan*, yn Mhengwern. Ond ei dynged anffodus a'i canlynodd yno hefyd; canys Cynddylan a laddwyd mewn brwydr, a'i lys a anrheithiwyd. Llywarch, yn ei hen oedran, a giliodd i ryw fan yn Ngogledd Cymru, lle y diweddodd ei einioes; gan fod, yn ol pob tebygolrwydd, o gylch cant a hanner oed. Ymddengys ei fod unwaith, yn anneddu yn *Aber Cuawg*, yr hwn le a ddichon allir, ei fod yn swydd Drefaldwyn. Ac y mae traddodiad iddo farw yn *Llanfor*, gerllaw y *Bala*, lle y mae man a elwir *Pabell Llywarch Hên.* Ei rwysg barddonawl a amserir rhwng 520, a 630.

Cyfansoddiadau LLYWARCH HEN, ydynt y canlynol:—*Marwnadau Geraint ab Erbin*, *Urien Rheged*, *Cynddylan*, a *Chadwallawn*. *Iddei Henaint a'i Feibion*, *I Maengwn*, *I'r Gog yn Aber Cuawg*, *Y Gorwynion;* a phedwar o gyfansoddiadau diarhebol ereill: y cwbl o'i waith sydd yn y mesur tribanawg, a elwir *Englyn Milwr*.

Crybwyllwyd eisioes am y marwnadau, dan enwau y pendefigion, i'r mawl y canwyd hwynt; o'r rhai ereill, y mwyaf sylwadwy, ydyw yr un iddei *Henaint a'i Feibion*. Yn y cyfansoddiad hwn, ar ol cwyno ei fethiant, y mae yn crybwyll am ei feibion a'u gwrolder, o ba rai yr oedd

ganddo unwaith, bedwar-ar-hugain; ond hwy oll a syrthiasant mewn rhyfel: yr henaf o honynt, oedd *Gwên*; a'r hwn a fwynhâai yn benn hyder ei dad.

> "Pedwar-meib-arugaint a'm bu
> Eurdorchawg, tywysawg llu;
> Oedd Gwên goreu o naddu.[1]
>
> "Pedwar-meib-arugaint a'm bwyad,
> Eurdorchawg, tywysog càd;
> Oedd Gwên goreu mab ei dad.
>
> "Pedwar-meib-arugaint a'm büyn,
> Eurdorchawg, tywysawg unbyn:
> Wrth Wên gweisionaiu oeddyn."

[1] o honyn

Mynega am lafur ymdrechgar ei fab, yn gwyliad ar y *Lawen*, ac *Rhyd Forlas*.

> "Gwên wrth *Lawen* ydd wylwys neithwyr
> A'r ysgwyd[1] ar ei ysgwydd
> A chan bu mab y'm bu hywydd.[2]
>
> Gwên forddwyd tyllfra a wylias neithwyr
> Yn ngoror rhyd Forlas
> A chan bu mab y'm ni thechas[3]

[1] taria
[2] b
[3] ni ffod

A mynega am ei angeu, yn y dyledswydd hwnnw.

> "Ar ryd Forlas y llas Gwên!"

Ac yna y dywed,—

> "Têg yd gân yr aderyn ar berwydd bren
> Uch ben Gwên
> Cyn ei olo[1] dan dywarch
> Briwiai galch[2] Llywarch Hen.

[1] cudd
[2] llar

Y nesaf o'i feibion a enwa, yw PYLL, i'r hwn y mae yn rhoddi y thagoriaeth mewn rhuthr brwydr.—

> "Dyn dewis ar fy meibion
> Pan gyrchai bawb ei alon[1]
> Pyll wyn, pwyll[2] tan trwy linon[3]

[1] elyniaid.
[2] rhuthr.
[3] llu.

Ac wrth grybwyll am wroldeb *Pyll* mewn brwydr, y mae ganddo un englyn tra nodedig, yn yr hwn y mynega y gallesid adeiladu ystafell, cyfuwch ag y gallai ddyn sefyll ynddi, o ddarnau y tarianau, y rhai a friwesid ar law Pyll.

"Dychonad ystafell o esgyll ysgwydawr
Tra fydded yn sefyll
A friwed ar angad[1] Pyll."

[1] llaw.

Ac mewn man arall, dywed iddo roddi tarian i Byll, yr hon, cyn cysgu, a friwyd mewn brwydr.

"Ysgwyd a roddais i Byll
Cyn noi gysgu neu bu doll?"[1]

[1] dorredig.

Y mae hyn yn arwyddocau fod y tarianau y pryd hyn, megys mewn amryw oesoedd ereill, yn cael eu gwneud o goed a chrwyn, o ddiffyg amldra haiarn, ac efydd. Ac y mae yn eglurhau yr hyn a ddywedir mewn man arall, gan yr un bardd, am weled yn fynych *darian ddrulliedig*, [ysgwyd ton,] yn dychwelyd o frwydr; tu dal. 297.

Y mae yr hen wron yn crybwyll am egni ei ieuenctyd, ac yn dywedyd,

"Tra fum i yn oed y gwas draw
A wisg o aur ei ottoyw[1]
Byddai re[2] y rhythrwn y wayw."

[1] yspardynau. [2] buan. [3] waewffon.

Ac y mae yn galaru na all ef ddim fel arferol, fyned gyda'r gwronion i ryfel.

"Odid eiry toïd ystrad
Dyfrysiynt cedwyr i gàd
Mi nid af, anaf ni'm gad."

Yr eira a orchuddia yr ystrad, y rhyfelwyr a gyrchant i frwydr, ond myfi nid af, methiant ni'm gad.

Ond yn yr englyn olaf, dengys ei ddewrder cynhenid, a'i galonogrwydd anorchfygol, mewn modd tra theilwng.

"Teneu fu ysgwyd[1] ar aswy fy nhu[2]
Cw bwyf hen a's galla*f*,
Ar Rodwydd[3] Forlas[4] gwiliaf."

[1] tarian. [2] ochr aswy. [3] caer. [4] rhyw le yn y [Gogledd.

Yn wir, tra nodedig yw cael yn y modd hyn, mewn ymadroddion syml diaddurn, syniadau yr hen bendefig clodwiw, yn cynnwys darluniad o'r hyn a welodd â'i lygaid ei hun, o wrolder ei feibion, yn y brwydrau dychrynllyd, yn y rhai yr oeddynt yn ymladd; ac y mae ei grybwylliadau am eu beddau, yn dra sylwddenawl.—

"Bedd *Gwell* yn Rhiwfelen[1]
Bedd *Sawyl* yn Llan Gollen
Gwarchaidw *Llafyr* Bwlch Lleriea."[2]

[1] gerllaw y Bala. [2] yn swydd Drefaldwyn.

Hefyd, gwelwn yma yr arfer o gladdu ar bennau y mynyddoedd.

> "Diasbad a ddodir yn ngwarthaf Llug Fynydd,
> Odduch ben bedd CYNLLUG
> Mau gerydd, mi a'i gorug[1]

[1] annealladwy y linell honno.

Heblaw yr uchod, y mae englyn arall yn gyfrifedig i Lywarch Hên, yr hwn a achlysurwyd yn y modd canlynol. Dygwyddodd lladd march *Gwên*, ei fab, mewn brwydr. Ac wedi lladd y march, lladdwyd *Gwên* ei hunan. Ac yn hir ar ol hynny, rhoddwyd penglog y march yn lle carreg, mewn sarn, yn agos i'r man lle y lladdesid ef. Ac ar ol hynny, damweiniodd i Lywarch Hên dramwyaw ar hyd y ffordd honno; a'i was a ddangoses y benglog iddo, gan fynegi ei helynt. Ac yna y dywed Llywarch Hên,—

> "Mi a welais ddydd i'r march,
> Ffriw[1] hydd, tafledydd tywarch,
> Na sangai neb ar ei ên.
> Pan oedd tan Gwên ap Llywarch."

[1] wyneb.

## MYRDDIN WYLLT.

MYRDDIN AP MORFRYN, yr hwn a elwir MYRDDIN WYLLT, a MERLINUS SYLVESTRIS, a CALEDONIUS, a oedd gydoesydd i'r beirdd rhagenwedig; sef yn byw yn yr hanner cyntaf o'r 6fed ganrif. Brodor oedd o Strathclyd, neu o ryw ardal gyfagos, ar ba un yr oedd GWENTCLEU AP CEIDIO, yn frenin; a'r hwn a laddwyd gan RHYDDERCH HAEL, yn mrwydr *Arderydd*. Yr oedd *Myrddin*, yn y frwydr hon, yn ymladd ar blaid ei arglwydd; ac yno cafodd yr anffawd i ladd ei nai, mab ei chwaer; yr hyn a effeithiodd gymmaint ar ei feddwl, a'i hela yn wallgofus. Ond hanes arall a haera iddo yn y frwydr honno weled drychiolaeth brawychus yn yr awyr, yr hyn a'i gyrrodd i wallgofrwydd; ac o achos yr hyn, y ffodd i *Goed Celyddon*, lle y bu yn byw mewn cyflwr crwydraidd, fel y dywed yn ei brydyddiaeth, yn gydymmaith i wyllion y nos.

> "Ydd wyf yn ymdeith gan wylleith a gwyllon."

Yr hyn a bar i rai farnu, mai *Myrddin Wyll*, oedd cysefin ddull ei ragenwad. Y mae hefyd mewn man arall, yn cyfeirio at ei fuchedd anwar yma.

> "A'm yscwyd ar fy yscwydd, a'm cledd ar fy nghlun,
> Ac yn nghoed Celyddon y cysgais i fy hun."

Ac ar ol datgan ei gyflwr annedwydd a thruan, gwedi colli e

berthynas a'i ben gyfeillion oll, arwyddoca mai nid felly yr oedd unwaith; canys yn y frwydr rhagenwedig, mwynhaisai radd penuefigol, gan wisgo y dorch aur.

"Ac yn ngwaith Arderydd, oedd aur fy ngordorch."

Mewn ymddyddan rhwng *Myrddin* a *Thaliesin*, (o waith pwy, nis gwn,) y mae arwyddocad am ereill o ffoedigion, yn nghoed Celyddon, yngatfydd, o herwydd aflwyddiant yn mrwydr Arderydd.

TALIESIN.

"Seith meib Eliffer, seith gwyr ban broffer
Seith gwaew ni ochel, yn ei seithran.

MYRDDIN.

Seith tân ufelin, seith câd cyferbin
Seithfed Cynfelyn y pob cinhvan.

TALIESIN.

Seith gwaew gowanon seith loneid afon
O gwaed Cinreinion y dylanwon.

MYRDDIN.

Seith ugein haelion a aethan yg wyllwn[1]
Yn nghoed Celyddon y darfuan."

[1] wyllion.

Pa hyd y bu Myrddin yn y cyflwr hwn, ni hyspysir: ond oddiwrth yr hyn a grybwyllir am dano yn mywyd St. Kentigern, ei fod yn trigo yn llys Rhydderch Hael, gallwn feddwl iddo adael ei fuchedd wyllt yn y coedydd, a dychwelyd, a chael cymmodiad â'r brenin hwnnw, yn mhlith gelynion pa un, yr oedd wedi bod; ac oddiwrth y mynegiad am dano yn y gwaith yma, y mae yn amlwg ei fod yn cael ei gyfrif yn ynfydyn, yn gystal ag yn ddaroganwr.

Y cyfansoddiadau dan enw Myrddin, ydynt y canlynol: *I Ysgolan*, *Gwasgargerdd Fyrddin yn ei Fedd*, *Yr Hoianau*, *Yr Afallenau*, *Cyfoesi Myrddin a Gwenddydd ei Chwaer*, *A'r Gorddodau.*

Am y cyfan o'r uchod, oddieithr yr *Hoianau*, a'r *Afallenau*, nid oes y sail leiaf, fod dim o honynt yn eiddo Myrddin. Ac y mae y rhan fwyaf yn dwyn y fath nodau diamheuol o wneuthuriad diweddarach na'r 6fed ganrif, ag na thal rhoddi un sylw iddynt, megys gwaith awdurdodol. Ond am y ddau ragenwedig, y mae yn ddiau gennyf, eu bod yn cynnwys rhyw faint o wir gyfansoddiad Myrddin. Y mae y ddau yn llawn daroganau, yngatfydd gwedi ei ychwanegu mewn gwahanol oesoedd. Yn yr un, y

mae y geiriau yn dechreu, "*Oian a pharchellan*," yn ymddangos megys yn gysefin; ac yn y llall, y mae yn ddilys gennyf, fod yr "*Afallen beren*" yr hyn a ddechreua y bannau, o'r un hendra. Ond gan ys pwy a wnaeth yr ychwanegiadau attynt, y mae y linell ddiweddaf yn yr olaf o honynt, yn dra melys a doniol o ran ystyr a geiriad.

"Afallen beren beraf ei haeron
A dyf yn argel yn Argoed Celyddon
Cyd ceisier ofer fydd herwydd ei hafon
Yn y ddel Kadwaladr i gynadl rhyd Rheon
Kynan yn erbyn cychwyn ar Saeson
Kymry a orvydd kain vydd eu dragon
Kaffant pawb ei deithi llawen fi [fydd] Brython
Kaintor cyrn elwch kathl heddwch a hinon."

Yn canu cyrn gorfoledd, oddlau heddwch a thangnef.

Heblaw yr uchod, y mae yn hanes *Gruffydd ap Cynan*, ddarn o brydyddiaeth, yr hwn a gyfrifir i Myrddin. Y mae yn amlwg ei fod mor hen a'r 11. ganrif; canys cyfeirir ef at rwysg y tywysog hwnnw. Adroddir ef yn y modd canlynol, gan grybwyll am Gruffydd ap Cynan:—

"Lymminawc[1] lledfer
A ddaroganer
Diarfor dygosel llygrer
I enw llygrawd llawer."

[1] llammu,—neidio.

Sef yw yn y Lladin,—" Saltus ferinus præsagitur, venturus de mari, insidiaturus cujus nomen corruptor, quia multos corrumpet."

Llammydd bwystfilaidd a ddaroganer, yn dyfod o'r môr, yn maglu, Llygrwr ei enw o herwydd llygra llawer.

## GOLYDDAN.

Y bardd hwn a ganodd rhwng y flwyddyn 560, a 630. Yr unig gyfansoddiad o'i eiddo, yw *Arymes Prydain Fawr*, at yr hwn y cyfeiriwyd eisioes.

Am angeu Golyddan, y mae y coffadwriaeth canlynol:—

"Tair anfad Fwyellawd ynys Prydain:——

Bwyellawd Eiddyn ap Enygan ym mhen Aneurin Gwawdrydd: a bwyellawd a roddes Cadafael Wyllt yn mhen Iago ap Beli: a'r Fwyellawd a roddwyd yn mhen Golyddan Fardd achaws y balfawd a roddes efe ar Gadwaladr Fendigaid."—TRI. 48.

Yn ychwanegol at y beirdd uchod, y mae rhai darnau bychain yn Myv. Arch. y rhai ydynt gyfrifedig i ereill o'r cynoesoedd; megys

GWYDDNO GARANHIR, GWYN AP NUDD, GWDION AP DON, GWENDDYDD, &c.; ond y maent oll, naill yn amlwg ffugiadau, neu ynte, yn rhy ddiawdurdodawl, i roddi lle iddynt yma.

### BEIRDD Y SEITHFED GANRIF.

Am ryw achos neu gilydd, ni chadwodd yr awen mo'i rhwysg ardderchawg yn y 7fed ganrif, yn yr hwn yr ehedai yn y 6fed. Canys y mae gwaith y beirdd yn fwy anaml, ac yn llai awenyddol. Beirdd y canrif hwn, ydynt *Meigant*,—*Elaeth*,—a *Tisilio*.

### MEUGANT.

Y bardd hwn oedd yn byw yn nechreu y 7fed ganrif; sef o 600, i 650. Y mae dau o gyfansoddiadau dan ei enw,—*Marwnad Cynddylan*, yr hon a ddengys dwysged o awenyddiaeth; a rhai *Englynion*, am y rhai nid oes awdurdod mai efe a'u piau.

### ELAETH.

Efe oedd bendefig yn y Gogledd yn y 7fed ganrif; eithr gorfu ffoi o'i wlad, o herwydd trawsfeddiant o honi gan yr estroniaid; ac efe a ddaeth yn fyfyriwr yn *Bangor Seiriol*. Yr hyn sydd ar glawr o'i waith, sydd gyfansoddiad byr, o ychydig o englynion crefyddol, mewn mesur tribanawg. Dangosant fedruswydd mewn cyfansoddiad.

### TISILIO.

Mab ydoedd i Brochwel Ysgythrog. Yr oedd yn byw yn y 7fed ganrif. Dywedir ei fod yn Esgob Llanelwi; ac y mae amryw Eglwysydd yn dwyn ei enw. Yr unig gyfansoddiad o'i eiddo, yw yr un a elwir *Ymatreg Llywelyn a Gwrnerth;* y rhai oeddynt ddau Sant duwiol, yn y Trallwng, yn Mhowys. Y cyfansoddiad sydd ffurfiedig o englynion tribanawg, amryw yn dechreu gyda'r geiriau, "*Eiry mynydd*." Dechreuant fal y canlyn:—

LLEWELYN.——" Eiry mynyd, gwynt am berth
Canys creawdyr nef a'm nerth.—
Ai cysgu a wna Gwrnerth?

GWRNERTH.——" Eiry mynydd Duw yn bennaf,
Canys attaw gweddiaf,—
Nagef,—Cysgu ni allaf.

LLEWELYN.——" Eiry mynydd gwynt am ty,—
Canys lleferi felly
Beth Wrnerth, a wna hynny?

GWRNERTH.——" Eiry mynydd gwynt deheu,—
Canys traethaf prif eiriau,
Tebyocaf yw mai angau, &c."

GWYR LLEN.

Oddiwrth y niferoedd o fyfyrwyr, a ddarllenwn eu bod yn y gwahan[illegible] Gorau yn y cynoesoedd, yn Nghymru, gellid dysgwyl gweled casgli[illegible] cyfattebol o lëenyddiaeth cyffredinol o'u heiddo. Ond gresyn yw, m[illegible] naill ai nid oeddynt yn coleddu fawr o ysgrif-waith, neu ynte, rhy[illegible] ddamweiniau erchyll a'n hamddifadasant o'r cyfryw etifeddiaethau. Cany[illegible] o'r holl ddysgedigion a hanfodasant yn mhlith ein cenedl yn y cynoesoedd[illegible] nid oes llafur-waith un hanesydd wedi disgyn attom, oddieithr *Gildas;* a[illegible] yntau a draddoda i ni mor lleied o amgylchiadau ei oes, a gwna ei wait[illegible] nemmor i ni, oddieithr ychwanegu ein galar nad oes gennym gyflawnac[illegible] ysgrifenydd.

GILDAS.

Yr awdwr hwn a adnabyddir wrth y gwahanol gyfenwau, *Historicu[illegible] Albanius*, *Badonicus*, a *Sapiens;* yr oedd yn byw tua chanol y 6fe[illegible] ganrif. Monach ydoedd, fel y dywedir, o Gôr Cattwg; ond am ei helyn[illegible] nid oes dim boddhaol ar glawr. Eithr y mae yn debygol mai yr hanesi[illegible]d cywiraf, yw, iddo fyned drwodd i Lydaw, a therfynu ei einioes yno; can[illegible] dangosir ei feddrod a'i esgyrn yn y wlad honno, am ba un nid oes ach[illegible] i feithrin amheuaeth, mai iawn eiddo Gildas ydynt.

Gweithredoedd Gildas ydynt yn y Lladin; cynhwysant ei *Han[illegible]s Prydain*, a'i *Epistol.* Am y cyntaf, y mae mor fyr ac anghyflawn, [illegible]g na ellir ei gyfrif ond megys casgliad o gyfeiriadau yn unig, at amgylchiadau y wlad. Ac am ei Epistol, nid ydyw ond cyhuddiad grwgnachlyd, o droseddau y Brytaniaid; a'r rhan fwyaf o hono, sydd ail-adroddiad o ranau o'r Ysgrythyrau, wedi ei gymmeryd allan o'r Bibl Lladin; ac [illegible] ffurfia y cwbl, ond ychydig iawn o dudalenau.

Y mae dychymmyg wedi cael ei gynnyg gan rai, ac wedi tyfu i haeriad gan ereill, mai yr un gŵr oedd *Gildas*, ag *Aneurin*, a hyn yn unig oddiwrth y dull y ceir y ddau enw yn yr achau. Er anghraifft, gelwir yr olaf, *Aneurin y Coed Aur, ab Caw o Gwmcawlwyd:* a gelwir y llall, *Gildas y Coed Aur, mab Caw;* a phan enwir un o honynt yn yr achau, gadewir y llall allan. Hefyd, y mae y gair *Aneurin*, yn dwyn yr un ystyr yn [illegible]

Gymraeg, a *Gildas*, yn y Saesonaeg; sef rhywbeth perthynol i *aur*, neu *euriaw*. Hyd yn hyn, y mae yn rhaid addef fod y cyffelybiaeth mor gyflawn ag y gellid ddymuno. Ond pan edrychom ar anianawd a chymmeriad y ddau ddyn, nid oes dim a all fod yn llawer mwy gwahanol. *Gildas*, sydd Fonach ceintachlyd, yn grwgnach yn agos wrth bob peth a ddaw dan ei sylw; yn difrio ei genedl, ac yn dywedyd na allodd gael gafael ar ddim, perthynol iddei hanes.—*Aneurin*, ar y law arall, a glodfora ei gyd-ryfelwyr, ac a ddatgana eu dewrder, gan gyfeirio at amrywiol amgylchiadau, y rhai a arwyddocant, ei fod yn berchenog ar helaethrwydd o ddefnyddiau hanesyddol.

Sylwadau Gildas, a gyfyngir gan mwyaf, i bendefigion ac amgylchiadau deheudir yr ynys. Aneurin, yntau, gyda'r un cysondeb, a gyfeiria at y gogledd-dir. Ac yn mhlith yr holl enwau a geir yn yn ngwaith Gildas, nid oes braidd un ag a arferir gan Aneurin. Heblaw hyn Aneurin a laddwyd gan ergyd bwyall; ond er dim a ddeallwn, Gildas a fu farw yn dawel yn ei fonachlog. Felly, nis gallaf mewn un modd gredu, mai i'r un gwr y perthyn y ddau enw; eithr ni fedraf ddychymmyg, pa fodd y daethant iddeu gosod yn yr achau, yn y modd cymmysglyd hyn. Ond etto, un peth sydd yn rhaid i mi ei gyfaddef, sef bod y fath gyffelybiaeth yn null cyfansoddiad y ddau awdwr, y brydrediad, a chysylltiad geiriau; a phe buasai eu gwrthddrychau, a'u hegwyddorion yn cyttuno, ni fuasai gennyf un anhawsdra i gredu mai yr un oeddynt. Y mae rhai beirniadyddion yn difrio Gildas, o herwydd ei iaith; ond am fy hun, nid wyf o'r cyfryw. Diau nad oes fawr berthynas rhwng ei iaith ef, ac eiddo ysgrifwyr enwog Rhufain; ond ar yr un pryd, y mae yn nerthol, ac yn egniol i raddau nodedig. Ond y mae, gan mwyaf, yn ddwys ac yn ddyrysedig, ac weithiau yn aneglur. Ac er nad arddelaf ei achau, etto meddyliaf, fy mod yn canfod arwyddion amlwg, fod Gildas wedi derbyn addysg mewn ysgol farddonawl.

Y mae gwaith *Nennius*, yn mhlith ysgrifenwyr y canol-oesoedd, yn myned dan enw *Gildas*, yr hyn sydd weithiau yn peri dyryswch; ond pan iawn gymharer iaith y ddau, ni ellir gwneud y fath gamsyniad, gan eu bod yn dra gwahanol yn eu hanianawd.

# TYWYSOGAETH CYMRU.

Yn ystod yr hanes rhagflaenol, gwelwyd y genedl Gymraeg yn adfeilio o oes i oes; ei thiriogaethau yn cael eu cyfyngu, a'i llwythau canghenawl, i ba rai y rhanwyd hi, yn goddef llwyr ddilëad; hyd nes yn y diwedd, ni adawyd i'r ciwdawd mawr Brytanaidd yn yr ynys hon, ond y gweddill bobl, a'r darn o dir a gynnwysir o fewn i derfynau *Cymru*. Ond yma, gwelodd Rhagluniaeth yn dda i attal y dinystr; ac er mwy na mil o flynyddau, er y dichweiniodd llawer amgylchiad anffodus i'n cenedl, etto ni ddiddymwyd eu henw, ac ni leihawyd en rhifedi. A chan mai hyn oedd y ddedfryd am ein troseddau, sef y cyfryw gyfyngiad tiriogaethawl, gwelaf achos mawr o ddiolchgarwch am diriondeb tuag attom, hyd nod yn nghanol cerydd; am na wn, ar wyneb y ddaear, am ardal mwy hardd, mwy dedwydd, ac oll yn oll, mwy dymunol, na gwlad *Cymru*. "**Cas ni charo y wlad a'i mago**," sydd ymadrodd doeth, o ba le bynnag y deillia ei wrthddrych; ond i frodorion Cymraeg, diau fod y geiriau yn meddiannu cadernid deublyg. O hyn allan, gan hynny, ein sylw a gyfeiria yn anranedig, at Gymru, a'r Cymry. Ac yn y traethiad canlynol, dros yspaid amryw oesoedd bellach, y llyfr at ba un y cyrchaf fynychaf am hyfforddiad yn y gwaith hwn, ydyw eiddo *Caradawc* o *Lancarfan*, yr hwn a elwir *Brut y Tywysogion*, yn nghyd â'r ychwanegiadau a wnaethpwyd atto, gan POWELL, allan o amryw ysgrifau.

CARADAWC o LANCARFAN, oedd fonach dysgedig o'r lle hwnnw, yn nechreu y 12fed ganrif. Ysgrifenodd yn y iaith Gymraeg, Hanes Cymru, o ymadawiad Cadwaladr, hyd at ei amser ei hun; yr hwn a argraffwyd yn y Myv. Arch. Caradawc a fu farw o gylch y flwyddyn 1157, yn ol tyb rhai: canys amryw o'r ysgrifau a derfynant yn y flwyddyn honno; ond ereill a feddyliant, ei fod yn byw yn hir wedi hynny.

Yr hanes hwn a gyfieithwyd i'r Saesonaeg, yn y flwyddyn 1559, gan HUMPHREY LLWYD, Meddyg dysgedig o Ddinbych, ac Aelod o'r Senedd, dros y Bwrdeis-dref honno. Yr hwn a ychwanegodd atto, amryw sylwadau o'i eiddo ei hun, eithr bu farw cyn ei osod yn y wasg. Y cyfieithad yma a ddaeth i ddwylaw Y PARCH. DAVID POWELL, Vicar *Rhiwabon*, yr hwn a'i argraffodd yn y flwyddyn 1584, wedi ei adgyweirio, ac ychwanegu atto, lawer o egluriadau; ac yn mhlith ereill, rhagosododd *Dysgrifiad Gwlad Cymru*, gan SIR JOHN PRICE, gydag ychwanegiadau.

Y gwaith hwn a gafodd ei ail ysgrifenu, gan WYNNE, yr hwn a gorfforodd ynddo y sylwadau gwahanedig o eiddo Llwyd; ac a adnewyddodd y iaith, gan ei gwneud yn fwy llithrig, yn ol archwaeth yr oes; ac hefyd ychwanegodd atto, rai pethau teilwng o gadwriaeth. Y llyfr hwn a argraffwyd yn y flwyddyn 1697. Pwy oedd y *Wynne* hwn, na pha beth oedd ei helynt, nis gwn; am na allaf gael un hanesiad am dano, yn mhellach nag a roddir ynddo ei hun, yn y wyneb-ddalen; sef, "*W. WYNNE, A. M.*, and Fellow of *Jesus* Colledg, *Oxon.*" Ac y mae yn dra rhyfedd gennyf, na cheir enw y fath ysgrifenydd cyfrifol, yn un o'r Bywgraphiadau Cymraeg. Ar ol hyn, cafodd Hanes Cymru ei adysgrifio gan Y PARCH. W. WARRINGTON, ac etto gan amryw ereill; ond llyfr POWELL, yw sail pob un a ymddangosodd o'i amser ef allan. Ac y mae yn rhaid i mi gyfaddef fod yn ymddangos i mi lawer godidocach nag un o honynt. POWELL a rydda i ni y dygwyddiadau, mewn modd cynnwysfawr ac eglur, yn nghyd â'i awdurdodau allan o'r hen ysgrifau. Ond amryw o'i ganlynwyr, wrth geisio gwneuthur cyfansoddiad mwy llyfn a rhedegog, yn fynych a gollant y sylwedd; ac weithiau a gamarweiniant y darllenydd. Ac y mae un peth nodedig, yn mha un y mae yr hanesyddion diweddar yn gyfeiliorni; sef yw, cymmeryd arnynt roddi cyfrifiad am amcanion a chynhyrfiadau yr amrafael ddynion, gorchwylion pa rai a draethant; a chymysg yr haeriadau hyn o'u heiddo ein hunain, â'r defnyddiau hanesyddol, yn y fath fodd, ag na ellir gwahaniaethu rhwng mympwy di-awdurdod yr ysgrifenydd o'r dydd heddyw, âg adroddiadau yr awdwr hynafiaethol. Llawer taith ofer ac anfadus a gefais, trwy ddilyn arweiniad yr goleuwyrchion hyn, gan chwilio hen hanesion, am brofion i'r haeriadau hyn fy sylw; ac ar ol y cwbl, cael dim ond sicrhad, nad oedd sail na sylwedd i'r fath haeriadau, oddieithr yr hyn a hanfodai yn nychymmyg yr ysgrifenydd. Diau y gall hanes, ffurfiedig ar y cyfryw gynllun, fod yn fwy difyrus, ac yn llyfnach ei gyfansoddiad, ond nid yn fwy gwirioneddol.

Ac yma ni allaf ymattal rhag mynegi fy marn, mai hwn yw un o'r beiau mwyaf cyffredin, perthynol i hanesyddiaeth y dydd heddyw; sef, ymgais i gatguddio amcanion a dybenion, yn hytrach na chywir draethiad o ddygwyddiadau:. y mae yr awyddfryd hyn yn eglur yn y cyhoeddiadau dychymmygol Saesonaeg, y rhai a amlhânt yn y fath rifedi; a'r sawl, yn fynych iawn, ydynt, yn dra niweidiol i hanesyddiaeth, trwy draethu pethau disail, dan rith gwirionedd. Dichon fod y cyhuddiad hwn, yn gyfeiriadwy i'r hanes, yn awr mewn llaw, yn gystal ag iddei ragflaenoriaid; eithr nid felly y dymunwn; canys fy mwriad ydyw, peido *haeru* dim, ond â'r awdurdod. A phan gynnygiaf fy marn ddychymmygol fy hun, ei roddi yn y fath fodd, ag na ellir ei gamsyniad yn lle haeriadau awdurdodawl.

Wrth sylwi ar yr amrywiol ysgrifau o Hanes Caradawc, canfyd haniaeth mawr rhyngddynt a'u gilydd, yn gystal mewn helaeth thraethiad am ddygwyddiadau, ag mewn dull ymadrodd; yr hyn a beirniaid feddwl, eu bod oll, oddieithr rhyw un anadnabyddus, wneuthuriadau diweddarach. Ond y mae cyhoeddwyr y Myv. atteb y ddadl hon mewn modd boddhaol; sef, mai tebygol fod C ar ol ysgrifenu ei hanes, ac ennill enwogrwydd, yn cael galw adysgrifau, gan y rhai a ddymunent feddiannu y gwaith; a'i fod ffurfio yn hir neu yn fyr, yn ol y pris a geisiai am danynt, ac yn yn ol ei archwaeth ar y pryd, ac nid yn cadw at eiriad yr ysgrif wnaeth. Ac mewn rhwysg amryw flynyddau, y mae yn ddia gallai gyfnewid ei ddull o ymadroddi, yn fawr; ac hefyd, rhodd amgylchiadau mewn modd gwahanol, ac ychwanegu ereill, y rhai ent iddei wybodaeth o bryd i'w gilydd. Felly, nid yw y gwahani yr ysgrifau, yn un prawf, nad ydynt oll o law yr un awdwr.

Ac er cadarnhad o hyn, gallwn ychwanegu yr anghraifft a fynych y dydd heddyw, mewn adargraffiadau llyfrau, lle mae cym gyfnewidiadau a diwygiadau, yn cael eu gwneud gan yr un awdwy na cheid tystiolaeth yr Argraffwasg ar y wyneb-ddalen, ni ellid mai gwaith yr un dynion ydynt.

Ysgrifau y Brut, neu y Brutiau, yn y Myv. Arch. ydynt y canly

*Brut y Tywysogion*, allan o'r *Llyfr Coch o Hergest.*

*Brut y Tywysogion*, allan o *Lyfr Aberpergwm.*

*Brut Ieuan Brechfa*, yr hwn sydd dalfyriad o waith Cara Lancarfan, ac ereill; gan *Ieuan Brechfa*, Bardd ac han swydd Gaerfyrddin, o gylch 1500.

*Brut y Saeson*, allan o hen ysgrif.

Ni fynegir fod yr olaf o waith Caradawc; ond gan fod ei gyr mor debyg i'r lleill, sef yn grynhoad o ddygwyddiadau perthynol i ac o angen un arddelydd iddo; cyfrifaf ef o ran ei sylwedd, Caradawc o Lancarfan; ac ailadroddaf ef gyda'r lleill yn ddiwaha

## IFOR AP ALAN.

B. A. 688.—720.

Arferol yw dechreu cofrestr Tywysogion Cymru, gydag IFOR mab ALAN, brenin Llydaw; hanes pa un a roddwyd eisioes, tu dal 320; a hyn a wneir mewn cydffurfiad â mynegiad un o ysgrifau y Brut, yr hon a ddywed fel y canlyn, ar ol crybwyll am farwolaeth Cadwaladr:—

"Yna daeth Ifor ab Alan Brenin Llydaw i Gymru ac ai gwnaethpwyd yn Dywysog, ac o hynny yn Maes, Tywysogion a lywynt genedl y Cymry.

Ac mewn ysgrif arall, dywedir,—

"Ac yn ol Kadwaladr y gwledychawd Iuor uab Alan Vrenin Llydaw. yr hon a elwir Brytaen uechan. Ac nyt megys brenhin namyn megys pennaeth neu tywyssawc."

A Brut Gruffydd ap Arthur a ddywaid,—

"Ac ni elwyt wynt en Brytanieit o heny allan namyn en Gymry."

Yr haeriadau hyn, perthynol i'r genedl Gymroaidd a'i thiriogaeth, er yn wirioneddol mewn ystyr cyffredinol, nid ydynt felly yn gyson; canys arferir yr enwau uchod yn fynych mewn amrywiol ysgrifau. Ac mor ddiweddar ag amser HYWEL DDA, mae yr enw *Brenin*, yn cael ei roddi i benadur Cymru.

IFOR a ddaeth i'r orsedd o gylch y flwyddyn 688; ac ar ol teyrnasu yn fuddugoliaethus, dros fwy na 30 mlynedd, aeth i Rufain, lle y bu farw, gan adael y deyrnas i RODRI MOLWYNAWC, y gwir etifedd, mab IDWAL IWRCH, ac ŵyr i CADWALADR. Ond am Idwal ei hun, ni wyddys ddim o'i helynt. Oes dywyll iawn yw hon, o ran mynegiadau hanesyddol. Nid oes na Bardd nag Hanesydd i roddi i ni un hyfforddiad, oddieithr ychydig o gyfeiriadau byr ac annghyflawn. Am yr hanesyddion, nid oes gwaith dim un ar glawr, yr hwn oedd yn byw yr amser yma: ac am y farddoniaeth, braidd nad sarhad i gyfundraeth farddonawl, fyddai rhoddi yr enw hwnnw i'r ychydig brydyddiaeth diegni, a geir, gan mwyaf, yn yr oes hon. Ond y mae yn rhaid cofio, nad oedd Cymru ddim fawr fwy amddifad na gwledydd ereill. Yr oedd yr *Oesoedd tywyll*, yn awr gwedi dechreu.

## RHODRI MOLWYNAWC.

B. A. 720—755.

Dechreuodd deyrnasu yn 720.* Yr oedd yn bennadur dew ac yn ei amser ef y buddugoliaethwyd ar y Saeson, mewn amry Yn y flwyddyn y daeth i'r orsedd, trechwyd arnynt yn mrwydr Nghernyw, ac hefyd yn *Ngwaith Garth Maelawc*, ac etto yn ac hefyd yn *Nghad Pencoet*, yn Morganwg: yn y flwyddyn 7 BALD, brenin Saesonaeg Mercia, a ddaeth a llu mawr i Gymru a'i cyfarfu ar fynydd *Carno*, gerllaw *Crughywel*, lle y bu brwy ac y buddugoliaethodd y Cymry,† "gwedi colli dirfawr ar gyrrwyd y Saeson trwy yr Afon Wysg, lle y boddasant l honynt, achaws llif oedd yn yr Afon."‡

Eithr nid oeddid yn wastad mor llwyddiannus; canys dysgwyl mewn rhyfeloedd parhaus, dygwyddai ambell i anffa y darllenwn, i'r brenin *Ethelbald*, ac *Adelard*, brenin Wes lluoedd, a threchu ar y Cymry; yr hyn a gadarnheir gan y canlyn:—

"Oed Crist 733, bu *Cad Ddefawdan*, lle gwedi ymladd hir a thra chreu Saeson ar y Bryttaniaid."

* Wrth gymharu yr amseriadau a roddir i'r amrywiol amgylchiadau yn y canfyddir annghysondeb, ac ni ellir hyderu arnynt o ran cywirdeb manwl; allwn gasglu, yw yr *oes*, yn mha un y dygwyddodd rhai o'r amgylchiadau flwyddyn. Er anghraifft o'r annghywirdeb hyn, y mae un ysgrif o wait *Lancarfan*, yn rhoddi y blynyddau i lawr wrth y degau; sef, 680,—690,—7 heb sylwi ar y rhifedi canolawl; ond y mae rhai ysgrifau ereill yn eu rhod mwy tebyg i gywirdeb.

† Gan y byddaf o hyn allan, hyd diwedd y 12fed ganrif, yn cymmeryd cy waith *Caradawc o Lancarfan*, sef Brut y Tywysogion, er ogelyd meithder afr ond rhoddi, yn unig nodau ailadroddiad at y geiriau, heb enwi y gwaith bob tr y bydd hynny yn llawn ddigon er hyspysiad o honaw. Ac ni phennodaf c hanol ysgrifau, gan eu bod oll o'r un awdurdod, fel y dangoswyd eisioes. bydd priodol eiriau y Brutiau, lawn mor eglurhaol ac mor gymmeradwy yn a phe cymmerwn eu cyfuewid a'u dilladu mewn gwisgoedd o'm eiddo fy hun.

‡ Y mynydd hwn, sydd i'r deheu i'r afon Wysc, gyferbyn a Chrughywel, ge *Mynydd y Cyrn;* ond y mae tyddyn etto ar ei ochr, yn dwyn yr enw *Carno*. yn ddilys, a ddeilliant oddiwrth yr hen garneddau, sydd ar ei warthaf. barnu, mai yr un gair yw *Carno*, a *Carnau*, sef y lliosog o *Carn*. A med ddull o seinio lliosog y gair ydyw, yr hwn sydd yn golledig yn y Gymraeg, yn hanfodi yn go agos, yn y Lydawaeg; megys *tadw,—tadau, mammw,—m* hefyd yn y Gernywaeg.

Rhai a feddyliant mai beddau y gwŷr a syrthiasant yn mrwydr *Carno*, y ga hyn fod; eithr nid felly yw, canys ar ol agor rhai o honynt, cafwyd m cynoesawl ydynt, yn cynnwys cist-feini, ac arwyddion i'r claddedigion, yno, yn ol arferiad yr oesoedd cynnar; a rhai o'r cist-feini, nid ydynt ddigon m corff dyn, ond yn unig y bedd-gawg, yr hwn a ddaliai y lludw.

Ac ar ol hynny, crybwyllir am fuddugoliaeth ar ran y Cymry; ac y mae yn amlwg eu bod hwy ar y pryd hyn, yn amddiffyn eu cyffiniau yn wrol: canys y frwydr a gymmerodd le wrth Henffordd.

"Oed Crist 785, y bu Waith Henffordd, lle gwedi ymladd tost a chreulawn y gorfu'r Cymry ar y Saeson."

Y Chron. Saxon. a ddywed, i frwydr gymmeryd lle yn y flwyddyn 753, rhwng Cuthred, brenin Wessex, a'r Cymry; eithr nid hyspysir y canlyniad. Ond mae yn debygol fod yn yr oes hon, frwydrau parhaus rhwng y Saeson a'r Cymry, heb un o'r ddwy genedl yn gorthrechu. A'r unig wahaniaeth a allaf ganfod rhwng eu heffeithiau yn awr, yn yr oesoedd rhagflaenol, yw, nad oedd y Saeson yn gallel ennill tir ar y Cymry, fel cynt, pan oeddynt yn derbyn ychwanegiadau beunyddiol at eu rhifedi, trwy ddyfodiad byddinoedd newyddion o'r cyfandir; ond gan ys pa mor wrol yr ymdrechodd Rhodri Molwynawc yn erbyn gelynion ei genedl, y mae yn amlwg na allodd ddim ad-ennill y tiriognethau a gollwyd; a gorfu arno ymfoddloni iddei feddiannau Cymruaidd yn unig. Bu farw o gylch y flwyddyn 755,* "gwedi gwladychu deng mlynedd ar-hugain, yn glodfawr am gyfiawnder a gwroldeb, ac a'i claddwyd yn Nghaerllion ar Wysc. A'r diweddaf o eppil brenhinoedd ynys Prydain a gladdwyd yno, oedd efe." O gylch yr un amser, bu farw gŵr pendefig o'r enw Tewdwr ab Beli; a bu brwydr waedlyd rhwng y Brython gogleddol, a'r Pictiaid, yr hon a elwid *Gwaith Mygedawc*, lle y gorfu y Brython ar eu gelynion, ac a laddasant *Talargan*, eu brenin.

Rhodri Molwynawc a adawodd ddau fab, *Cynan Tydaethwy*, ac *Hywel.*

* Arferaf y dull yma o ymadroddi, am fod annghyttundeb rhwng y gwahanol ysgrifau, perthynol i'r amseriadau hyn: un ysgrif a osoda farwolaeth Rhodri Molwynawc, yn y flwyddyn 754.

Y mae y Brut yn coffâu rhai damweiniau tra nodedig, yn yr amseroedd hyn.

"Oed Crist 720 Bu Haf tesawg rhyfeddawl, oni bu farw coedydd a llysiau ac ysgrybliaid gan sychder ac angerdd y poethder, ac yn Mis Medi yr un flwyddyn y bu'r llifeiriaint disyfyd ag y torres Eglwys Lancarfan, a llawer o'r Tai, ac y boddes aneirif o'r Gwartheg a'r Defaid oni bu dra mawr y colledion, a'r un peth mewn llawer man arall. A'r un amser y bu llanw aruthrawl ym môr Hafren, oni thorres argaeau, ac y collwyd llawer o'r ynysdir ar hyd lan y môr ym Morganwg, a Gwent a Gwlad yr Haf a dirfawr golledau o hynny."

## CYNAN TINDAETHWY.
### 755.—817.

---

CYNAN TINDAETHWY a ddaeth i'r orsedd yn dywysog Cymru, ne gelwir ef, yn *Frenin Cymru oll*, yn y flwyddyn 755. Ac ni bu hyd nes galwyd ef i ymdrechu yn erbyn gelynion ei wlad, megys flaenorion. Canys yn y flwyddyn honno y bu rhyfel rhwng y Cyı Saeson, o herwydd na chyttunai y Cymry y deheubarth, i symmud y Pasc yn ol defod Eglwys Rhufain, "ac achaws hynny y daet Saeson yn erbyn y Cymry yn Neheubarth lle bu Câd *Coed Marc* gorfuwyd ar y Saeson yn anrhydeddus."

O gylch yr un amser y bu "ail waith [frwydr] Henffordd, lle y ; Cymry, ac yno y llas *Cyfelach*, Esgob Morganwg."

Ac etto, "Oed Crist 757, y bu drydedd waith Henffordd, lle y Gwŷr deheubarth ar y Saeson, ac y llas *Dyfnwal ab Tewdwr* y rł glewaf o du'r Cymry, wedi iddaw wneuthur yn orchestawl o ne Gâd honno."

Rhai a haerant fod y rhan fwyaf, os nid y cyfan o swydd Henffc pryd hyn, yn meddiant y Cymry. Os felly, y mae yn amlwg mai y ; oeddynt yr ymosodwyr, pan ymladdwyd y brwydrau hyn, a'r ' ni wnaent ond amddiffyn eu gwlad; eithr nid annhebygol eu bo yn annog y cyrchiadau yma, gan ymosod yn fynych ar diroedd l fel y cawn eu bod ychydig o flynyddoedd ar ol hyn.

Yn y flwyddyn 673, daeth OFFA, yn frenin ar y *Mers*, [*Merc*; hwn oedd yn ŵr dewr ac egniol, ac yn nodedig am ei ryfeloedd â'r C y rhai oeddynt yn blino y Saeson âg ymosodiadau, ysgatfydd yn fv a pharhaus, nag y gallai y rhai hynny dalu yn ol iddynt. Ac yn y d daeth yr ymosodiadau hyn mor flinderus, ag y darfu OFFA, wneuthur ( mawr rhwng Cymru a Lloegr, er cyffiniad; am yr hyn y crybwyll: Brut, fal y canlyn :—

"Oed Crist 765 y diffeithwyd Tiroedd y Mers gan y Cymry, ac y gorfuant ar y S a'u hyspeiliant yn ddirfawr, Achaws hynny y gwnaeth Offa Brenin y Mers y clawdd elwir Clawdd Offa, yn derfynfa rhwng Gwlad Cymru a'r Mers, fal y mae fyth yn p

Pan sylwn ar sefyllfa y clawdd yma, rhanau o ba un sydd o fewn ynau Cymru, y mae yn ddilys fod Offa gwedi ennill tir ar y Cymı pryd hwnnw, onite ni ni allasai gyflawni y gwaith; ac y mae yn mai at y cyfryw gadruthriad y cyfeirir, pan ddywedir am yr amseroed

"Ac yna y bu distryw y deheubarthwyr gan Offa frenin."

Canys y mae lle i feddwl, fod y gair *Deheubarth*, yn cynnwys y wlad rhwng Gwy a Hafren, yr hon a ddywedir i Offa ei dwyn oddiar y Cymry. POWEL a ddywed, i Offa trwy gyngreiriad â'r brenhinoedd Saesonaeg ereill, lwyddo i yrru allan y Cymry o'r ardaloedd hyn, a phlanu yno Saeson yn eu lle. Ac ychwanega i brif Sedd Brenhinoedd Powys, gael ar y pryd hyn ei symmud o *Bengwern*, gerllaw yr Amwythig, i *Mathrafal*, yn swydd Drefaldwyn. Os felly, y mae yn rhaid i lys Bengwern, gael ei adgyweirio ar ol ei anrheithiad, pan llas Cynddylan yno.

Ond gan ys pa fodd y daeth Offa i feddiant o'r ardaloedd hyn, ni bu y clawdd o fawr wasanaeth iddo ef, na'i ddeiliaid; canys yn y flwyddyn nesaf ar ol ei ffurfiad, torrwyd trwyddo gan y Cymry, ac anrheithiwyd y wlad.

"Oed Crist 776, y codes Gwyr Gwent a Morganwg ac a aethant am benn y Mers, ac y torrasant Glawdd Offa yn gydwastad â'r ddaear a gwedi hynny dychwelyd as yspail fawr."

Ac etto dywedir,—

"Oed Crist 784, y diffeithwyd y Mers gan y Cymry, ac Offa a wnaeth glawdd yr ail waith yn nes attaw, a gadael lle Gwlad rhwng Gwy a Hafren lle mae llwyth Elystan Glodrydd, lle ydd aethant yn un o bum brenhinllwyth Cymru."

Y mae y ddau glawdd hyn, fel y tybiaf, etto yn amlwg iddeu gweled mewn amryw fanau; sef yr hwn a elwir *Clawdd Offa*, ac a gydnabyddir yn gyffredinol megys gwaith y brenin hwnnw; a chlawdd arall a elwir *Watt's Dyke*, yr hwn, y mae yn ddilys gennyf, yw yr un arall, a gyfeirir atto; sef yr ail glawdd o wneuthuriad yr un pennadur. Paham y cafodd yr enw *Watt's Dyke*, ni fedraf ddywedyd; ac nis gwn ychwaith, fod neb yn ei gyfrif yn eiddo Offa. Ond y mae ei sefyllfa yn nes at Loegr na'r llall, a'i derfyniad yn agos i'r Hafren, heb ymyryd â'r tiriogaethau rhwng yr afon honno a Gwy, yn cyttuno cystal a geiriau yr hanes, ag nad oes gennyf amheuaeth mai yr un ydyw, ag a gyfeirir atto yno.

Clawdd Offa, a ddechreua wrth y *Maes Glas*, [*Basingwerk*,] ar lann *Dyfrdwy*, [*Dee*,] gerllaw *Treffynnon*, [*Holywell*,] yn swydd *Callestr*, [*Fflint*;] oddiyno cerdda tua'r deheu, ychydig i'r dwyrain, i'r *Wyddgrug*, [*Mold*;] ac i'r gorllewin, i *Gaergwrle*, *Wrexham*, *Rhiwabon*, *y Waun*, [*Chirk*,] a *Chroesoswallt*, [*Oswestry*,] ac yn mlaen at *Hafren*, uwchlaw *Llandrinio*; a chan ddechreu drachefn, wrth *Tal-y-bont*, [*Buttington*;] cerdda ychydig i'r dwyrain, i *Drefaldwyn*, a *Chlunwy*, [*Clun*,] trwy *Tref-y-clawdd*, [*Knighton*;] ac i'r gorllewin, i *Lanandras*, [*Presteign*,] ac oddiyno at yr afon *Wy*, yn swydd Henffordd, ychydig islaw y *Gelli*, [*Hay*;] ar ol hynny, nis gwn am ei helynt tua'r deheu, oddiethr yr haerir ei fod iddei weled yn dra amlwg yn swydd Gaerloiw, gerllaw *Cas' Gwent*, [*Chepstow*.]

*Watt's Dyke* hefyd, a ddechreu with y *Maes Glas*, ac a ge un cyfeiryd, eithr ychydig ar y tu dwyrain i'r llall, gan adael ( i'r gorllewin; a *Wrexham* i'r dwyrain, heibio i *Wynnstay*, ; ychydig tu hwnt i *Groesoswallt*, gan adael y lle hwnnw a llewinol, ac yn mlaen tuag at Hafren, yr hon ni chroesa, "*gan* dywed yr hanes, "*lle gwlad rhwng Gwy a Hafren.*"

Clawdd Offa sydd mewn rhai mannau, yn ddeg llath o led, a i gamlas, yn ei ddyfnder; ond mewn mannau ereill, nid yw on(

Y mae yn mhlith gwaith Matthew o Paris, ysgrif, yn myned ef, yn cynnwys hanes y brenin Offa; eithr rhai a amheuant, m awdwr hwnnw, ydyw; yn yr ysgrif hon, ceir mynegiad am clawdd; sylwedd yr hwn sydd fal y canlyn:—

Dau o frenhinoedd y Saeson, brenin Northumbria, a Sussex, eu gorthrechu gan Offa, a ffoisant am nawdd, at MARMODIU Cymry. Ac Offa a anfonodd genhadon atto, gan ei rybuddio nhoddi; ac yn bwgwth, os na chydymffurfiai â'r rhybudd hw deimlo ei elyniaeth chwerwaf, a goddef yr un dinystr a hwynthw nadwri yma, y brenin *Marmodius*, a ddychwelodd atteb teilwng rhydeddus a diofn; sef, "y byddai yn beth cywilyddus a gwr gadaw hwy yn ddiymgeledd, y rhai a gymmerodd efe, o ran trug ei nawdd. Y rhai, os rhyfygai efe ymosod arnynt, y tywalltai efe oedd Cymru oll, er eu hamddiffyniad."* Ar ol derbyn yr atteb l gynnullodd fyddin liosog, ac a wnaeth gadruthriad ffyrnig Cymry; a bu brwydr waedlyd hyd fachludiad haul; a'r h barhawyd y boreu drannoeth. A'r ysgrifenydd, yr hwn sydd gwresog i Offa, ac yn elyn amlwg i'r Cymry, a ddywed i *Marm* noson honno, ymgynghori â'i gyfeillion i geisio gosteg arfau l nadolig, a hyn gyda bwriadau dichellgar. Y gosteg yma a iddo, gan Offa; ond gan nad oedd un o'r ddwy fyddin yn fod bellhau yn mhell oddiwrth y llall, Offa, trwy gydsyniad y dd berodd gloddio ffos hir a dwfn rhyngddynt, a'r clawdd pridd ddyrchafedig yn erbyn y Cymry, ["aggere terrestri versus eminenter elevato,"] er ymddiogeliad yn erbyn rhuthr disymm ei elynion. Ac hefyd adeiladodd yno Eglwys fechan, yr hon ysgrifenwyd yr hanes, etto yn dwyn ei enw ef, sef *Offekirk*.

Marmodius, yntau, a'i gyfeillion yn ol eu rhagfwriad, a dd ddystaw ac yn ddirgel, ar nos Wyl Stephan, pan yr oedd y no

* "Rex *Marmodius* per ipsos Offæ Legatos eidem Offæ renunciavit, Inhon formidolosum, ipsos deserere desolatos, quos susceperat misericorditer proteg si impetere præsumpsisset, vires totius Walliæ effunderet in eorum defencion

yn dywyll; a thrwy gynnorthwy y werin wladol, a lanwasant y ffos mewn byr amser, ac a'i gwnaethant yn wastad, cyhyd o ffordd ag ergyd bwa. Ac yna yn fore, drannoeth, rhuthrasant "megys rhyferthwy ogleddawl," ["ad instar tempestatis Borealis,"] ar y brenin Offa, ac a ddychwelasant ei fyddin, gan wneuthur galanastra echryslon, a cholled anadgyweiriadwy iddo. Yn y cyfamser, Offa a'i gyfeillion a ymarfogasant; ac efe, yn gynddeiriog gan lid, a ruthrodd i ganol ei elynion, gan ddiystyru perygl, ac a wnaeth orchestwaith clodwiw; ond gan fod ei gyfeillion yn ofni ei ganlyn, braidd y dihangodd â'i fywyd; a thymestl o eira a ddaeth ac a roddodd derfyn i'r frwydr, ac efe a'i luoedd a ffoisant iddeu pebyll. Ac Offa, er ei holl ymffrost, a ddychwelodd at ei eiddo, yn drist ac yn annghlodfawr, [dolens et ingloriosus.]

Ar ol hyn, yr un hanesydd, a ddywed i'r brenin Offa, pan ddaeth iddo adeg gyfleus, grynhoi byddin liosog, a gwneuthur cadgyrchiad yn erbyn ei elynion, y rhai oeddynt gwedi bod cynnifer blwyddyn weithian, gan ynfydu ac ymfalchïo, yn ei flino a'i golledu. Ac hwynthwy a'i cyfarfuasant ef, yn y man, lle cyn hynny y torrasent y clawdd, gan hyderu ei fod yn lle llwyddiannus iddynt; ac yno, gan mwyaf, y cynnaliasant y rhyfel. Ac yn aml, cilient iddeu llochesau arferol; ac ar amser cyfleus, rhuthrent allan, ac yn fynych, gwrthyrrent ef. [*Frequenter ipsum repulerunt.*] Ond un diwrnod, Offa gwedi hir flino, ac yn llidiog wrth y sarhad yma, a wnaeth gadruthriad echryslawn yn eu herbyn, ac a'u gorthrechodd gyda'r fath ddinystr, a bod y maes yn liwiedig gan waed. Ac Offa a gyflawnodd alanastra erchyll ar y carcharorion a syrthiasant iddei allu.

Y mae yn debygol, mai yr un oedd hon, a brwydr *Morfa Rhyddlan*, yr hon a gymmerodd le, o gylch y flwyddyn 800. Am yr hon y crybwyllir yn y Brut:—

"Wyth ganmlynedd oedd oed Crist pan laddawdd y Saeson Garadawc Brenin Gwynedd yng ngwaith Morfa Rhuddlan."

Ac mewn ysgrif arall, dywedir,—

"——y bu gwaith Rhuddlan lle y lladdwyd *Meredydd* Brenin *Dyfed* a *Charadawc ab Gwyn ab Collwyn* Brenin *Gwynedd*."

Haerir fod yr hen dôn Gymraeg, a elwir *Morfa Rhuddlan*, yn coffâu am yr anffawd hwnnw.

Ni wyddys pa ymdrin a fu rhwng Offa a'r Cymry ar ol hyn; ond ni bu efe fyw yn hir.

Pwy oedd y brenin *Marmodius*, ni allaf ddywedyd; nid oes cyffelybrwydd rhwng yr enw âg eiddo un o'r brenhinoedd Cymraeg, oddieithr

*Meredydd*, brenin *Dyfed;* ac yno, nid ydyw y cyffelybiaeth ond a nghyflawn. Eithr, pan ystyriaf fod ymryson rhwng Offa a gwŷr deheubarth, ac mai gwŷr y gyfran honno o Gymru, a dorrasant y claw y mae rhyw dueddiad ynwyf i feddwl, mai yr un yw *Marmodius* *Meredydd.*

Gan fod cynnifer o frenhinoedd yn cael eu henwi, eu bod yn teyrn yn amryw ranau o Gymru yn yr amser hwn, nid hawdd penderfynu, p yr oedd tiriogaeth priodol Cynan Tindaethwy, na pha hawl oedd gandd- gael ei alw yn Dywysog, neu yn Frenin Cymru oll. Oddiwrth ei gyfen gellid tybied, mai yn ardal *Tindaethwy*, yn Môn, yr oedd ei feddian neilltuol; ac y mae yn ddilys gennyf, nad oedd ei awdurdod llywodraeth ddim ychwaneg nag un enwawl yn unig. A chefyd y mae ynwyf dueddiad i feddwl, nad oedd ef ei hun, na neb yn ei oes ef, yn bwrw hawl i frenh iaeth Cymru oll, a bod yr anrhydedd hynny, yn cael ei roddi iddo gan han yddion diweddarach, o achos ei darddiad o waedoliaeth *Cadwaladr;* hefyd o achos fod rhai o'i hiliogaeth, yn iawn Dywysogion Cymru Ond poed hyn fel y bytho, y mae un peth yn amlwg; sef, na cheir e *Cynan Tindaethwy*, yn mhlith y pennaduriaid, y rhai a gynhalient rhyfeloedd yn erbyn y Saeson: ac meddyliaf, pe buasai ef yn benllywy- ar y byddinoedd Cymraeg, na fuasem heb ryw sylw o hynny, yn hanesi yr amseroedd yma.

Ond y mae yn debygol, fod gan Cynan Tindaethwy ddigon ar ei dd law i amddiffyn ei frenhiniaeth yn erbyn ei frawd *Hywel*, yr hw hawliai ei gyfran o honaw.

Yn yr amseroedd hyn, cyfreithiau Cymru, megys eiddo amryw o wl ydd ereill, a roddent i bob un o'r meibion, ar farwolaeth eu tad, h gyfartal iddei feddiannau. Y drefn hon a elwir yn yr ysgrifau Saesona *gavelkind*, gair Cymraeg, medd rhai, sef y "*gafael gynt;* gair Saesona medd ereill, "*give all kind*," [*kind*,—*plant*.] Y gyfraith hon oedd niweidiol mewn amryw bethau, yn mhob gradd cymdeithasol; ond y etifeddiaeth o'r orsedd, yr ydoedd yn achlysurawl o ddrygau annhra adwy: canys pan gymmerai ei rhwysg yn heddychol, gwanhâai y lywo aeth, trwy raniadau bychain o'r awdurdod, o un genhedlaeth i'r llall, h nes na fyddai gan y gwahanol frenhinoedd bychain, ddigon o gadern wrthladd ymosodiadau estronawl. A phan nad ufuddhaed i'r gyfrai yma, eithr i'r mab henaf geisio gafaelyd ar y cyfan o'r lywodraeth, gwrthodiad o hawl ei frodyr; yna byddai yn achlysur o ryfeloe cartrefol, o'r anianawd mwyaf gwrthun a dinystriol, y rhai a wanhae y wlad, lawer mwy na'r gyfraith ei hun. Ac hefyd a barent i'r bla wanaf, yn wastad, alw i mewn gynnorthwy estroniaid, y rhai yn fynychaf, a ymsefydlent eu hunain yn y wlad, er mawr flinder a niwed i'r trigolion.

Y gyfraith hon, yn ol haeriad Powel, eithr ni thraetha ei awdurdod, a fu yn achos o'r rhyfeloedd niweidiol, y rhai a gynnaliwyd rhwng y ddau frawd rhagenwedig; am fod Hywel, fal yr haera efe, yn hawliaw ynys Fôn, a'r llall yn pallu ei chaniatau iddo. Y Brut, yr hyn yw yr unig awdurdod a wn am dano, perthynol i'r achos hwn, a ddywed fal y canlyn:

"Wyth cant a deg y bu waith Llan Faes [yn Mon] ac a tloded Brenhiniaeth Fon a Brenhiniaeth Dyfed oblegid Rhyfel a fu rhwng *Hywel Fychan*, a *Chynan* ei frawd, ac y goresgynnawdd Hywel ynys Fôn gan orfod o hir ymladd arni."

Ond ni chafodd fwynhad parhaus o'i feddiant yno; canys Cynan a ymosododd arno, ac a berodd iddo ffoi i ynys *Manaw*, lle y mae yn debygol, yr oedd rhai o'i geraint yn anneddu. Ac ar ol hynny, Cynan Tindaethwy ei hun, a fu farw; a chan nad oedd mab iddo, gadawodd ei deyrnas i *Esyllt*, ei ferch, yr hon oedd yn briod â gŵr pendefigol, o'r enw *Merfyn Frych*. Crybwyllir am yr amgylchiadau hyn yn y Brut, fal y canlyn:—

"Yn yr un flwyddyn, [814,] bu ryfel yr ailwaith rhwng *Hywel* a'i frawd *Cynan*, ac a laddes lawer o'i wyr ef, ac yna Cynan a gynbulles attaw niferawg dros benn, ac am benn ei frawd Hywel y rhuthres a'i yrru o *Fon* ym *Manaw*, Ymhen ychydig wedy hynny bu farw *Cynan Tindaethwy* brenin Cymru oll, a merch oedd etifeddes iddaw a briodes a Gwr Pendefig a'i enw *Merfyn Frych*, ei fam ef oedd *Nest* ferch *Cadell Deyrnllwg*, fan *Brochwel Ysgithrawc*."

Marwolaeth Cynan Tindaethwy, a ddygwyddodd o gylch y flwyddyn 817; a chydag ef y terfynodd teyrnlin Cunedda a Chadwaladr, yn yr hil wrywiaidd.

Y mae teyrnasiad y tywysog hwn yn nodedig, am ddyfod y *Daniaid* yma gyntaf yn ei amser ef.

"Oed Crist 795 y daeth y Paganiaid duon gyntaf i ynys Prydain o wlad Denmark, ac a wnaethant ddrygau mawr yn Lloegr. Wedi hynny daethant i Forganwg, ac yno lladd a llosgi llawer; ond o'r diwedd gorfu'r Cymry arnynt a'u gyrru i'r mor gwedi lladd llawer iawn o honynt; ac yna myned i'r Iwerddon lle y diffeithiasant *Rechreyn* a lleoedd ereill."

Y Brut hefyd a grybwylla am amgylchiad tra nodedig am yr oesoedd hyn, yr hwn a ddygwyddodd yn y Deheubarth, a'r hwn yn ddiau, nid oedd dim amgen, na chwildroad gwladwriaethol; ac os iawn ddeallaf yr ychydig eiriau, yn mha rai y traddodir i ni y cofiaint am dano, yr achlysur oedd ymgais ar ran y brenin i ormesu ar ei ddeiliaid, trwy ryw gamarferiad o'i awdurdod teyrnawl, yr hyn a berodd i'r bobl gyfodi mewn gwrthryfel ac ennill yn ol eu breintiau, ac ysgatfydd ychwanegu attynt: ond wele y traethawd cysefin; a barned y darllenydd.

"Oed Crist 777, y symudwyd y Pasc yn Nebeubarth, ac y bu farw *Ferinol* fab *Eidaw* ac achaws hynny y bu rhyfel teisban [*cartrefol*] rwng y Deheuwyr a'u Brenin a dinystr mawr arnynt ganthaw, oni orfu arnynt ladd eu brenin am hynny, yn amser haf, am hynny y gelwir yr haf hwnnw yr haf gwaedlyd, ac ni rodded fyth wedi hynny i Frenin y Deheuwyr ei air yn air ar air y wlad."

Y Brut a grybwylla am amryw ddygwyddiadau, mewn ymadroddi byr annghysylltiedig; a chan nad allaf wneuthur defnydd o honynt, i egl hau hanes y wlad, ni wnaf ychwaneg na'u rhoddi yn y geiriau cysefin :-

"804, y bu farw *Arthen*, Brenin Ceredigiawn, a *Rhydderch*, Brenin Dyfed, a *Chad* Brenin *Teyrnllwg*, a elwir yr awr honn Powys."

"809, y bu farw Elfod Archescob Gwynedd,* ac y bu diffyg ar yr haul, ac y bu ter mawr yn mhlith y gwyr Eglwysig achaws y Pasc canys ni fynnai Escobion Llan Mynyw ymroddi dan Archescob Gwynedd lle yr oeddynt eu hunain yn Archescobion o Fraint."

"810, y llosges y Saeson Mynyw."

Y mae cymmaint o annghysondeb yn yr amseriadau yma, a bod l feddwl, mai yr un cadgyrchiad oedd hwn, a'r un a fynegir yn y Chr Saxon. iddo gymmeryd lle dan y brenin Egbert, yn 813, lle y dyw iddo, yn y flwyddyn honno, "anrheithio y Cymry gorllewinol o'r dw ain i'r gorllewin."

"And thy geare gehergade Ecgbyrht cyning on West-Weales, from east-weardam weste-wearde."

Am Wrthddrychau y cofiaint canlynol, nid oes dim yn hyspys o r defnydd hanesyddol; etto rhoddaf hwy yma, gan nad yw y cyfryw o anaml iawn yn yr hen ysgrifau.

"811, y bu farw *Owein* fab *Moredud* [*Meredydd*.]"

"814, bu farw *Gruffudd* ab *Cynan* achaws Brâd *Elisse* ei frawd."

"815, y bu farw *Gruffudd* fab *Rein*, ac y llas *Griffi* ab *Cyngen* ab *Cadell Deyrnllwg*."

Yn ystod y blynyddau yma, ymddengys bod ymwelediad dychrynllyd fellt a tharanau yn y wlad, yr hyn a goffeir mewn geiriau tra egniol.

"Oed Crist 814, y bu Taranau a lluched ofnadwy dros benn, yn torri a llosgi Tai choedydd yn aruthr."

Ac yn 811, "y llosges Deganwy gan dan mellt;" ysgrif arall, "gan dân llychau gwylltion."

Bu hefyd yn y flwyddyn 810, "farwolaeth ddirfawr ar yr anifeiliaid hy holl ynys Prydain:" neu fel y dywaid ysgrif arall, "varwolaeth y ysgrybyl drwy holl Gymmry."

* *Nennius*, yr Hanesydd, oedd ddysgybl i *Elfod*.

## MERFYN FRYCH AC ESYLLT,
817.—843.

ol marwolaeth Cynan Tindaethwy, daeth ei ferch ESYLLT, a'i gŵr, ...YN FRYCH, i feddiant o'i orsedd. MERFYN FRYCH, ydoedd fab i ...riad *ap Elidur ap Handdear Algwn ap Tegid ap Gwiar ap ...rc ap Llywarch Hên.* Y Brut a ddywaid, mai *Gwr Pendefig,* ...dd; ac ysgrif achau y Brenin Harri y 7fed, a'i geilw yn *Frenin ...aw.* Ac yn hanes Cymru, gan *Wynne,* ac ereill, helaethir ar yr ...chiad hyn. Ond nis gwn ar ba awdurdod y gwneir yr haeriad, o ... berthynas rhyngddo âg ynys Manaw, chweithach bod yn frenin ... Am danaf fy hun, braidd y meithrinaf amheuaeth, mai ynys *Môn,* ...lir, ac nid *Manaw,* a bod y camsyniad gwedi deilliaw oddiwrth ...brwydd yr enwau yn y iaith Lladin, yn yr hon, y dichon y cafwyd y ...au am yr amgylchiad; canys yn y iaith honno, *Mona,* yw enw y ...ynys; sef, *Môn,* a *Manaw.* Y mae yn wir, fod *Hywel,* yn cael ei ... frenin *Manaw,* yn y Brut; ond barnaf, mai yr un camsyniad sydd ...eithredu yno; canys pe buasai y Cymry mewn meddiant o'r ynys ..., ni allaf feddwl y buasai pob hen hanesiad mor ddystaw am y cyfryw ...chiad, ac na fyddai gennym ond gair neu ddau yma er hyspysiad ...aw; ond gan fod y cyfryw haeriad yn hanfodi, ac yn fabwysedig ...r hanesyddion diweddar yn gyffredinol, a chan y gall fod rhyw ...dod am dano, na fum erioed mor ddedwydd a sylwi arno, rhoddaf ...chydig o nodiadau perthynol i'r ynys honno.

### YNYS MANAW.

...ys *Manaw,* sydd o gylch 30 milltir ar y tu gorllewin i ogledd-dir ...r. Y mae yn agos i 30 milltir o hyd, a 12 o led. Cynnwysa ...ain mil o drigolion. Yr ynys hon a elwir gan y trigolion, yn eu ... gysefin, *Mannin,* ac yn y Saesonaeg, *Man.* Yr oedd yn adna...s i'r Rhufeiniaid, dan yr enwau *Mona, Monæda, Monabia,* ac ...*nia;* eithr y bobl hynny ni wneuthant sefydliad yno.

... hanes cysefin yr ynys hon, nid oes dim ar glawr, namyn ychydig ...odiadlau disail; ond oddiwrth y gweddillion Derwyddol a geir yno, ... yn ddilys eu bod yn y prif-oesoedd dan reithiant y gyfundraeth ..., ac felly yn feddiannedig gan ryw gangen o'r llwyth Celtaeg. ...r oddiwrth *Orosius,* ysgrifenydd o'r 5ed ganrif, ei bod y pryd hynny ...ddiannedig gan y Gwyddelod. Ac y mae *Buchanan* yn dywedyd,

fod *Brendinus*, nai, mab chwaer i *Aidan*, brenin y Gwyddelod *Al aidd*, yn frenin ynys Manaw, yn niwedd y 6fed ganrif. Ac etto, *Be ddywaid*, i'r ynys hon gael ei goresgyn gan *Edwin*, y brenin Saeson o gylch 620; a dywaid nad oed ynddi, ond tri chant o dylwythau. Y 10fed ganrif, cymmerwyd meddiant arni gan y Llychlynwyr; ac o hy allan bu amryw weithiau yn nwylaw y Llychlynwyr, yr Albaniai a'r Saeson: gan gael ei threiglo o un i'r nall, gormod o weithiau golli amser yma, hyd nod eu henwi. Y mae y *Chronicon Manniæ*, yn rhoddi hanes, eithr tra annghyflawn, o'r ynys hon, o'r 11eg ganrif, hyd 14eg. Oddiwrth yr hyn ni ellir casglu dim, perthynol i gyflwr y trigolion cynhenid, gan mai am helynt y breuhinoedd Llychlynaidd, ac ereill, y ma yn traethu.

Dywedir yn un o hanesion ynys Afallon, i'r brenin Arthur, oresgyn Manaw, o gylch y flwyddyn 520, a'i rhoddi drachefn iddei iawn frenin, y hwn a wnaeth ef hefyd yn un o'i farchogion.

Y mae hefyd ryw ychydig o hyspysiadau perthynol iddei helynt Eglwysig yn yr oesoedd cynnar, ond ni ellir ymddiried fawr iddynt. Mynegir Sant Padrig bregethu yn llwyddiannus yno, yn 444: ac i *Garmon* ddyfo yno i hyfforddi a sefydlu y trigolion yn y ffydd.

Gellir dychymmyg fod cyflwr Manaw yn dra annedwydd yn y amseroedd blinderus hyn, pan oedd cynnifer o luoedd arfog a digyfraith yn crwydro am ysglyfaeth; ac felly, yn yr ychydig sylwadau a gawn perthynol i helynt yr ynys hon, darlunir hi yn wastad, naill ai yn dyodd gormes, neu, trwy ddirfawr ymdrechiad, yn ei wrthladd. Er anghraifft, nodiad cyntaf a gawn yn y Chronicon Manniæ, yw, am ymosodiad ar ynys yn 1056, gan *Godred Cronan*, un o'r genedl Llychlynaidd. blaenor hwn a ddaeth a llawer o longau, ac a ymosododd ar y trigolio a hwynthwy a orfuant arno mewn brwydr. Ar ol hyn cynnullodd fyd arall, ac a ddaeth yr ail waith i'r ynys, gan dirio yn mhorthladd *Rams* ac a guddiodd mewn coedwig, dri chant o wŷr. Yn y boreu, y Manaw a ymosodasant arno, yn wrol; ond cyn hir, y gwŷr celedig yn y coed ruthrasant allan, a gorfu ar y Manawiaid ffoi. Ar ol hyn, ymostyngasa Godred; ac yntau a roddodd iddei wŷr, y dewisiad, naill ai rhanu yr yn rhyngddynt, neu ei hysglyfaethu; a hwy a ddewisasant yr olaf. O rhai o bobl yr ynysoedd Albanaidd yn ei fyddin, a gawsant ddeheudir ynys; a'r trigolion cyntefig a adawyd mewn meddiant o'r gogledd-d Y pigiad hyn a ddengys y fath gymmysgiad cenhedlaethawl oedd rh hanfodi yno, hyd nod yn yr 11eg ganrif.

Y mae rhan fawr o drigolion y trefydd, y dydd heddyw yn ddyfodi diweddar o Loegr, a gwledydd ereill; ond gan fod yr hen iaith Fanawai yn siaredig trwy yr ynys, gan y bobl wladaidd, gellir meddwl fod y rh

ifo'r trigolion, o sefydliad cynoesawl yno;* ac oddiwrth y iaith honno, ie yn ddilys eu bod gan mwyaf, o darddiad Gwyddelaeg, gydag, ysgat-, rhyw gymmysg Llychlynaidd a Saesonaidd. Y iaith Fanawaeg, o ran ei sail, yn Wyddelaeg, gyda thwysged o lygriad, trwy gymmysg au dyeithr; rhai o'r sawl, a ddywedir eu bod o eiddo y Llychlynwyr, ill, yn ddiau, ydynt Saesonaeg. Ond pa un a oes rhyw weddill eg, nis gallaf farnu, gan fod cymmaint o gyffelybiaeth rhwng y laeg a'r Gymraeg. Ac nis gallaswn, oddiwrth agwedd neu anian-bobl, ffurfio un math o ddychymmyg, perthynol i un cymmysg giaidd; ond oddiwrth enwau llecedd a chyffredinolrwydd y aeg, yn eu hiaith, y mae yn ddilys gennyf, fod y gwaedoliaeth laeg yn goruchafu.

lurhad o anianawd y iaith, rhoddaf yma anghraifft o honi, allan o uad yr Efengyl yn ol Sant IOAN, gan osod ochr yn ochr gydag ef, ion yn y Wyddelaeg, ag yn iaith Ucheldiroedd yr Alban; yr hon hefyd, y *Gaelaeg*, ac *Erse*, h. y. *Irish;* ac wrth gymharu y d hyn, dylid sylwi fod y *Fanawaeg*, yn ysgrifenedig fel ag y seinier ol sain Saesonaeg y llythyrenau; ond fod y *Wyddelaeg*, a'r iraeg, yn ol yr hen lythyreniad, yn mha un y mae rhan fawr o'r nau yn hollol ddystaw; ac yn fynych o herwydd hynny, nid oes rbiaeth lleiaf rhwng y sain a roddir i'r geiriau gan Wyddel enedig, a roddir wrth amcan, gan Gymro, neu Sais, anadnabyddus o'r oreg.

ed a adawodd y deyrnas iddei fab ieuanc *Olaf;* ond y Manawiaid hodasant, o achos ei ieuenctyd, ac a ddewisasant ei frawd *Ronald;* nny allan, bu cyflwr gwladwriaethol Manaw yn ansefydlog iawn.

ie yn yr ynys yn awr, bedair tref lwyddiannus a chynnyddawl; stletown, *Douglas*, *Peeltown*, a *Ramsay*. Y gyntaf yw y brif ond y mae *Douglas* yn blaenori o ran masnach. Hen enw y n, oedd *Dubh-Glas*. Seinier ef yn awr, gan y Manawiaid, ish. Y mae y gair hwn iddei gael mewn amryw leoedd, o eiddo y l, o'r Alban i Lydaw; ac yn wastad, y mae yr *g*, yn ddystaw. Yn ru, yr enw cyferbyniol, yw *Dulas;* a meddyliaf mai *Du*, a *clais*, yw y gair; ond y mae y Manawiaid yn dywedyd, fod eu *Dubh-y*, yn deilliaw oddiwrth enwau y ddwy afon sydd yn cyfarfod wrth ef, y *Dhoo*, a'r *Glas*.

ae cyffelybiaeth agos rhwng arferiad y Fanawaeg, yn Manaw, a'r Gymraeg yn . Y bobl wladaidd a sariadant eu hiaith gysefin yn eu cartrefi, ac yn mhlith eu ithr deallant Saesonaeg, ddigon i drafod masnach â dyeithriaid. Yn y marchnad-y trefi, clywir y Fanawaeg a'r Saesonaeg, yn mhlith y bobl, yr un modd a'r a'r Saesonaeg yn rhai o farchnadoedd Cymru; neu y Lydawaeg a'r Ffrangaeg, w.

| *Manawaeg.* | *Gwyddelaeg* Iwerddon. | *Gwyddelaeg* Ucheldiroedd yr Alban. |
|---|---|---|
| Yn Sushtal scruit liorish yn noo EAN. | An soisgeul do reir Eoin | An Soisgeul a reir Eoin. |
| Cab. 1. | Caib. 1. | Caib. 1. |
| 1 Ayns y toshiaght va'n Goo, as va'n Goo marish Jee, as va'n Goo Jee. | An sa tosach do bhí an Bhriathar, agus do bhí an Bhriathar a bhfochair Dé, agus do bé Dia an Bhriathar, | Anns an toiseach bha am Focal, agus bha'm Focal maille ri Dia, agus b'e'm Focal Dia. |
| 2 Va'n Goo cheddin ayns y toshiaght marish Jee. | Do bhí so ar tús a bhfochair Dé | Bha e so air tus maille ri Dia. |
| 3 Liorishyn va dy chooilley nhee er ny yannoo; as n'egooish cha row nhee erbee jeant va er ny yannoo. | Lessean a taid na huile neithe deunta, agus gan e ni bhfuil éinni deunta, da ndearnadh. | Rinneadh na h-uile nithe leis; agus as eugmhais cha d'rinneadh aon ni a rinneadh. |
| 4 Aynsyn va bea, as va'n vea soilshey deiney. | Ann san do bhi beatha, agus dob i an bheatha solus na ndaoine | Annsan bha beatha, agus b'i a bheatha solus dhaoine. |
| 5 As ren y soilshey soilshean ayns y dorraghys, as cha ren y dorraghys goaill-rish. | Agus soillsighidh an solus sin ann sa dorchadas, agus nior ghabh an dorchadas chuige é. | Agus tha n'solus a'soillseachadh anns an dorchadas, agus cha do gabh an dorchadas e. |
| 6 Va dooinney er ny choyrt veih Jee va enmyssit Ean. | Do cuireadh duine o Dhia dar bhainm Eoin: | Chuireadh duine o Dhia, d'am b'ainm Eoin. |
| 7 Hoink eh shoh son feanish, dy ymmyrkey feanish jeh'n toilshey, liorishyn dy voddagh dy chooilley ghooinney credjal. | Tainic an te so mar fhiadhnuisi, do chum go ndeanadh se fiadhnuisi don tsolus, ionnus go gereidfidis cach uile thrid. | Thainig esan mar fhianuis, chum fianuis a thoirt mu'n t-solus chum gu'n creidadh na h-uile dhaoine tridsan. |
| 8 Cha nee eh va'n soilshey shen, agh v'eh er ny choyrt dy ymmyrkey feanish jeh'n toilshey shen. | Nior bhesean an solus ud, achd *do cuireadh* e ionnus go ndeanadh se fiadnuisi don tsolus ud. | Cha b'esan an solus sin, ach *chuireadh* e chum gu d'thugadh o fianuis mu'n t-solus, |
| 9 Shen va'n soilshey firrinagh, ta soilshean ayns da chooilley ghooinney ta cheet er y theihll. | Do be so an solus firranneach shoillsigheas gach uile dhuine da dtig ar a tsaoghal. | B'e so an solus fior a ta soillseachadh gach uile dhuine, tha teachd chum an t-saoghail. |
| 10 V'eh ayns a theihll, as va'n seihll er ny yannoo liorishyn, as y seihll cha dug enney er. | Do bhi se air a tsaoghal, agus tridsean do rinneadh an saoghal, achd nior ghabhadar a [illegible] | Bha e anns an t-saoghal agus [illegible] |

Yn awr, a nyni heb un hyspysiad, oddieithr yr uchod, perthynol i hanes Manaw, sef mai y Gwyddelod oeddynt ei thrigolion yn y 5ed ganrif; a'i bod dan lywodraeth brenin, o darddiad Gwyddelaeg, yn y 6fed ganrif; ac i'r Saeson ei goresgyn yn y 7fed; ac etto y Llychlynwyr, yn y 10fed: pa fodd y gallwn gysoni hyn oll â'r mynegiad, fod *Merfyn Frych*, yn meddiannu pendefigaeth yno, ac yntau o hiliogaeth Gymraeg? Gan nad fy amcan yw cynnal hon, neu unrhyw ddadl arall mewn lledgarwch, eithr yn y gwrthwyneb, rhoddi ei wir bwys i bob awdurdod, wrthattebaf yma, y gellir dywedyd fod y cyfnewidiadau aml uchod, yn nghyd âg amryw ereill o'u cyffelyb yn yr oesoedd canlynol, yn dangos yn eglwg, mor ddichonadwy y gallasai rai o genedl y Cymry, yn ystod yr oesoedd hyn, fod yn berchenogion ar diriogaethau yn yr ynys. Eithr yr mae ig anghraifft o gyd-ddyfodiad y Cymry, a gwyr Manaw, a allaf gyfarfod, yn yr hanes rhag-grybwylledig o eiddo Buchanan, yr hwn a ddywaid i Aidan, brenin y Scottiaid, pan yn cael ei ormesu gan Ethelfrith, brenin y Saeson, adnewyddu hen ammod â *Malgo*, y Brytaniad;—"*cum Malgone Brittoni fœdus antiquum renovavit.*"]* Ac iddo roddi llywiad ei fyddin iddei fab, ac i *Brendinus*, ei nai, ac iddynt hwy uno eu lluoedd â'r Brytaniaid.

Ond, gan ys o ba wlad yr hannodd Merfyn Frych, y mae ei briodas â merch tywysog, yn arwyddocad o radd bendefigol; a'r hawsdra, trwy ba un y daeth i feddiant o'r orsedd, yn dangos ei fod yn berchenogol ar awdurdod a galluoedd, ddigon i amddiffyn ei hawl, rhag neb rhyw ymgeisydd cymmydogaethol yn mhlith ei gydwladwyr.

Ond braidd y daeth i feddiant o'i anrhydeddau, cyn fod galw arno i arfogi yn erbyn ei elynion Saesonaidd; canys yn y flwyddyn gyntaf ei deyrnasiad, daeth *Egbert*, brenin Westsex, i Gymru â byddin liosog; fel y dywed y Brut,—"y diffeithws y Saeson mynyded *Eryri*, ac y gant frenhiniaeth *Rywoniawc* y ar y Cymre." "Ac y bu waith Llanfaes yn Môn." Ac yn y flwyddyn nesaf, neu 819, y daeth *Kenwlph*, brenin y Mers, i Ddyfed, ac a ddiffeithiodd y wlad.

Yn y flwyddyn 823, "y diffeithwyd Gwlad Powys gan y Saeson, gan ddwyn y meibion oll i gyd oddiar eu mammau, a'u meithrin yn Saeson, canys arferyd hynny gan y Saeson. A'r un flwyddyn y llosgasant Deganwy."

Y mae y weithred hon o ddwyn plant i fynu yn Saeson, yn dangos wyneb dwys ar ran y giwdawd honno; canys gwyddent yn dda, os gwaith y gallent lwyddo, i beri i'r Cymry anarfer eu hiaith gynhenid, y

* Os *Maelgwn Gwynedd*, a feddylir yma, y mae cyfeiliorni yn rhyw ran o'r hanesiad; canys yr oedd y pennadur hwn yn teyrnasu yn nechreu y 6fed ganrif, ac *Ethelfrith* yn ei diwedd.

byddai y gwladgarwch yn diflanu yn fuan, ac felly, na fyddai un anhawsdra iddeu dwyn dan gaethiwed, ac yr oedd hyn lawer mwy buddiol iddynt, na lladd a dyfetha y cyfryw; canys wrth hyn, ennillent genedl o gaethweision ufudd a gostyngedig i drigiannu ar eu hymylau, yn lle y dynion eiddig a rhyfelgar, a gyfarfyddent a hwy o'r blaen; y rhai oeddynt yn wastad yn barod i ymarfogi, er amddiffyniad o'u meddiannau a'u rhydd-did. Pa faint o wlad Powys a ennillwyd yn y modd hyn, nid yw hyspys. Dywedir hefyd i *Egbert*, ar y pryd hyn, oresgyn ynys *Môn*, ac iddo roddi iddi yr enw Saesonaeg *Anglesey*, hynny yw, *Angles-ey*,—*Ynys yr Eingyl*. Ni fu yr ynys hon yn hir yn nwylaw y Saeson, canys ennillwyd hi yn ol gan y Cymry; ond yr enw a lyna wrthi hyd y dydd heddyw. Yn rhai o'r cadruthriadau hyn, cymmerodd Egbert ddinas *Caerlleon Gawr*, yr hon, hyd hyn, oedd yn meddiant y Cymry.

Ychydig ar ol hyn, sef yn 829, yr oedd y brenin Egbert wedi ymgryfhau i'r fath raddau, ag i ennill yr oruchafiaeth ar y brenhinoedd Saesonaeg ereill; ac efe a ddygodd holl wlad Lloegr dan ei lywodraeth; ac felly unodd y saith teyrnas a elwid yr *Heptarchy*, yn un deyrnas, i'r hon y rhoddodd yr enw *England*, h.y. *Angl-land*,—*Gwlad yr Eingyl;* a'r iaith a elwid yn *English*.*

Ymddengys fod llu o Wyddelod wedi dyfod i ogledd-dir Cymru, o gylch yr amser hyn, ac yn y terfysg cyffredinol wedi llwyddo i ymsefydlu yn y wlad; canys nis gallwn feddwl fod dim o'r genedl honno gwedi parhau yno o amser Cunedda Wledig. Y mynegiad am danynt yw y canlynol:—

820, neu yn hytrach 825, "y bu farw Hywel Fychan ac y lladdodd Gwyddelod Mon ac Arfon lawer o'r Cymry."

Tra yr ydoedd yr holl derfysg yma yn hanfodi yn Ngogledd-dir Cymru, nid oedd y Deheudir ddim yn hollol dawel; canys dywedir,—

Oed Crist 831, "y daeth Saeson y Mers ar hyd y nos yn ddiarwybod ac a losgasant Fonachdy *Senghenydd*.† Ydd oedd hwnnw yn y man lle mae y Castell yn awr. Ac oddiyno y daethant hyd at Gastell *Treoda* ac a'i llosgasant: a diano oddiyno dros For Hafren a llawer ganddynt yn lledrad, lle ydd eedd llw cyngrair y pryd hynny rhwng Gwyr Morganwg a Gwent a Saeson y Mers."

Gwelir yma, fod y Saeson mor alluog i dorri ammodau, a neb o'u cymmydogion; a phan dafler y fath gyhuddiad yn erbyn y Cymry, megys

* *Sharon Turner* a wada gywirdeb y traethiad hyn. Arddela oruchafiaeth Egbert ar y brenhiniaethau Saesonaeg ereill, yn gystal ag eiddo ei ganlynwyr yn ei deyrnas o Wessex; eithr haera, na fu un brenin unigol ar Loegr oll, hyd amser Athelstan.

† *Senghenydd*, yw *Caerphili;* deillia yr enw oddiwrth *Sant Cenedd;* y mae yr ardal yn adnabyddus wrtho, hyd heddyw.

ii rhyw ysgelerder anarferol, cofiwn yn fynych, mai gelynion rw yr ysgrifenyddion; megys hanesydd Offa, ac ereill. Y l yw, fod brad a dichell, anudon, ac anrhaith, yn rhy gyffredin pob cenedl, yn yr oesoedd annedwydd hyn.

rfu i Egbert sefydlu ei deyrnas yn y modd goruchafiaethawl hyn, ıafodd ond ychydig fwynhad o'i lwyddiant; canys braidd yr gweled cyflawniad ei waith, pan ddaeth y Daniaid i Loegr gyda d tra lliosog, ac a wnaethant gadgyrchiadau tra ffyrnig a dinystr-eson, a bu amrywiol frwydrau rhwng Egbert â hwy, yn y rhai yr ldugoliaeth yn anwadal.

g ar ol hyn, sef o gylch 835, y daeth y Daniaid â llynges gadarn ısant yn Nghymru; a'r Cymry a unasant â hwy, yn erbyn c efe a gyfarfu mewn brwydr a hwy, mewn lle a elwid *Hengest-'engston-Hill*, yn *Nghernyw*, meddylir,] lle y gorthrechodd ar aid, ac a'u gyrrodd ar ffo. Gan mai *West-Wealas*, yw yr enw r Cymry hyn yn y Chron. Sax. a chan mai yn Nghernyw y bu rhai a feddyliant, mai y Cernywiaid, ac nid trigolion Cymru, a ɜir wrth yr enw. Ond y mae y Brut yn dywedyd, mai Cymry

ımseroedd hyn, yr oedd gelyniaeth parhaus rhwng y Cymry a'r brwydrau aml yn cymmeryd lle; yn un o ba rai, yn debygol, y *Merfyn Frych.* Crybwyllir am rai o honynt yn y modd

—

ist 838, Gwaith Cyfeiliawo lle y bu ymladd tra thost rhwng y Cymry a renin y Mers, ac yno y lladdwyd Merfyn Frych Brenin y Brytaniaid. Ac yn n y gorfu ar y Brytaniaid ac oedd yn Lloegr yn byw, ymroddi yn Saeson, neu lad a'u cartrefoedd ym mhen tri mis. Yn yr un flwyddyn y bu waith *Fferyllwg* a Hafren lle bu llaw ucha'r Cymry."

st 840, y bu ail waith Fferllwg, lle y lladdwyd llawer o bob tu, fal nas gellid uchaf nac i'r un na'r llall o honynt."

Powel yn dywedyd fod i'r gyfraith ormesawl uchod yn erbyn y rhai oeddynt yn trigo yn Lloegr, gael ei ffurfio gan Egbert, trwy ei wraig, *Redburga.**

a fu farw yn 838; yr oedd yn bennadur cadarn ac egniol, ac llwyddiannus, hyd tua diwedd ei deyrnasiad, pan welodd ei au yn cael eu hanrheithio gan y Daniaid; a'i ddeiliaid yn cael 'mmu yn druenus gan y dyeithriaid hynny.

*Matthew o Westminster*, yn crybwyll am *Eadburga*, gwraig *Brithric*, brenin serch i *Offa*, yr hon oedd fenyw o ymddygiad ysgeler. Nis gwn a oes ryw n yr enwau yma,

Am farwolaeth *Merfyn Frych*, y mae cofiant arall yn un o'r Brutiau sef,—

846,—" y bu gweith *Kitell.* Ac y bu farw *Merfyn Frych.*"

Wrth geisio cysoni yr ymrafaelion hyn o amseryddiad, y mae yn rhaid eu gadael ill dau ar y naill tu; ac felly cyfrifir, i farwolaeth y pennadur hwn, gymmeryd lle o gylch y flwyddyn 843

*Merfyn Frych* a adawodd ei orsedd iddei fab *Rhodri*, yr hwn a elwir *Rhodri Mawr.*

Yn ystod teyrnasiad *Merfyn Frych*, y mae yn y Brutiau amrai gofiaint byr am ddygwyddiadau, y rhai ni ellir eu defnyddio i eglurhau hanes er na ddylid eu hollol esgeuluso. Y canlynol, ydynt rai o honynt:—

830, " Bu farw *Morydd* ab Llywarch Llwyd Brenin Ceredigion."

Yn y flwyddyn 835, "bu farw *Cadwallon.* Yr oedd efe'n wr pendefig, mawr ei barch a ddoethineb."

" 830—Bu varw *Saturbin* escob ym Mynyw."

" 840—Pan wledychawd *Meuruc* escob ym Mynyw."

Nid oes un hanesydd Cymraeg o'r oes hon ar glawr, oddieithr Nennius ac ysgatfydd, na fu un o ddim cyfrif, yn hanfodi. Ac y mae yn beth tra nodedig, ac hefyd yn achlysur o nid ychydig o siomedigaeth, fod yr awdwr hwn yn treulio rhan fawr o'i hanes, ar hanesion ffugiol yr hen oesoedd, a gadael ei oes ei hun, heb braidd un sylwad arni, pan y gallasai trwy draethu yr hyn a ddygwyddai o flaen ei lygaid, roddi i ni wybodaeth cyflawn am amgylchiadau ein gwlad, yn lle ein gadael yn y tywyllwch, yr hwn a orchuddia yr amser yma. Pa fodd y deuwyd o hyd i'r ychydig gofiaint uchod, ni allaf ddywedyd. Ond dichon mai yn y coflyfrau Eglwysig y cadwyd hwy, ac mai o'r rhai hynny y pigodd Caradawc hwy allan. Yn wir, gellir ffurfio barn am yr anfedrusrwydd o ysgrifenu hanesion gwladwriaethol yn yr oesoedd hynny, oddiwrth y clod a roddir i eiddo Gildas a Nennius; y sawl, o ran sylwedd hanesyddol, nid ydynt gystal a'r hyn a allwn ei ddysgwyl oddiwrth blentyn ysgol, y dydd heddyw. A diau y cofrestrai y fath un ddygwyddion ei oes ei hun, mewn modd mwy boddhaol, nag y ceir yn ngwaith yr enwogion rhagflaenol.

## RHODRI MAWR.

### 843.—877.

RHODRI MAWR, mab *Merfyn Frych, ac Esyllt*, a esgynodd i'r orsedd o gylch y flwyddyn 843. Y mae yn debygol iddo dderbyn ei gyfenw MAWR, oddiwrth yr amgylchiad o fod yn meddiannu yn agos y cyfan o frenhiniaethau Cymru; megys yn eiddo priodol ei hun. Yr oedd yn feddiannol ar *Wynedd*, trwy etifeddiaeth, ar ran ei fam *Esyllt*, merch *Cynan Tindaethwy*. *Dyfed* a ddaeth iddo ar ran ei wraig, merch, ac etifeddes *Meyric ap Dyfnwal ap Arthen ap Sitsyllt, brenin Ceredigiawn*. *Powys* a ddaeth iddo trwy etifeddiaeth, ar ran ei famgu, mam ei dad, yr hon oedd chwaer ac etifeddes i *Congen* ap *Cadell*, brenin *Powys*. Y mae yr amgylchiad yma, yn cadarnhau yr hyn a ryfygais ei honni; sef, nad oedd gan neb o'r tywysogion rhagflaenol, awdurdod cyffredinol ar Gymru oll; ac nad oedd eu llywodraeth yn estyn yn mhellach na'u tiriogaethau neilltuol eu hunain, pa un ai Gwynedd, ai Powys, neu ryw ardal arall a lywient.

RHODRI MAWR, fal ei holl ragflaenwyr, o'r tywysogion Cymraeg, a orfu ymladd yn ddibaid er amddiffyniad o'i feddiannau. Un o'i elynion pennaf, oedd *Burchred*, brenin y Mers; yr hwn yn y Brut, a elwir *Berthwryd*. Crybwyllir am ei helynt yn y modd canlynol:—

"843, *Rhodri Mawr* ab *Merfyn Frych* a ddechreuwys wladychu ar y Cymry, a gorfod ymddifadu ar Bryttaniaid ac oeddynt yn byw yn Lloegr, a myned yn un a'r Saeson a wnaethant hwy. A Rhyfel mynych a mawr a fu rhwng *Rhodri*, a *Berthwryd* Brenin Mers, yr hwnn Ferthwryd a fynnwys gynhorthwy gan *Ithelwlf* ei frawd ac a ddaeth a llu dirfawr i Fôn gan ddiffeithiaw Gwlad y ffordd y cerddynt, fal y gwnai'r Paganiaid di grêd a bedydd. Myned a wnaed Rhodri yn eu herbyn a llu dewisawl o'r Cymry gydag ef; ac yn gynhorthwy iddaw y daeth *Meuryg ab Hywel* Brenin Morganwg a llu cadarn, a'r *Meuryg* hwnnw a laddwyd yn y frwydr honno, eithr gyrru ffo ar y Saeson yn y diwedd, gwedi ymladd tost a chreulawn."

Y mae y Chronicon Saxonicum, yn mynegi am lwyddiant *Buchred* ac *Æthelwulf*, eithr ni sonia am y dymchweliad a gawsant gan y Cymry. Ond y mae yn dra amlwg iddynt gyfarfod â'r cyfryw, onite ni fuasent yn ymadael â'r gwledydd, y rhai a afaelasent ynddynt.

* Oddiwrth y cyffelybrwydd rhwng *Rhodri*, a *Roderick*, gellid meddwl fod y blaenaf, wedi ei gymmeryd oddiwrth y llall, yr hwn sydd o darddiad estronawl, ac yn perthyn i rai o lwythau Gothaeg y Cyfandir. Ond nid oes achos i ffurfio y cyfryw dyb; canys dichon y y gall yr enw *Rhodri*, fod o hanniad Cymraeg, yn gystal a'r rhan fwyaf o enwau priodol ereill y Cymry: canys *Rhodawr*, yw *tarian*, fel y gwelir yn fynych yn ngwaith y beirdd, yn deilliaw, meddyliaf, oddiwrth *Rhod*, ac yn arwyddocau y darian gron. Ac er cadarnhad o'r haeriad hyn, gellir sylwi fod yr enw *Cadell*, yn arwyddocau yr un peth, sef *tarian*.

Gyferbyn a'r amser hyn, sef y flwyddyn 852, y mae yn y Chron. Saxon. gofiant, yr hwn a gyfeiria mewn rhan at arferion cartrefòl y Cymry. Canys crybwylla am gyttundeb gan fonachod *Peterborough*, yn swydd Northampton, i ba un yr oedd y brenin Burchred yn un o'r tystion; yn yr hwn gyttnndeb, yr oedd y monachod yn gosod allan i ddeiliad, dyddyn o dir ar y telerau, fod y deiliad yn talu am dano i'r Fonachlog bob blwyddyn, 60 menaid o goed, 12 menaid o lô, 6 menaid o fawn, 2 dynell o gwrw cyffredin, 2 fustach lladdedig, 600 o dorthau, 10 mittan o *Gwrw Cymraeg;* a phob blwyddyn, geffyl, a 30 swllt, a lletty dros noswaith.

"He scolde gife ilca gear into the minstre sixtiga fothra woda. and twælf fothur græfan. and sex fothur gearda. and twa tunnan fulle hlutres aloth. and twa slæg næt. and sex hund hlafes. and ten mittan Wælsces aloth.* and ilca gear an hors. and thrittiga scillinga. and ane næt gefeormige." ["*decem sextarios Wallicæ cerevisiæ.*"—Gibson's Chron. Saxon.]

Oddiwrth hyn, y mae yn amlwg fod y Cymry ar y pryd hyn, yn enwog am ollwng cwrw da, onite ni fyddai mor adnabyddus yn nghanol Lloegr, pa un ai ei gael o Gymru mewn masnach yr oeddid, neu ynte ei ollwng yn Lloegr ar ol dull y Cymry, nid yw hyspys. Am enwogrwydd y Cymry, perthynol iddeu cwrw, sef diod, gwneuthbredig o frâg, y mae digon o d[...] iolaethau mewn amryw oesoedd, ac mewn hen gyfansoddiad yn n[...] gwaith Taliesin, rhesir ef yn mhlith y moethau, a'r anrhegion m[...] dymunol:—

"Y gwr a'm rhoddes y gwin a'r cwrwf a'r medd
A'r meirch mawr modur[1] mirein[2] eu gwedd."

[1] amddiffyn[...]
[2] har[...]

Ar ol marwolaeth *Meuryg*, gwnaethpwyd ei frawd *Ithel*, yn fren[...] Morganwg, a Gwent, yn ei le. Ac yntau yn arwain llu gadarn o wŷr, er cy[...] northwy i Rodri Mawr, ymosodwyd arno gan wŷr Brycheiniog, mew[...] modd tra chywilyddus, ac efe a laddwyd ganddynt: yr hyn a wnaethan[...] medd y Brut, "yn iawn i Ferthwryd, am fil o wartheg yspail, a gawsan[...] ganthaw am hynny o alanas."

"Oed Crist 850, y bu gwaith *Ffinnant* ac y llas *Cyngen* ab Cadell Deyrnllwg yn Rhufaisgan ei wyr et hun."

"Oed Crist 860, bu cad *Wythen* lle lladded llawer o'r Cymry a'r Saeson fal nas galled y llaw uchaf nac i'r naill na'r llall o honynt. A'r un flwyddyn y daeth y Paganiaid [*Daniaid*] i dir *Gwyr*, ac a'u gyrwyd ymaith gyda galanasdra mawr."

Oddiwrth y nodiadau hanesiol, a elwir *Annales Ultonienses*, [*Ulster*,] ymddengys fod brwydr rhwng y Cymry, dan Rodri mawr, â'r Daniaid, yn

anys dywedir i *Gorm*, [*Gurmund*,] blaenor y *Dubh-Gal*, [*Estron-luon*,] gael ei ladd gan *Rederych mac Marmhin*, neu, yn ol iad arall, *Marai mac Meirmin*, brenin Cymru.

mewn man arall yn yr un hanes, dywedir gyferbyn a'r flwyddyn 876, i *mac Murmhin*, brenin Cymru, ffoi i'r Iwerddon er nawdd, rhag y l; eithr ni chredaf fod un gwirionedd yn yr haeriad hyn; canys yr Iwerddon yn yr amser yma, yn nwylaw y Daniaid, y rhai oeddynt aesu y wlad yn dost; a chan fod y trigolion yn analluog i amddiffyn iin, a'r lywodraeth yn llaw eu gelynion, nid tebygol y buasai i'r Cymraeg ddyfod yno i geisio noddfa. Os aeth yno ar un pryd, y fwy cyson âg amgylchiadau, mai i roddi cynnorthwy, yn erbyn y ffredinol y gwnaeth hynny, nag er ffoedigaeth allan o'i deyrnas.

Crist 865, y lladded *Cynan nawdd nifer* [neu *Nant Nifer*] y dewraf a'r ardderch-i ddydd o Ryfelwyr Cymru."

y bu gwaith *Brynonnen*, ac y daeth y Paganiaid duon lawer gwaith yn yr un i Gymru a Lloegr a chael y gwaethaf ym mhob gossawd."

bu waith *Llangollen* a lladdfa fawr yno."

r un flwyddyn y boddes *Gwgan* ap Morydd ap Llywarch Llwyd Brenin Ceredig-orio dros afon Llychwr yng Ngwyr er gyrru y Paganiaid duon o'r wlad honno."

yr un flwyddyn y bu waith *Bangor* lle y lladdwyd y Saeson wrth y niferoedd a dreiglwyd arnynt oddiar y bryniau, ac yn mhlith y rhai hynny Escob Bangor."

y bu waith *Bangolau* yn Môn lle gorfu Rhodri a'r Cymry ar y Paganiaid duon wydr galed: a gwedi hynny yr un flwyddyn Gwaith *Manegid* ym *M*on lle difethwyd aid duon."

megiad canlynol a ddengys derfyniad rhwysg y tywysog clodwiw hyn oedd yn deilwng o'i gymmeriad, megys gwron dewr a gwlad-nys bu farw yn anrhydeddus, yn amddiffyniad o'i wlad, megys y yaf o flaenoriaid y Cymry. A threfniad y cofiant a ddengys egni edig, ac haeddiannol o sylw:—

(neu yn hytrach 877,) y bu waith Dyw Sul ym Mon, ac yn honno y llas *Rhodri Gwriad* ei frawd a *Gweirydd* mab *Owain Morganwg* gan y Saeson. Ac yna yn eu erdd y cymmerth Gwragedd Mon arfau ac a ruthrasant ar y Saeson a'u lladd yn oni orfu arnynt ffoi."

un flwyddyn y bu waith *Rhiw Saeson* ym Morganwg, lle y gorfu y Cymry ar y u lladd yn aruthrawl."

*dri Mawr*, a adawodd dri mab, *Cadell*, *Anarawd*, a *Merfyn*; ac d ei deyrnas yn dair rhan rhyngddynt. *Cadell*, a gafodd *Ceredig-* 'i lys oedd yn *Dinefwr*. *Anarawd*, a gafodd *Gwynedd*, a'i lys *Aberffraw*, yn Môn. A *Merfyn*, a gafodd *Powys*, a'i lys oedd *thrafal*.

Dywedir i Rodri roddi yr unbennaeth i'r henaf, sef *Cadell*, a gorch mynodd i'r lleill dalu teyrnged iddaw; a'r tywysogion hyn a e yn dywysogion *Taleithawc*, am eu bod yn gwisgo Taleithau aur ar pennau, er arwydd o'u gradd teyrnawl. Crybwyllir hefyd am dreth a henaf, i frenin Llundain; eithr meddyliaf, fod yma ryw gamsyniad, na wn am un brenin Llundain, ar y pryd hwn, a hawliai y cyfi dreth; ond nis medraf amgyffred y traddodiad yma, a meddyliaf y c fyddaf ynddo arnodiad o ychwanegiad diweddarach na'r 9fed ganrif, ac cyfeirio at ryw hen draddodiad, perthynol i *Unbennaeth Prydain*.

## Y LLU DU.

Canfyddir yn yr hanesion rhagflaenol, fod o fewn ychydig flynyddoed cyn teyrnasiad Rhodri Mawr, i elynion newydd ymddangos yn mhlith Cymry; sef y *Daniaid*, neu y *Llu du*. Ac nid yn unig y Cymry, gawsant eu blino gan y bobl yma, ond y Saeson, a'r Gwyddelod, a thrig olion yr Alban. Mewn gair, nid oedd un cwrr o'r ynysoedd hyn, na ychwaith o'r gororau cyfandirol cyfnesol, lle ni threiddiodd y giwdaw ysglyfaethus hon. Ac nid oedd y blinderau, a oddefwyd yma gan y Cymry ond ysgafn, mewn cymhariaeth â'r hyn a gyflawnwyd ar y Saeson a' Gwyddelod. Canys oddeithr ambell i gadruthriad ar hyd y gororau, n wnaeth y Daniaid fawr o niwed i'r Cymry, gan na allasent ennill un mat o sefydliad yn y wlad; ond llwyr oresgynasant Lloegr, a'r Iwerddon, gormesasant ar y trigolion yn druenus, dros hir amseroedd.

Y bobl hyn a grybwyllir am danynt dan yr amrywiol enwau; *Daniai Daci*, *Northman*, *Ostman*, [*East-man*,] *y Paganiaid*, *y Cenhedloed y Llu du*, *y Paganiaid duon*, *&c.* Eu gwlad gynhenid, oedd *Denma* ond er fod y rhan gadarnaf yn dyfod o'r wlad honno, etto, yr oedd lla yn unedig â hwy o'r holl wledydd ereill, ar ymylau môr Llychlyn. Pa y rhoddwyd iddynt y cyfenw, *du*, ni wyddys. Cyttunir yn gyffredi na allasai yr enw hwn, ddim cael ei roddi o achos gwedd-arnodiad y bob lliw eu crwyn; canys oddiwrth a welir yn y gwledydd hynny y d heddyw, a'r hyn a ellir ei farnu oddiwrth ansawdd yr awyrad yno, p croenwyn, pengoch, neu penfelyn, oedd gwyr Denmarc a Llychlyn. R a dybiant, mai oddiwrth liw eu harfau, y daeth; eithr nid oes awdurc eu bod yn dduach yn eu plith hwy, na'r cenhedloedd ereill. Rhai ynt feddyliant, mai oddiwrth y llun ar eu llumman, sef y *Gigfran*, y deillia enw. Ond nid yw hyn oll namyn dychymmyg yn unig; ac felly ychwane atto, ddychymmyg arall o'm heiddo fy hun; sef, mai oddiwrth eu sefy gadarn yn ninas *Dulyn*, yr hon yn y Wyddelaeg, a elwir *Dubhlin*, y d yr enw. *Dubh*, yn y Wyddelaeg, sydd yr un a *Du*, yn y Gymraeg.

yfieithir enw y lle, *nigra therma*, a'r Daniaid yn y lle yma, a elwir *Dulin*. Gelwid hwy hefyd gan y Gwyddelod, *Dubh-Gâl*, hynny *Estroniaid duon*, Arferir yr un enw gan hanesyddion y gwledydd naidd, sef *Swarts here;* eithr y mae yn ddilys, mai oddiwrth yr ıyddion Brytanaidd y cymmerasant ef, yn hir gwedi rhyfeloedd *du*, o herwydd nid oeddynt yn feddiannol ar lythyrenau y pryd

e yn ddyledus sylwi, fod yn nghymmydogaeth Dulyn, gangen o'r h, yn myned allan dan yr enw *Fin-gâl*, yr *estroniaid gwyn*, medd thr ystyr yr enw sydd gwbl mor dywyll a'r nall.

ɔl hyn a ddechreuasant eu rhwysg yn fôr-ladron; ac bob yn fel y teimlent eu gallu, ac y canfyddent eu hadeg, daethant i r sefydliadau parhaus mewn amryw wledydd, gan orthrymmu y , trwy drethi a chaethiwed. Heblaw ynys Prydain, ymsefydl- hunain yn Ffrainc, o gylch y flwyddyn 900, yn nhalaeth *a*, enw pa un a gyfnewidiasant i *Normandy*. Darostyngwyd ı Lloegr, gan y brenin *Alfred;* ac yn fuan ar ol hynny, gyrrwyd leyrnas: a'r un peth a gyflawnwyd yn yr Iwerddon, gan *Brian* , a'i ganlynwyr. Ond ni ymadawsant fyth â gwlad *Normandy;* hiliogaeth, yn gymmysg â phobl y cyfandir, a ddaethant i Loegr, *ilym y Goresgynydd*, ac a ennillasant y deyrnas honno oddiar

ıiaid, yn nghyda'r llwythau Llychlynaidd ereill, oeddynt gwedi ı'r gwreiddyn Gothaeg. Ond gan eu bod yn anllythrenog, nid o'u hiaith cynoesawl ar glawr. Ond y mae gweddillion o amryw o oedran yn gadwedig, oddiwrth ba rai y gallwn ffurfio barn am nawd. Un o'r anghreifftiau henaf a ddaw dan fy sylw, yw y diad prydyddol, a elwir *Lodbrokar-Quida*, neu Cân Farwnad *Ledbrok*, brenin Denmarc, o gylch y 9fed, neu y 10fed ganrif. wyd y rhyfelwr hwn yn garcharor, gan *Ella*, brenin yr Eingyl, r, yr hwn a'i taflodd i bydew, yn llawn o nadredd; a'r farwnad ddir megys yr hyn a ganai efe yn yr amser hwnnw; eithr y mae g, mai cyfansoddiad diweddarach ydyw, na'i amser ef, ac wedi ei so at yr achos hynny. Cynnwysa 29 pennill. Rhoddaf y cyntaf it yma, yn nghyd â dau gyfieithiad Lladin; y sawl, gan yr iad mewn rhai pethau, a ddangosant nad yw y iaith yn eithaf wy, y dydd heddyw: yr olaf, sydd allan o gyhoeddiad y *Pareh-stone*. Y mae rhai arwyddion ei fod yn rhoddi y synwyr yn well ; awdwr pa un, nid yw hyspys i mi: ond gan fod y llinellau yn , rhoddaf ef wrth ochr y cysefin.

**Lodbroker Quida.**

| | |
|---|---|
| Hiuggom ver med biaurvi | Pugnavimus ensibus |
| " Hitt var ei fyrir laungo | " Haud post longum tempus |
| Er á GAUT-LANDI gengom | Cum in GOTLANDIA accessimus |
| A graf--vitnis mordi; | Ad serpentis immensi necem |
| Tha sengom var THORO. | Tunc impetravimus THORAM |
| Thathan heto mic fyrdar, | Ex hoc vocarunt me virum |
| Er ling-al um lagda'o, | Quod serpentem transfodi |
| LODBROC. At thivi vigi | Hirsutum braccam ab illam cædem |
| Stack ec a stordar-lyckio | Cuspide ictum intuli in colubrum |
| Stali biartra mala." | Ferro lucidorum stupendiorum." |

Y cyfieithad arall allan o gyhoeddiad y *Parch. J. Johnstone*:—

" Considimus ferro.——quum primum GOTHLANDIAM ingressi fuissemus, haud longum mors *serpentis* vafrifossoris dilata est.——Tunc THORAM *præmium virtutis* obtinui. Postea, quia ericeti anguillam, i. e. *anguem* trajecissem, mortales me LODBROCHUM nominavere. Isto enim certamine victor, annulum-terræ i. e. *serpentem*, ferro splendentibus metallis ornato, transfixi."

Gan gadw at y cyfieithiad olaf, y canlynol ydyw ystyr y geiriau yn agos air yn air; a'r egluriadau a ddangosant y fath gyffelybrwydd â'r Saesonaeg, a phrofi fod y ddwy iaith o'r un tarddiad cynhenid.

| | |
|---|---|
| Naddasom â'r cleddyf .............. | Hioggom, *to hew*—med, *with*. |
| Yr ydoedd nid cyn hir .............. | Hitt, *it*—var, *were*—fyfyr, *before*—laungo, *long*. |
| Pan i *Gothland* aethom .............. | Land, *land*—gengom, *gang*. |
| At angau y clawdd-gyfrwys .......... | graf-vitnis, *grave-witting*, h. y. celfydd mewn ffurfio cloddiau caerau. |
| Yr ennillasom *Thoro* ................ | *Thoro*, enw menyw. |
| Yno y'm galwasant ddynion .......... | thathan, *then*—heto, *hight*. |
| Er pan trywanais y grug-lysywen...... | ling-al, *ling-eel*, h. y. neidr,—rhyw elyn iddo. |
| *Lodbroc*, wrth yr hyn ymladdiad ...... | vigi, *fight*. |
| Brathais y ddaear-dorch, [neidr] ...... | stack, *stick*. |
| A'r dur o ddisglaer ddelid ............ | stal, *steel*—mala, *mail*. |

Y cyfryw, neu ryw beth yn gyffelyb, oedd iaith y *Llu du*, mam iaith y Danaeg presennol ydoedd; ond nid ydyw mwyach yn ddealladwy i'r werin; eithr rhaid wrth chwiliad hynafiaethol, iddei dehonglyd. Heblaw y cyffelybiaethau uchod i'r Saesonaeg, gwelwn hefyd berthynas rhwng rhai geiriau a'r Lladin; megys, *laungo*, *longo*—*mordi*, *morti;* ac ereill yn ystod y cyfansoddiad, megys *vin*,*vinum*—*solar*, *sol*, *&c*. Pa un ai benthygiad o'r Lladin ydynt, neu ynte, ran o ryw hen iaith gynoesawl, nis gwn; canys gallwn weled aml anghreifftiau o eiriau cydsain-cyfystyr, yn agos yn mhob dwy iaith o'r byd; a hynny heb un achos i feddwl, fod un gwedi benthyca

nall, ond yn hytrach eu bod gwedi tarddu o'r un cyff. Ac o'r
r mae y gair *quida*, yr hwn a geir yn y Saesonaeg *quote*, a *quoth;*
adin, *inquit;* ac yn y Gymraeg, *gweud:* yr hwn a feddylir gan
llygriad o'r gair *dweyd*, ydyw; eithr camsyniad yw hynny; y
*ud*, llawn mor awdurdodol a *dweyd*.

eu hanianawd a'u hymddygiad, pobl anwar, bwystfilaidd, a
n, oedd y Daniaid, didrugaredd, a dideimlad; ac oddieithr fod
iamheuol, perthynol iddynt, braidd y credwn y gallai yr anian
yrthio i'r fath raddau dieflig o atgasrwydd. Er anghraifft o'u
gellir adrodd, mai un o'u harferion defodol, pan afaelent ar ryw
dref annedwydd, yn eu cadruthriadau, oedd cymmeryd y plant
oddiwrth eu mammau, a'u taflu â'u gwaewffyn, o un i'r nall,
i bicell, gan eu derbyn ar y blaenau; a'r arfer hyn oedd mor
yn eu plith, a'i fod yn ddefod gwastadol, nes iddo gael ei ddi-
trwy gyfraith, yr hon a wnaethpwyd gan un o'u brenhinoedd,
raidd na'r lleill.

larllenwn am y fath arferion, y mae yn rhaid i ni ddywedyd,
ı oedd cystudd y genedl a syrthiai iddeu crafangau. A phan
y modd rhyfeddol y darfu i'r Cymry amddiffyn eu hunain rhag
mder hyn, ni allwn attal oddiwrthynt y clod sydd ddyledus
rolder, a chyfaddef ein dyledion i'r Rhagluniaeth a'u cyfnerthodd
gwaith; canys er y darfu i'r lluoedd bwystfilaidd yma oresgyn
ıc yn agos y cyfan o'r ynysoedd Brytanaidd, a'u cadw dan eu
gormesol, dros amryw oesoedd, etto, nis gallasant erioed ennill
; ag un ymsefydliad yn Nghymru, er y gwnaethant amrywiol gyn-
l y gwelir yn y cofiaint a geir am y brwydrau gwaedlyd a ymladd-
y mewn cynnifer o fannau, ar ymylau y Dywysogaeth. A diau, mai
echiadau llesg, oedd y rhai hyn; canys y Daniaid oeddynt yn
ı'r fath danbeidrwydd yn eu rhuthriadau mewn brwydr, a'r fath
a ffyrnigrwydd diysgog mewn ymladdiad lawlaw, ac hefyd o
h a nerthoedd godidog, a'u bod hwy yn ddychryn i holl ororau
ac oddieithr Cymru, nid oedd un o'r gwledydd cyfnesol, yr hon
nasant, naill ai yn gyfan-gwbl, neu ryw ran o honi.

*Matthew o Westminster*, yn cyfrif am achlysur yr ymweliad cer-
ı ar y Saeson, yn y modd canlynol. Dywed fod y genedl Saeson-
ıith yn cynnal y ffydd Gristionogol mewn difrifwch, a chyda di-
l; eithr eu bod gwedi syrthio i'r fath raddau o ddirywiad, ac
dd-dra, ag nad oedd un genedl iddei chymharu iddynt, o ran
ıdwriaeth. Ac nad oedd dim a gasaent gymmaint, a duwioldeb
ıder; ac i'r Hollalluog anfon arnynt, er cospedigaeth, y cen-
Paganaidd hyn, megys heidiau o wenyn, y rhai nid arbedent na

rhyw nac oedran, a'r rhai a ormesasant y wlad bechadurus honno, dr agos i 230 o flynyddau, gan ei chyrchu, nid i'r dyben iddei darostw pherchenogi, eithr iddei hanrheithio a'i dinystrio. Y rhai os gwrthl ent hwy mewn un man, deuent yn uniongyrchol â byddin liosocach m man arall. A phan y byddai y brenhinoedd Saesonaeg yn cyrchu i ymla yn eu herbyn, yn yr ardal ddwyreiniol, cyn cyfarfod o'r byddinoedd, w gennad yn dyfod gyda brys, ac yn dywedyd, "O Frenin i ba le y cyrch —wele lynges aneirif o'r Paganiaid wedi gafaelyd ar yr oror ddeheuol deyrnas, yn anrheithio y dinasoedd a'r pentrefydd ac yn diffeithio'r fford y cerddant â thân a chleddyf."

Ni allaf lai na hoffi yn fawr, ddrychfeddyliau yr hen Fonach ar y testu hwn, a'r geiriad eglur a grymmus, trwy ba un y traetha ef; yn enwedig gwahaniaeth a wna rhwng goresgyniad gwlad er mwynhad o honi, megy meddiant, a'r gafaelyd ysglyfaethus yma, o eiddo y dyeithriaid crwydraid hyn.

" Misit ergo eis Deus omnipotens, gentes paganas, et crudelissimas, velut apum examin qui nec quidem sexui muliebri, aut parvulorum parceret ætati, Danos scilicet, et Norw genses, Gothos et Swathedos, Wandalos, et Fresos qui ab exordio regis Athelvulfi supradict usque ad Normannorum adventum, par annos fermè, CC.XXX. terram hanc peccatrice mari usque ad mare, et ab homine usque ad pecus deleverunt. Siquidem Angliam crebri et undique invadentes. non eam subjugare ac possidere, sed prædari ac perdere satagebant.

Diau fod yr ymweliad hyn o luoedd anwaraidd, yn nghyd a'r modd y ymddangosasant, a'r ardaloedd o ba rai yr hannent, yn rhoddi pob lle idd gyfrif, megys barn ddialeddawl; ac yn dangos fel y mae Rhagluniaeth y trefnu i'r offerynau mwyaf annhebygol, ac weithiau y mwyaf gwael gael eu defnyddio tuag at gyflawni eu dybenion. Pan gyntaf yr ymse ydlodd y Saeson yn yr ynys hon, a derbyn o honynt gyda llawenyd luoedd cynnorthwyawl o ardaloedd Llychlyn, er eu cyfnerthu tuag oresgyn Lloegr, pwy a allasai feddwl, y buasai yr amser yn dyfod, pan byddai yr un llochesau yn danfon allan yr un fath luoedd iddeu daro twng hwythau, a'u gorthrymmu?—Ac ar ol ymsefydlu o'r Saeson yn ynys, a dwyn holl Loegr dan un bennaduriaeth, yn nghyflawnder cadern undeb teyrnasawl, pwy a allasai dybied fod yn nghilfachau gororau gogledd, heidiau o fwystfilod rheibus ar gychwyn allan iddeu hysgl aethu?—Ië, a'r gelynion hynny, ynddynt eu hunain, yn wael ac ddirmygadwy, yn grwydraidd a gwasgaredig, ac yn ddilywodraeth. O felly y trefnir yn fynych, pan gospir cenhedloedd am falchder, a thra Diau, mai gwael a dirmygedig oedd y môr-ladron Llychlynaidd, yn hymddangosiadau cyntaf, megys cenedl o ddynion; ond daethant c hir, trwy eu rhifedi a'u hymosodiadau diosteg, i fod yn elynion blin; ac y diwedd, yn ormes drom anrheithiol.

## ANARAWD.

### CADELL.——MERFYN.

### 877.—913.

---

ARAWD, gan ei fod yr henaf o feibion Rhodri Mawr, ac yn feddiannol ar l Gwynedd, a gyfrifir yn yr hanesion, yn *Dywysog Cymru;* a chan yn cael ei alw felly gan fy rhagflaenwyr, gosodaf ef wrth ben y ι, er cydffurfiad, ac er hawshad i drefniad yr hanes; ond gwelir yn dd, nad oedd ganddo fawr awdurdod allan o gyffiniau ei diriogaeth l ei hun. Y mae yn ddiau ei fod yn hawliaw, trwy ewyllys ei dad, ed ac ufudd-dod oddiwrth ei ddau frawd, ond hawl enwawl yn doedd, heb allu iddei gynnal. Ac heblaw hyn, pe buasai y ddwy ı yn meddiant ei frodyr, yn ufuddhau iddei awdurdod; etto y mae llys nad oedd Gwent a Morganwg ddim yn arddel y fath oruchaf- canys yr oeddynt, ar ei ddyfodiad ef iddei orsedd, yn annibynol.

ou *Anarawd* yn hir yn meddiant o'i orsedd, hyd nes cyfarfyddodd dynged, a arhosai pob un o'r tywysogion Cymraeg; sef, rhyfel â'r iaid oddiallan, ac â'i gyfneseifiaid o fewn iddei dreftadaeth. Y estronawl cyntaf a fynegir am dano, yw yr un â'r Saeson, yn yr hwn dugoliaethodd Anarawd, ac a ymddialodd am laddedigaeth ei dad, i mawr.—

), y bu waith Conwy, rhwng Anarawd â'r Saeson, lle cafas y Cymru y fuddigoliaeth, lawer o'r Saeson, ac achaws hynny y gelwid y Gadfaes honno *Dial Rhodri*."

edir i *Tudwal*, mab Rhodri, gael ei glwyfo yn ei glun, yn y frwydr ddiwrth yr hyn y cafodd yr enw *Tudwal gloff*.

er y fuddugoliaeth yma, y mae yn amlwg fod y Saeson gwedi o i ymsefydlu yn y wlad; a'r cofiant, yn mha un y cawn arwydd- hyn, a fynega i ni hefyd, amgylchiad tra nodedig yn hanes ein , sef dyfodiad i Gymru yn yr amser hyn, ran o'r gangen ddewr a riw honno o'r genedl Gymraeg, Brython Strathclud. Y cofiant l y canlyn:—

Grist 890, y gorfu ar wyr *Ystrad Clud* ymadael a'u gwlad, y rhai ni fynnent a'r Saeson, a dyfod i *Wynedd*, ac *Anarawd* a roddes iddynt gennad i wladychu'r dyged oddiarnaw gan y Saeson, ni amgen na *Maelawr* a *Duffryn Clwyd*, a *Rhufon- Tegeingl*, os gyrru ymaith y Saeson a fedrynt. A hynny a wnaethant yn ddibafarch. aeson a ddaethant yr ail waith, achaws hynny yn erbyn Anarawd, lle bu waith ac y bu'r Cymry yn fuddugolgyrch ar y Saeson a'u gyrru o'r wlad yn oilawl. Ac hyddhaed Gwynedd oddiwrth y Saeson drwy nerth Gwyr y Gogledd."

Crybwyllwyd eisioes am yr amgylchiadau yma yn hanes Strathc
dal. 325. Ac oddiwrth y dygwyddiadau cyfresawl yno, y mae yn d
mai yn amser cadrwysg y brenin Saesonaeg, Edward, y bu y mudi
o'r Brython gogleddol i Gymru. Canys y mae yr arfer o rifo blyn
wrth y degau, yn rhai ysgrifau, yn rhoddi lle i lawer o annghywir
yr amseryddiaeth. Y mae yr amgylchiad yn dra anrhydeddus i'r de
hynny, i'r sawl y perthyna. Y mae yn ddilys fod y blaid fechan hyn o
ion, gwedi ei lleihau i'r fath raddau, ag nad oeddynt yn alluog mw
wrthsefyll eu gelynion lliosog oddiamgylch; ac yr oeddynt yn rhy
eu hyspryd i ufuddhau i estroniaid, a "myned yn Saeson;" ac odd
yr hyn a allaf ei gasglu, meddyliaf nad yw y canlynol ddim yn
oddiwrth gywirdeb yr hanes. Cymry Strathclud, oeddynt dd
gwych a gwladgar, nid ufuddhaent i ormes estronawl, a dewise
hytrach, drancedigaeth anrhydeddus mewn rhyfel, nag ymostyng
gaethwasanaeth. A chynnaliasant eu meddiannau, yn dra chlo
dros amryw oesoedd, gan amddiffyn eu prifgaer, ar ben craig A
a chadw eu hunain mewn hanfodiad, megys cenedl dan eu llywo
gynhenid. Ond gan fod dyfodiadau dibaid a lliosog o estronia
pwyso arnynt o bob tu, y Scottiaid, y Saeson, a'r Llu du, cyfyr
eu terfynau bob yn ychydig, hyd nes eu bod yn y diwedd, gwedi eu g
i gyrrau bychain o'r wlad yn cynnwys yr ardal oddiamgylch i Alclu
mae yn ddiau fod llawer o'r werin yn ufuddhau i lywodraeth y dyeith
a bod eu hiliogaeth yn hanfodi yn y wlad etto, yn gymmysg â'r dyfi
hynny; ond y blaid ragenwedig o ryfelwyr, a amddiffynasant eu rhyd
ar graig Alclud, ac mewn mannau ereill, hyd yr amser dan sylw. Ond
Edward, y brenin Saesonaeg, a wnaeth gadruthriad ffyrnig, gyda b
liosog, ac a ddarostyngodd yr holl ardaloedd cyfnesol i Loegr; eithr
rhyw gongl o'r wlad, yr oedd plaid fechan o ryfelwyr Cymraeg, y rh
ymostyngent iddei ormes; ac etto, nid oeddynt ddigon lliosog iddei
ladd yn y maes; y rhai hyn a fordwyasant i Gymru, lle y cawsant n
a hynny, nid megys ffoedigion llwfr a gwaelion, ond fel rhyfelwyr
chalonog, yn barod i dalu â'u gwasanaeth yn y maes, am y fraint a
bynient. Y telerau oeddynt,—gyrru ymaith y Saeson allan o Dd
Clwyd, a'r ardaloedd cyfnesol, a thrigiannu yno yn eu lle. Y gor
hyn a gymmerasant mewn llaw, megys rhyfelwyr cedyrn, yn gynne
gwaith, ac a'i cyflawnasant yn ddihafarch, [egniol.] A da i'r
iddynt ddyfod drwodd; canys, oni buasai i'r cynhorthwy prydlaw
dichon y buasai y dydd heddyw, yn gweled Dyffryn Clwyd, yn ngh
feusydd bras, a'i fryniau hyfryd, yn meddiant ciwdawd Hengist,
bod fel y mae, yn harddu bro, ac yn gorlanw cyfoeth cenedl y Cymr
Pan rannodd Rhodri Mawr y wlad, rhwng ei dri feibion, yr o

i osod i lawr eu gwahanawl freintiau, a'u hawl neilltuol, mewn modd ı manwl; ond gwelwn na fu y rhagddarpariad hyn, o fawr effeith- ; canys, naill ai o herwydd brad a chynllwyn, neu drachwant, neu mrysonau tylwythawl, y cafodd gosodiadau Rhodri eu diddymmu yr amser. Oblegid darllenwn yn y modd canlynol am hyn :—

Crist 877, y gorfu Cadell ab Rhodri ar Ferfyn e frawd a dwyn oddiarnaw ei 'Powys, a yna efe a wladyches holl Gymru."

y mae yn amlwg fod awyddfryd y brodyr hyn, yn dra mawr, yn ı'u hymddygiadau gormesol i ennill eu dymuniadau trachwantus, a barodd i amryw o deyrnedd ereill Cymru, geisio nawdd y Saeson diffyniad o'u meddiannau treftadawl, megys y darllenwn yn ı *Asser Menevensis*, cydoesydd iddynt. Ei eiriau ydynt y ıl :—

enim tempore, et multo ante, omnes regiones dexteralis Britanniæ partis, ad egem pertinebant, et adhuc pertinent : Hemeid scilicet, cum omnibus habitatoribus e regionis sex filiorum Rotri vi compulsus, regali se subdiderat imperio."

ımser hynny, ac yn hir o'r blaen, holl ardaloedd y parth deheuol o Brydain a ıt i'r brenin Alfred, ac a berthynant etto. O herwydd *Hyfeidd*, [brenin Dyfed,] ag holl drigolion ardal Dyfed, gan gael eu gorthrymmu gan chwech* meibion ı ymostyngasant iddei lywodraeth oruchafiol, [sef llywodraeth Alfred.]

tto, dywedir :—

sed quoque filius Teudyr, rex Brechoniæ eorundem filiorum Rotri vi coactus, ı regis præfati suapte requisivit."

, hefyd, mab Tewdyr, brenin Brycheiniog, gan gael ei ormesu gan yr unrhyw hodri a ymostyngodd o'i ewyllys ei hun i'r brenin rhagenwedig, [Alfred.]

dengys hefyd, fod yr ymrysonau cartrefol melltigedig hyn, yn peri ıry geisio amddiffyniad y brenin Saesonaeg Alfred, hyd nod yn Saeson eu hunain; ac ymostwng i dalu ufudd-dod iddo am ei lle y gallasent, trwy gyfundeb a chydweithrediad, amddiffyn eu 'u breintiau, heb gynhorthwy estronaidd.

il quoque filius Ris rex Gleguising, et Brochmail atque Fernail filii Mouric, rent, vi et tyrannide Eadred comitis et Merciorum compulsi, suapte eandem e regem, ut dominium et defensionem ab eo pro inimicis suis haberent."

law y tri thywysog taleithiawg, Anarawd, Cadell, a Merfyn, yr oedd gan Rhodri ryw feibion ereill; enwir y canlynol felly, Meyric, Tudwal, neu Edwal, Gwriad, c.

*Hywel*, hefyd, mab *Rhys*, brenin *Glewysig*;* a *Brochmail*, a *Ffernmail*, meibion brenhinoedd *Gwent*, gan gael eu gwasgu, a'u gormesu gan yr Iarll *Eadred;* a gwŷ a ddaethant yn wirfoddol, ac a ddeisyfasant ar yr un brenin, [Alfred] am gael gan ei lywodraeth, nawdd rhag eu gelynion.

Oddiwrth yr uchod, y mae yn eglur fod meibion Rhodri, yn bend uchelfrydus ac egniol; ond ar yr un pryd, yn ormesol ac yn ymrys eithr nid oedd yr anianawd hyn yn perthyn iddynt hwy yn unigol, c yr oedd yn rhy gyffredin yn yr amseroedd yma. Amseroedd o gormes, ac ysglyfaeth, oedd y rhai hyn; a'r *Hyfeidd* rhagen brenin Dyfed, er y ciliai o flaen meibion Rhodri, etto, ydoedd ei hu ormesol i'r rhai o fewn iddei allu, a hwynthwy, fel y gwelwn yn n Asser, allan o ba un y cymmerwyd yr uchod. Y Cymro dysgedi Asser Menevensis, yr hwn oedd Archesgob Ty Ddewi, gwedi derbyn hoddiad oddiwrth y brenin Saesonaeg, Alfred, yn nghyd â thaer-e i ddyfod atto i fyw, megys athraw, a gydymffurfiodd â'r cais, chydsyniad ei gyd-eglwyswyr. Ac y mae yn dywedyd eu bod h ymfoddloni i'r cyttundeb yma, gan y gobeithient y byddai yn achl nawdd iddeu monachlog, rhag gormes Hyfeidd, yr hwn oedd yn f gwedi ei anrheithio.

"Sperabant enim nostri, minores tribulationes et injurias ex parte Hemei sustinere (qui sæpe deprædabatur illud monasterium et parochiam sancti Degui, al expulsione illorum antistitum, qui in eo præessent, sicut et Novis archiepiscopum quum meum et me expulit aliquando sub ipsis) si ego ad notitiam et amicitiam illi qualicunque pacto pervenirem."

Canys yr oedd ein cyfeillion yn gobeithio, os byddai i mi, trwy un cyttund bynnag, ddyfod i sylw a chyfeillgarwch y brenin hwnnw, [Alfred,] y caent odd flinderau a niweidiau ar ran y brenin Hyfeidd, yr hwn yn fynych a yspeiliasai y f honno, a phlwyf† Dewi Sant, weithiau gan droi allan y blaenoriaid y rhai a lywi megys ag gynt y trodd allan yr Archesgob *Novis*,‡ fy mherthynas, a minnau ar eu h

Pwy achos oedd gan Hyfeidd, am yr ymddygiad treisiol hyn, ni w A oedd y monachod yn cynllwyn yn ei erbyn, neu a oedd efe ei ynfydyn penrhydd a chyndyn, dan esgymundod, aflesiol fyddai d myg; ond un peth sydd amlwg, a hynny yw, rhwng cadruthriadau y

* *Glewysig* oedd ardal ar gyffiniau yr hyn, yn awr, a ffurfia Gwent a Morgan oedd *Maesaleg*, yn Nglewysig, [gwel tu dal, 252;] ond iawn derfynau y deyrna nid ydynt hyspys. Crybwylla Golyddan am dani

"Na chrynned Dyfed na Glywyssig."

† Esgobaeth.

‡ Y mae un ysgrif, sef yr un a argraffwyd gan yr Archesgob Parker, yn rhoddi "*ex nobis*." Ond yr uchod, yn ddiau sydd gywir; canys y mae Giraldus Cambr ei gofres o Esgobion Ty Ddewi, yn rhoddi yr enw *Novis*, neu *Nonis*, yn yr amser yn

, môr, a thrawsderau yr Hyfeidd hwn,* o fewn iddeu hardal cartrefol, d gan y myfyrwyr yma, druain, ond bywyd go annghysurus a edd.

id yr un awdwr, i Anarawd, mab Rhodri, yn nghyd â'i frodyr, d nad oeddynt yn ennill dim, ond yn hytrach yn cael eu colledu, nal cyfeillach â gwŷr Northumbria, o'r diwedd ymadael â hwy, a Alfred, ac ymddarostwng iddei lywodraeth ef, yn yr un modd ag y Æthelred, brenin y Mers;† eithr pa radd o ymostyngiad oedd hawdd gwybod.

· amseroedd yma, bu rhyfeloedd ffyrnig rhwng y Cymry a'r Llu canfyddir yn y darnau canlynol:—

:rist 891, y daeth y Paganiaid duon i Gastell Baldwin ac a ddiffeithiasant Bowys, nasant y goreu o'r tiroedd yno drwy nerth y Saeson a brad rhai o'r Cymry."

d y parhaodd y gwŷr hyn yn y wlad, nid hyspysir; ond y mae ;ol iddynt yn y diwedd, gyfarfod â'r un dynged a'u cydwladwyr, i a grybwyllir nesaf,—

)3, y daeth y Paganiaid duon i Gymru dros For Hafren ac a losgasant Llanelltyd hynffig, a Llangarfan ac a wnaethant ddrygau mawrion ym Morganwg, a Gwent, niawc, a Buellt, ac ar eu gwaith yn dychwelyd yng Ngwaunllwg, a nhwy yn r Caerllion ar Wysg, y daeth Morgan Tywysawg Morganwg a Chad yn eu gyrru tros Fôr i Wlad yr Hâf lle y lladdwyd llawer o honynt gan y Saeson a i y wlad honno."

holl gyhuddiadau, y sawl a fwriaf yn erbyn fy nghydgenedl, am yr mrysongar, yr hwn a ddangosent yn eu plith eu hunain, etto, nis tal oddiwrthynt, y clod sydd yn ddyledus am eu dewrder, yn d y Llu du. Y bobl ddychrynllyd yma, a oresgynasant bob gwlad hon y daethant. Dygasent Loegr dan eu llywodraeth, a'r brenin Alfred, a yrrwyd ar ffo ganddynt; a gorfu arno grwydro dan rith r hyd y wlad, rhag eu hofn. Ond pan ymosodent ar Gymru, lent â'r fath dderbyniad, ag y cilient yn eu hol iddeu meddian- mhlith y Saeson, y rhai oeddynt gwedi eu llwyr ddarostwng t. Y mae rhyw beth yn dra nodedig yn y gwahaniaeth yma, ewrder ac egni gwladgar, y dyrnaid bychan o Gymry, a'r yspryd ılon, gyda'r hwn yr ymostyngai trigolion lliosog Lloegr, i sarhad ı, a chaethwasanaeth.

dir am y flwyddyn 891, "Bu farw *Henydd ab Bledri* gwr hynod o Gymro," neu *fab Bleddud*." Nis gwn ai yr un oedd a *Hemeid;* ond meddyliaf fod y llythyr- wy cyfanianawl â *Hyfeidd*, nag un dull arall o'i osod yn y Gymraeg. Ac y mae rif, enw iddei weled o gylch yr amser yma, yr hwn a ddyga gryn gyffelybrwydd fel y gwelir yn y darn canlynol:—"Anno IXC. ij. y llas penn *Rodri* vab *Huueith* li."

arant quoque filius Rotri, cum suis fratribus ad postremum amicitiam Northan- m deserens, &c."

Dywedir hefyd am y flwyddyn 900, "y daeth *Igmwnt*, a'i Baganiaid duon, i Fôn, ac yna gwaith *Rhosmeilon*," neu *Meleriann*, yn ol un ysgrif; ac y mae yn ddilys iddynt gyfarfod â'r un driniad yno.

"Yn yr un flwyddyn y bu farw Cadell ab Rhodri Mawr ac y gwnaethpwyd Hywel ei fab yn frenin Ceredigion dau fab arall oedd iddaw sef *Meyrig* a *Chlydawg*. Ac yna gwladychawdd Anarawd ar holl Gymru yn ol y gosodes Rhodri Mawr."

Ond yn awr y mae yn rhaid dychwelyd at yr hen ddefod, er mor wrthun yr ymddengys:—

"O. C. 892, y daeth *Narawd*, Brenin Gwynedd i ddiffeithiaw Ceredigiawn, sef cyfoeth Cadell ei Frawd ac a losges yr holl dai a'r ydau yn Nyfed ac Ystrad Tywi yn grealawn iawn. Yr un flwyddyn y llas Merfyn Brenin Powys gan ei wyr ei hun.

Oddiwrth yr hyspysiad olaf, deallwn fod Merfyn gwedi dyfod drachefn i feddiant o'i gyfoeth; ond ysgatfydd, dan dreth iddei frawd Cadell.

Yn mhlith y dygwyddiadau nodedig, yn nheyrnasiad ANARAWD, cawn y canlynol;—

"O. C. 883, bu farw *Cydwithen* y gwrolaf a'r doethaf o'r Bryttaniaid, a dirfawr y golled i wlad Cymru. A'r un flwyddyn y bu farw Cydifor Abad Llanfeithin; gwr doeth a dysgedig oedd efe a mawr ei dduwioldeb. Efe a ddanfones chwech o wyr doethion ei gwr i ddodi addysc i Wyddelod y Werddon."

Yr oedd yr Iwerddon unwaith, yn dra nodedig am ei dysgedigion a'i chrefyddwyr cynhenhid; ond y mae yn debygol fod gormes y Llu du, gwedi peri y fath gyfnewidiadau niweidiol, yn nghyflwr y wlad, a bod angen wrth athrawon pellenig:—

"894, y bu farw *Hywel ab Rhys ab Athfael* Arglwydd Morganwg yn ei lawn henaint yn Rhufain ym mhen tridiau wedi ei fyned yno sef ei oed chweugeinmlynedd a phedair."

Ysgatfydd, mai er pererindod yr aeth yno. Y mae y cyfryw amgylchiadau, yn dangos y cyfeillgarwch a oedd yn cael ei feithrin rhwng y Cymry, a gwyr Rhufain; a'r hyn, yn y diwedd, a achlysurodd i'r Eglwys Gymraeg, gael ei dwyn dan awdurdod y Pab.

Y mae yn dra nodedig, i frawd y gwr yma, gyrhaeddyd yn agos, yr un oedran, os nad oes camsyniad yn y cofiant:—

"895, y bu farw *Arthfael Hen ab Rhys* Arglwydd Morganwg a Brenin ar saith Gantref Gwent yn chweugeinmlwydd oed. Ei wraig ef oedd *Ceinwen* ferch *Arthen* Brenin Ceredigion, a gwedi myned yn hen, ni fynnei efe a wnelai a theyrnedd, am hynny rhoddai'r frenhiniaeth i Hywel ei frawd."

"906, y bu farw *Asser Ddoeth*, Archesgob y Brytanniaid."

Rhai a honnant, mai Asser Menevensis oëdd hwn; ond ereill a wadant hyn, ac a ddywedant, mai ewythr iddaw, ydoedd efe. Y Chron. Saxon. a rydd farwolaeth y cyntaf, yn y flwyddyn 910; ond pe cyttunai yr amgylchiadau ereill, ni fyddai yr annghysondeb hyn yn yr amseriad, ddim o fawr bwys, lle y mae cymmaint o annghyttundeb o'r fath.

"Yr un flwyddyn y bu waith Dinerth, ac hefyd diffeithwyd Mynyw gan *Uthyr* [*Other*] a *Rhallt goch* [Daniaid,] ac y llas *Maelawg* ab Peredur Gam."

Ond yn mhlith cofion yr oes honno, y mae un tra nodedig, a'r hwn, nis gwn ei fod wedi ei sylwi arno gan hanesyddion Cymru; sef y canlynol,

"892, y rhuthrasant y Paganiaid duon am ben Caer Wysg, ['sef *Exeter*, y mae yn ddiau gennyf,] ac a laddasant y Saeson; a llawer o'r Brytaniaid a oeddynt yn gwladychu yno a ddaethant at Owain Arglwydd Morganwg, ac a gawsant diroedd a thrigfannau ganthaw, lle trowsant hwy a'u heppil. Ac yng *Ngwyr* y maent yn Seisnigion."

Os cywir hyn, y mae yn amlwg ein bod yn cyfeiliorni, wrth honni deilliad *Flandraidd*, y cyfan o drigolion *Bro Gwyr*. Canys y mae yn ddilys, fod y Brytaniaid uchod, o'r un gwaedoliaeth â'r Cernywiaid, ac yn gyfran o'r genedl honno, gan eu bod yn agos i gyffiniau Cernyw, ac felly, o'r un hanniad dechreuol, a'r Cymry: ond pa fodd y daethant i siarad Saesonaeg, nis gallaf amgyffred; ysgatfydd mai trwy ddyfodiad diweddarach o Flandrwys, a Saeson, iddeu plith.* Ac yn wir, y mae yn ddyryswch, nid bychan, i lawer, i gael boddlonrwydd am yr achos, fod y Flandrwys, yn swydd Benfro, yn siarad Saesonaeg: canys pan ddaethant drwodd, diau mai Flandraeg, y siaradent; ond paham, neu pa bryd, y cyfnewidiasant hi am y Saesonaeg, sydd gwbl anhyspys.

ANARAWD a fu farw yn y flwyddyn 913, gan adael tri o feibion; *Edwal Foel*, *Elis*, a *Meyrig*.

* Y mae y Chron. Saxon. yn crybwyll am lawer o ymladd rhwng y Saeson, a'r Llu du, wrth Exeter, yn yr amseroedd hyn.

913.—940.

---

Ar ol marwolaeth Anarawd, daeth talaeth Gwynedd i feddiant ei f b EDWAL FOEL, tra yr ydoedd HYWEL AB CADELL, sef HYWEL DDA, n teyrnasu yn y Deheubarth; ond ni chyfnewidiodd gyflwr y Cymry, na 'u hanianawd; sef oedd, cadruthriadau ar ran eu gelynion estronaidd, ac ymladdiadau cartrefawl yn eu plith eu hunain, o'r hyn y mae y cofia cynhwysfawr canlynol, yn hyspysiad rhy amlwg:—

"Oed Crist 914, y llas *Clydawc ab Cadell* gan Feuryg ei frawd, ac y diffeithwyd M gan wyr y Werddon,* a chyn diwedd yr hâf y cad rhyfel cydgenedl achaws i Feuryg Cadell ladd ei frawd Hywel."

Ychydig ar ol hyn, bu rhyfel rhwng y Cymry, a gwŷr y Mers; traeth am un cyfarfod, yn y modd canlynol:—

"Oed Crist 918, y daeth *Edelfleda*, Brenhines y Mers yn erbyn Morgan Tywysa Morganwg a Gwent, ac y bu waith Castell Newydd lle y bu farw Edelfleda ac y ffoes Saeson."

Eithr camsyniad yw y mynegiad am farwolaeth y frenhines; canys y mae profion digonol, mai nid ar yr achaws hyn, y cymmerodd le; ac y mae yn ymddangos iddi lwyddo yn well mewn ymosodiad arall; o'r hyn, y mae yr hanesiad canlynol yn adroddedig.

*Huganus*, [*Hwgan*] pendefig o Gymru, a ymosododd ar wŷr y Mers, a'r frenhines Edelfleda, a ddaeth i Gymru â byddin, ac a'i cyfarfu yn Mrecheiniawc, ac a'i gyrres ar ffo, gan gymmeryd yn garcharorion, ei wraig, a 34 o wŷr. Yntau a giliodd at y Daniaid, i Derby, lle y canlynodd Edelfleda ef; ac ar ol ymladd caled, efe a orchfygwyd, ac a laddwyd.

O gylch yr amser hyn, unodd *Leofred*, pendefig Danaidd, a *Gruffydd ap Madawc*, brawd yn nghyfraith i un o dywysogion Cymru, ac a ymosodasant ar y Saeson; eithr ar ol ymladd caled, cawsant eu lladd ill dau.

Gyferbyn a'r flwyddyn 933, dywedir "y llas *Owain fab Gruffydd*, gan wŷr Ceredigiawn." A'r flwyddyn hon, yn mha un y cofrestrir y gwarth hwn o ymryson cartrefol, a welodd dywalltiad o ddialedd ar genedl y Cymry, am y cyfryw drosedd anwladgar; a hynny trwy ymweliad estronaidd, nid llai ei anffawd a'i waradwydd, na'r hyn a gyflawnasant yn

* Y Llu du, meddyliaf, y rhai yn yr amser hyn a lywodraethent yn yr Iwerddon, ac a oeddynt a'u prif sefyllfa, yn Nulyn.

mhlith eu gilydd, o herwydd eu hanianawd gynhenus, ac aflonydd. Canys yn y flwyddyn hon, y daeth *Athelstan*, y brenin Saesonaeg, â llu dirfawr i Gymru, ac a ddygodd y wlad dan dreth, "ac a berys i'r brenhinoedd dalu teyrnged iddaw, megys y talawdd brenin *Nortwei* iddaw. Sef oedd hwnnw 300 punt o arian, ac 20 punt o aur, a 5000 o wartheg." [200, medd rhai.] Hyn oedd ffrwyth eu hymrafaelion cartrefol. Hanesion diweddarach a ddangosant, na chafodd y teyrnged yma ddim ei barhau, ond dros einioes Athelstan; ac y mae yn amlwg, i'r Cymry, ar ol hynny, wrthod ei dalu: canys dywedir fal y canlyn;—

—"Ac felly y bu hyd oni bu farw *Elystan* a hynny yn oed Crist 940. Ac yna'r Cymry a ynillasant eu rhyddid. a hynny drwy wrolder a doethineb EIDWAL FOEL ac *Elisau* ei frawd a *Chadell ab Arthfael ab Hywel*, Arglwydd Morganwg ac *Idwal* fab *Rhodri Mawr*, ac achaws hynny hwy a laddwyd gan y Saeson ym Murn a Chynllwyn."

Ymddengys mai trwy ymladd caled, yr ennillodd y Cymry eu rhydd-did oddiwrth y gorthrymder yma; canys EDWAL FOEL, yn nghydag *Elisseu*, ei frawd, a laddwyd mewn brwydr â'r Saeson a'r Llu du, yn y flwyddyn 940; ond dywedir i Gadell, farw, trwy gael ei wenwynaw. Rhai a haerant i HYWEL DDA, yn ei gyfreithiau, sefydlu treth flynyddawl o 66 punt, oddiwrth frenin Aberfraw, i frenin Llundain: ond nis gallaf gael boddlonrwydd am gywirdeb hyn. Y mae yn ddiau fod gan Athelstan, iawn i hawliaw treth ar rai o frenhinoedd Cymru; canys darfu amryw o honynt ymostwng yn wirfoddawl iddei dad-cu, Alfred, a hynny er cael amddiffyniad rhag trais a gormes meibion Rhodri; ac felly, nid annichonadwy, fod Hywel Dda yn gweled y cyfiawnder o dalu y cyfryw dreth; ac os felly, gwelwn etto rai o ganlyniadau galarus yr yspryd melltigedig, yr hwn, yn yr amseroedd hyn, a gynhyrfai y Cymry, i gnoi a dyfetha eu gilydd, ac felly iddeu darostwng i dderbyn llywodraeth dyeithriaid. Pa frwydrau yr ymladdwyd âg *Athelstan*, neu *Elystan*, fel y gelwir ef, nid yw hyspys, nag ychwaith, pa mor belled i Gymru y treiddiodd efe gyda'i fyddinoedd.

Yr oedd gan EDWAL FOEL, chwech o feibion;—*Meyric*, *Ieuaf*, *Iago*, *Conan*, *Edwal Fychan*, a *Rhodri;* rhai o'r sawl, yn rhwysg amser, a etifeddasant orsedd Cymru.

# HYWEL DDA.

## 940.—948.

---

Hywel, mab henaf *Cadell ab Rhodri Mawr*, yr hwn a elwir Hywel Dda, a ddaeth i feddiant o daleithiau y Deheubarth a Phowys, yn y flwyddyn 907, ar farwolaeth ei dad; ac yn 940, pan lladdwyd Edwal Foel, syrthiodd Gwynedd hefyd iddaw, trwy etifeddiaeth, ac aeth yn *Frenin Cymru oll.* Ond ymddengys ei fod mewn meddiant o'r enw, yn hir cyn hyn.

Y mae un peth tra nodedig, perthynol i'r pennadur clodwiw hwn; a hynny yw, er mor enwog y mae yn hanes ei wlad, etto, yn ystod y deugain mlynedd o'i deyrnasiad, nid oes mynegiad ei fod yn ymdrin â rhyfel. Rhai a feddyliant ei fod, trwy ei anianawd heddychlawn, yn nghyd â'i gynheddfau cryf, gwedi llwyddo i ymgadw rhag ymrysonau â'i gymmydogion, naill ai trwy ammodau teg a phrydlawn, neu trwy ddangos y fath drefn a chadernyd, o fewn iddei deyrnas, fel na feiddiai neb ymosod arno; ac yntau ei hun yn rhy ddoeth i gyffroi gelyniaethau diachos. Y mae yn ddilys fod hyn o farn yn gywir am ran fawr o'i deyrnasiad; ond braidd y credaf, y gallasai unrhyw dywysog Cymruaidd, yn yr amseroedd hyn, ymgadw yn hollol rhag rhyfel â rhyw blaid na'i gilydd, naill ai y Saeson, neu y Llu du; ac felly, barnaf fod yr absenoldeb yma o grybwylliad am ryfel, yn gyfrifedig i esgeulusdra hanesyddion, yn hytrach nag i dawelwch annghyffroedig dros ddeugain mlynedd. Ac yn wir y mae yr amrywiol fynegiadau, perthynol i'r rhyfeloedd â'r *Llu du*, ac am gadruthriad *Athelstan*, ac ereill, yn dangos yn amlwg, na allasai un dalaeth o Gymru fod yn hollol ddiogel rhag ymosodiadau rhyfelus, yn yr amser yma. Eithr barnaf fod camsyniad yn yr haeriad, am ddiffeithiad Ceredigion gan y Saeson, yr hyn a ailadroddir gan hanesyddion yn gyffredinol; a rhoddaf yma fy nadleuad, am fy anghred. Dywedir yn y Brut am y flwyddyn 913.

"Daeth y Saeson i *Ystrad Llyr* ac a wnaethant yno mawr ddrygau, gan ysbeiliaw a diffeithiaw y wlad y ffordd y cerddynt.

Yn awr, 'gan fod yr enw uchod yn atteb i *Ystrad Fflur*, sef *Strata Florida*, yn Ngheredigion, gosodir y diffeithiad yn yr ardal honno. Ond y mae yn ddilys gennyf, mai camysgrifiad ydyw, ac mai *Ystrad Clud*, yn yr Alban, a feddylir, yr hon wlad a ddiffeithwyd yn yr amser yma: ond nid oedd monachlog *Ystrad Fflur*, mewn hanfodiad, canys yn y flwyddyn 1164, y cafodd ei hadeiladu, gan Rhys ap Gruffydd.

Ond poed fel y bytho am ryfeliad HYWEL DDA, nid ydyw yn amddifad o enwogrwydd, a hynny hefyd o'r fath, na all neb o'i gyf-bennaethiad Cymruaidd, ymffrostio ynddo; sef yw, ffurfiad y rheithres odidog honno, a elwir ar ol ei enw ef, hyd y dydd heddyw; a pha un a fu yn rheol llywodraethol i'r Cymry, tra parhaodd eu hannibyndod. Achlysur y deddfroddiad yma, oedd fal y canlyn; megys y traethir yn y rhagymadrodd.*

"HYWEL DDA, MAB CADELL, Tywysawg Cymru oll, a weles y Cymry yn camarferu o'r cyfreithiau, ac y dyfynws atto chwe-gwyr o bob cwmmwd yn y Dywysogaeth; y pedwar yn lleygion a'r ddau yn ysgolheigion. Sef achaws y dyfynwyd yr ysgolheigion, rhag gosawd o'r lleygion dim a fai yn erbyn yr ysgrythyr lan. Sef amser y daethant yno, y Grawys; sef amser y daethant y Grawys wrth dylyu o bawb fod yn iawn yn yr amser glan hwnnw. Ac o gyd-gyngor a chydsynniedigaeth y doethion a ddaethant yno, yr hen gyfreithiau a ystyriasant; a rhai o honynt a gadwasant i redeg, a rhai a emendäasant, ac ereill yn gwbl a ddileasant, ac ereill o newydd a osodasant."

Mewn ysgrif arall, dywedir mai yn y *Ty gwyn ar Daf yn Nyfed*, yr ymgynnullwyd i ffurfio y cyfreithiau yma; yr hwn le oedd yn agos i'r hyn a elwir yn awr, *Whitland*, yn swydd Gaerfyrddin. Mynegir hefyd i Hywel Dda, cyn sefydlu y cyfreithiau hyn, fyned i Rufain, i geisio gwybodaeth am gyfreithiau gwledydd ereill, ac yn enwedig am drefn ddeddfawl yr ynys, dan lywodraeth y Rhufeiniaid. Ac ar ol hyn oll, iddo ef a'i gynghorwyr gael allan fod hen gyfreithiau Prydeinig *Dyfnwal Moelmud*, yn rhagori arnynt oll: ac felly, cymmerwyd y rhai hynny yn sail iddei reithres newydd. Enwau y llëygion, y rhai a ffurfiasant y Cynghor, oeddynt y canlynol:—

"Morgeneu Ynad.
Cyfnerth, ei fab.
Gweiri fab Cyfiawn.
Gronwy fab Moriddig.
Rhewydd Ynad.
Iddig Ynad.
Gwiberi Hen o Is oenain.
Gwrnerth Llwyd, ei fab.
Meddwon ail Cerisg.
Gwgawn Dyfed.
Bledrws fab Bleiddyd.
Gwyn Faer, y gwr oedd berchenawg ac Lantafwyn bioedd y ty y gwnaethpwyd y Gyfraith ynddo."

"A Blegewryd, Archdiagon Llandaf a oedd yr ysgolhaig: a Doctor yn nghyfraith yr Amherawdyr ac yn nghyfraith yr Eglwys oedd ef."

Yna ychwanegir,—

"Gwedi darfod gwneuthur y gyfraith oll, a'i hysgrifeni yn gwbl ef a aeth Hywel Dda, a thywysogion Gymru gydag ef, a *Lambert* Esgob Mynyw, a *Mordaf* Esgob Bangor, a *Chebur* Esgob Saint Assaph, a *Blegewryd* Archdiagon Llandaf hyd at *Anastacius* hyd yn Rhufain, i ddarllain y gyfraith, ac i edrych a oedd dim yn erbyn cyfraith Duw o honi: ac am nad oedd dim yn gwrthwynebu iddi, hi a deilyngwyd ac a elwid yn *Gyfraith Hywel Dda* o hynny allan. Oedran yr Arglwydd Iesu Grist yr amser hwnnw, naw cant a phedair ar ddeg."†

* Er gocheliad aneglurdeb, cyfnewidir y llythyreniad, gan ei gymhwyso at yr un yn awr mewn arfer.

† Yr aeth gydag ef i Rufain y tro cyntaf, *Martin*, Esgob Mynyw, a *Mordaf*, Esgob Bangor, a *Marchlwys*, Esgob Teilaw, a *Blegwryd ab Owain*, Penccyfeistedd Llandaf, Brawd Morgan, Brenin Morganwg.

Gwnaethpwyd tair cyfysgrif o'r cyfreithiau; sef, un i'r brenin ei hun, un i Ddeheubarth, ac un i Wynedd a Phowys, ac "amryfal freiniau a osodes i amryfaelion lyfrau," sef yn ol gwahanol freiniau amryfaelion drefydd a chymmydau, &c.

Y PARCH. PETER ROBERTS, a ddatgana ei anghrediad o'r haeriad yma, yn nghylch mynediad Hywel Dda, i Rufain, a hynny am na allasai y Pab roddi ei gydsyniad i'r cyfreithiau, o herwydd fod rhai o honynt yn groes i eiddo Eglwys Rhufain, ac am nad oedd ddichonadwy i Esgobion Cymru, y rhai a annghyttunent âg Eglwys Rhufain, fyned yno ar y fath achos. Mewn perthynas i'r gwrthddadleuad cyntaf, meddyliaf nad ydyw gynnaladwy: canys pe buasai y cyfreithiau hyn yn groes i eiddo Rhufain, ni fuasai y monachod, y rhai a ffugient yr ymadrodd, yn eu canmol, fel ag y gwelwn eu bod. Ac am yr ail wrthddadleuad, ymddengys i mi yn llawn mor eiddil a'r naill; canys nis gwelaf fwy o annghysondeb i Esgobion Cymru, fyned i Rufain, nag i Asser Menevensis, trwy gydsyniad ei gydeglwyswyr, fyned i fyw yn un o deulu y brenin Alfred, a chael ei wneuthur yn Esgob *Shirburne:* diau nad oedd dim o'r fath annghyttundeb rhwng y ddwy blaid, y pryd yma, onite, ni fuasai monach o Dy Ddewi ddim yn derbyn Esgobaeth yn Lloegr, nac yn cael caniatad iddei mwynhau chwaith. Ond pe'm tueddid i amheu mynediad Hywel Dda, i Rufain, seiliwn fy amheuaeth ar yr anhawsdra o gael neb i reoli ei dywysogaeth, yn Nghymru, yn y cyfamser, a'r perygl o gael, ar ei ddychweliad, ryw un arall mewn meddiant o'i orsedd.

Cyfreithiau Hywel Dda, a renir yn dri dosparth;—1. Defodau, a Swyddogion y llys. 2. Cyfreithiau y wlad. 3. Troseddau; ac hefyd, Gwerth amryw ddodrefnau, &c. Rhy faith fyddai rhoddi yma, ddigon o anghreifftiau o'r cyfreithiau hyn, i ddangos eu hanianawd: cymmerai draethawd helaeth i wneud cyfiawnder â'r achos; felly, ymattaliaf, gydag yn unig ddywedyd, nad oes rhyngddynt y berthynas leiaf â chyfreithiau Ewropa. Yn gyffredinol nid ydynt yn dwyn un cyffelybrwydd i'r cyfreithiau Rhufeinig, naill ai o eiddo *Iustinianus*, nag un deddf-roddwr arall; ac nid oes perthynas i gyfreithiau neb o'r cenhedloedd Germanaidd, ac felly, y maent o wir a digymmysg darddiad Cymraeg. Un gwahaniaeth nodedig rhyngddynt, a defodau y bobloedd Germanaidd, ydyw, rhaniad bobl, yn *llwythau*, neu *achau:* yn mhlith y lleill rhanir y bobl, ol eu hardaloedd, heb gyfrif eu llwythau, neu eu hachau neillduol; ei yn mhlith y Cymry, gwelir rhaniadau teuluawl, neu lwythawl, heb a am ddosparthau ardalawl.

Y mae amryw ysgrifau o'r cyfreithiau hyn ar glawr; ond nid oes

* Am sylwadau ar yr amgylchiad hwn, gwel tu dal. 205.

·hened ag amser eu ffurfiad. Yr henaf sydd o'r 12fed ganrif. Y mae ımlwg fod rhai pethau yn yr ysgrifau yma, gwedi eu ychwanegu o l i gilydd, ar ol amser Hywel Dda. Ond y mae hefyd yn ddilys, fod 'y gwaith, gan mwyaf, yn yr un dull ag y ffurfiwyd ef yn gysefin.

ʏwᴇʟ Dᴅᴀ a fu farw yn y flwyddyn 948, gwedi teyrnasu dros 40 ıedd; y saith blynedd olaf o ba ystod, yr oedd yn *Frenin Cymru* Eithr er nad ydoedd dros y rhan arall, mewn iawnder hawl, ond sog taleithiawl ar ei gyfoeth neilltuol, etto, honnir ei fod, o herwydd w amgylchiadau, yn mwynhau awdurdod goruchafiol yn mhlith ei ıladwyr. Y mae amrywiad barn yn nghylch cyntaf-enedigaeth ion Rhodri. Rhai a fynnant, mai Anarawd, oedd rhaid fod yr henaf, r dywedir, fod teyrnged i frenin Aberffraw, oddiwrth y lleill; eithr a feddyliant, fod gan Merfyn hawl i'r enedigaeth-fraint. Ond y Brut y Tywysogion, yn dywedyd yn eglur, mai Cadell, oedd yr henaf. mae y weithred o eiddo Hywel Dda, yn ei alw ei hun, yn *Frenin ru oll*, tra yr oedd *Edwal Foel*, etto yn fyw, yn fy nhueddu i el, fod cyfeiliorni yn y crybwylliad am oruchafiaeth brenin Aberffraw, r amser yma. Ac hefyd, y mae y Brut yn dywedyd, mai i'r henaf, yr y deyrnged yn ddyledus. Nid wyf alluog i gysoni yr anghydfod-ı hyn: ac y mae yn ddilys gennyf, na ddiolchai neb o'm darllenwyr , am dreulio amser yn yr ymgais. Crybwyllir am farwolaeth Hywel , yn y modd canlynol:—

"Oed Crist 948, y bu farw *Hywel Dda* fab *Cadell* Brenin Cymru oll, y doethaf a'r naf o'r holl Dywysogion. Efe a garai heddwch a chyfiawnder ac a ofnai Dduw, ac a rnethai yn gydwybodus, ymhob iawnder tangnefus, a efe a gerid yn fawr gan bawb ury, a chan lawer o Ddoethion y Saeson a gwledydd ereill, ac achaws hynny y gelwyd *ywel Dda.* Ac yna y cymmerth *Owain* ei fab Lywodraeth Ceredigiawn."

Hʏwᴇʟ Dᴅᴀ, a adawodd bedwar o feibion; sef, *Owain*, *Rhun*, *Rhodri*, *Edwyn;* at ba rai yr ychwanegir enwau ereill, gan rai hanesyddion. Rhyfeloedd hir a gwaedlyd rhwng meibion Hywel Dda, a meibion wal Foel, y rhai fuont yn dra niweidiol i'r wlad.

Ar ol darllain yr uchod, pwy a all betruso yn nghylch anianawd yr amgylchiadau, cyfeiriedig attynt? Y Tywysog Cymraeg a anrheithiodd y monachlogydd, nid o herwydd fod gantho un gelyniaeth tuag at grefydd y gwŷr llen, ond am fod y lleoedd hynny yn cynnwys Saeson. Ac etto, dilys yw, na thrafferthasai mo'i hun o'u plegid, pe buasai y dyfodiaid hynny yn ymddwyn yn llonydd, fel y gweddai i fyfyrwyr crefyddol. Ond pan y canfyddom ymdrechiad i ddwyn i mewn arferion newydd, ac awdurdod estronawl, nid rhyfedd fod y cyfryw wrthladdiad yn cael ei gynnal. Pa fodd y daeth y Pab i feddiannu y fath awdurdod, a gallel cynnyg y cyfryw reol, nid ymddengys; ond y mae y cyfan yn profi fod Eglwys Rhufain, ar y pryd hyn, gwedi cyrhaeddyd yn mhell tuag at feddiant o lywodraeth oruchafiaethawl yn Nghymru.

A thra yr oedd y Saeson yn gweithio yn gyson ac yn unfryd, tuag at estyn eu llywodraeth wladol ac eglwysig, yr oedd y Cymry yn ymladd â'u gilydd yn y modd mwyaf gwrthun a chywilyddus, a thrwy eu troseddau erchyll a gwaedlyd, yn parotoi iddynt eu hunain, ddialedd; a thrwy wanhau eu gilydd gan ryfeloedd cartrefol, yn gwneuthur eu drwg-nwydau eu hunain, yn y diwedd, yn offerynau cosp. Er anghraifft o gyflwr annedwydd y wlad yn yr amser yma, cymmerer y canlynol:—

**"960, y lladdwyd meibion Eidwal ab Rhodri gan y Saeson,——ac y diffeithwyd Caer Gybi gan feibion Eidwal Dyfed, ac y dystrywyd y Tywyn, ac y bu farw Meuryg ab Cadfan ac yna ynnillodd y Saeson Arglwyddiaeth meibion Eidwal, ac y lladdwyd Rhodri ab Eidwal, ac y diffeithwyd y Berffraw, a rhyw faint ar ol hynny y dalodd Iago ab Eidwal ei frawd Ifan [*Ieuaf*] ac a'i rhoddes yn ngharchar a chwedi hynny efe a'i crogodd. Ac am yr amser hynny rhyfelodd Einion ab Owain ac a lladdodd Farc ac Eyrlaid."*——"y llas meibion Gwyn ab Collwyn."——"961, y daeth meibion Abloic Brenin y Werddon i Gaer Gybi ac a'i diffeithiasant yn gwbl a dwyn arch Cybi y ganddynt i'r Werddon, lle y bu ganmlynedd, ac oddiyno aethant i Wlad Leyn gan ei diffeithiaw yn drathost, a hynny a fu o frad meibion Idwal a hwy 'n trawswladychu ar y Cyfoethau yng Ngwynedd a Phowys."**

Wele yma gyfres gryn echrys o frad a thrais, ac ymrysonau cartrefol; a'r ffrwythau o hyn oll, oeddynt yr hyn a ellid ei dysgwyl,—gwanhad y genedl â gormes estronawl.

**"962, y diffeithwyd *Catbrig* ab *Eyrlaid* Fôn ac efe a wnaeth drafael dirfawr i'r ynys, ac yna y daeth Etgar Brenin y Saeson a llu dirfawr yn erbyn holl Gymru hyd yng Nghaerllion ar Wysg, ac a ddanfones ei wyr i ysbeiliaw y wlad ac nid arbedent na Llys na Llann, eithr dwyn daoedd a thlysau Eglwysydd a Monachlogydd, ac y gwrthladdodd Iago o'i gyfoeth, ac a roddes Wynedd i Hywel Ddrwg ab Ifan; ac nid oedd drwg o'r byd nas gwnelai hwnnw o ladd a thynnu llygaid ac ysbeiliaw a thwyllaw."**

Ond os *Hywel Ddrwg* oedd yr enw a gafodd, a diau mai nid heb achos y bu hynny; etto, cofiwn fod ganthaw annogiad cryf i gyflawni rhan o'r ysgelerdra â'r hyn y cyhuddir ef. Dywedwyd eisioes, iddei dad,

* **Daniaid.**

Ieuaf, gael ei ddala gan *Iago*, ei frawd, [ewythr Hywel,] a'i garcharu i'i grogi; ond mynegir hefyd i Iago, yn gyntaf, ei ddallu â heieirn poeth, medd yr hanes,—"achaws hynny ydd aeth *Hywel ab Ieuaf*, yn erbyn i ewythr, Iago, ac a ddiffeithiodd ei diroedd ac a ddug ysbail ddirfawr o arnaw." Ac ychwanegir;—

"O. C. 968, ydd aeth Hywel ab Ieuaf yr ail waith yn erbyn Iago ei ewythr a chydag ef lu dirfawr o Saeson, a diffeithiaw Lleyn a Môn, a dodi Saeson yn holl diroedd Iago a chadarnhau y tiroedd hynny iddynt; a hanped gwaeth i ynys Fon o hynny can nas galled ei gwared fyth wedi hynny, ac achaws hynny y doded enw *Anglesei* ar ynys Fon, sef hynny *ynys y Saeson*,* a gyrru Iago ab Idwal ar ffo a wnaethpwyd, ac y cymmerth Hywel ab Ieuaf Deyrnedd arnaw, achaws delli ei Dad, ac a ddaliodd Feuryg ei ewythr ac a dynnodd ei lygaid am ei waith yn dallu Ieuaf Tad Hywel."

Diau pe gallai un peth gyfiawnhau y fath orchwyl a hyn, byddai yma gyfiawnhad, sef cyffroad teimladau mab wrth weled y cyfryw ysgelerdra chryslawn, yn cael ei gyflawni ar ei dad; ond trist iawn yw yr hanes, a thra gwrthun a gwaradwyddus.

Mynegwyd eisioes fod y brenin Saesonaeg, *Edgar*, yn meddiannu pwysawrogrwydd yn mhlith y Cymry; yn awr, gwelwn ei fod am ryw achos neu gilydd gwedi cael ei annog iddeu blino â rhyfel:—

"O. C. 962, y diffeithiwyd Gwynedd gan *Edgar* brenin y Saeson ac y dodes ef Gwyr Llemarc yn ynys Fon lle y gwledychasant er gwaetha Gwyr y Wlad."——"A'r un flwyddyn y daeth Edgar hyd yng Nghaerllion ar Wysg ac y trefnwyd heddwch cadarn rhngtho a Morgan Tywysawg Morganwg ac ammod i Forgan dalu canmuw gyflith [*cant buwch blith*] i Edgar bob blwyddyn ac am hynny ymrwymaw i Edgar gyfnerthu Morgan yn Mraint Teyrnedd Morganwg, ac yno y daeth Owain ab Hywel Dda ac ymrwymaw o hanaw dalu ced i Edgar bob blwyddyn yn ol y doded ar Dywysawg Dinefwr yng Nghyfraith Hywel Dda, gwedi hynny myned i Wynedd a chael atto IAGO AB IDWAL a gyrru arnaw yn ei teyrnged a ddyli'r o hên ddeddf Trichanpen blaidd [*tri chant o bennau bleiddiaid*] yn y flwyddyn, a rhydd lle mynnynt eu lladd yn holl ynys Prydain, ac o hynny y cad heddwch yng Ngwynedd. A'r Deyrnged honno a dalwyd yng Ngwynedd dros bum mlynedd a chwgain hyd nes gellid Blaidd yn holl ynys Prydain. Gwedi hynny y troes Brenin y Saeson y Deyrnged yn aur ac ariant a gwartheg fel y buasai gynt."

Dywedir i'r gyfraith hon weithredu mor effeithiol, ag i'r holl fleiddiaid gael eu dystrywio yn llwyr, y rhai oeddynt cyn hynny, yn dra aml a niweidiol yn y wlad.

Y mae yn ymddangos fod, yn yr amseroedd hyn, i ynys Fôn, a rhan o Wynedd, oddef llawer o niwed trwy ymosodiadau y Gwyddelod a'r Daniaid; a'r adroddiad canlynol a rydd ychydig o'u helynt:—

"O. C. 966, y lladdwyd *Rhodri* ab Eidwal gan Wyddelod Mon, ac achaws hynny y diffeithwys *Iago* ab Eidwal Aberffraw lle ydd oedd y Gwyddelod yn gwladychu, ac ef au lladdes hwynt yn eu holl anneddfaoedd ym Mon, ac nis gallasent fyth wedi hynny ymgodi yn erbyn y Cymry. Gwedi hynny myned hyd yn Arfon, a Lleyn, ac Ardudwy, a

* Dywedir mewn hanesiad arall, i'r ynys hon dderbyn ei henw Saesonaeg, yn amser y brenin *Egbert*. Gwel tu dal. 386.

gyiru'r Gwyddelod yn gwbl o'r gwledydd hynny, ac nis gallwydd Cenedl o honynt ‖ wedi hynny yng Ngwynedd: a llawer o honynt a ffoasant hyd yng Ngheredigion, a Dy a Gwyr; a *Einion* ab Owain ab Hywel Dda a aeth yn eu herbyn ac au gorohfyges aruthrawl, ac a laddes wyr Denmarc a ddaethant yng nghyfnerth y Gwyddelod, ac a dd ysbail fawr o'r gwledydd yng nglann Morddwr Llychwr. Ac yn niwedd yr un flwydd daeth ef eilwaith hyd yng Ngwyr, ac y diffeithwys dai a thiroedd y rhai a roddasant na a gwasgawd i'r Gwyddelod a'r Daeniaid anffyddlon."

Y mae yn debygol fod yr Einion yma, gwedi cael blas ar ysglyfaet wlad hon, ac nad ymfoddlonai i ymlid yr estroniaid, ond ei fod hefyd gormesu y Cymry eu hunain; eithr meddyliaf, nad yw y rhan olaf hanesiad, yr hyn a grybwylla am y brenin Edgar, ddim amgen nag adroddiad o'r hyn a roddwyd eisioes yn nghylch yr ymrafael â Morg Mawr, a'i fod trwy ryw ddygwydd, gwedi ei gamosod yma; onite, nis g pa fodd i eglurhau y llamiad disymmwth, oddiwrth Einion ap Owain, Owain ei hun, yr hwn yn debygol, oedd gwedi marw cyn y pryd hyn.

" O. C. 967, y daeth Einion ab Owain eilwaith i Dir Gwyr dan rith ymlid yr anffydd iaid [*y Daniaid*] ac a'i diffeithwys yn gwbl, ac yna y daeth Owain ab Morgan yn ei erbyn a'i gyrres ar ffo, ac a ddug holl wyr Gwyr dan ddamdwng iddaw, fal ag ydoedd a hen law braint. A phan glybu Edgar Brenin y Saeson hynny dyfod a llynges hyd yng Nghaerll ar Wysg a orug, a gyrru Llywodraeth ar Owain ab Hywel Dda a'i ddwyn yn wr damdw iddaw, a gwedi hynny myned yn heddwch yn ei ol hyd yng Nghaer Odornant."

Fe'm tueddir i ymhyfâu yn y tyb yma, perthynol i gamsyniad ysgrifaw trwy yr hawsdra o gymmysg enwau *Caerlleon Gawr*, a *Chaerlleon a Wysg*. Anghraifft o ba un a welir yn adroddiad ran o hanes y breni Edgar.

Mewn hen hanesiad o eiddo *Simeon Dunelmensis*, ysgrifenydd o'r 12fe ganrif, adroddir, i Edgar ddyfod yn y flwyddyn 974, â llynges liosog i *Gae lleon Gawr*, a chynnull atto yno wyth o frenhinoedd trethawg, neu *is-frenhinoedd*, [" *Subreguli*,"] ac ar ol iddo dderbyn llw o ffyddlond oddiwrthynt, iddynt ei rwyfaw mewn bâd, tra yr oedd efe yn dala y lly ar hyd yr afon Dyfrdwy, "*per cursum fluminis De*,"] oddiwrth y Ly hyd at Fonachlog Ioan Fedyddiwr. Yr ysgrif yma a ddywaid, i hy gymmeryd lle yn *Ninas y llengoedd*, ["*ad Legionum civitatem*,"] ba eiriau, y mae rhyw un yn ychwanegu, "*hodie Chester*,"—*heddy Caerlleon Gawr*. Ac oddiwrth y traethiad am yr afon *De*, nid o amheuaeth mai y ddinas honno a feddylir. Ond y mae *Matthew Westminster*, yn adrodd yr un hanesiad; a phe na fuasai gennym un aral buasem yn barnu, mai yn *Nghaerlleon ar Wysg*, y cymmerodd hyn le canys efe a arfera y geiriau, "*ad urbem Legionum*." yr hyn yw yr en a roddir yn gyffredinol i'r ddinas olaf. Enwau y brenhinoedd a ddaeth ant i ymddarostwng i Edgar, yn ol hanesiad S. Dunelm. oeddynt *Kynat* brenin y Scottiaid; *Malcolm*, brenin y Cumbriaid, [pobl Cumberland;

*Maccus*, brenin amryw ynysoedd; a *Dyfnald*, *Siferth*, *Huval*, *Iacob*, a *Nichil*. Y mae M. Westm. yn dywedyd, fod y *Maccus* hwn, yn frenin *Monia*, sef, medd rhai, *Ynys Fôn*. Buaswn yn meddwl mai *Manaw*, oedd yr ynys, am ei bod yn gyffredinol, yn cael ei chyfrif gyda'r ynysoedd Albanaidd, ond fod cadarnhad o'r cyntaf yn y Brut, mewn modd nas gallaf ei wrthddadlu, er y meithrinaf betrusdod ambell waith. Y crybwylliad sydd fal y canlyn:—

"968, y daeth *Macht ab Harallt* i ynys Fon ac a ddiffeithwys Benmon, lle ydoedd deccaf cyn no hynny yn holl ynys Fon, ac ebrwydd wedi hynny y daeth *Gotffrid* ab Harallt yn erbyn ynys Mon ac a'i diffeithes, ac Edgar a roddes gennad i wyr Gotffrid ym Mon yn gyfaneddawl ac ymunaw yno a gwyr Edwin a wnaethant yn un ormes, ac nid aethant fyth o honi, ac nis gellid fyth gwedi hynny gwared brad o'r ynys, ac Edgar yn gweled fal ydoedd, dyfod a orug a llu dirfawr i Gaerllion Gawr, a myned yn erbyn gwyr Iago a'u lladd yn gwalawn yn holl Gymru."

Matt. Westm. a ddywaid fod *Dufnal*, yn frenin Dyfed, a *Siferth*, a *Huwal*, yn frenhinoedd Cymru; a *Iago*, yn frenin Galloway; ac i *Inkil*, rhodda yr enwad o frenin *Westinariæ*, sef, meddyliaf, *Westmaria*, *Westmorland*.

Pa fath o ufudd-dod oedd yn cydfyned â'r dreth, neu y deyrnged, yr hyn a dalai un brenin i'r llall yn yr amseroedd yma, nid hawdd gwybod; ond un peth sydd eglur, sef, nad oedd y brenin Lloegraidd, yn mwynhau un llywodraeth yn Nghymru yn mraint ei deyrnged; a thebygol yw, mai yn unig daliad o arian neu feddiant arall, ydoedd y cyfryw deyrnged, er pryniad o heddwch a rhydd-did oddiwrth ddiffeithiad milwraidd.

Er y gallasai *Macht ab Harallt*, yr hwn oedd yn flaenor o'r Llu du, gael ei alw yn frenin Môn, a thros ychydig amser yn parhau mewn meddiant o ryw ran o'r ynys, yn mha un y gwersyllai ei lu. Etto, am yr honniad nad aeth y Llu du byth o'r ynys, y mae yn rhaid ei dderbyn mewn ystyr gormodieithus; canys yr un hanes a ddengys y gwrthwyneb i hyn, fel y gwelir drachefn: ac hefyd, er gwarth i'n cenedl, gwelir fod rhai o Dywysogion Cymru, yn yr amser hyn, yn cyflogi y Llu du i gydymladd â hwy, yn erbyn eu cydwladwyr Cymraeg. Ac y mae anghraifft o'r cyfryw uniad gwrthun yn ynys Fôn, yr hyn yn ddilys a hyfforddiai yn fawr, rwysg yr estroniaid yn yr ynys honno. Ac at hyn yn ddiau, y cyfeiria y gair *brâd*, yn y darn ail-adrodeddig uchod. Ac y mae yn ddiamheuol gennyf, na allasai y Llu du wneuthur dim yn Môn, mwy na mewn un man arall o Gymru, tuag at ymsefydlu yn y wlad, oddieithr trwy gyfuniad a chydweithrediad y pendefigion Cymraeg, y rhai oeddynt mor fradychus ac mor anwladgar, ag uno â'r estroniaid hyn, ac weithiau, eu cymmeryd mewn cyflog, er eu cynnorthwyo yn erbyn eu gilydd, megys y gwelir rhagllaw. Yn mha gwrr o Fôn, y cadwai y Llu du eu prif sefyllfa, nis gwn: ond y

mae yn amlwg fod eu gwersyllfa yn gyfyngedig i'r ynys honno, ac r chawsant erioed un breswylfa barhaus ar gyfandir Cymru, ac nad oedd e harosiad yn Môn, ond dros ychydig amser, a hynny yn dra aflonydd, ga ymosodiadau y Cymry ar eu byddinoedd.

Tra yr ydoedd yr ormes estronawl, yn gystal Saesonaeg a Danaidd yn gorthrymmu y wlad, yr oedd y Cymry ar yr un pryd, yn dyfetha eu gilydd gyda yr un ffyrnigrwydd, a phe buasent anifeiliaid rheibus o wahanawl rywiadau.

" O. C. 976, y dug *Einion fab Owain* anraith yr ail waith i wlad Gwyr, a'i hysbeiliaw, a'i diffeithiaw yn greulawn, onid aeth newyn ar y wlad. Ac *Ithel ap Morgan Mawr* a ddug lu yn ei erbyn o'i wyr goreuon a'i ymlid i ffo a wnaethant, a dwyn ei ysbail oddiarnaw, a'i roddi yn rhaid y rhai a yspeiliwyd ganthaw."

Hyn am y Deheubarth.—Yn awr, trown ein golwg at y Gogledd-dir:—

" O. C. 978, ydd aeth *Hywel ab Ieuan* waith arall yn erbyn ymddifferyn *Iago* ei ewythr, a chydag ef lu mawr o Saeson ac anrheithiaw Lleyn a Chelynog Fawr a wnaethant a thorri yr Eglwysi yn aruthr, a dilygeidiaw llawer o gymmbleidyddion Iago a diffeithiaw yn greulawn."

Ac os nid digon hyn, cymmerer y canlynol atto:—

" Yr un flwyddyn, [978] " y dalwyd IAGO gan wyr Hywel ei nai, a Hywel a w'a ychwys ei gyfoethau. A gwedi hynny y lladdwyd *Idwal Fychan* ab *Idwal Foel*, a diffeithi Lleyn ac ynys Fon; a *Chystenyn* ab Iago ab Idwal a ddaeth i Fon a chydag ef lu o'r D iaid duon, a chydag ef y codasant y Saeson a'r Daeniaid a wledychynt yr ynys a diffeithi wlad honno yn dost aruthrawl, a Gotffrid ab Harallt a Chystenyn a aethant oddiyno hyd Lleyn a diffeithiaw'r wlad honno hefyd yn yr un modd; ac yn eu herbyn y daeth Hywel Ieuaf, a chad dost a fu rhyngddynt ac yno y llas Cystenyn Ddu yng Ngwaith Hirbarth."

Wrth sylwi ar yr arferiadau dinystriol hyn, yr ymladd cartrefol parha yn nghyd â'r rhuthriadau ffyrnig, ar ran eu gelynion estronol, y Saes a'r Llu du, pan ystyriom y diffeithiadau olynol, o bob ardal o'r wlad, ryw blaid neu gilydd, nis gallwn lai na synnu yn ddwys, fod ein cen etto mewn hanfodiad: ac y mae gofyniad yn cyfodi, pa fodd y parha ein cenedl, heb ei llwyr ddyfetha, yn nghanol yr holl ddygwyddia niweidiol hyn? Ac er attebiad, ni fedraf gynnyg un dehongliad amgylchiad tra dyeithr yma, oddieithr dychymmyg, mai un o'r modd daearol o arbediad ein cenedl rhag diddymmiad, oedd ysbryd ac anian neilltuol y bobl, a'u harchwaeth at ymladd. Yn lle bod yn ofni effeith rhyfel, fel amryw genhedloedd ereill, meddyliaf fod y Cymry yn yr am hyn, yn ymhoffi mewn rhyfel i'r fath radd, ag na ofalent yn mha ard cynhalient ef, pa un ai cartrefol ai allanol, ond cael digon o honaw hynny yn ddiosteg. Y mae Giraldus Cambrensis yn dywedyd am dany rhai oesoedd ar ol hyn, eu bod yn ei gyfrif yn beth gwarthus i farw me gwely, ond yn anrhydedd o syrthio mewn brwydr,

Ac y mae y nodweddiad hyn yn atteb iddeu hymddygiad mewn modd neilltuol yn yr amser yn awr dan ystyriaeth.* Ac yn lle gochelyd brwydrau, ymhyfrydent ynddynt, megys eu difyrwch dewisiolaf. Yn lle dymuno llonyddwch a thawelwch, ymhoffent yn y rhyferthwy; ac nis gallent anadlu yn rhwydd, ond yn nghanol y corwynt. Os gofynir, pa fodd na chawsant eu goresgyn gan y Llu du, yn nghyd â Lloegr a'r gwledydd cyfnesawl, yr atteb sydd hawdd. Yr oeddynt yn drech rhyfelwyr na hwy, er mor ddychrynllyd oedd y rhai hynny; hyn sydd anwadadwy, onite, buasai Cymru yn meddiant gwyr Denmarc, megys Lloegr. Dilys fod un peth etto yn dra dyeithr, sef yw, trwy yr holl *ddiffeithiadau*, y rhai a grybwyllir am danynt, na chafodd y wlad ei llwyr ddinystrio a'u didrigoli. Er cyfrif hyn, nis gallaf gynnyg ond dychymmyg yn unig; eithr meddyliaf nad ydyw ddim yn mhell oddiwrth y gwirionedd.

Y Cymry, heblaw bod yn ddewrion ac yn ryfelwyr, a oeddynt hefyd yn ddynion celyd ac egniol o anian corfforol, ac yn gynnil ac anfoethus yn eu harferion. Gweithrediad y *Diffeithiadau*, am y sawl y crybwyllir mor fynych, oeddynt, *lladd y trigolion, llosgi eu hanneddau*, a *dwyn ymaith eu moddion yn ysglyfaeth.* Am y cyntaf, nid hawdd oedd lladd dynion nerthol, gwisgi, cynnefin âg ymosodiadau rhyfelgyrchol. Ac am losgi eu tai, y mae yn ddilys na pherai hynny fawr o aflonyddwch iddynt, gan y gellir meddwl, nad oedd tai y werin, yn y fath amseroedd a hyn, o fawr werth, o ran defnydd na ffurfiad. Canys y mae Giraldus yn dywedyd eu bod yn llurfio eu tai, nid ar ddull adeiladau gorwych a hardd, ond o wiail plethedig, digonol at eu hachosion, a dim yn ychwaneg; a'u bod yn byw, nid mewn trefydd, neu bentrefydd, ond mewn anneddau unigol, neilltuedig yn y coedydd; felly, nid hawdd oedd niweidio y fath ddynion yn y perthynasau hyn. Ond am yr yspeiliaw, diau fod hynny yn niwed, yr hyn a deimlent fel ereill i ryw radd neu gilydd; ond pan ystyriom nad oedd gan ddynion yn y cyflwr hyn o hanfodiad, fawr o foddion, oddieithr eu hanifeiliaid, gallwn feddwl na phwysai y gormesiad hyn, ddim mor drwm arnynt hwy, ag ar drigolion cyfoethocach gwledydd; o herwydd gan nad oeddynt bobl tebygol i gael eu dala yn ddisymmwth gan eu gelynion mewn cyflwr anwyliadwrus, gallwn hyderu, eu bod yn gyrru ymaith yr ychydig anifeiliaid, y rhai a berchenogent, i ryw leoedd dirgel allan o'r ffordd; a'r gelynion ni feiddient ymwasgaru oddiwrth eu gilydd yn ysglyfaethu, onite, byddent yn sicr o gyfarfod â dinystr. Hyn, feddyliaf, oedd arfer y werin, a'u cyflwr yn amser ymosodiadau gelyn-

* "Gens armis dedita tota."—GIRALD. CAMBR.

† "Non urbe, non vico, non castris cohabitant sed quasi solitarii sylvis inhærent, &c."

iaethol; ac ar ol treulio ychydig amser yn y modd hyn, rhyw dywysa neu bendefig, a gynnullai fyddin o'i ddeiliaid, ac a gyfarfyddai â'r gely ion, mewn brwydr, ac yn dra mynych a'u gorthrechai. Ac felly, er gallwn ddywedyd mewn ystyr moesawl, mai amseroedd anhyfryd oedd amseroedd hyn, etto, y mae yn ddilys gennyf, nad oeddynt felly Cymro; eithr yn hytrach, bod yn gwbl oll wrth fodd ei galon; ac m dyn annedwydd a fuasai, pe gostegasent y tymhestloedd hyn.

Trwy garchariad IAGO, yn 971, gellir gosod terfyniad y teyrnasia hynny, yn y flwyddyn honno: canys yr oedd ei frawd IEFAF, gwedi ei ddi orseddu yn hir cyn hynny; ac yn ol un ysgrif, gwedi cael ei ddihenyddio, a'i fab Hywel oedd mewn meddiant o'i gyfran ef o'r lywodraeth; ac yn awr, ar orthrechiad ei ewythr, daeth i'r orsedd oruchafiol, megys Tywysog Cymru, fel y gelwir ef yn yr hanesion; ond oddiwrth yr hyn a ddywedwyd eisioes, a'r hyn a roddir drachefn, y mae yn amlwg nad oedd ei awdurdod yn hyn, ond enwawl yn unig: canys yr oedd Cymru yn awr, gwedi ei rhannu rhwng cynnifer o dywysogion a phendefigion annibynol, fel nas gellir gydag un cywirdeb, son am *Dywysog Cymru.* Ac nis gwelaf un dyben i arddel naill na Hywel, nag un pennadur arall, yn dywysawg cyffredinol, oddieithr er y cyfleusdra o osod ei enw ar ben y ddalen i nodi yr amseriad.

Yn ystod y teyrnasiad hyn, sef yr un a geir dan enwad IEFAF, a IAGO, cawn y dygwyddiadau canlynol, yn gofrestredig:—

"O. C. 955, y bu Eira dirfawr ym Mis Mawrth a llifeiriant aruthrawl oni thorres lawer o'r Tai ac y boddes lawer o ddynion ac ysgrubliaid yng Ngwent a Gwenllwg a Morgannwg, a lleoedd ereill; ac ar ol hynny bu trathesog yr hâf ac y bu llawnder ydau a phrinder Aswellt, oni orfu ar lawer gloddio gwreiddiau Gwellt a Rhedyn yn ymborth i'r gwartheg a'r ceffylau, ac y cafwyd gwair wedi hynny ar y tir yn Ngwiliau Nadolig yn ddirfawr e gnwd ac yn iachus ei ausawdd, fel y gwaredwyd y diffyg a'r prinder o ryfeddolder mawr."

Etto, dywedir,—

"O. C. 960, y bu yr fall fawr ym Mis Mawrth a hynny hyd Galan Mai, a bu farw llawiawn o Gymry a Saeson hyd yn y lladdwyd yr haint gan yr Hâf a'r Tês."

Er cydffurfiad â'r hanesyddion diweddar, y rhai a'm rhagflaenant, ysgrifenaf yr enw IEFAF, fel y gwelir; eithr y mae yn ddilys gennyf, mai IEUAU yw ei wir ddull, a bod yr amrywiad gwedi tarddu allan o gyffelybrwydd yr *u*, a'r *n*, yn yr hen ysgrifau. Hawdd oedd i ail-ysgrifwyr, droi *Ieuan*, *Ieuau:* a chan mai yr un lythyren oedd yr *u*, a'r *v*, y cam nesaf oedd gwneuthur *Ieuau*, yn *Ievav.* Ac wrth dderbyn y dehongliad hyn mae enwau y ddau frawd yn cyttuno âg eiddo dau fab Zebedeus, *Ioan* *Iago*, oddiwrth ba rai yn ddiau y cymmerwyd hwy.

## HYWEL AB IEFAF.

978.—984.

"*Tri arf cyfraith y sydd: cleddyf, gwayw, a deuddeg saeth yn nghawell; ac ar bob gwr teulu eu cadw yn barawdgyrch, rhag llu gorwlad ac estron, ac ereill o wyr anrhaith.*"

Felly y dywaid yr hen gyfreithiau Cymraeg, a diau mai defod gall oedd hon yma: ac os bu achos erioed ar y Cymry iddei chadw mewn cof, dilys mai yn awr yr hanfodai. Canys o'r holl amseroedd terfysglyd, y rhai a welodd y genedl, braidd y gellir enwi un iddei chymharu, i'r un yn awr dan sylw, o ran cynnwrf cyffredinol, trwy ymladdiadau cartrefol ac ymosodiadau estroniaid. Un o weithredoedd cyntaf HYWEL AP IEFAF, ar ol ei feddiant o'r orsedd, oedd arwain i'r Deheubarth, fyddin liosog, yn ffurfiedig o Saeson a Chymry, ac yno cyflawni y gweithredoedd erchyll arferol, ar y fath achosion:—

O. C. 980, y daeth *Hywel ab Ieuaf* a Llu mawr o'r Saeson gydag ef i gyfoethen *Einion ab Hywel Dda*, ac y bu ymladd tost ryngddynt ym mrwydr Llanwenawc, [*yn Ngheredigion*] a *Gotfrid ab Harallt* yn gweled hynny a ddaeth a'i lu hyd yn Nyfed ac a'i diffeithiasant, ac a dorrasant Eglwys Dewi Mynyw."

Y darnau canlynol a ddangosant mewn byr eiriau, ychydig o ansawdd yr amseroedd terfysglyd hyn. Am geisio datguddio annogiadau y mudiadau yma, neu eu cofresu mewn trefn hanesyddol, neu ynte, olrhain eu heffeithiau gwladwriaethol, barnaf mai anfuddiol fyddai y gwaith, os nid annichonadwy; am hynny, rhoddaf yr amgylchiadau fel y caf hwy yn y Brutiau, yn gruglwyth brithliw cymmysgedig, yn cynnwys brâd a thrawsder o'r arnodiad tywyllaf; yn nghyd âg ambell anghraifft gorddysglaer o wrolder a gwladgarwch:—

"O. C. 980, pan ddiffeithiodd *Owain ab Einion* Frenhiniaeth *Meredydd ab Owain*, nid amgen Dyfed, a Cheredigiawn, a'r amser hwnnw bu newyn dirfawr yng nghyfoeth Meredydd, ac y bu frwydr rhwng meibion *Meuryg* a *Meredydd* yn yml *Llangwm*, ac y gorfu meibion Meuryg yn erbyn Meredydd, ac yna lladdwyd *Tewdwr* ab Einion ab Owain ab Hywel Dda fab Cadell, a *Rhys mab Tewdwr* a ffoes i'r Werddon rhag pydoldeb y lleddid ef."

"O. C. 981, y daeth *Hywel ab Ieuan* a'i lu a chydag ef lu mawr o Saeson i Frecheiniawc ac a ddiffeithiasant y wlad yn greulawn; ac yn eu herbyn y daeth *Einion ab Owain* a gwyr Dyfed ac a laddasant y Saeson a lladdfa dost, ac ereill o honynt a ffoasant, ac yn eu ffo y lladdwyd llawer o honynt."

Y Saeson hyn a oeddynt dan dywysiad blaenor, o'r enw *Alfred.*

"O. C. 982, ydd aeth *Einion* ab Owain ab Hywel Dda hyd yng Ngorweunydd ac y R waith *Pencoed Colwynn*, lle y gyrwyd ffo ar Einion a'i wyr hyd yng Nglan y Mor, lle b cad yn eu herbyn gan Wyr Morganwg a Gwent ac yn honno y llas *Einion ab Owain*, ac y ydd aeth y Deyrnedd ar *Faredydd ab Owain* ab Hywel Dda."

"O. C. 984, ydd aeth *Hywel ab Ieuan* i Loegr yn erbyn y Saeson a fuant yn ymladd y mhlaid Iago ei ewythr, ac yna y llas ef a llawer iawn o'i wyr. Ac yna y cymmerth *Gadwallawn ab Ieuan* arnaw Lywodraeth holl Wynedd, ac yn ei erbyn y daeth y Saeson a'r gwyr Duon, ac yn eu pen *Ionafal ab Meuryg* ei gefnder, ac yno y llas *Ionafal*."

A'r cyfryw, oedd rhwysg a therfyn teyrnasiad HYWEL AP IEFAF, tywysog Gwynedd, yn gystal ag eiddo EINION AC OWAIN, tywysog y Deheubarth. Dau bennadur gwrol ac egniol; eithr y cyntaf yn rhy barod i ymgystlynu â dyeithriaid, er cynnal ei ddybenion neilltuol ei hun. HYWEL, ni adawodd un mab, ac felly, ei orsedd a ddaeth iddei frawd CADWALLAWN. EINION a adawodd ddau fab, *Edwin*, a *Tewdwr Mawr*, o'r olaf a ba rai, y deilliodd amryw o dywysogion y Deheubarth.

Yn ystod teyrnasiad y tywysog hwn, y dygwyddiadau a gymmerasant le,

"Y Brenin Saesonaeg *Edgar* a fu farw yn y flwyddyn 975."

"Yn yr un flwyddyn ydd aeth *Dunwallawn* Brenin Ystrad Clud i Rufain lle y cymmerth Gorun."—Hynny yw, eilliwyd ei ben, yr hyn a arwyddoca iddo gymmeryd arnaw urddau Eglwysig.

"A'r un flwyddyn y bu farw *Idwallawn* fab Owain a Brawd *Morgan Mawr*, Tywysawg Morganwg, Gwr oedd efe a garai heddwch a Llywodraeth, ac yngneidiaeth gyfiawn, ac a beris adnewyddu trefn a Llywodraeth gynnefodawl yn ei wlâd, a chystal ei ddeall a'i haelioni, fal y bu galar i bob gwlad yng Nghymru ei farw."

Yn y flwyddyn 980, daeth llu o'r Daniaid i Southampton, gyda llynges o saith llong, a thros rhai blynyddau parhasant i flino y gororau arforol cyfnesawl, trwy eu hymosodiadau lladronaidd. Y mae yn ddyledus synied fod yr ardaloedd deheuol o Loegr, gwedi cael mewn rhan eu rhyddhau o ormesiadau y Daniaid sefydledig yn yr ynys, trwy ammodau a wnaethpwyd â hwynt gan frenhinoedd y Saeson. Ond yr oedd lluoedd crwydraidd o honynt bob amser yn hwyliaw o amgylch y gororau, ac yn tirio yma ac accw i ysglafaethu, lle y caffent gyfleusdra.

## CADWALLAWN AP IEFAF.

984.—987.

'n y darn o'r Brut a adroddwyd ychydig yn ol, gwelwn i GADWALLAWN, Iefaf, afaelyd yn llywodraeth Gwynedd, ar farwolaeth ei frawd VEL; a'r modd y cafodd ei gefnder, *Ionafal ap Meuryg*, yr hwn yr iawn etifedd, ei ladd wrth geisio ennill ei eiddo. Yr oedd WALLAWN yn awr, mewn meddiant unigol o orsedd Gwynedd, ond ni dd yn hir fwynhad o'i drawsfeddiant: canys yn y flwyddyn nesaf ar esgyniad i'r orsedd, cafodd ei ladd, yn nghyd â'i frawd *Meuryg*, gan EDYDD AP OWAIN, Tywysog y Deheubarth.

). C. 985, y dud *Maredydd ab Owain ab Hywel Dda* gâd fawr ganddaw i Wynedd, a r a fu yno ryngtho a *Chadwallawn ab Ieuan* a'i frawd *Meuryg* ac yno y llas *Gadwallawn* ag *Faredydd* Wlad Wynedd danaw, ac a lywodraethodd arni, ac a ddodes lywodraeth n ac Arfon, a Meirionydd, lle ni oedd llywodraeth dyledus wedi bod er yn hir o ."

mae POWEL, neu ynte ei ragflaenydd, H. LLWYD, yn traethu yn ddol iawn ar yr amgylchiadau rhagflaenol, ac yn dangos y modd y ld rai o'r troseddwyr a grybwyllwyd am danynt eu cospi am eu thredoedd rheibus a chreulawn. *Meuryg*, mab henaf Edwal Foel, iawn etifedd gorsedd Gwynedd; ond ei frodyr, Iefaf, a Iago, a'i diannasant ef. Ond ni lwyddodd y brâd; canys y ddau frawd hyn rafaelasant ar ol hynny, ac Iefaf a gafodd ei ddala gan ei frawd *Iago*, rcharu, a thynnu ei lygaid. Yna *Iago* a gafodd ei garcharu gan ei *Hywel ap Iefaf;* a'i fab *Cystenyn* a laddwyd. Ac er cyflawni y s o ddialeddau, *Hywel* yntau, a laddwyd hefyd, yn gystal a'i frodyr *wallawn*, a *Meuryg*, a'r orsedd a drosglwyddwyd i deulu arall.

mae y gweithredoedd creulawn hyn yn gosod anian dyn mewn ddiad tra gwrthun; a phe buasent yn gyfyngedig i'n cenedl yn unig, y dylasem gael ein cyfrif yn mhlith y mwyaf atgas o ddynion; ond rychwn i mewn i hanesion gwledydd, yn gyffredinol, yno cawn weled ydyw y fath gyhuddiadau, ddim yn gyfeiriedig attom ni yn neilltuol; y mae anghreifftiau rhy aml o honynt iddeu cael yn mhlith pob rhyw . Ond er y galarwn am lygredigaeth cynhenid yr anian ddynol, n enwedig am yr ymddangosiadau hyn o honaw, etto, y mae yn rhaid gyfaddef fod yr ysgrifenyddion, y rhai a gofrestrent y pethau yma n geiriau eglur, yn haeddiannol o bob parch, megys hanesyddion wir ac anmhleidgar.

## MEREDYDD AP OWAIN.

985.—992.

Ar ol liadd Cadwallawn, cymmerodd *Meredydd ap Owain ap I*
*Dda*, arno lywodraeth Gwynedd, ac ymddengys iddo ddechreu ei d
asiad mewn modd tebygol i wneuthur diwygiad yn nghyflwr y
canys rhoddodd drefn lywodraethol ar amryw ardaloedd, y rhai oe
cyn hyn, gwedi bod dros hir amser yn ddigyfraith. Eithr ni chafod
ychydig o ystod i roddi prawf o leshad ei reolau : canys gorfu arnaw
y rhan fwyaf o'r gwledydd gogleddawl, y rhai a ennillasai, a dych
i'r Deheubarth :—

"Yn yr un flwyddyn [985] y dug Bleidyddion *Ieuan ab Idwal* Gotffrid ab Ha
drydy waith i Fon, [*pleidwyr Ieuan ab Idwal, a ddygasant Gotffrid ab Harallt. y d*
*waith i Fon*,] a chydag ef y gosodasant y Cymry a'r Daeniaid ar *Lywarch ab Owain*, B
Tywysawg Maredydd, ac a'i daliasant a dwy fil o'i wyr, ac a dynnasant eu llygaid o'i
a'r flwyddyn honno y bu farw *Ieuaf ab Idwal* yng ngharchar lle bu yn unig lawer bl
wedi ei ddilygeidiaw.* A gwedi hynny gorfu ar Faredydd ab Owain ffoi o W
Geredigiawn lle y bu mawr a thaer ei wrolder yn amddiffyn ei gyfoeth yn erbyn
Daeniaid a'r Saeson a Gwyr Gwynedd."

Y mae y weithred hon o eiddo Meredydd yn adgyweiriaw llywo
Môn, yn dangos nad oedd y Daniaid ddim yn meddiannu y wlad ar
hwnnw; ac y mae dyfodiad Gotffrid *y drydydd waith*, yn bra
ymadawiad o'r ynys honno cyn hynny ; ac hefyd ei gyduniad â phle
Iefaf, yn cadarnhau yr hyn a gynnygais, sef na chafodd y Dania
sefydliad parhaus yn mhlith y Cymry, nac ychwaith fawr o lwyd
math, oddieithr pan dan nawdd rhai o'r pendefigion Cymraeg, ac
cyngrair â hwy yn rhyfela yn erbyn eu cydymgeiswyr, am orucha
Ond er nad oeddynt yn alluog i ddarostwng Cymru, fel y gwnaet
Loegr; ac er y barnaf, na ofalai y werin wladol, fawr am eu cad
iadau, eithr ysgatfydd, yn hytrach ymlawenychu ynddynt, megys a
urau i ymladd, etto, yn ddiamheu, yr oedd ymosodiadau disymm
estroniaid ysglafaethus hyn, yn dra blinderus a niweidiol i dri
trefydd, ac yn neilltuol felly i'r Corau Eglwysig, ac i'r ardaloedd cy
O'r cyfryw, y mae y canlynol yn anghreifftiau. Ar ol tirio yn Nghe
a Dyfnaint, a Gwlad yr Hâf, yn y flwyddyn 986, dywedir iddynt d
Ngwyr, "ac yno llosgi *Côr Cennydd* ac ereill o'r Eglwysau ac ys
gwyr y wlad." Ac etto,—

* Canfyddir yr anghysondeb hyn, perthynol i farwolaeth *Iefaf*, mewn m
un man.

"O. C. 987, daeth y Daeniaid i foroedd Deheubarth, a dyfod i Dir yng Ngheredigion, a diffeithiaw *Llanbadarn*, a *Llandydoch*, a *Llanrhystud*; a gwedi hynny myned hyd ym Mynyw a diffeithiaw yr Eglwys a dwyn ei thlysau; ac wedi hynny myned ar hyd for Hafren hyd ym Morganwg a diffeithiaw *Cor Illdud*, a *Chor Cattwg*, a *Chor Cyngar*, a *Llan Daf*, ac ereill o'r Eglwysi goreu yn y wlad, a hefyd llosgi ydau a lladd ysgrublaid onid aeth aewyn angerddawl ar y wlad, ac y bu farw llawer o ddynion achaws hynny."

Oddiwrth un ysgrif, deallwn fod Maredydd gwedi ei wasgu mor galed trwy y rhuthriadau hyn o eiddo y Daniaid, a gorfod prynu heddwch ganddynt trwy dreth, sef ceiniog gan bob un o'i bobl; "a y talawd Maredud yn deyrnget yr kenedloed duon geiniawc o bop dyn."* Ac nid rhyfedd ei fod gwedi ei ddwyn i'r fath gyfyngder: canys ymddengys ei fod mewn gelyniaeth â'r rhan fwyaf, os nid y cyfan o'i gyd-dywysogion Cymraeg, ac felly yn amddifad o'u cydweithiad. Ond dichon nad oedd y pennadur aflonydd hwn, yn gofalu llawer pa fodd y cynhaliai ei lywodraeth, canys gwelwn, ychydig ar ol hyn ei fod yn cyflogi y Llu du, i ymladd gydag ef. "A Maredud a huryawd y kenedloed a daethodynt yn y ewyllys gyt ac ef." Ond yr oedd yr arfer niweidiol ac anwladgar o gyflogi yr estroniaid hyn, ac uno â hwy, yn rhy gyffredin yn mhlith y Cymry. Crybwyllir am anghraifft o'r cyfryw ymgystludiad gwrthun, yn y darn canlynol:—

"O. C. 990, ydd aeth Maredydd ab Owain i Faeshyfaidd a holl gyfoethau Arglwyddi y Saeson rwng Gwy a Hafren, ag Edwin ab Einion a ddaeth attaw a chydag ef ydd oedd Llu mawr o Saeson a Daeniaid, ac ymladd a Maredydd a'i yrru ar ffo."

Pa beth a gynhyrfodd Maredydd i'r weithred hon o ymosod ar y tiroedd hyn, hyspysir; ysgatfydd, fod yr arglwyddi hyn gwedi ei annogi trwy ryw sarhâd neu gilydd: canys yr oedd y cyfryw annogiadau yn dra chyffredin yn yr amseroedd hyn; ac nid tebygol y byddai i ddyn o danbeidrwydd Maredydd, orphwys yn ddigyffro dan un peth o'r cyfryw. Ond bydded hyn fel y bytho, ni bu y cadgyrchiad yn hir, cyn derbyn ad-daliad:

"991, y daeth Edwin ab Einion a'i wyr, ac yn borth iddaw *Adelf* Tywysawg o Sais, a chydag ef lu dirfawr, ac anrheithiasant holl diroedd Maredydd, sef Ceredigiawn, a Dyfed, a Mynyw, a Gwyr isaf, a Chedweli."

Diau fod Meredydd yn ddyn tra aflonydd ei yspryd, ac ymrysongar, ond ar yr un pryd, yn ddewr a chalonog i raddau o'r godidocaf; yn hyn

* Y mae yn gyffredin honni, fod y cyfryw deyrnged yn myned dan yr enw *Glwmaen*, ystyr pa air nis gall neb ei ddehonglyd. Ond y mae yn ddilys gennyf, mai cyfeiliornus yw yr honniad, ac mai enw pendefig Gwyddelaeg, ydyw yr hwn, rhyw fodd neu gilydd, a gamsyniwyd yn lle enw y deyrnged: canys mewn un ysgrif o'r Brut, cawn y cofiant canlynol:— "——y llas *Glumayn* vab *Abloic*. A Maredud yn dreth a rodes yr llu du keinyauc am bob gwr idaw." Yr Abloyc hwn, oedd frenin yr Iwerddon.

yr oedd yn eithaf addasedig i flaenori ar y fath ddynion ag oeddynt y Cymry yn yr amseroedd yma, y rhai a hoffent ryfel mor anwyl; ac y mae yn ddiau gennyf na holent yn rhy fanwl yn nghylch cyfiawnder y cadruthriadau a wnelai efe o bryd i'w gilydd, i diriogaethau y tywysogion cymmydogaethawl; digon iddynt hwy fod terfysg ac adeg i ymladd. Yr adroddiad canlynol, a ddengys anghraifft nodedig o ymrysongarwch Meredydd, ac hefyd o wroldeb ac egni tra chlodwiw ar ran y bobl, ar ba rai yr ymosodai ac ymdrechiad o'r math teilyngaf ar ran y rhai a oddefent gamwri oddiwrth drais yr anrheithydd hwn.—

"Yn yr un flwyddyn ac amser [991] ydd oedd Maredydd yn anrheithiaw cyfoeth *Ithel ab Morgan* Tywysog Morganwg; ac yn heddychu rhwng Edwin a Maredydd a mysed a'u holl nerthoedd ac anrheithiaw *Gwlad Forgan* yn aruthrawl, ac yna *Hywel ab Morgan*, brawd Ithel, a ddangoses ei ewyllys i wyr y wlad, ac a goflaenai efe hwynt lle bai onid daa a ddelai gydag ef, ac ar hynny ymgynnullasant bobl y wlad attaw yn wyr ac yn wragedd, ac yn feibion ac yn ferched, pob un ag arf a geffid wrth law, ac yn erbyn Maredydd ac Edwin a gyrru ffo arnynt a dwyn oddiarnynt eu hysbail a lladd eu gwyr yn dost yn Ngwaith *Cors Einion* yng *Ngwyr*, lle y llas *Cadwallawn* fab Maredydd."

Ysgrif arall a ddywed i'r rhyfel hyn gymmeryd lle, "achos anrhaith gwyr Maredydd yn eu newyn, gan ddrudaniaeth; a'r amser hwnnw y dechreuwyd bwytta cregyn y môr yn Neheubarth." Ond gwelir rhagllaw mai gwir amcan Meredydd, oedd ceisio cael gafael ar *Edwal ap Meurig*, iawn etifedd gorsedd Gwynedd, yr hwn oedd y pryd hynny, gwedi ffoi i Forganwg, a than nawdd *Ithel*, a Chôr Nantgarfan. A hyn a gyttuna â'r mynegiad a geir drachefn, lle y dywedir mai ar ei fynediad yn erbyn Morganwg, y cyflogodd Meredydd y Llu du.

Hyd yn hyn, cedwir enw MEREDYDD AP OWAIN, yn mhen tywysogaeth Cymru; eithr nid o herwydd un awdurdod cyffredinol a feddai: canys yr oedd ei lywodraeth gwedi ei chyfyngu iddei diriogaeth neilltuol yn y Deheubarth, ond o achos nad oedd etto un tywysog wedi ei osod ar orseddfainc Gwynedd. Eithr yn awr, rhaid gosod enw arall ar ben y ddalen, a thraethu am y canlyniad o fawredd Meredydd, dan y teyrnasiad a berthyn i hwnnw.



## EDWAL AP MEYRYC.

### 993.—994.

AP MEYRIC, oedd fab i *Meuryg** *ap Edwal Foel*, yr hwn dd iawn etifedd gorsedd Gwynedd; eithr a gadwyd o honi yn vn, gan ei frodyr, Iefaf, a Iago. Achaws dyfodiad EDWAL yn eddiant, oedd fal y canlyn:—

wyddyn [993] y daeth y Daeniaid duon i ynys Fon ac a ddiffeithiasant yr holl ranent, canys nid oedd ar Wynedd yr amser hynny na Phenn na Pherchen, na rodraeth, na neb a safai yn mhlaid y wlad rhag estron ac anrhaith; am hynny nt y Cymry attynt *Idwal ab Meuryg* ac a'i dodasant yn Dywysawg arnynt, ac rth gan *Ithel* Tywysawg Morganwg, a gyrru ffo a lladdfa fawr ar y Daeniaid a Ac *Idwal* a fu yn Dywysawg clodfawr a chyfiawn, ac a wnaeth Lywodraeth ar refn a weddai ar heddwch a rhyfel, canys ef a ddysged gan *Hywel ap Morgan* e yn Benn Doethion Cymry yn y Gwybodeu a ddylai Tywysawg eu deall a'u efe ar ffo yn Llys Ithel Tywysawg Morganwg, ac yn nawdd Cor Llanfeithin yn a mynych y torred y Gor honno yn amcan ei ddal a'i ladd gan *Einion ab Owain* ab *Owain* a chan y Daeniaid a'r Saeson."

od Meredydd gwedi cyfarfod â'r fath wrthladdiad yn Morganwg, n fynych yn analluog i amddiffyn ei gyfoeth ei hun rhag ei to, cymmaint oedd ei awydd am ymladd, ag nid cynt y cafodd u yn Morganwg, nag y cyrchodd â'i holl egni tua Gwynedd, i n difyrwch yno.

i flwyddyn [993] y bu frwydr *Llangwm* [*yn swydd Dinbych*] lle ydd amcanai *Owain* adynnill Gwynedd, ac Idwal, a orfu arnaw, ac yn y frwydr honno y llas *inion* ab Owain ab Hywel Dda, nai mab brawd i Faredydd."

diwedd, angeu a ddododd derfyn iddei rwysg; eithr pa un ai ydr, ai ar ei wely, ni fynegir. Y cofiant sydd fal y canlyn; ac y beth tra nodedig yn y sylwad atddodawl:—

bu farw *Maredydd ab Owain*, ac o hynny cafwyd gwell byd am heddwch a ar y Cymry."

meddyliai rhai; ond am ei ganlynwyr ei hun, y mae yn ddilys l eu galar hwy mor fawr ag oedd llawenydd eu cymmydogion. chawsant erioed arweinydd mwy at fodd eu calon na'r dewr-ddgar, gwibiog, a diorphwys,—*Meredydd ab Owain.*

yr holl enwau yn amrywiaw mor fynych yn eu llythyreniad yn yr hen ysgrifau, bonadwy cadw at un drefn sefydlog, oddieithr eu cyfnewid oddiwrth y cysefin, w ganiatäol.

Meredydd, ni adawodd ar ei ol onid un ferch, o'r enw *Anghar*
hon "a briodes *Llywelyn ab Seisyllt;* a gwedi marw Llywelyn,
briod â *Chynfyn ab Gwerystan:* ac o honi hi y bu *Bleidd*
*Cynfyn.*"

Y flwyddyn honno, a welodd drancedigaeth ei ddau wrthwyneby
Ngwynedd a Morganwg:—

"O. C. 994, y daeth *Swaen ab Harallt* a'r Daeniaid duon gydag ef i Wynedd
cad *Pennynydd* ym Mon, y lle y llas *Idwal ab Meuryg* Tywysawg Gwynedd.
diffeithwyd *Matharn* gan y Saeson a hwy a'i llosgasant."

"Yr un flwyddyn y bu farw *Ithel* Tywysawg Morganwg, ac yr aeth *Gwrgan* ei fal
le; a Thywysawg doeth heddychgar ydoedd efe, ond *Iestyn* ei fab a garai aflywodr
a fynnai ryfel ac anheddwch, ac yn y flwyddyn honno y priodes ef ferch *Bleddyn ab*
Tywysawg Powys a'i henw *Denis*, ac efe a gafas gan *Wrgan* ei Dad Gwmmwd *Tref*.
ac yno y gwnaeth efe gastell, a dodi arnaw Enw *Denis Powys*, ac a gymmerth attaw
*ab Blegywryd ab Morgan Mawr*, ac a fwriadasant Ryfel er ynnill cyfoeth Maredy
ymbarottoi gwyr at hynny; a danfon a wnaethant at y Daeniaid a'u gwahawdd i Gere
ac yno y daethant ac a losgasant *Arberth*. A'r flwyddyn honno hefyd y priodes *L*
*ab Seisyllt*, Arglwydd *Maes Essyllt*, *Ynghارad* ferch *Meredydd ab Owain*, ac efe
ieuanc nid mwy nac oed pedwar blwydd ar ddeg."

Canfyddir yn awr fod gorsedd *Cymru oll*, yn wâg dros rhai blyny
weithian: oblegid yr oedd *Llewelyn ap Seisyllt*, mab yn nghy
Meredydd ap Owain, yn rhy ieuanc i gymmeryd arnaw y lywodraeth
nad oedd ond pedwar-ar-ddeg oed. Ac nid oedd *Iago*, mab *Edw*
*Meuryg*, etto, ond plentyn; ac felly, yr orsedd oedd megys camp
i'r ymgeisydd mwyaf llwyddiannus; ac er profi helynt tynghedl
oedd dau wron yn y maes, sef *Aedan ap Blegored*, a *Chynan ap H*
Y cyntaf yn y Deheubarth, a'r llall yn Ngwynedd. *Aedan ap Bleg*
a ddechreuodd ei rwysg, gan dywys y Daniaid i Ddyfed, trwy "gyn
phorth *Iestyn ap Gwrgan*," pan y llosgasant Fynyw, ac a lad
*Morgeneu*, Esgob Dewi. Ac yn y flwyddyn 1000, Aedan a ddug
i Geredigion, ac a ennillodd y Dalaeth honno. Ar ol hynny, arwei
ei luoedd i Wynedd, "ac yn ei erbyn y daeth *Cynan ab Hywel*,
cad ar faes rhyngddynt lle gorfu *Aeddan*, ac o hynny ynnill
Wynedd a'i Chyfoethau."

## AEDAN AP BLEGORED.

### 1000.—1015.

oedd *Aedan ab Blegored*, trwy y fuddugoliaeth yma gwedi dyfod iant o orsedd *Cymru oll;* ac ymddengys ei fod yn ddyn o gynu da, yn gystal ag o wychder rhyfelgar. Ar ol ei feddiant o'r aeth, trodd ei ymdrechiadau tuag at ddiwygio cyflwr y wlad, yr hyn o herwydd yr hir derfysg, gwedi myned yn ddidrefn i raddau awl. Dywedir am ei wasanaeth a'i rwysg yn y modd can-

—

C. 1000, y dug *Aeddan ab Blegywryd* Gad hyd yng Ngheredigiawn, ac ynnill Maredydd a orug, herwydd nid oedd Llywelyn ab Seisyllt hyd yn hyn yn oed Gwr raint ar Gyfoeth Yngharad ei Wraig, a myned hyd yng Ngwynedd y mynnai Aeddan, erbyn ef y daeth Cynan ab Hywel a bu Cad ar Faes ryngddynt, lle gorfu Aeddan, ny ynnill Gwlad Wynedd a'i Chyfoethau. Gwedi ynnill o Aeddan holl Gymru o'r gilydd, efe a beris drefnu Llywodraeth a Chyfreithiau, ac adgyweiriaw Eglwysseu i a dorresid yn Rhyfel, a chan nad oedd iddaw fab efe a drefnwys yn etifedd iddaw h fab *Iestyn ap Gwrgan*."

ae Powel yn methu cael allan hanniad *Aedan*, am na wyddai am enw *Blegored*, a allai fwrw hawl i'r fath dderchafiad. Ond y mae au gennyf, na welodd Powel, na H. Llwyd, erioed yr ysgrif, allan o y cymmerir y traethiad yma, sef *Llyfr Aberpergwm*, yr hwn sydd nwy helaethlawn ar yr oesoedd yn awr dan sylw, nag un o'r ysgrifau O achos y cyflawnder hyn, ail-adroddaf allan o'r llyfr yma, lawer nynych na'r rhai ereill. Y mae yn nodadwy hefyd, fod y gwaith derbyn adgyweiriad o'i lythyreniad, o fewn i un o'r oesoedd diwyr hyn a'i addasa at yr achaws mewn llaw, yn y fath fodd a'i wneud amheuol i mi, ei fod yn well er lles eglurder yr hanes, i roddi darnau o honaw mewn aildraddodiad, na cheisio ei drwsio i fynu o'r d, mewn geiriad o fy eiddo fy hun.

ae yr hanniad a roddir i Aedan* ap Blegored, yn yr ygsrif hon, sef ab MORGAN MAWR, *Tywysog Morganwg*, oedd efe, yn derbyn y darnhad oddiwrth ei gyfeillgarwch â Iestyn ap Gwrgan, a'r hyn a dir am iddo wneud mab Iestyn yn etifedd iddaw, ag braidd y gellid yl am oleuach tystiolaeth yn yr amseroedd tywyll hyn.

ae amrywiad o bum mlynedd yn yr amseriad a roddir i deyrnasiad

* dwaf y dull hyn o lythyrennu yr enw, er mwyn cydffurfiad: ond tueddaf i feddwl m a geir yn llyfr Aberpergwm, sef *Aeddan*, yw y cywiraf.

*Aedan;* ond *Llyfr Aberpergwm*, a esyd ei farwolaeth yn y flw
1015; a chrybwylla am dano yn y modd canlynol:—

"O. C. 1015, a *Llywelyn ab Seisyllt* yn ei lawn oedran, efe a feddylies ynnill Dinefwr a ddylasid o Fraint iddaw ef o'i wraig, canys iawn iddi oedd Cyfoeth Meredydd ap Owain; ac *Aeddan* a ddodai hawl ei fod yn etifeddu o hen Fr Cymru, nid amgen na *Bran ab Llyr Llediaith* a'i welygordd, a rhoddi cad ar Faes Llywelyn ab Seisyllt, ac yn honno y llas *Aeddan ap Blegywryd* a'i bedwar Nai, a cymmerth Llywelyn ab Seisyllt y Lywodraeth arnaw."

Y mae yn debygol hefyd fod y wlad, yn gyffredinol mewn heddw amser *Aedan ap Blegored*, am nad oes crybwylliad am ryfel yn y deyrnasiad; yr unig sylwad perthynol i Gymru, yn yr amser hyn canlynol:—

"O. C. 1001, bu farw *Morgan Mawr* Tywysawg Morganwg, yn ddirfawr ei oedr amgen na *channmlwydd a naw mlwydd ar hugain;* a gwedi gadael ei Fraint yn nw feibion a'i wyrion yn hir o flynyddau cyn ei farw achaws henaint ac anallu. Efe a g dan allawr Deilaw yn Llan Dâf a chystal ei gariad yn ei wlad a chymmaint ei Ddoethineb fal pan elai yn rhyfel nid oedd a arhosai gartref ac nad elai yn ei Lu nac o fab a fedrai afael yn Arfau; eithr mwy a fynnai gynnal yn heddwch nac yn r eisioes ni chaid o wrol ei wrolach, ac efe a fu lwyddfawr ei orchwyl a doeth ei g chyfiawn ei ymgais; a mawr a'i carai Edgar Brenin y Saeson; achaws hynny Tywysogion ereill nis cerynt ef, lle nid oedd a wnai well erddynt, nac erddynt Cymry, a chymmaint addwynder ei Lys yn ail i Lys Arthur, onid aeth hynny ar ddi gwlad a chenedl, ac y dywedir *Mwynder Morganwg* ac *Addwynder Morganwg.*"

Yr amser yma oedd nodedig am ddau amgylchiad tra phw perthynol i helynt Lloegr a'r Iwerddon, yn eu hymdrin â'r Daniaid. flwyddyn 1014, darostyngwyd gallu y bobl hynny, yn yr Iwerddo eu gorthrechu yn mrwydr *Clontarf*, gan y brenin *Brian Boiromh*. y gwrthwyneb i hyn, a ddichweiniodd i'r Saeson: canys ar ol tw ryfela, y Daniaid a lwyddasant i sicrhau eu sefydliad yn Lloeg meddiant teyrnawl o'r naill hanner o'r wlad; ac yn mhen ychydig ar ol marwolaeth y Brenin Saesonaeg, *Edmund Ironside*, daeth y brenin Danaidd, yn frenin Lloegr oll.

1015.—1021.

Llewelyn ap Seisyllt,* neu Sitsyllt, fel y llythyrenir yr enw mewn un hen ysgrif, gwedi ennill gorsedd Gwynedd, "efe a ddodes ei frawd *Hywel ab Sitsyllt* yn Dywysawg ar y wlad honno, ac felly rhyngddynt y llywodraethent holl Gymru yn anrhydeddus a chyfiawn. Ac yn yr amser y buant, y bu gyfoethawg y Cymry, a'r ddaear yn gnydfawr, a'r blynyddoedd yn rywiawg, a heddwch a chyfraith yn cael eu lle yn y wlad, ac i'r holl deuluoedd eu Tai ac i'r holl dai eu Teuluoedd: ac i bob Tir ei lafurwr ac i bob llafurwr ac ei dir, fal y daeth Llawnder digonol i'r wlad ac i'r holl wlad ei llawnder digonawl."

Felly y dywedir yn y Brut am y tywysawg hwn. Eithr nid oedd tawelwch ei deyrnasiad, ond yn unig cymhariaethol: canys ni chafodd heddwch parhaus, er fod rhai amgylchiadau yn peri llai o ryfela yn ei amser ef, na dan rhai o'i ragflaenoriaid. Un achos, yn ddiau, oedd ei anianawd heddychlawn ei hun; ac at hyn, gallwn ychwanegu cyflwr darostyngedig Lloegr, trwy ormesiad y Daniaid, yr hyn a waharddai i'r Saeson beri un aflonyddwch iddeu cymmydogion; ac hefyd, y galw ag oedd ar y Daniaid i uno eu hymdrechiadau ar faesydd Lloegr, i gadw gafael ar eu hysglyfaeth yno, yr hyn a waredai wlad Cymru rhag eu hymosodiadau. Ac yma y mae yn ofynol eglurhau un ymddangosiad, perthynol i hanes y gwledydd yma, yr hyn a all fod yn ddyrys i rai darllenwyr. Yr ydys eisioes gwedi haeru, fod Lloegr yn yr oesoedd hyn, gwedi ei darostwng gan y Daniaid. Ond etto, darllenwn fod brenhinoedd Lloegr, yn gwneuthur cadgyrchiadau i Gymru, a gwledydd ereill, ac yn dwyn y trigolion dan dreth; y gofyniad yw, Pa fodd y cysonir yr ymrafaelus haeriadau hyn?—Ac mewn atteb, rhoddaf yr eglurhad canlynol:—

Y Daniaid, o gylch y flwyddyn 850, oeddynt gwedi dechreu dyfod yn flinderus iawn i'r Saeson, trwy eu hymosodiadau ar hyd y gororau; ond o'r amser hyn allan, nid ymfoddlonent i ysglyfaethu ar hyd ymylau y môr, dechreuasant aros yn yr ynys, yn fyddinoedd lliosog. Ac yn 878, yr oeddynt gwedi cynnyddu i'r fath raddau, mewn rhifedi a galluogrwydd, a goresgyn y cyfan o Loegr, a dodi gorfod ar y brenin *Alfred*, ffoi ac ymguddio, lle y gallai gael llochesiad yn y coedydd a'r corsydd.

* Canfyddir fod amrywiad yn llythyreniad yr enw hwn, mewn gwahanol ysgrifau; gosodaf ar ben y ddalen yr un a arfera Powel, er parch iddei farn, ac er cynnal cydymffurfiad.

Yn mhen ychydig o fisoedd, *Alfred* a gynnullodd fyddin, ac orthrechodd ar y Daniaid, mor belled, a chael ammod i rannu y wl rhyngddynt; a'r Daniaid a gawsant yr ardaloedd gogleddol, gan eu b eisioes gwedi ymsefydlu yn lliosog iawn yn Northumbria. I'r fath radd o gadernyd ac eondra yr oeddynt gwedi cyrhaedd, a'u bod, ar ol marw-aeth Athelstan, yn gwneuthur ymgais drachefn er adennill y Deheudir-than eu tywysog *Anlaf*, yr hwn a wahoddasant o'r Iwerddon, ymos-asant ar y Saeson, a threchasant arnynt mewn brwydr, a gorfu ar y Saeson ymheddychu â hwy dan ammodau tra gwarthus; sef, i'r Daniaid gae meddiant heddychol o'r holl ogledd-dir, ac i bwy bynnag a fyddai byw hwyaf, o'r ddau frenin, sef *Anlaf*, brenin y Daniaid, ac *Edmund*, brenin y Saeson, y cai hwnnw fod yn frenin Lloegr oll!—

Yr Anlaf hwn, a geir yn y Brut dan yr enw *Awlaf*, yr hwn, yn ddilys, yw y dull cywiraf, gan yr atteba i'r Danaeg, *Olaf*. Mynegir yno am ei ymosodiad ar Gymru, yr hyn a barodd, yn y diwedd, ei yrru ar ffo i'r Iwerddon, o ba le y gwahoddwyd ef gan ei gydwladwyr, yn Ngogledd Lloegr; megys y mynegwyd:—

"Ac agos i'r amser hyn [943] y bu farw *Elen* gwraig Hywel Dda, ac am yr un amser y daeth *Awlaff* o'r Werddon i Gymru a Llu o'r Gwyr duon, ac arall o'r Gwyddyl, gydag ef, a daethant i dir yn *Ngwyr*, ac yn eu blaen y daethant; a *Llewelyn ab Syllt* a gyfarfu ag *Awlaf* ac a'i gyrrodd o'r wlad i Loegr a chan ganlyn y gelynion, fe ddanfonodd at *Edmunt* brenin y Saeson am gynhorthwy, ac yna daeth Cad fawr o'r Saeson ym mhlaid Llewelyn a'i Gymry, a hwy a yrrasant y Gwyddyl a'r Gwyr duon o'r Ynys a cholledion mawr; ac wedi addunedu o honaw nas drygai ynys Prydain fyth wedi hynny fe aeth Awlaff i'r Werddon lle a'i gwnaethpwyd yn frenin."

Y mae yn ofynol sylwi yma, fod amryw dywysogion Danaidd, o'r enw *Awlaff*, gwedi rhyfela â thrigolion Prydain, yn yr amseroedd hyn. Ac er fod y rhan gyntaf o'r darn uchod, yn cyfeirio at amseriad *Hywel Dda*, etto, y mae yn ddilys fod y rhan olaf yn perthyn i amser Llywelyn ab Seisyllt; a'r achos o'r cymmysg hyn, yn ddiau oedd, bod casglydd yr hanesiad, gwedi camsyniad y gwr yr hwn a biodd yr enw *Awlaff*.

Felly canfyddir, y darfu i'r Saeson dros amryw deyrnasiadau ar ol *Alfred*, naill ai trwy wrthladdiad, neu trwy ammodiad a gwobrwyad dianrhydeddus, lwyddo i gadw y Daniaid rhag ailennill y Deheudir, a chan mwyaf, i aros yn llonydd yn eu tiriogaethau yn y Gogledd; a'r tawelwch hyn a roddodd achlysur i rai o'r brenhinoedd Saesonaeg mwyaf egniol, megys *Athelstan*, ac *Edgar*, i wneuthur ymosodiadau ar y Cymry.

Yn y cyflwr hyn parhawyd hyd o gylch y flwyddyn 990, pan y daeth ychwanegiad o'r bobl Danaidd i Loegr, ac yr oeddynt gwedi lliosogi mor fawr, ac wedi cyrhaedd i'r fath radd o awdurdod, a chwnnu ar y brenin

red II. dreth o ugain mil o bunnau, yr hon dreth a alwyd *Danegelt.* edd yr amgylchiadau hyn mor flin, ag y darfu i *Ethelred,* gyn-o iddeu llofruddio oll ar yr un pryd, yr hyn a gyflawnwyd yn ddi-redd; a'r cyfan a drigent o fewn iddeu tiriogaethau a ddiffeithiwyd lisymmwth, a hwynthwy yn trigo yn llonydd mewn ammodau rch.

gellir amgyffred gweithred fwy dieflig na hon; Fod dynion yn yn erbyn eu cyd-drigolion, y rhai oeddynt yn byw yn llonydd dan diad, a'u lladd mewn gwaed oer,—yn eu cwsg, neu wrth eu bwyd-Gweithred gydweddus â *Brad y Cyllyll Hirion;*—Y giwdawd a yflawni yr un fradwriaeth, ni throddai oddiwrth y llall.

l y weithred ysgeler a bradychus hon, nid aeth yn ddigosb: canys flwyddyn nesaf, 1004, daeth *Sweyn,* brenin Denmarc, â byddin l, ac a orthrechodd ar Ethelred, ac a berodd iddo ffoi i Ffrainc, a a wnaethpwyd yn *Frenin Lloegr;* ac ar ei ol, meddiannodd ei idwyr yr orsedd dros dri theyrnasiad, sef *Cnute, Harold Harefoot,* rdicnute. Ac yno llwyr ddymchwelwyd llywodraeth y Saeson, a wialen Lloegr a drosglwyddwyd o ddwylaw y brenhin-llwyth Saxon-eiddo dyeithriaid. Ac ar ol marwolaeth *Hardicnute,* gafaelwyd drachefn gan y Saeson, yn y flwyddyn 1042; etto, daliwyd hi mor c egwan, ag na pharhaodd annibynoldeb y Saeson, ddim llawer dros mlynedd, cyn cael eu hollol ddiddymmu gan y Normaniaid. gofyn yn mha gyflwr yr hanfodent y Daniaid yn y wlad, a pha ryw a gynhalient. Er atteb, dywedwn fod eu cadruthriadau cyntaf yn thlyd ac yn waedlyd; a mai lladd a llosgi, ac ysglyfaethu a wnaent. r ol ymsefydlu yn y wlad, ymattalient ychydig oddiwrth yr arferion riol hyn, er mwyn eu cyfleusdra eu hunain; eithr yr oedd cyflwr y on yn druenus dros ben. Canys y gormeswyr hynny, a daenent eu i ar hyd y wlad, ac ymlettya yn nhai y Saeson, megys y gwneir gan y dydd heddyw, ar eu cad-deithiau: ond yn lle talu am eu cyn-h, y Daniaid a afaelent ar y goreu o bob peth a fyddai yn eu dd, ac a wnaent i'r teuluoedd weini iddynt, megys caethweision; a ol adrodd y sarhâd a'r camwri a gyflawnai yr estroniaid hyn ar y in eu gormesiad; a gwae yr hwn a feiddiai rwgnach.

l er mor dawel a threfnus yr oedd y wlad dan deyrnasiad Llewelyn yllt, etto, nid oedd yn gwbl rydd oddiwrth ryfeloedd; canys y mae ar fwy nag un ymosodiad ar ei gyfoeth, gan gydymgeisyddion; fel y a y canlynol:

l Crist 1020, y bwriadodd *Meuryg ap Arthfael ab Blegywryd* adynnill Teyrnedd iddiar y Tywysawg Llywelyn ab Seisyllt, a rhoi Cad ar Faes, a gorfu Llywelyn gan uryg ap Arthfael a'i gledd ei hunan."

Ac etto,—

" Oet Crist 1020, yr ymddangoses Crwydriad o Ddyn Ysgottyn, a alwai ei hun *Rhun*, i wyr Deheubarth gan ddywedyd mai mab *Maredydd* ab Owain ab Hyw ydoedd ef, a rhai ni cherynt Lywelyn a'i dodasant yn Dywysawg arnynt a dodi Cad a wnaethant, a myned yn eu herbyn a wnaeth Llewelyn a bu brwydr yn *Aberg* gwedi lladdfa drom a dirwaedlyd o bob tu, y lladdwyd *Rhun*. Yna myned i Wy wnaeth Llewelyn, a gosod yn iawn yno a haeddu cariad ei wlad a'i genedl yn ddi gwedi hynny daeth i Ddeheubarth lle ydd oedd mawr ei gariad."

Yr ysgrif a elwir *Brut Ieuan Brechfa*, a ddywaid fod y *Rhun* yn fab i *Meredydd ab Owain*, "o Ysgottes a fu'n ordderch iddaw geilw y frwydr yn *Waith Glan Gwili*. Crybwyllir am farwo *Llewelyn ap Seisyllt* yn y modd canlynol:—

" O. C. 1021, daeth *Eulaf* [Awlaff* ym mlaen y Llu du a'r Ysgottiaid Gwydd ysgrif arall,] i ynys Prydain gan ddrygu ffordd y cerddai a dyfod hyd ym Myn thorri'r Eglwys a diffeithiaw Dyfed yn greulawn, a *Hywel ab Seisyllt* brawd Llywe Seissyllt a aeth yn eu herbyn ac efe a laddwyd yn y frwydr honno. Yna daeth yr Ysg i Gaerfyrddin a chyda hwynt *Hywel* a *Maredydd* meibion Edwin ab Einion, a llu m Wyr, ac yn eu herbyn Llywelyn ab Seisyllt a'i feibion a gyrru ffo ar Aulaff, a gwedi y llas yno LLYWELYN AB SEISYLLT, a mab iddaw a elwyd *Gruffydd* ar ei ol a fu Dyw Gwynedd, a Gwr oedd Llywelyn ni wnelai Ryfel nac ymladd namyn yn erbyn a'i g yn ei erbyn."

Yr oedd y brenin Cnute, yr hwn a deyrnasai yn awr ar y Saeso bennadur doniol a chadarn; adgyweiriodd gyfreithiau Lloegr, a ffu rai newydd, a sefydlodd amryw ddefodau tra llesiol. Hefyd, cynna ei lywodraeth yn Denmarc, gyda llawer o alluogrwydd, gan osteg rysonau cartrefol, a gwrthladd ymosodiadau estroniaid. Ac yn y gw aeth olaf, gwnaeth ei ddeiliaid Saesonaidd, yn dra defnyddiol: trosglwyddodd amryw o honynt i'r cyfandir, i ymladd yn ei fyddino rhai a gyfranasant yn helaeth tuag at ei lwyddiant yno. Ac felly, yn cyflawnwyd gwarth y Saeson, a llanwyd mesur eu truenusrwydd: nid yn unig, cawsant eu caethiwo, a'u hanrheithio gartref, ond cludwyd hwy i wlad ddyeithr, i dywallt eu gwaed, er cynnal bri ac a dod eu gormeswyr.

* Y mae yn debygol mai *Awlaf*, mab Sitric, oedd hwn.

## IAGO AP EDWAL.

### 1021.—1037.

ol marwolaeth LLYWELYN AP SEISYLLT, daeth IAGO AP EDWAL, i nt o orsedd Gwynedd, a RHYDDERCH AP IESTYN, a gymmerth attaw lraeth Deheubarth, "megys iawn iddaw, ac efe'n etifedd Aeddan ab wryd." Yn ystod y teyrnasiad hyn, gallwn ganfod, fod yr un fath ; rhyfelus yn hanfodi, ag yn amryw rhagflaenawl; eithr nid ydynt y t am amgylchiadau yr amser hyn, ond byr. Y canlynol ydynt rai nt:—

C. 1029. daeth yr Ysgottiaid ar hyd mor i diroedd *Gwrgan ab Ithel*, Tywysawg wg, ac yn eu herbyn Gwyr y wlad, fal y lladdwyd gymmaint yng ngwaith *Toniwlwg* d y gwaed hyd egwydledau'r* meirch a'r bychandawd ni laddwyd o honynt a ffoasant i wlad yr Haf."

* Egwydled,—*main y goes*,—*swrn*.

nae yr hanesiad yma fel amryw rhagflaenol, yn dra anrhydeddus i [organwg; ac y mae hefyd yn ychwanegu at y gwahanol dystiol- ar glawr, am yr amrywiad neilltuol a hanfodai rhwng anianawd iid y Cymry, âg eiddo y Saeson yn y dyddiau hyn; sef, fod y d yn cael eu gyrru ar ffo yn eu holl ymosodiadau, allan o bob cwrr iru, ac yn cilio oddiyno i Loegr, lle y gwnelent eu hanneddfod yn 'str, gan arglwyddiaethu yn ormesawl ar y trigolion.

y flwyddyn 1030, bu farw *Gwrgan*, tywysawg Morganwg, "Gwr heddychgar ydoedd ac a wnaeth lawer o eluseni, ac a roddes d i'r tlodion dros fyth," ac ymddengys iddo hefyd wneuthur rhai ridiadau diwygiol yn nghyfreithiau y wlad. Canys dywedir iddo "nawdd a braint i bob gwr a lafuriai dir er dwyn yd a ffrwythau, ir iddynt yn mhob cynadl Gwlad, ac nas gellid swydd arnynt o l." "Ac yna, wedi marw *Gwrgan*, y cymmerth *Hywel* y Lyw- h yn gwbl attaw ei hun, ac *Iestyn ab Gwrgan* a fynnai hynny, ias gallai fedru ar hynny gan anfodd Gwlad, canys cynddrwg ei ii ydoedd fal nas cerid gan neb a gaid yn wyr da diargywedd."

y flwyddyn nesaf, daeth *Hywel ab Edwyn* a'i frawd *Meredydd*, o'r don i Ddeheubarth a llu gadarn o'r Ysgodogion Gwyddelig, yn erbyn *derch ab Iestyn*, yr hwn a laddwyd ganddynt, a'r ddau frawd a nt "adfeddu Tywysogaeth Deheubarth."

fuan ar ol hynny, sef yn yr un flwyddyn, Iestyn ab Gwrgan er dial ldiad Rhydderch ei fab, ac er cynnal ei wyron, meibion Rhydderch,

a ddoedes cad ar faes yn erbyn Hywel a Meredydd; a bu *waith Traetl* neu *Hiraethwy*, lle y gyrwyd ffo ar Iestyn a meibion Rhydderch.

"A'r flwyddyn ar ol hynny y bu waith *Machwy* lle y llas *Meredydd ab Edwin* gan *fe Cynan ab Seisyllt* brawd Llywelyn ab Seisyllt, er dial galanas eu hewythr. Ac yn y ychydig wedi hynny y daeth y Saeson i Went, ac yn eu herbyn *Caradawc ab Iestyn* l llas ef; yna daethant y Saeson i Forganwg, ac y bu waith *Ystradyrwain* lle y lladdasant *G ab Seisyllt* a'i holl feibion. Yna daeth *Rhotpert ab Seissyllt*, Arglwydd Maes Esyllt a br Cynan ab Seisyllt i'r frwydr, ac annog y Cymry drwy son am y wnaethant gynt, yna my yn erbyn y Saeson, ac yng Ngwaith *Llan Cwywan* eu lladd yn flin, a'u gyrru ar ffo o was a dwyn yn ysbail oll a feddynt, yna heddychodd rhwng Iestyn ab Gwrgan a Rhotpert Seisyllt."

Ac yna crybwyllir am un o ddrwg gampau *Iestyn*, y rhai a gyfeirw attynt. Yr oedd merch gan Rhotpert ab Seisyllt a'i henw *Ardden*, mham oedd *Esilian*, ferch *Gwrgeneu*, gwraig gyntaf Rhotpert. Iestyn a'i ceisiodd yn wraig iddaw, gwedi marw *Denys*, ferch Bledd ab Cynfyn ei wraig gyntaf, a hynny nis cai o fodd ei thad, gan fod Iest yn hen; yna gwiliaw wrthi a wnaeth Iestyn, a efe a gyflawnodd yr sarhad ac a wnaethai i ereill o ferched pendefigion.

"A blin iawn y bu gan Rhotpert hynny ac er dial ar Iestyn efe a wahoddes at *Ruffydd* ei nai, ac a'i annoges yn erbyn Iestyn ab Gwrgan, a chynnyll attaw lawer o wi wnaeth Gruffydd ac yng ngyntaf myned yn erbyn Hywel ab Edwin, a dodi cad ar faes yn honno y gorfu Ruffydd ac y ffoes Hywel ab Edwin at *Iago ab Idwal* Tywysawg Gwyne Yna myned yn erbyn Iago a orug Gruffydd, a chydag ef lu dirfawr o wir dewisaw a brwydr daer a fu ryngddynt, lle y lladdwyd IAGO ac y cymmerth Ruffydd attaw Lywe aeth Gwynedd ac felly ydd aeth yn Frenin ar Gymru oll o *For Udd* hyd ym *Mor Hafr*

IAGO AP EDWAL, a adawodd ar ei ol un mab o'r enw *Cynan*, o'i wr *Afandred*, merch *Gweir ab Pyll*. Hwn oedd tad y tywysawg Gruffy ab Cynan. Ond ni allodd feddiannu yr orsedd; eithr gorfod ffoi Iwerddon.

1037.—1064.

r ol esgyn i'r orsedd, GRUFFYDD AP LLYWELYN, a ddangosodd ei yn dra addas iddei sefyllfa, megys y mynegir yn y Brut:—

fe a ymroddes ar ddaioni tuag at ei wlad a'i genedl drwy amddiffyn rhag estron a rhag th ac aflywodraeth, a deddfu a fai deg a chyfiawn a gwared rhag cam."

megys y bu rhyfel a therfysg yn etifeddiaeth i'r tywysogion ereill, y syrthiodd yr un goelbren i ran Gruffydd ap Llywelyn; ond efe, fydd, trwy ragorach doniau a gwychder, a fu mwy llwyddiannus yn hwylion, nac amryw o'i ragfynedwyr. Dywedir am dano, "a hwnnw chreu hyt y diwed a ymlidyawd y Saeson ar kenedloed ereill ac ae rd ac ae diuaawd ac o luossogrwyd o ymladeu ae goruu." Crybwyllir dechreuad ei rwysg brenhinol, megys rhyfelwr, yn y modd canlynol:

.C. 1037, bu Waith *Pencadair* rhwng *Hywel ab Edwin* a *Gruffydd ab Llywelyn*, a r Hywel ffoi, a'r un flwyddyn y bu waith *Rhyd y grog* [y Groes—*Crossford*] ar Hafren orfu Ruffydd ar y Saeson a'u gyrru ar ffo."

ofiant nesaf a grybwylla am fuddugoliaeth arall o eiddo Gruffydd; a yr un ffyddlondeb ac a ddylai ei ddangos yn mhob hanes, rhoddir amymddygiad y tywysog hwn, yn gystal a'i rinweddau:—

.C. 1038, y bu waith *Llanbadarn*, lle y gorfu Ruffydd ab Llywelyn ab Seisyllt ar ab Edwin, ac a ddug oddiarnaw ei wraig ac ai cedwis yn ordderch iddaw; a unig weithred, o'r holl weithredoedd a wnaeth Ruffydd, a beris anfoddlondeb i'r ion."

esaf a gynnwysa anghraifft nodedig o gyflwr terfysglyd y wlad yn yr hyn:—

C. 1040, y bu waith *Pwll Dyfach* rwng Gruffydd a Hywel, canys Hywel a ddaeth edd waith i Ddeheubarth, ac yn ei blaid lawer o'r Daeniaid duon, a Gruffydd yn eu , a gyrru ffo arnynt. Ac yn osgil y rhai hynny y daeth llu arall o Ddaeniaid a Saeson liffeithiaw Dyfed yn greulawn, a Hywel a'i wyr yn eu ffo a gyfarfuant ag hwynt ac nlidasant yn galed gan eu lladd a'u dal, ac ereill a ddianghasant yn ol iddeu llongau."

ath ymladd plith-dra-phlith sydd yma. Hywel yn cyflogi byddin lu du ar un achlysur, a chyn nemmawr, yn gwrthladd byddin arall llwyth. Hefyd, peth nodedig fod y Cymry ffoedigion hyn, newydd

eu gorthrechu mewn brwydr, yn alluog i yrru ar ffo y lluoedd dychrynlly hynny, y rhai a gadwent drigolion Lloegr oll dan eu llywodraeth. mynegiad nesaf a ddengys y fath fywyd o egni a gwyliadwriaeth ag oedd yn ofynol i Ruffydd ei gynnal yn ddilaesiant:—

"O. C. 1042, y daeth *Cynan ab Iago ab Idwal* i Wynedd o'r Werddon a llu mawr ganthaw i Wynedd, a dal y Tywysawg Gruffydd ab Llywelyn; a chodi arfau a wnaeth Gwŷr y Wlad ac achub y Tywysawc o ddwylaw y Gwyddelod, a'u gyrru yn ol i'r mor yn fawr eu colled."

Nid oedd Hywel ddim etto, gwedi ei lwyr orthrechu, er yn gorfod cilio i'r neilltu; fel y dengys y canlynol:—

"O. C. 1043, y bu dwyll a brad rwng Hywel ab Edwin a meibion Rhydderch ap Iestyn ac a laddasant gant a hanner o wyr ffyddlonion Gruffydd ab Llywelyn ab Seissyllt yn Ystrad Tywi, yn oreu gwyr y Wlad honno."

Cyn collfarnu Hywel yn y weithred hon, y mae yn ddyledus syniaw, mai gelyn agored ydoedd i Ruffydd; ac ysgatfydd, nad oedd yr hyn a elwir yma yn frad, ddim gwaeth nac amryw weithredoedd ereill a gyfrifwyd yn eithaf teg ac anrhydeddus yn yr amseroedd hyn, o gynnen a chynllwyn. Er fod Hywel yn aflwyddiannus, yr oedd yn ŵr calonog ac ymdrechgar, ac ni allwn lai na pharchu ei ddewrder diofn, yn dychwelyd mor ddiflino i'r maes, a meithrin teimladau o diriondeb tuag atto, yn nherfyniad aflwyddiannus ei rwysg, yr hyn a ddygwyddodd yn ebrwydd:—

"Yn yr un flwyddyn y llas *Hywel ab Edwin* yng Ngwaith *Abertywi* gan *Ruffydd ab Llywelyn* gwedi ymladd caled."

"Yn yr un flwyddyn y bu farw Hywel Arglwydd Morganwg yn gant a deugmlwydd ar hugain oed* y Gwr doethaf o Dywysawg yng Nghymru oedd efe, a goreu ei gariad gyda phawb o'i genedl, ac efe a garai heddwch a phob cyfiawnder, ac yn ei le y doded IESTYN AB GWRGAN. A gwaethaf oedd efe a welwyd erioed o Dywysawg yng Nghymru, ac ni charai efe na heddwch na chyfiawnder; ac ni wnathoedd erioed nas dygai ormes a chribddail ar ei wlad a'i genedl, achaws hynny ni chafas a'i cyfnerthai, lle caid yn ei erbyn, o ddoeth i deddfawl."

Gruffydd ap Llywelyn, yn awr, gwedi ei ryddhau oddiwrth ymosodiadau Hywel, a gafodd gyfleusdra i droi ei arfau yn erbyn y Saeson; pa ai am ryw sarhâd diweddar, neu o hen gynfigen, ni fynegir; ond y ddengys iddynt dderbyn ceryddiad tra chwerw ar ei law:—

"O. C. 1050, y dug Ruffydd ab Llywelyn Lu dirfawr o Gymry a Gwyddelod yn erbyn y Saeson, a dodi cad ar faes yn Henffordd; a gorfu Ruffydd ar y Saeson gwedi ymladd caled, a lladd a llosgi dirfawr."

* Y mae yn dra nodedig, cynnifer o dywysogion Morganwg, a gyrhaeddasant i oedran mawr.

Y mae Matt. Westm. yn gosod yr amgylchiad hwn, yn y flwyddyn 1052. Ond canfyddir cynnifer o'r un fath amrywiaethau yn y gwahanol hanesion, ag ofer fyddai ceisio eu cysoni. Yr awdwr hwn a ddywed, i ardal swydd Henffordd, yn gyffredinol, gael ei difrodi ar yr achlysur hwn.*

Yr oedd Gruffydd, yn awr, trwy farwolaeth Hywel, gwedi dyfod i feddiant o orsedd y Deheubarth. Ond ni chafodd ei mwynhau mewn llonyddwch; canys cyfododd ymgeiswyr ereill iddi; fel y mynegir yn y canlynol:—

"Yn y flwyddyn 1050, y daeth *Caradawc* a *Rhys*, dau fab Rhydderch ab Iestyn a llu mawr o wyr Morganwg a Gwent yn erbyn Gruffydd ab Llywelyn er ynnill oddiarnaw Lywodraeth Deheubarth; a Gruffydd yn eu herbyn; ac ymladd a fu ryngddynt annhebig i a fu erioed namyn y gad Gamlan; a lladdwyd cymmaint o bob plaid oni orfu ar y ddau Lu ymchwelyd yn eu hol, heb a ellid ei alw yn ynnill, i nac un na'r llall o honynt. A gwaedlyttied yr aerfa ryngddynt."

Diau, mai dwys a chaled oedd yr ymdrech hon. Yr oedd y ddwy blaid yn ddynion dewrwych, cynnefin â rhyfel; yr oedd milwyr Gruffydd, newydd orchfygu lluoedd y Saeson, a gwyr Morganwg gwedi gyrru ar ffo, byddinoedd dychrynllyd Denmarc: ac yn awr, yr oedd y dewrion hyn yn cyfarfod i brofi eu gwrolder neilltuol; ac nid rhyfedd i'r fath ddynion, ar ol cyflawni gorchestwaith o'r godidocaf, ymchwelyd heb i un orthrechu o un blaid. Ond pan yr oedd y Cymry yn treulio eu nherthoedd yn erbyn eu gilydd yn y modd anfuddiol hyn, yr oedd y Saeson yn cymmeryd yr adeg i ymosod ar y wlad mewn ardaloedd ereill; fel y sylwa y Brut:—

"A thra buant feibion Rhydderch ab Iestyn yng nghyrch y frwydr honno, dyfod a wnaeth y Saeson o wlad yr Haf a llosgi Cestyll Garadawc ab Rhydderch ab Iestyn, sef Dindryfan [*Dunraven*] a Threfyfered ym Morganwg, a dwyn ysbail anfeidrawl yn yd a gwartheg, a defaid a daoedd o bob rhyw a geffynt, a llosgi a thorri tai a diffeithiaw yn anrhrawl, yn erbyn heddwch ag oedd drefnedig a chadarn a daindyngedig rwng Tywysawg Morganwg a Brenin ac Ieirll y Saeson."

Yr oedd gan Ruffydd, yn awr, lawn ddigon o orchwylion ar ei law: canys yr oedd ei elynion yn pwysaw arno ar bob tu; ond yn yr amser hyn o'i rwysg, yr oedd pob amgylchiad yn cydweithio er ei gynhaliad:—

"Yr un flwyddyn [1050] y daeth *Cynan ab Iago* a llu dirfawr o'i Genedl o'r Werddon ar oddeu Gwynedd, ac ynnill ei gyfoeth oddiar Ruffydd ab Llywelyn. Ac fal yr oeddynt ar y mor tua Chymru y daeth Gwynnygeu temhestlus oni foddes y llongau a'r gwyr gan mwyaf."

Yr oedd *Cynan ab Iago* gwedi ffoi i'r Iwerddon, ac wedi priodi merch y brenin *Awloedd*, yr hyn a gyfrifa am y cynnorthwy a gafodd o'r wlad honno.

* "Per idem tempus, rex Wallensium Griffinus, Herefordensem depopulans provinciam, multos rebellantes provinciales interfecit."

ab Rhydderch, hwy a laddasant lawer o ffyddlonion Gruffydd ab Llywelyn, ac ysbei ereill yn dost; yna dyfod a wnaeth Ruffydd yn eu herbyn, a diffeithiaw Dyfed ac Tywi a Gwyr yn aruthrawl."

Tebygol mai y weithred hon, a barodd yr ymosodiad ar y Deheud hwn a grybwyllir am dano yn y darn canlynol:—

"O. C. 1056, ydd aeth *Rhys* ab Llywelyn ab Seisyllt brawd y Tywysawg Gru Forganwg a Gweut gan ladd a diffeithiaw gyfled ac y cerddai, a gwyr y wlad a ddy gyrch yn ei erbyn, a'i yrru hyd ym min y Mers, a'i ddal a'i fyrhau o'i benn, a d penn at Edwart brenin y Saeson yng Nghaerloyw lle ydd ydoedd y pryd hynny."*

Ond er mor anffodus y bu *Rhys*, etto, Gruffydd a fwynhäai ei arl dynged lwyddiannus:—

"O. C. 1057, daeth *Gruffydd ab Rhydderch ab Iestyn* yn oed gwr ac a gynnull niferawg iawn, a myned yn erbyn Gruffydd ab Llywelyn Tywysawg Gwynedd, a bu faes ac ymladd trwch a gwaedlyd, ac y llas Ruffydd ab Rhydderch."

Y gorchestwaith nesaf o eiddo Gruffydd, oedd y canlynol; yr l adroddaf allan o draethiaid Matt. Westm. gan ei fod yn fwy cyflaw eiddo y Brut:—

Yn y flwyddyn 1055, y Brenin Saesonaeg Edmund, a alltudiodd bendefigion, *Algar*, Iarll Caerlleon Gawr, yr hwn a aeth i'r Iwerdd oddiyno dychwelodd, gyda 18 o longau môr-ladronaidd, ac a d at Gruffydd, Tywysawg Cymru, ac hwy yn nghyd a wnaethant gyrchiad i Loegr; ac fel yr oeddynt yn ymosod ar dalaeth Henf daeth yn eu herbyn, *Ranwlff*, nai y brenin Edward, yn nghyd à l

ıdarn, a'i gosod dan flaenoriaeth *Harold*, mab y Iarll *Godwyn*, i ddial am y sarhâd yma, ac i Harold fyned ar ol Gruffydd ac d fynyddoedd Eryri, ond iddo fethu cyfarfod â hwy; ac ar ol y wlad, iddo ddychwelyd i Henffordd, ac amgylchu y ddinas â :edyrn; ac wedi hynny, i heddwch gael ei sefydlu, ac i Algar mmodiad â'r brenin. Y Brut a hawlia y fuddugoliaeth i'r ı dywaid fod cad ar faes, ac i Ruffydd orfod ar y Saeson yn lus. Ac iddo glywed am ddiffeithiaw yn Neheubarth, gan ereill ı, "a myned yn eu herbyn a'u gyrru ar ffo cywilyddus." Ac y haid cyfaddef, fod yr holl amgylchiadau a draethir gan Matt. yn cadarnhau hyn; sef, yr ymheddychiad, ac adgymmodiad yn bennodol, y gofal i amgylchu Henffordd â chaerau, rhag d drachefn ar ran y Cymry.

wydd ar ol hyn, gwnaethpwyd cadgyrchiad arall gan Ruffydd, n fath lwyddiant a'r ddwy rhagflaenol.

059, daeth *Macht ab Harallt** i Gymru a llu dirfawr yn ei osgordd, a'r Tywysdd a Macht yn ymgyfun eu lleoedd a aethant yn erbyn y Saeson, ac a ddiffeithLoegr hyd ym mhell yn ei pherfedd, a dychwelasant yn ol i Gymru ac ysbail ynt."

ıint rhagflaenol a arnodiant mewn modd neilltuol, yr egwyddor egni cynhenid a hanfodai yn mhlith y Cymry; a'r gorchestion ı gyflawnent, pan dan flaenoriad tywysog doniol ac ymdrechgar. dd eu gwaith yn anrheithiaw tiroedd y Saeson mor fynych, yn radd o eondra a gwychder; yr hyn a arwyddoca, pe buasai y aeth yn uno mewn cydweithrediad, y gallasent etto, sefydlu ldeb y wlad yn anysgogadwy, a chynnal eu breintiau priodawl, yrnas. Canys ymddengys eu bod yn yr amseroedd hyn, nid yn gwneuthur cadruthriadau llwyddiannus i Loegr, ond hefyd yn ın o diriogaethau y Saeson, ac yn gwneuthur sefydliadau yno; mae y Chronicon Saxonicum, wrth grybwyll am ddygwyddflwyddyn 1048, yn dywedyd, fod "y Cymry gwedi adeiladu ı swydd Henffordd, yn nhiriogaeth y Iarll Sweyn, ac yn gwneud r sarhâd a allent i wyr y brenin oddiamgylch.† Ac y mae yn syniaw, fod y gorchwylion hyn yn cael eu cyflawni, nid pan oedd yn orthrymedig dan lywodraeth y Daniaid, ond gwedi iddynt

wedir fod yr enw *Macht ab Harallt*, gwedi ymddangos eisoes mewn oes ragmae yn ddyledus syniaw, fod *Macht*, yn enw cyffredin yn mhlith y Daniaid, sef o y mae *Harallt*, sef *Harold*, iddei weled yn aml.

hæfdon tha Welisce menn gewroht ænne castel on Hereford-scire on Swegenes the, and wrohten ælc thæra harme and bismere thæs cynges mannan thær abutan an."

adfeddiannu eu breintiau yn amser y brenin Edward. Ond fe ddaeth y unrhyw frâd ac annghyttundeb iddeu plith, yr hyn a fu mor ddinystriol iddeu dedwyddwch, ar gynnifer o achosion ereill, a'r tywysog dewrwych yr hwn a'u harweiniasai mor fynych i fuddugoliaeth, a dorrwyd ymaith trwy ddichell a chynllwyn.—

"O. C. 1060, bu farw *Owain* ab Gruffydd ab Rhydderch ab Iestyn o'i wenwynaw. Yna *Caradawc* ab Rhydderch ab Iestyn a gyfloges Harallt i ddyfod a llu ganthaw i Ddeheubarth, yna yn un a llu mawr o wyr Morganwg a Gwent ydd aethant yn erbyn Gruffydd, yr hwn a ddaethai a llu mawr ganthaw o wyr Gwynedd a Phowys a Deheubarth, a bu cad ar faes lle a'i lladdwyd drwy frad a thwyll *Madawc Min* escob Bangor' yr un ac a wnaeth y twyll o ba un y lladdwyd ei dad Llywelyn ab Seisyllt. Gwedi lladd Gruffydd ab Llywelyn efe a dorwyd ei benn ac a dyged yn anrheg i Harallt. Oed Crist pan fu hynn oedd 1061; ac fel hynny y colles Ruffydd ei fywyd, ac anrhydeddusaf oedd efe a'i dad o'r holl dywysogion a fuant hyd yn eu hamser yng Nghymru; a goreu am wroldeb a rhyfel, ac am heddwch, ac am lywodraeth, ac am haelioni a chyfiawnder, ac o'u doethineb a'u deall y dugasant gyfundeb ar Wynedd, a Phowys a Deheubarth fal y bu gadarn y Cymry yn erbyn y Saeson a phob gelynion ac estroniaid, ac ni chaid Morganwg a Gwent yn gyfun a hynny achaws gwehelyth y gwledydd hynny nid amgen na meibion ac wyrion Iestyn ab Gwrgan, er yn amser Aeddan ab Blegywryd Hên ab Owain ab Hywel o wehelyth Bran ab Llyr Llediaith, a hynny fu'r achaws nas gallasant y Cymry ddadynnill teyrnedd ynys Prydain."

Yr hanesion Saesonaidd a haerant i *Harold*, a'i frawd *Tosti*, fyned yn erbyn y Cymry; un gyda byddin ar y tir, a'r llall â llynges ar hyd y gororau; ac ar ol peri i Ruffydd ffoi, iddynt ddwyn y wlad dan dreth. Ac y mae Giraldus Cambrensis yn dywedyd, i Harold ar ol antheithiaw y wlad, a bron ei diphoblogi, osod i fynu, gerrig sythion, yn y mannau lle y gorthrechai; o ba rai yr oedd llawer iddeu gweled, â'r llythyrenau canlynol gwedi eu naddu arnynt:—"*Hic fuit victor Haroldus.*"—*Yma y buddugoliaethodd Harold.* Am ryw fuddugoliaeth o eiddo Harold, nis gallaf ei gwadu, na'i chadarnhau; y mae yn debygol iddo wneuthur cadgyrchiad i ryw ran o Gymru; ac y mae yr enw *Euas Harold*, a geir ar ardal o swydd Henffordd, ar gyffiniau Cymru, yn ddigon i achlysuro tyb, ei fod gwedi ennill ryw oruchafiaeth yn y cwrr hwnnw; ac y mae un hanesiad yn enwi ardal yn swydd Henffordd, megys ei drigfa; ond etto, os buddugoliaethodd efe mor fawrhydrawl ag yr haerir gan rai, y mae yn dra rhyfedd gennyf, na cheir son am dano yn y Brut; a'r hanesiad hwnw yn dangos cymmaint o anmhleidgarwch yn ei draethiad am y dygwyddiadau ereill, pa un ai anrhydeddus i'r Cymry, ai gwarthus; a phe buasai yr haeriad uchod, yn wirioneddol, nis gwn paham na chofrestrwyd ef, gan Garadawc o Lancarfan. Nid ydoedd fwy gwaelus i goffâu taliad treth i Harold, nag i Athelstan, neu Edgar; a chan ni chelwyd un o'r trethi hynny, nis gwn pa gyfrif i roddi am ddystawrwydd Caradawc, am amgylchiad hwn, oddieithr mai ffugiad yw y cyfan o honaw. Eithr tra gadawaf y fuddugoliaeth yn y cyflwr amheüus hyn, nis gallaf ymattal

; dywedyd am y meini cerfiedig, fy mod yn hollol gredu, mai chwedl r a disail yw y cyfan o'r honniad, am eu gosodiad i fynu.

d oes gweddillyn o un o'r cyfryw feini, yn gaffaeledig y dydd heddyw, i fynegir yn mha le y gosodwyd hwy i fynu. A phe buasai gan ld, arfod i wneuthur y cyfryw beth, ni feddyliaf yn debygol, y buasai ymry adael y fath nodau o warth, i aros yn eu sefyllfaoedd dros ld, yn eu gwlad en hunain. Ond y mae yn ddilys gennyf, mai ll anwireddus o wneuthuriad Harold, a'i bleidwyr, yw y cyfan; ac 'mffrost gwâg ar ei ddychweliad, oedd yr haeriad am ei rwysg goliaethawl yn Nghymru; ac na wnaeth efe yno ddim yn ychwaneg ιnyn brad a gwrthryfel yn erbyn Gruffydd, ac ysgatfydd, achlysuro ruddiad. A'm dadl dros y tyb yma, yw arnodiad hunanaidd a lgar Harold. Canys Matt. Westm. a ddywaid, ei fod ef a'i frodyr, ynion drwg ysgeler, yn gormesu ac yn llofruddio; ac ar yr un pryd, droddion mwyn a melaidd:—"*Mollitis et mellitis sermocination-*' ac felly yn cyflawni troseddau echryslawn:—"*Multa enormia ia.*" Ac y mae yr arnodiad hyn, yn cyttuno yn eithaf cywir âg ygiad Harold, ar ol ei esgyniad i orsedd Lloegr, yr hwn a dorodd ei n ballu cyflawni yr adduned a wnaethai efe i Gwilym y Goresgyn- a'r hyn yn ebrwydd, a barodd iddo golli ei goron a'i fywyd yn l.

hefyd, os bu gorthrechiad Harold yn Nghymru, a'i ddifrodiad o'r mor gyflawn, pa fodd y darfu i'r Cymry ei wrthladd mor ebrwydd, r fath ddirmyg a sarhâd;—Canys gwelwn eu bod hwy hyd nod yn y lyn nesaf, yn gwaradwyddo ei holl gadernid ef; megys y traetha Westm. mewn geiriau tra eglur:—

ιdem anno [1055] dux Haroldus in terra Wallensium magnum ædificium constituens, quæ ad ejus restaurationem pertinent, hoc animo ibidem paravit, ut rex Edwardus e venationis; illuc diverteret spatiatum aliquandiu commorando. Sed Cradoc filius, quem anno præterito expulit Haroldus exulem, illuc hostiliter accedens, os cum magistris, et milites cum ministris interfecit, asportans omnia, labore magno ata."

r un flwyddyn, [1055] y Iarll Harold, gan gyfodi adeilad mawr yn nhir y Cymry, a rodd yno lawer o ddefnyddiau tuag at y gwaith, fel y gallai y brenin Edward ddyfod nddifyrru dros ychydig yn amser hela. Eithr *Caradawc*, mab i Gruffydd, yr hwn a Harold ar ffo y flwyddyn o'r blaen, gan ddyfod yno yn elyniaethol, a laddodd y wyr yn nghyd â'u meistriaid, a'r milwyr, a'r gweision, ; ac a gludodd ymaith y cwbl a gasglwyd yn nghyd yno, gyda chymmaint o drafferth.*

l ymddygiad pobl goresgyngedig yw hyn, nac yn enwedig pobl os gwedi eu llwyr ddiwreiddio o'r wlad. Felly, os ennillodd Harold

ld ydynt yr hanesion Cymraeg, yn rhoddi un hyspysiad fod gan Ruffydd fab o'r enw wc; ond nid ydyw hynny yn achos i amheu cywirdeb yr haeriad yma.

ryw ardal o fewn i diriogaethau y Cymry, y mae yn amlwg nad ydoe alluog iddei amddiffyn. Felly, y mae yn ddilys gennyf, fod mwy o wâg ymffrost yn yr honniadau hyn, am oruchafiaeth Harold, nag sydd o wirionedd ynddynt. Ac ymhyderaf fwy yn nhraethiad y Brut, na'r hanesion ereill; sef yw, mai trwy annogaeth *Caradawc ap Rhydderch*, y daeth Harold i Gymru, ac mai trwy gydweithrediad hwnnw, ac ereill o bendefigion y wlad, yr ennillodd efe un rhyw fuddugoliaeth ba bynnag.*

Y mae amgylchiad cydunol âg hanes *Gruffydd ap Llewelyn*, yr hyn a adroddir gan amryw hanesyddion, ag ni ddylai gael ei adael allan yma. Yn amser y tywysog hwn, *Macbeth*, brenin yr Alban, a barodd lofruddiad pendefig o'r enw *Bancho;* a *Fleance*, ei fab, a ffodd i Gymru at *Ruffydd ap Llewelyn*, yr hwn a'i derbyniodd yn lletteugar, ac yn haelionus. Eithr y dyeithryn a gamarferodd ei fraint, trwy ordderchiad merch ei lettywr, o'r hon y ganed mab, a enwyd *Walter*. Pan wybu Gruffydd, hyn, efe a osododd Fleance i farwolaeth. Ond Walter a ddygwyd i fynu yn y Llys. A phan ddaeth i oedran gwr, aeth i'r Alban, lle yr ymddygodd mor wych, a'i wneuthur yn brif-oruchwiliwr, *Lord Steward* y deyrnas. Ac oddiwrth hyn, cymmerodd yr enw *Steward;* ac oddiwrtho ef, y mae y teulu brenhinol, y *Stuartiaid*, yn deilliaw. Ond y mae rhai yn amheu yr hanesiad hyn, ac yn dywedyd fod y Stuartiaid yn hannedig oddiwrth deulu Normanaidd, yn swydd Amwythig, o'r enw *Fitzalan*.

* Haerir gan rai, i Harold ffurfio cyfraith, yr hon a orchymmynai i bob Cymro, yr hwn a ddelid yn arfog ar y tu dwyreiniol i Glawdd Offa, golli ei law ddeheu. Y mae yn eithaf dichonadwy, fod yr haeriad hyn yn wirioneddol; gwnaethpwyd y cyffelyb gyfreithiau gan rai o frenhinoedd ereill Lloegr. Ond nid ydyw hyn yn cadarnhau difrodiad Cymru; eithr yn hytrach, yn dangos mor ddychrynllyd yr oedd y Cymry iddeu gelynion Saesonaeg, a bod y fath glawdd, a'r fath gyfraith, yn angenrheidiol er amddiffyniad.

## BLEDDYN, A RHYWALLAWN.

### 1064.—1073.

i ba raddau yr estynodd Harold ei gadgyrchiadau yn Nghymru, peth yn amlwg; sef, iddo trwy ei ymgystluniad â phendefigion lir, ennill twysged o awdurdod yn y wlad: canys dywedir am ' modd canlynol:—

062, gwedi lladd *Gruffydd ab Llywelyn* fe ddoded *Maredydd ab Owain ab Edwin* 'g Deheubarth gan *Harallt* ac *Edwart* brenin y Saeson."

dau beth yn haeddu sylw, yn yr hyspysiad hwn; sef yw, tegwch eidgarwch y Brut, yn cofiannu awdurdod Harold ac Edward, ed ag yr estynai; ac hefyd y sicrwydd na wnaeth Harold un ad o'r wlad, onite, ni fuasai yn caniattâu i dywysog Cymraeg, yno; eithr buasai ei anianawd ysglyfaethus, yn rhy barod i 'wodraeth yn ei ddwylaw ei hun.

ngys hefyd oddiwrth y Brut, fod effeithiau ymgystluniad â'r n ymddangos yn y Gogledd, yn gystal a'r Deheudir: canys ar- r mewn un man, fod y tywysogion, y rhai a ganlynasant Ruffydd, el meddiant ar y lywodraeth, trwy gyfnerthiad y Saeson. Ond ae yn amlwg, nad oedd y bobl hynny, ddim yn ddigon galluog i · y wlad iddynt eu hunain. Ac hefyd, yr oedd rhyw rith hawl thawl, yn cael ei honni gan y tywysogion newydd, er nad ydoedd cyfiawn:—

· unfam y tywysawg a las, sef Gruffydd ab Llywelyn a gawsant Wynedd a id amgen *Bleddyn ab Cynfyn* ab Gwerystan Arglwydd *Cibion* [Cibwyr] a ı ei frawd, hwy a ddoded yn dywysogion Gwynedd a Phowys ym mraint etifedd- ;ion Dinefwr o Gadell ab Rhodri Mawr. Sef etifeddes y dywysogaeth honno *ȷharad* ferch Meredydd ab Owain ab Hywel Dda a fu'n wraig briod Llywelyn , a gwedi lladd Llywelyn hi a briodes *Cynfyn ab Gwerystan* Arglwydd *Cibwyr* t, ap Gwaethfoed, ab Gloddion, ap Gwrydr Hir, ap Caradawc, ap Llew Llaw- Ednyfed, ap Gwinau, ap Gwaenoc Goch, ap Crydion, ap Corf, ap Cynawg, ap irflawdd, ap Tegonwy, ap Teon, ap Gwineu dda i freuddwyd, ab Bywlew, ab b Rhun-Rhuddbaladr, ab Llary, ab Casnar, ab Beli Mawr, ab Manogan, brenin in."

ɔdyr hyn, sef Bleddyn a Rhiwallawn a ddugasant deyrnedd gwlad Bowys o rochwel Ysgithrawc, peth nid oedd iawn ei fod."

ıos fod y brodyr hyn yn cael perchennogi y lywodraeth, oedd, fod tifedd, sef *Cynan*, mab Iago, gwedi gorfod cilio ymaith:—

"Yr amser hyn ydd oedd *Cynan ab Iago*, cyfiawn berchen Gwynedd ar gil yn y Werdd ac nid oedd a elai yn ei blaid yng Nghymru, canys ni cherit ei Wehelyth achaws creulonderau yn lladd a dilygeidiaw a'u gwrthladdent yn eu hannefodoldeb."

Fe welir oddiwrth hyn, yn gystal ag amryw fynegiadau ereill, fod yn amseroedd hyn, lawer o gydymdrin rhwng Cymru a'r Iwerddon, naill ai herwydd rhyfel, neu mewn heddwch. Ond y mae yn ddyledus syniau fod yn y wlad honno, ddwy blaid o bobl; sef, y *Gwyddelod cynhenid* a'r *Daniaid*. Y mae yn debygol, mai at yr olaf, y ffodd *Cynan*.

## Y NORMANIAID.

Yr ydym yn awr gwedi dyfod at ennyd tra phwysfawr, yn hanes yr ynys hon: canys yn amser y tywysogion uchod, sef yn y flwyddyn 1066, y daeth Gwilym y Goresgynydd drwodd, ac a afaelodd yn llywodraeth Lloegr, a'i ganlynwyr, y Normaniaid, a gawsant oruchafiaeth ar y wlad honno; ond gan na fu ganddynt fawr o ymdrin â Chymru, dros amryw flynyddau, oedaf hanes eu dyfodiad, hyd nes delo yn ei drefn rheolaidd, yn ol ei amseriad; gan yn unig gyfeirio attynt fel ag yr haeddant sylw, megys meddianwyr Lloegr.

Er fod *Bleddyn*, a *Rhiwallawn*, yn mwynhau cynnorthwy y Saeson, etto, nid oedd hynny yn ddigon iddeu diogelu yn eu llywodraeth; fal y mynegir yn y canlynol:—

"O. C. 1068 digwyddes anghydfod yng Ngwynedd, sef *Meredydd* ac *Ithel* meibion Gruffydd ab Llywelyn a ddugasant gad ar faes yn erbyn *Bleddyn* a *Rhiwallawn* a chydag wynt lu dirfawr o Saeson, canys ym Mhowys ydd oedd Saeson yn gwladychu yn heddwch y Cymry yn ogydrif a nhwy, ar ffo rhag gormes y Normaniaid, achaws hynny nid oedd, wrth ag oedd Llu Bleddyn a Rhiwallawn, mawr llu gwyr Gwynedd gyda Maredydd ac Ithel* eithr gwroldeb ai cynhaliai yn erbyn eu deurif, eithr achaws twyll a brad colli'r maes a wnaethant, yno y llas *Riwallawn* o'r naill du ac *Ithel* ab Gruffydd o'r tu arall, a gorfu ar Faredydd ffoi,† a Bleddyn a'i dilynws yn drachaled gan ei yrru i'r mynyddoedd ynialaf yng Nghymru lle y bu farw o newyn ac anwyd. A gwedi hynny drwy gyfnerth y Saeson y gwladychawdd Bleddyn ab Cynfyn yn unig frenin Gwynedd a Phowys, a Meredydd ab Owain ab Edwin drwy nerth y Saeson yn dywysawg Deheubarth."

* Hynny yw, nid oedd gwyr Maredydd, ac Ithel, fawr o rifedi mewn cymhariaeth a gwyr Bleddyn, a Rhiwallawn.

Wele yn awr y Cymry gwedi dyfod â'u teithiau i gyflwr dedwydd.—Gwyr y Deheubarth, yn dwyn Harold iddeu plith, er troi y dalen rhwng plaid a phlaid; a gwyr y Gogledd yn cyflogi y Saeson ffoedig, i gyflawni un gwasanaeth yn eu plith hwythau. Diau fod effeithiau yr ymgyfeachiad hyn, yn dra niweidiol mewn llawer modd; gan lygru egwyddor

† Y frwydr hon a ymladdwyd yn *Mechain*, yn swydd Drefaldwyn.

gwladgarawl y bobl, a nerthu yr estroniaid; ond yr unig wahaniaeth a welir yn yr hanes, yn allanawl, yw derchafiad un blaid Gymraeg ar adfeilion y llall, a gosodiad un enw ar ben y ddalen, yn lle dau.

## BLEDDYN AB CYNFIN.

Gwelwn y tywysawg hwn, yn awr, trwy farwolaeth ei frawd RHIWALLAWN, gwedi dyfod i unigol feddiant o orsedd Gwynedd, a Phowys; a thrwy ddarostyngiad ei gydymgeiswyr, yn cael ei ryddhau oddiwrth eu hymosodiadau. Ond er fod y Gogledd mewn tawelwch dros ychydig amser, yr oedd y dymhestl yn rhuo yn y Deheudir, yn ddiosteg.

"O. C. 1069, aeth *Caradawc ab Rhydderch ab Iestyn* [a Gruffydd ei frawd] a chydag ef yn cyfnerth o Normaniaid Wiliam Fastardd, yn erbyn *Meredydd ab Owain* brenin Deheubarth, a chad drom ar faes a fu rhyngddynt lle y llas Meredydd ac yna cael o Garadawc dywysogaeth Deheubarth, a'r frwydr honno a elwir *Gwaith Llanfedwy*, ac ar lan afon *Elerch* [yn Morganwg,] y mae'r lle y bu y gad." [Ysgrif arall a ddywaid, mai ar lann yr afon Rhymni, y bu y frwydr.]

Dyma y pryd cyntaf y bu i'r Cymry gyflogi y Normaniaid, yn gyfnerth iddynt. Yr oeddynt amryw weithiau, gwedi cyflogi y Llu du, a'r Saeson, heb neb ryw effeithiau nodedig o anian niweidiol; ond "*o'r hir-ddrwg y daw y mawr-ddrwg.*" A'r cyflogiant yma o'r Normaniaid, yn y diwedd, a blannodd wreiddyn dymchweliad rhydd-did y genedl Gymruaidd. Ond ni ddaeth y canlyniad hynny i ben yn uniongyrchol, eithr yn raddawl; ac yr oedd yn rhaid darparu ffordd iddaw, bob yn ychydig. Pa un ai rhan o'r un blaid ag a ddygwyd i mewn gan Garadawc, a enwir nesaf, ai un arall, ni fynegir: ond canfyddir yn amlwg, fod y dyfodiaid hyn, yn dechreu blasu danteithion Cymru: eithr tra yr oedd y trigolion yn unedig, ni allent y dyeithriaid, ennill un goruchafiaeth yn eu plith:—

"Yr un flwyddyn [1069] daeth y Normaniaid i Ddyfed a Cheredigiawn ac a'i difeithiasant yn filain, a Charadawc ap Rhydderch a ddug lu dewisawl o wyr Gwent a Morganwg a Gwyr yn eu herbyn, a'u gyrru yn ol i'r llongau, a dwyn oddiarnynt eu hysbail, a hynn o waith gwroldebus a ddug i Garadawc lawer o gariad gwyr Dyfed a Cheredigiawn y rhai cyn no hynny ni charent wehelyth Caradawc."

"O. C. 1070, y bu farw *Caradawc* ab Rhydderch o glefyd a ddaeth arnaw achaws Clwyf a gafas yn Rhyfel, a *Rhydderch ab Caradawc* ab Iestyn a gymmerth y lywodraeth yn ei le ef."

Y *Rhydderch* hwn a ddangosai yr un gwroldeb yn amddiffyniad o'i wlad:—

"O. C. 1071, y daeth y Normaniaid yr ail osawd i Ddyfed a Cheredigiawn, ac yn eu herbyn Rhydderch ab Caradawc, a'u gyrru'n ffoedigion gyda cholled mawr."

Nid ymddengys fod y Normaniaid hyn, gwedi eu danfon gan y bren. Gwilym; ond yn hytrach, tebygol yw, mai lluoedd oeddynt, a wnaent cyrchiadau yma, ar eu traul eu hunain, er mwyn yr hyn a allent ei ysglyfaethu ar hyd y gororau cymmydogaethawl. Ac nid annichonadwy, mai yr un fath ddynion oeddynt, a'r Llu du; ac ysgatfydd yn ffurfiedig o gymmysgiad amryw wledydd, yn canlyn arferion yr yspeilwyr hynny. Canys ni a wyddom, fod hyd y pryd hyn, weddillion o'r Llu du, yn crwydro ar hyd y moroedd, heb eu llwyr ddarostwng; ac y mae y cofiant canlynol yn cyfeirio attynt:—Oed Crist 1079, y diffeithiwyd Mynyw gan y *Saeson lladronaidd.*" Ac ysgrif arall a ddywaid i hyn gael ei gaflawni gan "*wyr anffyddlon;*" ac un arall a ddywaid, mai gan "*y Kenedloed,*" y gwnaethpwyd ef. Ac felly, dichon mai y cyfryw, oedd y pleidiau, a elwir yn *Normaniaid*, uchod. Eithr, os pobl o Ffrainc oeddynt, er ysgatfydd, nad anfonwyd hwy gan y brenin, diau na dderbynient un cerydd ganthaw, am eu hymosodiadau ar ororau Cymru; eithr, yn hytrach, derbyn ei nawdd a'i ganmoliaeth. Ond bydded hyn fel y bytho, o gylch yr amser hyn, dygwyddodd ymdrin rhwng y Cymry a'r Normaniaid, ar gyffiniau Powys, yr hyn a ddangosa fod gelyniaeth gwladwriaethol gwedi dechreu rhwng y ddwy genedl; am yr hyn y crybwyllir drachefn. Ond yn gyntaf, y mae yn addas sylwi, mewn modd cyffredinol, ar helynt y tywysogion a'r ymgeisyddion Cymraeg, mewn perthynas iddeu hymrysonau yn mhlith eu gilydd; a'r mynegiad cyntaf yw yr un a gyfeiria at farwolaeth *Bleddyn ap Cynfyn*:—

"O. C. 1072, y daeth *Rhys ab Owain ab Edwin* o Fanaw lle bu ar gil ac a gynhullwys lu mawr o wyr Ystrad Tywi a Brecheiniawc, a dodi cad ar faes yn erbyn *Bleddyn ab Cynfyn* a'i ladd."

BLEDDYN AP CYNFYN, oedd yn dywysog doeth a da ei ymarweddiad. Dywedir iddo ofalu yn nghylch cynnal cyfreithiau y wlad; ac iddo adgyweiriaw y defodau, perthynol i'r beirdd; eithr ni chefais allan ansawdd ddiwygiadau. Heblaw ei freintiau teyrnawl, yr oedd hefyd yn berc ennog ar lawer o diriogaeth, yn ei eiddo ei hun; megys yr arwyddocâ yn y llinellau canlynol:

"Bleddyn ab Cynfyn bob cwys
Ei hun bioedd hên Bowys."

Yr oedd gan Fleddyn, amryw feibion; sef, *Meredydd, Llywarch, Cadwgan, Madawc, Rhyrid,* ac *Iorwerth;* eithr ni hawliodd un honynt yr orsedd ar y pryd hyn, ond ei gadael hi iddeu cefnder; achos, ni fynegir.

## TRAHAERN AP CARADAWC.

### 1072.—1080.

ystod y tri chanrif rhagflaenol, yn gymmysg â gwrolder o eiddo ein , o'r gradd godidocaf, yn nghyd âg egni gwladgarawl digyffelyb, yr ym gwedi cyfarfod âg anghreifftiau diderfyn o gyndynrwydd, ac wydd mellldithlawn: ond nis cofiaf am un anghraifft o ddoethineb rawl, yn mhlith ein cydwladwyr, oddieithr yr un a goffeir yn y anlynol, yr hwn sydd barhad o'r un a roddwyd ddiweddaf; yn ys hanesiad marwolaeth Bleddyn ap Cynfyn:—

edi hynny myned yn erbyn y Deheubarth a danfon cenhadon heddwch yn gyntaf at rh *ab Caradawc*, a Rhydderch a gyfarfu ag ef mewn heddwch a chyttunaw a wyd rhoddi cyfran yn llywodraeth y Dehau i *Rys ab Owain*, ac o hynny gwared o diffeithiaw gwlad, ac ammod ganddynt, i'r olaf ei fywyd, y cwbl o'r Dywysogaeth."

yna, dywedir,—

di marw Bleddyn ab Cynfyn, Trahaern ab Caradawc ei nai a wladychawdd ynedd, ac yn y Deau Rhydderch ab Caradawc ei ewythr ef, a Rhys ab Owain ab ya cydlywiaw'r wlad yn llonydd ac yn heddwch."

n oedd ffrwyth y cyduniad â'r cyngrair synhwyrawl crybwylledig . Ond ni pharhaodd y cyflwr dedwydd hyn, yn hir; yr oedd wer rhy dawel i anianawd cynhyrfgar ein cydwladwyr.

. 1074, y llas *Rhydderch ab Caradawc* gan *Feirchiawn ab Rhydderch* ei gefnderw o a dig am yr ammod ryngthaw a Rhys ab Owain, ac am ddwyn gwyr y wlad dan ng ac ammod, a ddeded ryngthynt er tynghedu'r Lywodraeth i'r hwyaf ei fywyd."

un flwyddyn y llas Kynwric vab Riwallawn gan y Gweyndit." [Pobl Gwynedd.]

un flwyddyn y daeth *Goronw* a *Llywelyn* meibion *Cadwgawn ab Bleddyn ab Cynfyn* addynt a chydag wynt *Caradawc ab Gruffydd ab Rhydderch ab Iestyn* a chyfnerth o Forganwg a Gwent er dial galanas eu Tad cu, a chad ar faes a ddodasant, ac yn yn *Rhys ab Owain*, a gorfu meibion Cadwgan a Charadawc ab Gruffydd ar Rhys in."

l tra yr oedd y trawsfeddianwyr hyn yn ymryson am yr yspail, wn etifedd yr orsedd yn ymddangos, ac yn eu tarfu oll ar hynny o ac yn y canlyniad, yn ennill ei eiddo. Canys yr hanes a ddywaid yddiant meibion Cadwgawn a Charadawc:—

"A buddugoliaeth enrydeddus a fuassei iddynt, eithr GRUFFYDD AP CYNAN AB IAGO a ddaeth o'r Werddon a llu cadarn ganthaw, a goresgyn ynys Fon, a gorfu ar feib Cadwgawn ymchwelyd i amddiffyn eu cyfoetheu rhag gossawd Gruffydd ab Cynan, a hynny ni aflonyddwyd Rhys ab Owain." [Yn ol un ysgrif, y frwydr hon a ymladdwyd yn *Camddwr*; eithr ysgrifau ereill a roddant yr enw *Gweun y nygyl*, a *Gwenottyl*. Rhai haerant, mai yn Ngheredigiawn, y mae *Camddwr*; ond am y lle arall, ni chefais hyspysiad.]

"Ychydig ar ol hynny ydd aeth Trahaearn ab Caradawc yn erbyn Gruffydd ab Cynan a gyrru ffo arnaw; a gorfu arnaw fyned yn ei ol i'r Werddon." [Ymladdwyd y frwydr hon yn *Bron yr erw*, lle yn agos i Harlech, yn ol tyb rhai.]

"Gwedi myned fal hynny meibion Cadwgawn a ddodasant Gad ar Faes yr ail waith yn erbyn Rhys ab Owain, yna Rhys a ddaeth yn eu herbyn, a brwydr dost a fu rhyngddynt mewn lle a elwyr *Pwllgwttic* lle gorfu meibion Cadwgawn ar Rys ab Owain, ac efe a ffoes; a Thrahaearn ab Caradawc a'i dilynes mor galed onis daliwyd ganthaw, a dal hefyd *Hywel* ei frawd, ac efe a'i lladdawdd eill dau, er dial galanas ei ewythr Bleddyn ab Cynfyn, a gwaith didrugaredd oedd hynny, canys Tywysogion o fraint a chyfiawnder oeddynt."

Megys ag y gwelsom hawliwr arall i orsedd Gwynedd, yn ymddangos, felly yn awr, cawn un yn yr un modd, yn bwrw hawl i'r Deheubarth; a hwnnw oedd RHYS AB TEWDWR, mab Einion ab Owain ab Hywel Dda, yr hwn a orfu, pan ond ieuanc iawn, ffoi i Lydaw pan lladdwyd ei dad, lle y bu dros mwy na hanner canmlynedd; ond yn awr, a ddaeth drwodd i hawliaw ei enedigaeth fraint. Crybwyllir am yr amgylchiad hwn, yn y modd canlynol:—

"O. C. 1077, daeth *Rys ab Tewdwr* o Lydaw ac a ddodes hawl ar Dywysogaeth Deheubarth megys ettifedd cyfiawn, a llawer iawn o wyr gorau y wlad a gymmhleidiasant ag efe, canys mawr oedd y gair iddaw am ddoethineb a gwybodau Llywodraeth, ac efe yn ei lawn henaint a'i bwyll a gafawdd ewyllys da goreugwyr y wlad, canys nid oedd a garai *Iestin ab Gwrgan* a'i wehelyth, achaws y cerynt Ryfel yn well na heddwch yn amgen nag a wneiynt eu cynneifiaid o'r Welygordd honno, ac yna diogelwyd Rhys yn ei Lywodraeth."

Mewn un man arall, mynegwyd mai achos ei ddrwg-gampau, y casâwyd Iestyn; ac yn awr, pan gyfrifir y casineb, yr hwn a hanfodai tuag atto ef a'i wehelyth, iddeu cariad tuag at ryfel, y mae yn ddilys, mai at gasineb y tywysogion, a'r pennaethiaid cymmydogaethol, y cyfeirir; y rhai a unasant i osod Rhys ab Tewdwr, ar orsedd y Deheubarth.

Yr ydym gwedi gweled y dalaeth ddeheuol o Gymru oll, gwedi dychwelyd iddei iawn berchen; yn awr, cawn yr un dynged yn dygwydd i'r Gogledd:—

"O. C. 1080, daeth *Gruffydd ab Cynan* yr ail waith i Gymru a chydag ef lu mawr o Ysgodogion y Werddon, ac ymunaw a wnaeth efe a *Rhys ab Tewdwr* yn erbyn *Trahaearn ab Caradawc*, a chad a fu rhyngddynt, lle y lladdwyd *Trahaearn*, a chydag ef Gruffydd a Meilir meibion Rhiwallawn ab Gwynn ab Collwyn. Ac ar Fynydd *Carno* y bu'r ymladd, a chreulawn a thost y bu, a lladdwyd dros rhif o'u gwyr y ddwyblaid, a *Gwaith Carno* y gelwir y frwydr honno, gwedi hynny meddiannu Gwynedd a wnaeth GRUFFYDD AB CYNAN, a RHYS AB TEWDWR a gafas y Deheubarth, a'r ddau Dywysawg yn etifeddion cyfiawn y gwledydd hynny."

Wele nyni yn awr, wedi dyfod at derfyniad dosparth arall o hanes ein cenedl; ac weithian, y mae yn rhaid dechreu oesred newydd, sef yr un a rweinir i mewn gyda dyfodiad y *Normaniaid;* ond yn gyntaf, buddiol rdd taflu ailolwg ar y Dywysogaeth, yn ei pherthynasau gwladwriaethol : eglwysig, yn ystod y talm a aeth heibio.

## CYFLWR GWLADWRIAETHAWL CYMRU,
## O DDIWEDD Y VII. GANRIF, HYD DDIWEDD YR XI.

Dechreuasom hanes Tywysogaeth Cymru, gyda rhyfeloedd cartrefol allanol, a'r cyflwr hwn ni ymnewidiodd dros *bedwar cant o flynyddau.* id oedd braidd un droedfedd o wlad Cymru, nac o'r cyffindiroedd Saesaeg cyfnesol, na throchwyd gan waed, neu a sathrwyd yn nhrabludd ddinoedd ymfrwydrawl. Pe trwy ymdrech yn erbyn gormes estronaidd, buasai hyn oll, iawn a chlodwiw y buasai'r gwaith; ond er galar a rarth, y mae yn rhaid cyfaddef, fod y cleddyf mor fynych yn ddyrchafig, a'r bwa yn annelawg yn erbyn brodor cywlad, ac yn erbyn y gelyn estron-genedl. Ond gan nad oes nemmor o ddrwg yn cael ei adael, heb d rhyw ddaioni, naill ai yn tarddu allan o honaw, neu yn cydredeg âg ; felly y Cymry, trwy y cynhenau cartefol yma, a feithrinent yspryd nladdgar a diofn, yn nghyd â chynnefindra â brwydrau, a medrusrwydd fattebawl, fel eu bod yn wastad yn barod i dderbyn eu gelynion estrondd, pan ymosodent ar y wlad. Yr egwyddor gynhenid a oedd o ianawd teilwng, sef gwladgarwch, cariad a ffyddlondeb tuag at eu rythau priodawl a'u tywysogaethau bychain eu hunain, pa un, pe estynai at y genedl yn gyffredinol, buasai yn anorchfygadwy; ond gan fod y wladgarwch hwn mor gyfyngedig, a'r eiddigedd rhwng llwyth a llwyth or ddihunawg, yr oedd mewn graddau mawr, yn gwrthweithredu y gwladrwch; a phan ddelai rhyw elyn cadarn, megys Edgar, neu Athelstan, y wlad, gyda byddin liosog, nid oedd yn eu plith undeb iddei wrthynebu gyda nerthoedd cyfartal i'r achlysur; ac felly, goddefent yr iffawd a'r gwarth o orthrechiad; ac hefyd, weithiau, o ymostwng i reth.

Yn nechreuad y talm, yn awr dan sylw, gwelsom fod ardal Cymru yn nedig rhwng amryw bennaethiaid, y rhai a elwid yn *Frenhinoedd.* A yn a barhaodd dros amryw oesoedd, heb fawr wahaniaeth. Ond ymddenis yn yr 11eg ganrif, i awdurdod y tywysogion taleithiol, gynnyddu i'r fath ddau, ag nad oedd y penteuluoedd bychain mwyach yn meddiannu yr un esur o annibynolrwydd, ag yn yr oesoedd rhagflaenol. A meddyliaf fod freithiau Hywel Dda, gwedi effeithio gwell trefn mewn perthynas i ufudd-d deiliadawl. Ond etto, yr oedd y wlad yn ranedig yn *lwythau,* yn ol

yr un dull Patriarchaidd, ag yn yr oesoedd rhagflaenol. Ac yr oedd y rhaniadau achawl hyn mor bwysfawr, ag y gwnaethpwyd cyfreithiau iddeu sefydlu, a phennodi eu breintiau neilltuol. Yr oedd yn Nghymru, bump Brenhinllwyth, a'u penteuluoedd yn Frenhinoedd neu Dywysogion taleithiol; ac yr oedd yn Ngwynedd, bymtheg llwyth pendefigol; ac heblaw hyn, yr oedd trwy Gymru, amrywiol lwythau a theuluoedd, oll yn cadw eu hachau yn rheolaidd. Ac y mae llawer o'u heppil hyd heddyw, mewn hanfodiad, ac yn feddiannol ar eu hysgrifau achawl, yn mha rai y mae amryw bethau yn goffâol, a fyddai yn dra hyfforddiawl tuag at eglurhau hanes y wlad; pigaf allan y cyfryw, weithiau, pan ddeuant at fy llaw: ond gorchwyl rhy faith fyddai gwneuthur defnydd o bob peth a gynnygiai o'r fath a hyn. Yr wyf eisioes gwedi cyrhaedd dros hanner fy llyfryn, ac y mae yn rhaid edrych yn fanwl i beidio rhoddi lle i ddim nad yw yn sylweddol tuag at yr hanes.

Y pump Brenhinllwyth, a attebant at bump Tywysogaeth Cymru, fel ag yr hanfodent yn nechreu yr 11eg ganrif, yn ol y sefydliad cadarnhaol a wnaethpwyd tua diwedd y talm hwnnw: y canlynol, oeddynt—

PUMP BRENHINLLWYTH CYMRU.

| | |
|---|---|
| GRUFFYDD AP CYNAN........................ | *Gwynedd.* |
| RRYS AP TEWDWR........................ | *Deheubarth.* |
| BLEDDYN AP CYNFYN........................ | *Powys.* |
| IESTYN AP GWRGAN........................ | *Morganwg.* |
| ELYSTAN GLODRYDD........................ | *Fferyllwg.* |
| | [Rhwng Gwy a Hafren.] |

Y mae y llwythau hyn yn atteb i'r dosparthiadau taleithiawl y wlad, sef ei chynhwysiad o bump tywysogaeth. Ond y mae rhyw beth yn gofyn eglurhâd yma. Mewn rhai mannau, sonir am *Frenin Cymru oll*, ac am ei oruchafiaeth, ar y *Tair Talaeth;* sef, *Gwynedd*, *Powys*, a *Deheubarth*. Yn awr, y gofyniad yw, A oedd *Morganwg*, a *Fferyllwg*, o fewn i'r lyw-odraeth honno?—Y mae yn ddilys gennyf, nad oeddynt; ac er eglurhau sefyllfaoedd yr ardaloedd hyn, yn nghyd â'r un a elwir *Glewysig*, mor belled ag y deallaf hwy, rhoddaf y sylwadau canlynol.

MORGANWG.

Beth oedd maintioli Morganwg, a'i therfyndiroedd?—Y mae yn amlwg oddiwrth tu dal. 414, ei bod yn y 10fed ganrif, yn cynnwys *Bro Gwyr*: canys dywedir fod gan *Owain ap Morgan*, tywysawg Morganwg, hen hawl a braint i'r ardal honno. Yr oedd hefyd yn yr un ganrif, ar y tu dwyreiniol, yn cynnwys *Euas*, ac *Erging*: canys dywedir, tu dal. 412, eu

bod yn meddiant *Morgan Mawr*. *Euas* a gynnwysai ran o swydd Henffordd, o amgylch y *Dref Hir*, yn nghymmydogaeth pa un, y ceir hyd etto, yr enwau *Ewyas Harold*, ac *Ewyas Lacy;* yn yr olaf o'r sawl, y mae monachlog *Llantony*, neu *Llanddewi Nant Honddu*. A'r ardal a gyffiniai â swydd Frecheiniog, fel y deallaf oddiwrth yr enw *Coed-dias* yno, sef *Coed-Euas*, meddyliaf.*

Yr ardal arall, sef *Ergin*, neu *Erging*, a elwir yn awr yn y Saesonaeg, *Erchenfield*. Cynnwysa y wlad ar y tu gorllewinol i Wy, yn swydd Henffordd, rhwng *Trefynwy*, a *Rhosan*.

Ac yn gydunol â'r terfynau hyn, mewn pigiad allan o'r ysgrif *y Cwtta Cyfarwydd*, yn y Myv. Arch. dywedir fal y canlyn:—

"Gwibeted pobyl Breteinieid, paniw Seith Cantref essit [y sydd] e Morganwc; eni [yn ei] arglwytiaeth ai escobaeth. E cintav iw e Cantrev Bichan; er ail Cantrev iw Gwir a Chedweli; e tridet iw Gorwenit; pedwerit iw Cantrev Penuchen; pummed iw Gwaenllwc ac Edeligion; e weched Cantrev iw Gwent-is-coed; e seithved Cantref iw Gwent-uch-coed, Estrad Ew ac Euas; er rai a elwid en dwi lawes Gwent-uch-coed, ac hevid Erging ac Anerging, mal e mae e cwbil tervineu en Llevir Teilo."†

Oddiwrth hyn, deallwn fod Morganwg unwaith yn estyn i mewn i swydd Frecheiniog; canys *Ystrad Yw* a gynnwysai ran, neu ysgatfydd, y cyfan o Gantref *Crughywel*. A sefyllfa yr ardal a nodir etto yn enw un o'r plwyfau yno, sef *Llanbedr Ystrad Yw*.‡

Ond ymddengys nad oedd terfynau Morganwg, ddim yn wastad yn parhau yn yr un modd; o herwydd mewn ysgrif arall yn y Myv Arch. yr hon a haera ei bod yn rhoddi cyflwr Cymru, yn amser y tywysog Llewelyn ap Gruffydd; gadewir *Gwyr a Chedweli* allan o Forganwg, a gosodir hwy yn swydd Gaerfyrddin. Ac er gwneud i fynu rifedi y Saith Cantref, rhoddir enw y *Cantref Coch yn y Ddena*, sef yr ardal a estyna, "o Fynwy, hyd yn mhont Caerloyw;" eithr y mae yn amlwg, mai camhaeriad yw hyn;

* Y mae plwyf *Cwm-Iou*, yn yr ardal yma: yn nghylch ystyr enw pa un, y mae nid ychydig o amrafael a phetrusder. Ond gan mai yr un Cwm ydyw ag eiddo *Euas Lacy*, yr wyf yn tueddu yn gryf i feddwl, fod rhyw gyttundeb rhyngddo â'r gair *Euas*.

† Y mae y *Cwtta Cyfarwydd*, yn gystal a *Llyfr Teilio*, neu Llandaf, yn dangos cymaint o anghysondeb, a'r hanesion ereill perthynol i amseriad teyrnasiad Hywel Dda, a rhoddi lle i feddwl bod yr ysgrifau rhagflaenol yn cyfeiliorni yn hynny.

‡ Y mae petrusder yn mhlith hynafieithwyr, perthynol i wreiddyn y gair *Yw*. Yr unig eglurhad a gynnygiaf, ydyw, bod nant fechan yn mhlwyf Cymdû, o'r enw *Ywen*, yr hon a dardda mewn man a elwir *Llygad Yw;* ond y mae y nant hon mor ddisylw, o ran maintioli, gan nad yw lawer dros filltir o hŷd, a'i bod yn annhebygol y gallai roddi enw i ardal mor helaeth. Ond er atteb i hyn, dywedaf fod y nant yma yn rhedeg heibio i furiau y *Gaer*, yr hwn le oedd sefyllfa Rhufeinig, ac yn ddiau, unwaith yn le o fri a chyfrifoldeb mawr, a phrif dref yr ardal. A phe buasai enw cysefin y lle ar glawr, tueddaf dybio, y gwelsid rhyngddo gyffelybiaeth â'r gair *Yw*, ac yn eglurhau yr enw YSTRAD YW.

canys yr oedd Fforest y *Ddena*, gwedi ei dwyn oddiwrth Gymru, o cyn amser Llywelyn ap Gruffydd. Eithr am *Gwyr*, y mae yn d iawn, nad ydoedd bob amser yn unedig â Morganwg. Ysgatfydd y y beirdd benderfynu hyn, trwy fynegi cylchedd *Cadair Morganwg* y meddyliaf nad ydynt yn arddel Bro-Gŵyr o fewn iddeu terfyna nad enwir yr ardal yn eu cofres, ac er cadarnhad o hyn, cawn yn y T y rhesiad canlynol:—

" Tri phrif Welygordd Cenedl y Cymry :———Y Gwenhwyson, sef Gwyr Essyl Gwendydiad, sef Gwyr Gwynedd a Phowys, a Gwely Pendaran Dyfed sef ydynt Dyfed, a Gŵyr, a Cheredigiawn, ac arbennicter ar y Gymraeg i bob un o naddunt."

Essyllwg, ydyw yr enw Cymraeg a roddir i wlad y *Silures*, canl *Caractacus*, sef *Caradawc ap Bran*, sefyllfa yr hon wlad a nodir gan y trefydd, *Caer Lleon ar Wysc*, a *Chaer Went*, sef *Isca* a *I Silurum*. Y mae y traddodiadau Cymraeg yn honni, i wehelyth C *tacus* ymsefydlu yn y wlad hon. Yr oedd y traddodiad yn hanfo yn yr 11eg ganrif; canys yr oedd *Aeddan ap Blegored*, brodor o'r honno, ac ŵyr i *Forgan Mawr*, yn haeru ei fod yn hannedig odd *Fran ap Llyr*. Yr hyn a gyfranna tuag at gadarnhau cywirde ddodiadau achawl y Cymry.

## GWENT

Beth oedd cyflwr *Gwent*?—Y mae yn amlwg fod yr ardal hon, 9fed ganrif, yn diriogaeth annibynol; canys *Asser Menevensis*, bwylla am ddau frenin yno, sef *Brochmael*, a *Ffernmael*, [tu dal. Eithr yn y 10fed ganrif, pan oedd Morganwg yn cynnwys Euas ac I annichonadwy oedd bod Gwent yn deyrnas annibynol; ac felly, c yn ffurfio rhan o diriogaeth Morganwg. Pa fodd y daeth i dd tywysogion Morganwg, nis gwn; ysgatfydd mai trwy etifeddiaeth; y mae y gair parchus a roddir i *Forgan Mawr*, yn gwahardd y tyl ei meddiannu trwy drais.

Yn awr, gan mai eglur yw fod Morganwg yn annibynol o aw y pennadur a elwid yn Frenin Cymru oll, gellir gofyn, A oedd cy iau Hywel Dda mewn awdurdod yn y wlad?—Y mae yn ddilys ger bod; canys yr oedd un o eglwyswyr Llandaf, sef *Blegywryd*, " Morgan Brenin Morganwg" yn offerynol yn eu ffurfiad; ond barn trwy fabwysiad gwirfoddol, y derbynwyd hwy, ac nid o achos un aw pennaethawl o eiddo Hywel Dda, am nad oedd meibion Rhodri

ennill un meddiant yn yr ardal; ac nis gallaf gael allan fod tywysogion Morganwg yn arddel awdurdod Brenin y tair talaeth unawl, na thrwy dreth na theyrnged.

### GLEWYSIG.

Pa le yr oedd *Glewysig?*—Y mae yn ddilys gennyf, mai hen enw *Morganwg*, oedd *Glewysig*. Ond nid wyf yn dywedyd, fod y terfynau yr un peth dan y ddau enw; o herwydd, pan roddodd *Morgan Mawr*, ei enw ar y wlad, gan ei galw yn *Wlad-Forgan*, ac yn *Forganwg*, y mae yn addas meddwl iddo ychwanegu at ei maintioli, trwy uno yn nghyd ryw diriogaethau cyfnesawl. A ffurfiaf fy nhyb, perthynol i uniaeth y ddwy dywysogaeth, ar yr amgylchiadau canlynol.

Cyn amser Morgan Mawr cawn enw tywysogaeth *Glewysig*, a dim son am *Forganwg*. Ac ar ol dyfodiad Morgan i'r orsedd, cawn enw *Morganwg*, ond ni chlywir mwyach am *Glewysig*.

O gylch y 7fed ganrif, cawn *Golyddan* yn son am yr ardal hon, ac yn ei rhesu gyda *Dyfed*.

"Na chrynned Dyfed na Glywysig."

Ac yn ngwaith *Nennius*, yn y 9fed ganrif, cawn yr un enw; a deallwn fod Maesaleg o fewn terfynau yr ardal; [gwel tu dal. 253] ac etto, y mae Asser Menevensis yn y 10fed ganrif, yn crybwyll am yr un ardal, gan fynegi fod yno frenin o'r enw *Rhys;* [tu dal. 399] ac hefyd ceir mynegiad am yr ardal, yn *Llyfr Llandaf*. Ac yn ol fy marn fy hun, y mae yr amgylchiad hyn o hanfodiad yr enw hwn yno, yn brawf o hendra cynnwysiad y llyfr hwnnw yn hyn o berthynas. Ac mai oddiwrth *Morgan Mawr*, y derbyniodd *Morganwg* ei henw, sydd ddilys gennyf oddiwrth yr amgylchiadau rhagflaenol. Gelwir hi weithiau, *Gwlad Forgan;* [tu dal. 424.] Ceir yr enw hefyd yn Giraldus Cambrensis,—"*Gwladuorgan, i. e. terra Morgani.*" Ac y mae yr enw etto yn nghadw yn y Saesonaeg, *Glamorgan*.

### FFERYLLWG.

*Fferyllwg* a elwir hefyd, *Fferllwg*, *Fferleg*, *Fferex*, a *Fferreg*. ond y mae yn ddiau gennyf, mai y cyntaf yw iawn ysgrifiad y gair. Gelwir y dywysogaeth hon weithiau, *Y wlad rhwng Gwy a Hafren*. Am yr enw *Fferyllwg*, neu, fel y gelwir ef fynychaf, *Fferlex*, ni welais erioed un eglurhad; ac am brif sefyllfa y wlad, nid oes ond ychydig yn foddhaol yn hyspysedig. Y mae y geiriau, *rhwng Gwy a Hafren*, yn

felly,—" *trans Vagam citraque Sabrinam.*" Yn y man nesaf, y gair *Fferllwg*, meddyliaf, yn atteb yn gywir i arnodiad yr ardal l *Fferyll*, yw *gweithiwr delidau*, neu, ysgatfydd, yn hytrach *gwe haiarn;* ac felly, *Fferyllwg*, yw *gwlad y gweithiad haiarn;* ac *Fforest y Ddena*, gwedi bod dros oesoedd hir, yn nodedig am ei g iau haiarn. Mor gynnar a'r 12fed ganrif, y mae Giraldus Cambren crybwyll am hyn, ac yn dywedyd fod yr ardal yma yn ffrwythlawn *ceirw*, ac mewn *haiarn*,—"*ferro fertilem atque ferina.*" A'i l gweini yn helaethlawn i Gaerloyw o'r cyfryw,—" *quæ ferinam fe copiam Gloverniæ ministrat.*"* Felly, dilys gennyf, mai prif s *Fferyllwg*, a'r cwrr yn mha un y dechreuodd yr enw, oedd yr a elwir y *Forest of Dean*.† Y mae yn ymddangos hefyd, fod y dyv aeth hon, unwaith yn cynnwys rhan o swydd Henffordd, ac o Faeshyfaidd; ond am ei therfyndiroedd, nid oes hyspysiad. Yn restriad a geir dan enw Llewelyn ap Gruffydd, collir golwg yn llwj rhan o'r wlad yn meddiant Lloegr, ac o'r enw *Fferyllwg;* a rhoc *wlad rhwng Gwy a Hafren*, yn unig *swydd Faeshyfaidd*, ac yc diriogaethau cyfnesawl; megys *Ceri*, yn swydd Drefaldwyn, a *E* yn Mrecheiniog.

Nid oes ond braidd dim ar glawr perthynol i hanes tywysogion yllwg. Y mae enw Elystan Glodrydd, yn cael ei roddi yn ngh achau; ond cynnwysir y cwbl o'i hanes mewn byr eiriau, a hynny i cwbl ar glawr o hanes y dalaeth.

Elystan Glodrydd, Pencenedl un o'r Pump Brenhinllwyth, hanedig oddiwrth *Beli Mawr*, a oedd yn fyw o gylch 1010.

thau deheuol a dwyreiniol, ar y pryd hyn, yn golledig i'r llwyth. Y yn debygol fod *Elystan Glodrydd* yn ryfelwr o gyfrifoldeb yn ei l; ond yr unig fynegiadau am ei rwysg rhyfelgar ydyw, iddo ennill o Frecheiniog oddiar *Dryffyn*, tywysawg y wlad honno, ac iddo diwedd gael ei ladd mewn brwydr ar *Gefn Digoll*, yn swydd dwyn.* Crybwyllir am dano yn y Trioedd fal y canlyn:—

Hualogion Teyrnedd ynys Prydain:———Morgan Mwynfawr o Forganwg; Glodrydd rhwng Gwy a Hafren; a Gwaithfoed brenin Ceredigion; sef eu gelwyd naws y gwisgynt hualau yn holl [ol] y gwnelent brif deyrnedd ynys Prydain, ac nid n, sef coronau." 42.

ol marwolaeth *Elystan Glodrydd*, ei dywysogaeth a ranwyd rhwng ion, ac felly a wanhawyd i'r fath raddau, ag na cheir enwau neb o'i eth, ond megys arglwyddi ardalawl, yn ngwlad *Fuallt*, etifeddiaeth gan, ei fab henaf, a rhai tiriogaethau cyfnesawl. Ond y mae amryw yth yn ddynion cyfrifol hyd y dydd heddyw, ac yn olrhain eu n yn gyson at y Pencenedl.

## BRECHEINIOG.

edd *Brecheiniog* yn frenhiniaeth annibynol yn y 10fed ganrif; y mae Asser Menevensis yn dywedyd, fod *Elised* mab *Tewdyr*, yn yno, ac iddo osod ei hun dan nawdd y brenin *Alfred*, rhag gormes n Rhodri. Ond ar ol hyn, y mae yn debygol i'r ardal yma syrthio wodraeth tywysogion y Deheubarth. Barn y dysgedig THEOPHILUS , awdwr *Hanes Swydd Frecheiniog*, yw, fod yr ardal yma dan aeth ei phendefigion neilltuol ei hun, ond fod y rhai hynny yn awdurdod goruchafiaethol tywysogion y Deheubarth, ac yn talu ed iddynt.†

* wedir iddo dderbyn ei enw oddiwrth *Athelstan*, y brenin Saesonaeg, yr hwn oedd bedydd iddo; ond a drodd allan yn faethiedydd tra annhirion, ac a ddiffeithiodd ei nau.

† d hawdd fyddai nodi allan terfyndiroedd Brecheiniog, ac nid gofynol yma y gor- Ond y mae un man pennodol ar ei chyffiniad a Morganwg, yr hwn ni ddylid ei n ddisylw, sef *Rhyd y Milwyr*, yn agos i flaen yr afon *Rhymni*, ar ochr y mynydd a *Trefil Du*. Y lle a gymmer ei enw oddiwrth ymddangosiadau, megys dau o ôl carnau yn y graig yn y nant; ac haerir fod yn yr oesoedd, frwydr enbydus yn y lle, ac ai hyn, yn ol sathriad y meirch, yn nhrabludd y gâd. Ac nid rhyfedd fod y fath hanfodi; canys y maent mor aml, ac mor debyg i olion traed ceffylau, ac yw yr hyn mewn heol laith ar foreu rhewllyd. Mor gyflawn yw y cyffelybrwydd, ac braidd y gredu mai nid olion ceffylau oeddynt, er fy mod yn gweled y graig yn estyn odditan nau calch a'r glo a'r haiarn. Y mae y dysgedigion yn yr ymddangosiadau tanddae- n haeru mai nid olion traed ydyw y rhai hyn, ond cyrff rhyw greaduriaid bychain

Am y taleithiau ereill, sef *Gwynedd*, a *Powys*, a *Deheubarth*, y mae eu gwahanol sefyllfaoedd yn rhy adnabyddus i ofyn am un eglurhad yma. Y mae yn ddigon tebygol i Frecheiniog yn yr oesoedd olaf, arddel awdurdod tywysawg y Deheubarth, ac i'r gweddill a adawyd gan y Saeson o Dywysogaeth Fferyllwg, syrthio dan lywodraeth Powys, megys y synia Theophilus Jones. *Deheubarth* a oedd yn rhanedig yn amryw freniniaethau bychain, cyn dechreuad goruchafiaeth *Rhodri Mawr*. Ond ar ol ei amser ef, unwyd y rhai hyn o bryd i bryd, naill ai trwy drais, neu etifeddiaeth: ceir y dalaeth yn myned dan y gwahanol enwau o *Deheubarth*, *Dinefawr*, a *Dyfed;* yr olaf o ba rai a gydnabyddir yn y Lladin, *Dimetæ*, ac yr oedd unwaith yn perthyn i ran fawr o Ddeheudir Cymru; ond yn y diwedd, daeth i fod yn gyfyngedig i swydd Benfro yn unig.

## YR EGLWYS.

Y darluniad a roddwyd o gyflwr yr Eglwys yn Nghymru yn niwedd y talm rhagflaenol, sydd gyfeiradwy atto hefyd yn ystod yr un yn awr dan sylw; am fy mod yn barnu na ddaeth i ben ond ychydig iawn o gyfnewidiadau mewn pethau eglwysig, mwy na mewn pethau gwladwriaethawl yn ystod y pedwar can mlynedd yma o dywyllwch cynheddfawl. Ond er nad oes neb ryw amgylchiad nodedig a phwysfawr iddei gofiannu, etto y mae un peth yn amlwg, sef rhwysg dystaw lledradaidd awdurdod Eglwys Rhufain, yr hyn, er nas gellir pennodi allan y camrau neilltuol, trwy ba rai yr ennillodd cymmaint o dir yn y wlad, etto canfyddwn yn ei effeithiau, arwyddion diamheuol o'i hanfodiad. Yn nechreu y 7fed ganrif yr oedd y fath elyniaeth rhwng Eglwys Cymru ac Eglwys Rhufain, ag na wnai yr Esgobion Cymraeg un cyfeillach âg eiddo Rhufain. Ond yn y 10fed ganrif, gwelir un o Eglwyswyr Ty Ddewi, yn derbyn Esgobaeth Babaidd, yn Lloegr; a Thywysog Cymru yn nghyd âg amryw Eglwyswyr, yn myned i Rufain at y Pab i geisio cynghorion deddfawl.* Y mae yn wir nad oedd Eglwys Cymru etto dan awdurdod Eglwys Rhufain; ond y mae

crynion cynddiluwaidd. Cydymffurfiaf yn eu tyb, o herwydd fy mod yn gwybod am yr un fath olion yn yr un hân o'r creigiau, amryw filltiroedd o'r lle, mewn dull lawer llai tebyg i garnau meirch; ond am yr honiad fod ol traed yn annichonadwy yn nghanol craig, nis gwn beth i atteb, gwedi gweled ol palfau anifail mewn carreg, yn y British Museum, yr hyn a gymmerwyd allan o ganol craig. Sylwaf ar yr ymddangosiadau hyn, oblegid er mor hynod y maent, ni cheir mynegiad am danynt mewn un llyfr o hanesion Cymruaidd.

* Nid wyf yn honni ymdaith Cadwaladr i Rufain; canys amheuir ef gan rai. Ond oddiwrth arferion yr oesoedd canlynol, meddyliaf nas gellir profi fod un gwahaniaeth crefyddol yn gwahardd derbyniad yr hanes.

amgylchiadau hyn yn mynegu yn eglur nas gallasai fod dim gwahan-th sylweddol rhwng y ddwy Eglwys, naill na mewn athrawiaeth na def-ıu. Gallwn ychwanegu at yr uchod, fod yn mynachlogydd Cymru, ryw fynachod Saesonaeg, megys y sylwyd eisioes, y rhai, yn ol pob ddangosiad, a oeddynt yn ymdrechu i wthio i mewn arferion Rhufein-d, ac i hyfforddi goruchafiaeth Eglwysig Archesgob Caergaint; ac yn ıyd â hyn, yn cynllwynaw gyda'r Saeson iddeu cynnorthwyaw yn eu nosodiadau ar y wlad.

'a bryd y dechreuodd y gelyniaeth laesu, rhwng Eglwys Cymru ac lo Rhufain, a chyfeillgarwch ddechreu, nid ymddengys. Ond gwelwn *Hywel Dda* yn myned i Rufain yn nechreu y 10fed ganrif; ac hefyd *wel ab Rhys ab Arthfael* yn myned yno yn y flwyddyn 894. Etto m rhwng 872 ac 885, fod *Asser Menevensis*, gyda chyflawn gydsyniad ôr, yn cael ei wneuthur yn Esgob o Eglwys Rhufain, ac yn Gynghorwr Brenin Alfred. Y mae hyn oll yn dangos nad oedd dim gwahaniaeth ꞷeddol y pryd yma rhwng athrawiaeth a defodau y ddwy Eglwys, yr dynt gan mwyaf yn cydgerdded yn gyfeillgar yn ngholeddiad y cyfeil-ıadau a'r ofergoelion, y rhai oeddynt yn yr oesoedd tywyll hyn yn daenu yn y byd.

)nd er fod Eglwys Cymru mor gydffurfiol âg eiddo Rhufain, a bod ei glwyswyr yn dderbyniedig i swyddau honno, etto nid ydoedd yn lel ei hawdurdod llywodraethawl. Y mae eu hannibynolrwydd yn o beth mor adnabyddus, ag nad oes achos ond yn unig cyfeirio atto ı. Ac y mae yr anghraifft a roddwyd tu dal. 411, yn brawf tra nodedig hanfodiad, ac o'r ymdrechiadau a wnaed i ddwyn i mewn awdurdod ıfain. Traethir yn y cofiant hwnnw, fod yn y flwyddyn 961, i ym-ın gymmeryd lle yn Esgobaeth Llandaf, perthynol i etholiad Esgob, ac odri ab Morgan Mawr*, gael ei osod yn Esgob *o anfodd y Pab*. Ac 'd fod cais yn cael ei wneud i ddwyn i mewn y ddefod anysgrythyrol no, o attal yr offeiriaid rhag priodi; ond hyn o ormes Babaidd a ıladdwyd yn wrol, ac yn llwyddiannus ar y pryd hwnnw, megys y iolaetha yr hanes, a bod yr un annibynolrwydd a gwrthodiad o eiddo ıfain, perthynol i'r ddefod hon, yn parhau hyd yr 11eg ganrif, y mae amlwg oddiwrth yr hyn a fynegir am dylwythau rhai o'r Esgobion; ys yr oedd *Sulyen*, yr hwn oedd yn Archesgob Ty Ddewi, yn 1070, dad i bedwar o feibion, un o ba rai, sef *Rhyddmarch*, a'i canlynodd ef yr Archesgobaeth; ac hefyd yr oedd gan *Ryddmarch*, fab o'r enw *lyen*, yn Eglwyswr. A'r rhai hyn oll a oeddynt mewn mawr barch da'u cydwladwr, megys dynion duwiol a dysgedig.

Os gofynir, trwy ba gamrau y cyfnesaodd Eglwys Cymru at eiddo

Rhufain, a bod y fath gyfeillgarwch yn hanfodi, ar ol cymmaint o elyniaeth chwerw, nis gwn pa atteb i roddi, mwy boddhao na'r canlynol:—

Yr oedd ymrysonau cartrefol y Cymry, a'r gorthrymmiad a gyflawnai y pendefigion cedyrn ar y rhai gwanach, yn peru i'r olaf geisio nawdd breninoedd Lloegr, megys ag y gwelsom yn y cofion rhagfynedawl; sef bod *Hyfeidd*, brenin *Dyfed*, ac *Elised*, brenin *Brecheiniog*, yn gosod eu hunain dan nawdd *Alfred*, rhag gormes *meibion Rhodri;* a bod *Morgan Mawr*, yn derbyn yr un fath nawdd gan *Edgar*, pan yn goddef gorthrymiad oddiwrth *Owain ap Hywel;* ac hefyd fod mynachod Ty Ddewi yn ceisio amddiffyniad gan *Alfred*, rhag gormes *Hyfeidd*. Yn awr y mae yn amlwg nas gallasai y cyfryw gymmwynasau ddim cael eu derbyn oddiwrth y Saeson, heb fod amrywiol anghreifftiau o gyfeillgarwch gwladwriaethol yn cydfyned â hwy; a phan ystyriom mor ddihun yr oedd Eglwyswyr Lloegr i ledaenu awdurdod eu Heglwys, nid tebygol y gadawent y fath adegau i fyned yn ofer. Ac yn gyson â hyn, gwelwn fod llëenogion Saesonaeg yn ymwthio i mewn i blith y Cymry, [tu dal. 411.] Ac hyd nod Sais yn cael ei wneuthur yn Esgob.—

O. C. 871 bu farw *Einion Fonheddig* Escob *Mynyw* ac o gwnaethpwyd *Hubert Sais* yn escob yn ei le."*

Ond os oes un peth etto yn eisiau i brofi cynnyddiad awdurdod Eglwysig y Saeson yn y wlad, wele fe yma:—

O. C. 972 y bu farw Edgar Brenin y Saeson, yr hwn a wnaethai Fonachlog Bangor Fawr, a llawer o Fonachlogydd ereill yng Nghymru a Lloegr, ac a wnaeth iawn i Eglwyseu Cymru am a wnaethai efe iddynt o ddrwg yn ei ieuenctid."

Oddiwrth yr hyn oll, y mae yn eithaf amlwg i mi fod y cyfeillach ag a feithrinid â'r Saeson, y rhai oeddynt y pryd hyn yn cynnal goruchafiaeth Eglwys Rhufain, yn un o'r moddion mwyaf effeithiol i gymmodi y Cymry â'u hen wrthwynebwyr. Ac y mae yn rhaid syiwi, fod y pryd hyn wresogrwydd mawr yn hanfodi yn Eglwys Rhufain tuag at effeithio tröedigaeth gwledydd, yn nghyd â diwydrwydd i ddwyn y cyfryw orchwylion i ben. Ac yr oedd llwyddiant tra nodedig yn cydfyned â'r ymdrech; canys yn ystod y talm yma, yr effeithiwyd tröedigaeth y Daniaid a'r llwythau Llychlynaidd, y Saxoniaid Cyfandirol yn gystal a Normaniaid Ffrainc. Ac felly yr un daergeisiad ag a gynhyrfai cynhalwyr Eglwys Rhufain i ymdrechu yn nhröedigaeth y cenhedloedd Paganaidd i Gristionogaeth, a weithredai hefyd i beru iddynt ymegnio i ddwyn Eglwys Cymru o dan y un lywodraeth a hwynthwy eu hunain.

* Y mae llawer o annghysondeb yn nghofrestrau Escobion Ty Ddewi o gylch yr amser hyn; mewn un o'r cyfryw, ceir yr enw *Hubert*, gyferbyn a'r flwyddyn 942.

Diau nad oedd yn yr amseroedd tywyll a therfysglyd yma y fath gyfleusderau i goleddu defodau crefyddol, ag mewn tawelach oesoedd; ond etto, cawn, hyd nod y pryd hyn, rai tystiolaethau nad oeddynt ddim yn gwbl esgeulusedig. Er anghraifft o ofal a dysgyblaeth Eglwysig, gellir rhoddi y canlynol:—

"1030—y flwyddyn honno y peris *Ioseb* Escob Teilaw na wnelid na gwaith na gorchwyl ar y Suliau a'r Gwyliau, ag a wnaeth i'r offeiriaid ddysgu darllain yr ysgrythyr lân heb dâl heb gêd, ac na wnelynt ag ymrysonau."

"1043—y bu farw *Ioseb* Escob Teilaw, Gwr tra doeth, a duwiawl a dysgedig; efe a wnaeth Drefn dda ar wyliau Mabsant, sef nas caid amgen na gweddiaw Duw, a dangos daioni, a gwneuthur elusenau arnynt, a chynnal côf dyledus am Dduw a'i Saint, a'u gweithredoedd molediw."

Yn mhlith y cyfeiliornadau a ddygpwyd i mewn i'r Eglwys, yn ystod y talm yma, yr oedd un o atgasrwydd tra dirfawr, sef *Addoliad Delwau.* Ac i'r dyben i gynnal yr arferiad yn ddigyhudd, bwriwyd yr ail orchymyn allan o'r ddeddfres. I ba raddau y ffynnodd y pechod hwn yn mhlith y Cymry, nis gwn; ond nid oes gennyf un achos i feddwl eu bod hwy yn llai euog na'u cymmydogion; o herwydd ni a welwn y brenin *Alfred*, cyfaill a noddwr *Asser Menevensis*, yn mabwysaw yr arfer mor gyflawn, a rhoddi yn ei gyfieithad Saesonaeg, y gorchymmynion yn y modd anafus hyn, gan adael allan yr ail, a gosod rhyw beth cyfnewidiol yn ei le, yn niwedd y rhes. Ac yn gyttunol â'r egwyddor yma, y mae Eglwys Rhufain, hyd y dydd heddyw, yn cynnal y ddefod o ymgrymmu o flaen delwau mewn addoliad; ac er symmud ymaith y maen tramgwydd hwnnw, "*nac ymgrymma iddynt*," y mae yn gadael allan yr ail orchymmyn yn gyfangwbl; ac i'r dyben i gyflawni y rhifedi o *ddeg*, y mae yn rhannu y ddegfed yn ddwy ran. Ond pan waharddder ddarlleniad yr Ysgrythyr i'r bobl, beth a ellir ei ddysgwyl ond cyfeiliornadau erchyll o'r fath a hyn?—Yn yr hen oesoedd, yr oedd anghreifftiau o'r Ysgrythyrau mor anaml, ac uchel-bris, ag yn ystod amser, y daeth ysgrifau y Tadau Eglwysig i fod yn gyfawdurdodawl â Gair Duw, a llawer mwy adnabyddus a pharchedig; ac felly, trwy ddiffodd y goleuni, nid oedd modd i ganfod y llwybr. Uchel y dylai trigolion Cymru brisio eu breintiau ysprydol, y dydd heddyw. Ond etto, yn lle ymfalchïo mewn hunan-ddigonedd; o herwydd rhagoroldeb ein gwybodaeth, y mae achos cywilyddio wrth gymharu y dibrisdod crefyddol a welir yn ein plith, a'r tystiolaethau o hunan-ymwadiad â ffydd ddiysgog, a hanfodai yn y dyddiau hynny. Canys amryw a rodient trwy lewyrch yr ychydig oleuni ag oedd ganddynt, mor uniawn a digrwydr ar hyd y llwybr cyfyng, yr hwn a

Mewn oesoedd o derfysg, rhyfel, a difrodi, o'r fath a'r rhai yn awn ein sylw, nid tebygol y gallasai Llenoriaeth flodeuo yn rywiog iawn yn wir pan gofiom y modd y cafodd y mynachlogydd eu diffeithiaw y Saeson, y Llu du, a'r tywysogion Cymraeg eu hunain, y ma rhyfeddod fod un gradd neu weddill o lenoriaeth yn hanfodi heb ei ddiwreiddio. Y mae yn rhaid cyfaddef, nad oes dim rhifedi ma enwau dysgedigion ar glawr, na llawer o lenoriaeth o un gradd o odi rwydd, mewn cymhariaeth âg eiddo goleuach oesoedd; ond etto, y digon i brofi nad oedd dysgeidiaeth ddim gwedi ei hollol ddiffoddi, nod yn Nghymru: ac hefyd, beth sydd tra nodedig, er cyfyng therfynau, ac aflonyddded ei chyflwr, yr oedd llëenyddiaeth yn mwy noddfa a meithriniad o fewn i Gymru, i raddau, os nid helaethach; llawn mor helaeth ag yn Lloegr ei hun. Gall Cymru ddangos *Nen* ac *Asser Menevensis*, er profion o hanfodiad dysgeidiaeth; ac odd *Beda*, *Eddius*, ac *Alcwin*, pwy a ellir enwi yn mhlith y Saeso deilwng o sylw megys ysgrifenydd, hyd amser *Alfred*?—Ac er pra waeledd llëenyddawl y Saeson yn y 9fed ganrif, nid oes angen ychwaneg na thystiolaeth *Alfred* ei hun. "Ar fy esgyniad i'r ors medd y pennadur clodwiw hwn, "yr oedd pob gwybodaeth a dys iaeth gwedi diffoddi yn mhlith y Saeson, yn gymmaint ag nad oed ychydig iawn ar yr ochr ddeheuol i'r afon Hymyr, ag a ddeallent we cyffredinol yr Eglwys, neu a fedrent gyfieithu un ymadrodd Lla Saesonaeg; ond ar y tu deheu i'r afon Tafwys, nis gallaf gofi gymmaint ag un a allai wneuthur hynny." Felly, os nas geill y C ymffrostio am lawer o ddysgeidiaeth yn yr amser yma, y mae un p amlwg, sef nad oeddynt waeth eu cyflwr na'u cymmydogion.

gynnwysa ran o hanes cenedl y Brython, at ba un y cyfeiriwyd yn dra mynych yn y gwaith hwn; ac allan o ba un y rhoddwyd digon o anghreifftiau i anianawd y cyfansoddiad.

Y mae amryw ysgrifau o lyfr *Nennius* ar glawr; ond y mae dwy o honynt yn amrafaelu oddiwrth eu gilydd mewn trefn a geiriad, i raddau mawr, er eu bod yn cyttuno mewn sylwedd. Y rhai hyn ydynt yr ysgrif a gyhoeddwyd gan *Gale*, yn 1691; a honno gan *Gunn*, yn 1819. Ysgrif *Gale* a fynega, mai gwaith *Nennius* ei hun ydyw, ond y llall sydd ail ysgrifiad o'r gwaith, gan ryw un o'r enw *Marc*. Nid oes un anghraifft hen iawn o'r gyntaf; ac y mae cynnifer o amrywiadau yn y gwahanol ysgrifau, fel nas gellir yn wastad bwysaw gyda hyder ar gywirdeb pob ymadrodd; ond gan fod yr ysgrif a gyhoeddwyd gan *Gunn*, yn cael ei chyfrif o'r 10fed ganrif, y mae yn debygol ei bod yr un peth, neu heb fawr gyfnewidiad, fal y daeth oddiwrth yr ysgrifenydd.

Ysgrif *Gale*, yr awdwr a grybwylla am dano ei hun dan ei enw, '*Myfi* NENNIUS *dysgybl y Santaidd Elfod.*"—" *Ego Nennius Sancti Elbodi discipulus.*" A mynega iddo orphen y gwaith yn y flwyddyn o gnawdoliaeth ein Harglwyddd 858, ac y 24ain o deyrnasiad Merfyn, brenin y Brython, " *Octingentesimo quinquagesimo octavo anno Dominicæ incarnationis: vigesimo veró quarto* MERUINI *Regis Britonum.*"

Ysgrif *Gunn* a gynnwysa y canlynol, "*Incipit Istoria Brittonum edita ab Anachoreta Marco ejusdem gentis sancto Episcopo.*"—"*Yma dechreua Hanes y Brython adolygedig gan Marc y Meudwy, Escob Santaidd o'r genedl honno.*" Y mae yr ysgrifenydd yn amseri ei ysgrif ar gyflawniad y 5ed flwyddyn o deyrnasiad Edmund, brenin y Saeson, '—*et* [*peractus*] *Vus. annus eadmundi regis anglorum,*" yr hyn sydd yn atteb i 946; ac y mae yn rhoddi yr amseriad yma iddo, gan gyfrif oddiwrth y Croeshoeliad, "*a passione Christi peracti sunt anni,* DCCCC.XLVI." Ond gan ei fod yn dywedyd fod o'i gnawdoliaeth, 976 o flynyddau, y mae yn ddilys fod rhyw gamsyniad yma.*

Y mae un peth tra nodedig perthynol i'r ysgrifau hyn, o gyhoeddiad *Gale* a *Gunn;* sef eu bod yn traethu yr un hanes mewn geiriad gwahanol; ac y mae weithiau gymmaint o wahaniaeth yn y dull o ymadroddi, a phe baent ill dau gwedi eu cyfieithu allan o ryw iaith arall, heb fod un ysgrifenydd yn gweled gwaith y llall. Ac er anghraifft o'r gwahaniaeth hyn, rhoddaf yma rai pigion allan o'r ddau, yn nghyd âg ambell ymadrodd allan o'r Brut y Brenhinoedd, gan *Sieffre o Fynwy*, yr hyn a ddengys nai nid efe ei hun oedd ffurfiwr y cwbl a adroddir ganthaw; am ei gynnwysiad, gwel t. dal. 252.

* Y mae ysgrif arall o waith Nennius, yr hon a gyhoeddwyd gan *Bertram*, yn cynnwys amseriad o'r 30 flwyddyn o deyrnasiad *Eneraurth,* [*Anarawd*] brenin Gwynedd.

### Allan o ysgrif Nennius a argraffwyd gan *Gale*.

"Post hæc igitur Rex ad se invitavit omnes magnates suos, ut ab eis interrogaret, quit faceret. At illi dixerunt, in extremos fines Regni tui vade, ut arcem munitam construas, in qua te defendas: quia gens quam suscepisti invidet tibi, et fraude dolosa te occidet, et universas regiones quas amasti occupabit cum universa tua gente post mortem tuam.

Postea vero ipse Rex arcem cum Magis suis quæsiturus perrexit, et per multas Regiones multasque provincias peregraverunt, et minime quod quærebant reperientes, novissime ad illam Regionem quæ vocatur Guoienit pervenerunt. Er illo lustrante in montibus Heriri [id est Snaudun Anglicè] tandem in uno montium, locum in quo aptum erat arcem condere adeptus est. Er Magi ad illum dixerunt arcem in isto loco fac, quia tutissima à barbaris gentibus in æternum erit. Ipse vero artifices congregavit, i.e. lapidarios, et lapides et ligna congregaverunt: cum vero congregata esset omnis materia, in una nocte omnino ablata est, tribusque vicibus jussit congregari et nusquam comparuit.

Tunc magos suos ad se accersivit, istosque

### Allan o ysgrif Nennius yn y Vatican, yr hon a argraffwyd gan *Gunn*.

"Postea vero invitatis ad se. XII. magis, quid ageret ad eis percunctatus est; at illi dixerunt; ad extremas fines regni tui vade; et urbem ædifica munitam, ubi se defendere possis; quia gens quam suscepisti in regno tuo tibi insidiatur; et cogitat te dolo superare, universasque regiones quæ nunc tuæ subjacent dicioni iuvente te molitur devastare, magis cum mortuus fueris.

Placuitque regi magorum consilium; exivitque cum idem ipsis magis, multos regiones multasque circumiens provintias; si forte alicubi ad arcem ædificandam aptum locum inveniret; Illis vero longe lateque proficiscentibus, et minime locum congruum invenientibus, tandem pervenerunt ad quandam provintiam quæ Guenet vocatur; et cum lustrarent montana heremi, repperient in unius sumitate montis locum congruum ad arcem construendam; Dixeruntque magi ad regem; Urbem tibi hic ædifica; qui tutissima erit a barbaris in æternum. Rex autem congregavit artifices lignarios lapidariosque, et omnia necessaria ad operis materiam, ut arcem erigeret, congregata vero, innumerabili materiæ, omnia una nocte ablata atque dispersa sunt, itaut nihil remaneret sumptuum ad arcem componendam; sicque secundo et tertio collectis undique materiebus rursus omnia ad nihilum redacta evanuerunt, erectoque ædificio præcipitium patuit, ut nullum valebat obtenere statum.

### Allan o waith *Geoffrey o Fynwy*.

"Vocatis denique magis illos consuluit jussitque dicere quid faceret, qui dixerunt ut sibi fortissimam ædificaret turrim quæ sibi tutamen foret, cum cæteras amisisset munitiones.

Peragratis ergo quibuscunque locis ut eam in congruo statueret loco, venit tandem ad Erir montem, ubi coadunatis ex diversis patriis cementariis turrim jussit construere, convenientes itaque lapidarii eam fundare cæperunt; sed quicquid una die operabant absorbebat tellus in altera; ut nesciret quorsum opus suum evanesceret.

Cumque id Vortegirno nunciatum fuisset

Oddiwrth rai ymddangosiadau yn y gwaith hwn, tueddaf weithiau i feddwl fod y cysefin, neu rhyw ran o honaw, yn ysgrifenedig yn y Gymraeg, ac nad ydyw bob amser gwedi ei gyfieithu yn gywir. Yn mhlith fy nadleuon am hyn, rhoddwn ymadrodd yn hanes *Arthur*. Dywed *Nennius* ei fod yn un o'i frwydrau "*yn dwyn delw y Fair Forwyn ar ei ysgwyddau.*"

"——Portavit imaginem Crucis Christi, et Sanctæ Mariæ semper virginis super humeros suos."—Gale.

"——Portavit imaginem sanctæ mariæ dei genetricis semperque virginis super humeros suos."—Gunn.

Oddiwrth yr uchod, gellid meddwl ei fod ef yn dwyn delw ar ei ysgwyddau, naill ai yn gerfiedig mewn rhyw ddefnydd, neu ynte, ddarlun gwedi ei dynnu â lliwiau ar ei wisg allanawl, megys oedd arferol weithiau. Ond wrth sylwi ar yr ymadrodd, y mae yn ddilys mai "*ar ei darian, ar ei ysgwydd*, yr oedd y ddelw yn ddarluniedig; ac felly y dealla *Sieffre o Fynwy* ef,—

"——Humeris quoque suis clypeum vocabulo Priwen, in quo imago sanctæ mariæ Dei genetricis impicta, &c."

Yn awr, dychymmygaf y gallai y cysefin fod yn y Gymraeg, ac mai *ar ei ysgwyd*, oedd yr ymadrodd, sef, *ar ei darian;* ond gan fod *ysgwyd*, —*tarian*, yn dwyn cymmaint o debygolrwydd i *ysgwydd*,—*aelod o'r corff*, a'r hen lythyreniad mor gymmysgaidd, meddyliaf y gallasai y cyfieithydd gamsyniad ystyr y gair.

Un peth arall tra nodedig yn ysgrif *Gale*, ydyw, fod mewn un man, y gair Gwyddelaeg *Mac*, gwedi ei osod i arwyddocâu *mab*, yn y modd canlynol:—

"Theudubr filius Pascent Mac Apguocan, Mac Moriud, Mac Eldat, Mac Eldoe, Mac Paul, Mac Mepric, Mac Briecat, &c.——Mac Guitolin, Mac Apglovi, bonus Paulus Mauron."

Yn ysgrif Gunn, nid ydyw y gair *Mac* yn osodedig, ond yn ei le, y gair Lladin *Filius*, fal y canlyn:—

"Tudor filius pascent; Pascent filius guoidcant; Guoidcant filius moriud; Moriud filius eltat, &c.——Guitolion filius glouida; Glouida, filius paulmerion."

Y mae amheuaeth yn hanfodi, perthynol i'r achos o'r cymmysg Gwyddelaeg yma. A'r unig gynnyg a allaf ei wneud tuag at gyfrif am dano, ydyw, trwy ddychymmyg y gallai yr ysgrif gysefin, o'r un a argraffwyd gan Gale, gael ei hysgrifenu gan rhyw fyfyriwr Gwyddelaeg, ac iddo

ef wneuthur y cyfnewidiad, gan gymhwysaw y gair Cymraeg *mab*, at ei iaith enedigol. Ac yr ydym yn gweled fod cyfeillgarwch yn hanfodi yn yr oesoedd hyn, rhwng Eglwyswyr Cymru a'r Iwerddon: canys mynegir i *Sulien* fyned i'r wlad honno, a threulio llawer o amser yno. Ac yn y crybwylliad canlynol, canfyddir fod amryw ereill o'i flaen ef, gwedi cymmeryd yr un daith :—

"O. C. 883, y bu farw *Cadwithen* y gwrolaf a'r doethaf o'r Bryttaniaid a dirfawr golled i wlad Cymru; a'r un flwyddyn y bu farw *Cydifor* Abad Llanfeithin, gwr doeth a dysgedig oedd efe a mawr ei dduwioldeb. Efe a ddanfones chwech o wyr doethion ei gôr i ddodi addysg i Wyddelod y Werddon."

O ran teilyngdod gwaith *Nennius*, megys hanesiad, nid oes dim llawer i ddywedyd er canmoliaeth, megys y sylwyd eisioes, gan ei fod yn cynnwys meithder o bethau dibwys, ac yn ddiffygiol mewn pethau dymunol iddeu gwybod; ond mewn un peth y mae yn dra gwerthfawr, sef yw, yn y dystiolaeth a rodda nad ydynt y traddodiadau, perthynol i *Arthur*, ddim o wneuthuriad mor ddiweddar a'r 11eg ganrif. Y mae gwaith Nennius, weithiau, yn myned dan enw *Gildas*.

### ASSER MENEVENSIS.

Y Cymro dysgedig hwn a gafodd ei gyfenw oddiwrth *Menevia*, [*Mynyw*] sef *Ty Ddewi*, yn mha Gôr yr oedd efe yn fonach; ac yr oedd yn berthynas i *Novis*, yr archesgob. Cafodd ei wahodd gan y brenin *Alfred*, i ddyfod atto yn athraw iddo; ac a gafodd ei wneuthur yn esgob *Shirburne*, [gwel t. dal. 400.] Bu yn gynnorthwyawl iawn i'r brenin hwnnw, yn ei fyfyriadau llëenyddol. Traetha i ni y modd y llwyddodd i ddysgu y brenin i ddarllain a chyfieithu Lladin, yr hyn a ddechreuodd efe yn y flwyddyn 887, sef trwy ffurfio iddo lyfryn bychan, ac ysgrifenu ynddo ymadrodd Lladin, yr hwn a ddenasai sylw y brenin; ac ar ol i'r brenin allu ei ddarllain a'i gyfieithu, aeth rhagddo i ysgrifenu iddo ymadroddion ereill yn yr un modd.

Bu Asser yn gynghorwr gwerthfawr i'r brenin, ac yn gynnorthwy mawr iddo mewn amryw bethau. Dywedir gan rai, mai Alfred a sylfaenodd Brifathrofa Rhydychen, a hynny trwy gydweithiad *Asser;* ond ereill a amheuant gywirdeb yr honniad yma. Mynegir hefyd am ddiwygiad cyfreithiau gan Alfred, ac am yr un cydweithiad. Eithr nid oes digon brofion am un o'r ddau orchwyl, i wneuthur haeriad o'u plegid. O oddiwrth y cyfeillgarwch a fu rhwng *Asser* a'r brenin, a'r parch a fwyn hâai, y mae yn ddilys na chyflawnwyd un gorchwyl llëenyddol, o bwys heb ei gyngor a'i gynnorthwy ef. Bu Asser farw o gylch 909.

Oddiwrth yr enw *Asser*, yn y cofrestr, y mae rhai yn barnu fod y gŵr hwn yn archesgob Ty Ddewi; ond y mae yn debygol mai cyfeiliorni yn yr ysgrif ydyw, neu ynte, fod rhyw un arall o'r un enw yn y sefyllfa hwnnw.

Dychymmyga rhai hefyd, mai yr un oedd Asser Menevensis, a *Gereint Fardd Glâs*, a hyn oddiwrth gyffelybrwydd yr enwau yn eu hystyr, sef *Asser*, yr hyn a arwyddoca *glâs*, [*azure*] eithr nid oes prawf fod yma ddim yn ychwaneg na chyd-darawiad damweiniol yn unig.

Y mae amryw o weithredoedd yn myned dan enw *Asser;* ond y mae amheuaeth, perthynol i rai o honynt. Yn mhlith y rhai diamheuawl, y mae *Bywyd Alfred*, allan o ba un y rhoddwyd rai pigion yn yr hanes yma.

## IOHANNES SULGENUS.

*Iohannes Sulgenus*, oedd fab i *Sulien*, neu, yn ol ei ddull Lladinaidd, *Sulgenus*, archesgob Ty Ddewi, yr hwn a fu farw yn 1070. Nid oes ond ychydig ar glawr, pethynol i *Iohannes Sulgenus;* ond oddiwrth yr ychydig hynny, canfyddwn fod dysgeidiaeth yn hanfodi yn Nghymru, i raddau anrhydeddus. Y gweddillion o eiddo y gwr hwn, ydynt o gylch cant a hanner o linellau, o brydyddiaeth Lladin, y rhai a gyfansoddodd efe er canmoliaeth iddei dad, ac a'u hysgrifenodd yn niwedd gwaith Augustinus, yr hwn yr oedd efe gwedi ei ailysgrifenu i'w dad. Y llinellau hyn, os nad ydynt yn hollol ddiwall, fel cyfansoddiad prydyddol, ydynt ar y lleiaf, mor ddifai, a bod yn dystiolaeth foddhaol fod gwybodaeth o'r Lladin yn hanfodi i raddau nid bychain.* Dechreuant gyda'r geiriau canlynol, yn annerchiad duwiol i'r Goruchaf:—

"Arbiter altithrone, nutu qui cuncta gubernas."

Yr hyn sydd yn ol y cynllun, a ganlynir yn fynych gan y beirdd Cymraeg yn nechreu eu hodlau. Ond nid wyf yn haeru fod un berthynas rhwng yr amgylchiadau, ychwaneg nag un ddamweiniawl yn unig.

Dywed mai ei enw yw *Ioan*, ac mai ei wlad yw *Ceredigiawn* :—

"Quod nihi Ceretica tellus sit patria certe."

A'i fod "yn hannu o genedl glodfawr y Brython, yr hon gynt a wrthladdodd yn wrol fyddinoedd y Rhufeiniaid, pan ddarfu i Iulius Cæsar droi ei gefn yn ffoedig" :—

* Cyhoeddwyd y cyfansoddiad hwn mewn llyfryn bychan, gan y diweddar ddysgedig *Esgob Burgess*, i ba un yr wyf dan ddyled am adnabyddiad o'r gwaith, yn gystal ag am hyfforddiad at hanes yr ysgrifenydd.

"Atqui famosa natus sum gente Britonum
Romanæ quondam classi cum viribus obstat
Iulus cum Cæsar refugus post terga recessit."

Mynega fod ei dad *Sulgenus*, yn deilliaw oddiwrth rieni pendefigawl a doethion:—

"Ortus hinc Sulgenus adest, jam germine claro
Nobilium semper sapientum jure parentum," &c.

Ac hefyd fod gan ei dad bedwar o feibion, y rhai a ddygodd efe i fynu mewn dysgeidiaeth offeiriadawl; eu henwau oedd *Rhyddmarch Ddoeth*, *Arthyen*, *Daniel*, ac *Ioan*, y prydydd ei hun.

"Quatuor ac proprio nutrivit sanguine natos,
Quos simul edocuit dulci libaminis amne.
Ingenio claros: (jam sunt hæc nomina quæque;
Rycymarch sapiens, Arthgen, Daniel, que Iohannes.")

Am yr archesgob *Sulien*, tad ysgrifenydd y llinellau hyn, mynegir yn y Brut fal y canlyn:—

"1070—y bu farw *Bleuddyd* Escob Dewi, ac ydd aeth *Sulien* yn Escob yn ei le ef, a hwnnw a elwid *Sulien Ddoeth*, ac yr oedd ef yn wr duwiawl a golychwydawl, [*ymroddedig* i *addoliad*——*golwch*, *addoliad*."]

"1088—bu farw *Sulien* Escob Dewi, y doethaf a chlodforusaf o'r holl Escyb yng Nghymru, goreu ei gynghor, a'i addysg, a'i grefydd, ac amddiffynwr pob heddwch ac iawnder."

Ymddengys i *Sulien* roddi i fynu ei swydd esgobawl, dair gwaith, a chael ei ad-ethol; ac am un o'r etholiadau hynny, mynegir yn y modd canlynol:—

"1079—y bu farw Abram Escob Dewi, a gyrru yr Escobaeth yr ail waith ar *Sulien Ddoeth*, canys nid oedd a wyddai gyngor i wlad a chenedl aflonydd gystal ag efe.

Ar ol marwolaeth *Sulien*, daeth ei fab hynaf, *Rhyddmarch*, yn ei le am yr hwn y crybwyllir fal y canlyn, o gylch y flwyddyn 1099:—

"——bu farw Rythmarch doeth uab Sylyen escob y doethaf o doethion y Brytanyeit dryded vlwydyn a deigein oe oes y gwr ny chyfodod yn yr oessoed cael y gyffelyb kyn noc ef, ac nyt hawd credu na thebygu cael y cyfryw gwedy ef, ac ni chawssei dysc gan arall eiryoet eithyr gan y dat e hun gwedy addasaf enryded y genedyl e hun a gwedy klotuoussaf ac atnewydussaf ganmawl y gyfnessavyon genedloed nyt amgen Saeson a Ffreinc a chenedloed ereill or tu draw y uor, a hynny drwy gyffredin gwynuan pawb yn doluryaw eu calonneu y bu uarw."

Hefyd mewn ysgrif arall, dywedir am dano:—

"——(Mab oedd ef i Sulien ddoeth Escob yr un Eglwys, a doethaf o genedl y Cymry heb iddaw nac ail nac eilydd namyn ei Dâd am ddysg a doethineb a dwyfoldeb, a gwedi Rhyddmarch darfu addysg i disgyblion ym Mynyw."

*Daniel*, brawd arall i *Ioan*, ceir y cofiant canlynol .—

niwed y vlwydyn honno [o gylch 1124] y bu uarw Daniel uab Iulyen* escob y gwr a oed gymodrerwr y rwg Gwyned a Phowys yn y terfysc a oed rygtunt. ed neb a allei gael bei nac aglot arnaw, kanys tangnefedus oed a charedic gan bawp, iagon Powys oed."

nae yn amlwg fod ysgrifenydd yr ymadrodd yma yn barnu mai *Iulianus*, oedd y *Sulgen*. Ac nis gwn pa fodd iddei wrthladd, gan fod yr *I*, yn y canol-oesoedd, yn seinio yn *J*, gan y Ffrancod; ac mewn amryw anghreifftiau yr oedd y Cymru yn hyn mor agos ag y caniatäai anainawd eu hiaith, ac yn rhoddi i'r *J*, sain yr *S*. ır yn dra aml, fod yr *G*, yn dwyn sain yr *I*, neu *Y*, megys *Urbgen*, *Urien*— n, *Cyndeyrn*, *&c.*

law yr uchod, y mae amryw gyfeiriadau at ddysgedigion ereill; n nad oes dim o'u hysgrifeniadau ar glawr, anfuddiol fyddai oedi sylwi arnynt. Y canlynol a wasanaetha allan o'r Brut :—

5—bu farw Morgynnydd Escob Dewi a Bledri Escob Teilaw Ysgolhaig pennaf Cymru, achaws hynny y gelwid ef Bledri ddoeth, a chystal y carai wybodau fal y yr offeiriaid gynnal addysg llyfrau Llên bob un yn ei Eglwys, mal y gwypai bawb ıt parth Duw a dynion."

yma, yr wyf gwedi bod yn sylwi ar yr hyn a ddeallir yn gyffredinol yn ffurfio *dysgeidiaeth llênyddawl*, yr hyn o angenrhaid a gynwybodaeth o'r iaith Lladin. Ond y mae profion nad oedd ldion Cymru yn hyn o dalm, ddim fel ei cydoesolion mewn amryw lydd ereill, yn cyfyngu eu llafur i'r iaith Lladin, ond yr oeddynt yn coleddu eu hiaith enedigol, sef y Gymraeg. Y mae yn wir, nad gyfansoddiadau yr amser yma ddim yn aml; ond y mae gennym ghraifft ardderchog o arferiad y Gymraeg, sef *Cyfreithiau Hywel* r rhai a ffurfiwyd yn y 10fed ganrif, am ba rai y crybwyllwyd eisioes, 407; eithr pa ran o'r ddeddfres a gyfansoddwyd gan y tywysawg ei ıeu pa ran sydd o eiddo neb un o'i gynghorwyr, annichonadwy tyb. Ond oddiwrth y gwaith nodedig hwnnw, gwelwn fod cyfand rhyddiaith Gymraeg, yn cael ei choleddu i raddau helaeth.

ıae yn amlwg fod dysgedigion Cymru, yn y talm yma, yn arferu h Gymraeg, yn gyffredin yn nhraethiad y cyfreithiau. Gwelir ıifft o hyn yn y darnau a geir yn *Llyfr St. Chad*, perthynol i ddefLlandaf, y rhai ydynt yn gymmysgedig â Lladin yn y fath fodd, a ɔs fod y ddwy iaith yn goleddedig. Y canlynol a roddir gan D :—

tendit ista scriptio quod, dederit ris—et luith grethi treb guidauc—h. est census ıceint torth hamaharuin in irham hadonceint torth in irgaem ha huch ha douceint en do et sco eliudo ds t. saturnguid t. nobis t. gnurci t. cutulf t. de laicis cinguern , &c. quicunq custodierit maladicta erit a do."

**Dengys yr ysgrif hon, yr hyn a roddodd Rhys a llwyth Grethi Tref Gwyddaw sydd dau cant torth a maharen yn yr haf, a dau cant torth yn y gauaf a hwch dau cant manawdden [*llestraid ymenyn*] i Dduw a Sant Teiliaw, Duw sydd dyst wydd sydd tyst, Nywys, tyst, Gwrgi t. Gwyddwlf t. O blith y lleigion, Cynw Pwy bynnag a gadwo yn ol y pethau hyn bydd felldigedig gan Dduw.**

Y mae llyfr St. Chad yn Eglwys Gadeiriol Lichfield. Yr yma uchod, ydynt ysgrifenedig ar ymylau y dail; yn ol cyfrif Llwyd, enwyd hwy tua dechreu y 10fed ganrif. Y llyfr ei hun a ysgrife y 7fed ganrif; cynnwysa waith y pedwar Efangylwr yn Lla unwaith yn meddiant Eglwys Llandaf, a rhoddwyd am dano un goreu, gan y gwr, yr hwn a anrhegodd yr Eglwys honno âg ef.

## BEIRDD.

Y mae un peth tra nodedig yn nglŷn â'r talm yma, sef yw, yr o Feirdd, ac o weithredoedd prydyddiaethol, yn nghyd a gwa ychydig a geir, o ran doniau awenyddawl. Yn ystod yn agos cant o flynyddau, sef o'r flwyddyn 700, hyd at 1100, nid oes f bedwar a ellir eu cofrestru; na dim cynnifer a'u gwaith a Heblaw *Tisilio*, yr hwn a enwyd eisioes, ac a berthyn yn hytrac ganrif, yr unig rai a ddeuant dan fy sylw, ydynt *Cyhelyn* a Crybwyllir hefyd am *Geraint Fardd Glas*, yn y 10fed ganrif, hefyd a elwid *Bardd Glas y Gadair*, ac a a honnir iddo gy Egwyddoreg Gymraeg. Dychymmyga rhai, mai yr un oedd a *Menevensis*. Nis gwn fod dim o waith Geraint ar glawr; ond y Myv. Arch. amryw gyfansoddiadau diarhebawl dan enw y *Glas y Gadair*, gall rhai o honynt o ran sylwedd, fod yn hen, oes dim yn eu plith a haedda yr enw o farddoniaeth, oddieithr u soddiad, yr hwn sydd fwy tebyg i waith *Dafydd ap Gwilym*, na gŵr myfyriawl a phruddwedd.

### CYHELYN.

Y mae un awdl yn y Myv. Arch. yn gyfeiriedig i *Gyhelyn;* on dau o'r enw, sef *Cyhelyn ap Caw*, yn y 6fed ganrif, a *Chyl Gwynfardd Dyfed*, yn yr 8fed. Ac y mae yr awdl yn cael ei bob un o'r ddau. Yn y Myv. Arch. rhoddir hi i'r olaf, ond Owen yn y Cambr. Biog. a'i rhydd i'r cyntaf. Y mae *Davies* yn mai *Cyhelyn ap Caw*, yw yr awdwr, a bod y cyfansoddiad yn c *Frâd y Cyllyll Hirion*, gwel t. dal. 242. Ond oddieithr enw *I*

wdaf fawr ynddo i gyfeirio y meddwl ar yr achlysur hwnnw.* Rhoddaf yr eaw yma yn ol yr amseriad a geir iddaw yn y Myv. Arch. am na ddymunwn ymddangos fel ped yn ceisio cynnal gwrthwynebiad rhagfarnus i awenyddiaeth y talm dan sylw; ond pe gorfydddid arnaf roddi fy marn ar wir amseriad cyfansoddiad *Cyhelyn*, byddai yn rhaid i mi ddywedyd, ei fod yn amlygu i mi yn rhy dda i'r 9fed ganrif.

## LLEFOED.

*Llefoed Wyneb Glawr*, a osodir yn nechreu y 10fed ganrif, sef o 900 i 940. Ac oddiwrth anianawd yr unig gyfansoddiad dan ei enw, nid oes achaws amheu cywirdeb hyn. Cynnwysa o gylch 120 o linellau, y rhai nid ydynt ddim amgen nag ymadroddion diarhebawl mewn dull prydyddiaethawl; ond y mae amryw o honynt gwedi eu cymhwysaw felly mewn modd celfydd. Nid ydwyf yn deall y cyfan o'r gwaith, ac felly ni chymmeraf arnaf ei eglurhau. Dechreua yn y modd canlynol:—

*Gossymdeith Llefoet Weneb Glawr.*

"Golut byt eyt dydau[1]
Ket ymgymysur[2] o honau
Dyohysglyd anghen dychyfyau[3]
Dybyd hinon gwedy glau."[4]

[1] cyd dyddaw; ysgrif arall.
[2] gemyner—y. a.
[3] rhaid i'r cysgwr ddihuno.
[4] Bydd hindda ar ol gwlaw.

Canfyddir fod y dull gwallus o ysgrifenu, yn peru i'r llinellau dechreuol fod yn amheüus eu hystyr; ac y mae rhan fawr o'r gwaith yn yr un cyflwr. Y ddwy linell ganlynol ydynt fwy dealladwy:—

"Pob llyvur llemityor arnau[1]
Pob ffer dyatter heibyaw."[2]

[1] pob llwfr [digalon] a sathrir arnaw.
[2] pob dewr a adewir i fyned heibio.

Aflesawl fydd rhoddi mwy o'r cyfansoddiad yma, hyd nod pe buasai lai dyrus, gan nad oes dim ynddo, ar a ganfyddaf, yn eglurhau hanesyddiaeth.

## CYFOESI MYRDDIN.

Ond os difeddiennir y talm yma o awen Cyhelyn, y mae yn addas rhoddi iddaw gyfansoddiad arall, yr hwn yn ol ei enw, a osodir mewn cynnarach amser, sef yr un a elwir *Cyfoesi Myrddin a Gwenddydd ei chwaer*,

* Yn yr enghraifft a roddes t. dal. 448, rhoddes *blyghawd*, yn lle *byghawd*, gan ganlyn darlleniad Davies; as meddyliaf ei fod yn fwy cyson â'r gyghanedd.

Y mae yn amlwg oddiwrth enwau y tywysogion, y rhai a geir yn( yn llawer diweddarach nag oes Myrddin; a thybir ei fod o eid( y 10fed ganrif. Ei gynnwysiad yw ymddyddan rhwng Myrddin a yn mha un y mae efe yn rhagddangos iddi y tywysogion, y rha asent. Y mae y rhestr yn dechreu gyda *Rhydderch Hael* amryw o'r rhai a adnabyddir mewn hanesyddiaeth, megys *Iag( Merfyn Frych*, *Rhodri Mawr*, ac *Anarawd*. Ac amryw ere nis gwn mo'u helynt; yn mhlith pa rai, y mae *Mab Henri*, a enw nid oes gennyf ddychymmyg, oddieithr mai *Hennyrth* y fel yr ysgrifenir ef weithiau, *Hennydd*. Ond nid oes dim iddei hono, oellir bwyso arno megys hanesyddiaeth; canys y mae yn a amryw yn cael eu rhoddi fel tywysogion, y rhai nid oeddynt a phendefigion ardalawl; er anghraifft, rhwng teyrnasiad tywysogi *Brehyryeit* a *Brehyr*, rhoddir *Cynan y Cwn*, megys yn teyr Gymru:—

"Kynan y Cwn Kymry beievyd."[1]

[1] bieufydd, a fe

Yn awr nid oes mewn hanesiad, un crybwylliad am y gwr hwn, mai un o feibion *Hywel Dda* ydoedd, a bod ganddo ryw reolaetl Fôn; yr hyn a ddengys fod rhyw bendefigion neilltuedig y: cyfrif yn mhlith y tywysogion taleithiol, heb wneud gwahaniaet ddynt. Y mae yn rhaid i mi gyfaddef fod y cyfansoddiad cadarnhau yr haeriad o ddyfodiad *Merfyn Frych*, o ynys *Mana* na chyfrifir yr haeriad hwn yn mhlith y tystiolaethau amheûı y cyfeiriais attynt, diau y dylid ei dderbyn, megys yn gwrthl honniadau ar y testun hwnnw. Ac er anghraifft o'r unig gyfı barddonawl o fewn i'r oes honno, rhoddaf rannau o'r gwaith; ) pa rai y gwelir yr haeriad crybwylledig.

## *Kyvoesi Myrdin a Gwendyd y chuaer.*

1

MERDDIN.

"Deuthum i attat y adraut[1] 1
Yngnadaeth[2] y gogled y gennyf 2
Syn pob tyt traethuyt urthyf
Yr gweith Arderyd ac Erydon*

*"Sef pob mymryn a draethwyt i mi yn mrwydr Arderydd." Dywedi weled rhyw ddrychiolaeth echryslawn yn yr awyr, pan yn ymladd yn mrwydr ysgatfydd mai at yr amgylchiad, y cyfeiria yn y geiriau hyn.

2

GWENDDYDD.

Guendyd er meint a dybyd arnaf
Eneichyad kyvod kud af
Cyfarchaf im llallogan[3]
Merddin y chwedlau dysgogan
Ple edewaist dyfynan
Dymgoeu gorober
Dydd llawenydd yn ehangder

} meddyliaf fod y ddwy linell yma yn perthyn i'r bann [rhagflaenol.
[3] gefell.

3

Kyvarchav ym llallogan Vyrdin
Gur doeth darogenyd
Kan hepkoryd o honau
Pan y bun ganthau

4

MERDDIN.

Y gerd gadavael avi Hoel
Kymyr yu bi Kyvarch awel ruyd
Ryderch hael yn aruyd."

etto,—

" Kyvarchaf o echlyssur byt[1]
Am dauet ychwaryan[2]
Puy wledych uedy Kynnan

[1] bydan—y. a.
[2] am dywaid y chwarian.

MERDDIN.

O leas Guendoleu ygguaetffreu Arderydd
Digoni o vrau
Mervin vrych o dir Manau."

mhlith y tywysogion anadnabyddus, yn yr hanesion yn awr ger cyffredin, y mae yn crybwyll am un o'r enw *Gwyngwarther*.

GWENDDYDD.

" Kyvarchaf ym clotleu llallauc
Annuynauc yghadeu
Neu guedy Gruffud pieu

MERDDIN.

Dyuedυyf nit odryker
Ormeis Prydein pryderer
Guedy Gruffud Guyn Guarther."

od hanes hwn gwedi myned ar goll, ymddengys fod ei enw yn lig yn y canol-oesoedd, megys gwron tra chlodfawr; canys *elw*, bardd o'r 12fed ganrif, yn ei arwyrain i Rys ap Gruffydd, a id,—

" Teyrnet osgryn[1] mal gwynn gwarther
Teyrneit gwreit gwr yn ygder."[2]

[1] teyrnedd ddychrynwr.
[2] brenhinaidd a gwrol ddyn [mewn cyf-yngder.

Ac y mae *Gruffydd ap Meredydd*, yn y ganrif nesaf, wrth g
gwrolder pendefig, yn ei alw yn "*Ail Gwynn Gwarther*."

Yn y cyfansoddiad yma, sef *Cyfoesi Myrddin*, y ceir yr ymadro nodedig hwnnw, yr hwn a gyfeiriais atto eisioes, yn mha un y mae My yn datgan ei gasineb tuag at y mynychod, mewn geiriau mwy te eiddo y 19eg na'r 10fed ganrif. Y mae ei chwaer yn ei gyng gymmeryd y Cymmun cyn angau; ac yntau a'i hattebai,—

"Ny chymmeraf gymun
Gan ysgymun veneich
Ac eu twygeu[1] ar eu clun
Am cymuno Duw e hun."

[1] togæ, gwisgoedd

Dangosais eisioes fy syndod perthynol i'r ymadrodd yma, [gwel 208;] ac nis gallaf lai na dywedyd ei fod yn ychwanegu wrth sylw geiriau. O ran casineb at y mynachod, gallasai hynny hanfodi yn l heb un argyhoeddiad o gyfeiliorni eu daliadau, megys y gwyddon amryw o'r tywysogion yn diffeithio y mynachlogydd, heb y gwrth lleiaf i'r crefydd cynhaledig ynddynt, eithr o achos cynhyrfiadau gwl iaethawl. Ond pan clywaf un yn y modd dwys a myfyrdodawl yn gwrthod gweinidogaeth y mynachod, ac yn son am ddirgel gymm gan Dduw ei hun, nis gwn beth i feddwl am dano. Y mae yr yma yn deilwng o lewyrchiad goleuaf y diwygiad; ond y mae hendra yr *Y Llyfr Coch o Hergest*, yn gwahardd ei gyfeiriad at unrhy ddiweddar.

Gan ys pwy oedd awdwr y pennillion hyn, y mae yn amlwg fod Myrddin yn adnabyddus iddo; canys enwa brwydr *Arderydd*. ymddengys fod Myrddin ar y pryd hyn, yn cael ei gyfrif yn ddewi mae tystiolaeth foddhaol am hendra yr ysgrifau, yn mha rai yr h y gwaith, megys y *Cwtta Cyfarwydd*, a'r Llyfr Coch. Ac y m debygol mai at y pennillion hyn, y cyfeiria *Rhissedyn*, tua diwedd ganrif,—

"Caf am urddawl rwyso cofeu Myrddin."

Oddieithr y rhagflaenol, nis gwn am un rhyw anghraifft o brydyd ag a allwn, gydag un math o hyder, gyfeirio at y talm hwn. oddiwrth y rhai hyn gellir penderfynu nad oedd yr awen yn llewyrchu gyda llawer o danbeidrwydd yn yr amser yma oedd y beirdd ond anaml, a'u doniau ond gwael. Oesoedd o dyw oedd y rhai hyn, ac o lesgedd cynheddfawl, a chwsg. Etto, y m amlwg fod beirdd yn hanfodi, ac yn coleddu prydyddiaeth i ryw ra canys yn nghyfreithiau Hywel Dda, crybwyllir am y *Bardd Teu*

'd *Cadeiriawc*, a'r *Beirdd ereill.* Y Bardd Teulu oedd yn dal lle
ieddus yn mhlith swyddwyr y llys, yn eistedd yn nesaf i'r penteulu
ŋwyliau arbennig, "wrth roddi ei delyn yn ei law." Yr oedd yn
lus ar y beirdd hyn ganu cerddi yn y llys, pob un yn ol ei drefniad
, yr hyn a ddengys fod y swydd farddonawl mewn anrhydedd yn yr
hwnnw. Pa fodd na chawn ragor o'i heffeithiau, ni fedraf ddy-
; ysgatfydd fod rhai o'r cyfansoddiadau dienw, yn y Myv. Arch.
thyn i'r talm yma.

CYFLWR GWAREIDDIOL Y WLAD.

n coleddiad celfyddydau, ac helaethiad gwybodaeth yn yr amser-
ıyn, nid oedd y cyfan o Ewropa ond mewn cyflwr gwael a diryw-
Am gyflwr Lloegr mewn dysgeidiaeth, y mae tystiolaeth y brenin
yr hwn a gyfeiriwyd atto eisioes, yn ddigon i brofi ei waelder. Ac
perthynas i gelfyddydau, y mae tystiolaeth arall o'r un cwrr, fod y
yn llawn mor wael mewn pethau celfyddydawl; canys y mae
Menevensis, yn hanes bywyd Alfred, yn dywedyd fod y brenin
', er rhannu yr amser yn y gwasanaeth Eglwysig, a nodi ei gerdded-
'edi peri gwneuthur canhwyllau cwyr o'r fath ag y parhâai bob un
nt i losgi dros bedair awr. Ond cafwyd nad oedd yr amser yn cael
yn gywir, o achos fod llosgiad y canhwyllau mor annghyfartal.
yr oedd y gwynt yn chwythu cymmaint trwy ddrysau a ffenestri yr
i, ac hefyd trwy y muriau a'r estyll, yn gystal a thrwy amrywiol
yn y parwydydd a'r llenau, a bod y canhwyllau yn treulio yn fwy
ag y dylent. Ac felly, y brenin a ddyfeisiodd wneuthur llugorn o
chyrn ychain, gan ddewis y cyrn gwynion a'u crafu yn deneu, y rhai
nt oleu nid llai dysglaer na llestr gwydr, ["non minus vitreo vasculo
."] a chan ddodi y ganwyll yn y llugorn hyn, hi a losgai yn ddian-
l, heb ei chyffroi gan y gwynt. A'r dyfeisiad hyn a roddir gan yr
ld gyda manylrwydd mawr, megys rhyw beth gorchestol tra
ffredin. Y mae yn eglur ynte, fod y Saeson ar y pryd hyn, mewn
isel iawn o ran gwareidd-dra a choleddiad celfyddydau, pan oedd y
ei hun yn gorfod cymmeryd at wneuthur *lantern*, o gorn eidion a
i ddiogelu canwyll rhag y gwynt; ac hefyd y mae yn ddilys fod
, megys haiarn neu efydd, yn brin iawn, a'u gweithwyr yn anaml;
yr unig ddefnyddion ag oedd gan y brenin i ffurfio daliad y cyrn,
t o goed Nis gwn ddim pa wahaniaeth oedd rhwng cyflwr celf-
wl y Cymry a'r Saeson y pryd hyn; ond un peth sydd eglur, sef

na allasent hwy ddim fod llawer mwy anwaraidd yn y pethau ; o ran dysgeidiaeth llêenyddol, gwelsom eisioes eu bod yn rhagor arnynt.

Mewn perthynas i adeiladau anneddawl ac Eglwysig, yr oedd E gyffredinol, mewn cyflwr isel iawn ; ac nis gellir dysgwyl rhago Nghymru. Deallwn fod yr Eglwysi trwy yr ynys hon, yn gyffre ffurfiedig â pharwydydd coed, neu ynte furiau tra gwael eu gwne a'r tai annedd, nid oeddynt mwy godidog, hyd nod y llysoedd b Ni wyddys pa fath adeiladau oedd eu cestyll, am nad oes o h hanfodi, ond diau na ddangosent fawr o gelfydd-dra. Ni a wy y Cymry yn cadw meddiant ar rai o'r hen gaerau Rhufeini *Caerlleon ar Wysc*, a dilys yn gwneuthur defnydd o'r c anneddau ac amddiffynfeydd mewn amryw ardaloedd ; ond am Cymry, yn ystod y talm yma, meddyliaf mai y rhai hynny o sawl a welir etto ar bennau y bryniau, yn aml yn y wlad, yn ff gloddiau dwfn a muriau pridd, y rhai a arferwyd gan eu hen d erbyn y Rhufeiniaid, a diau yn hir cyn dyfodiad yr estronia mewn rhyfeloedd cartrefol.

## DYFODIAD Y NORMANIAID.

B. A. 1066.

reuad y genedl Normanaidd oedd hyn. O gylch y flwyddyn 900, ynges gref a byddin o'r *Llu du*, neu y *Daniaid*, dan dywysiad o'r enw *Rollo*, ac a wnaethant ymosodiadau ar wlad Ffrainc, aeth a elwid y pryd hynny, *Neustria*,* ac a oresgynasant yr ardal ac a gyfnewidiasant ei henw i *Normandi;* gan gyfeirio at eu 'sefin eu hunain, *Northman*. Y bobl hyn pan ddaethant i'r wlad nt yn Baganiaid, a'u hiaith oedd y Lychlynaeg. Ond yn mhen flynyddau, effeithiwyd eu trôedigaeth i Gristionogaeth, a chyfsant eu hiaith gysefin am y Ffrangaeg, yr hon oedd fath o Ladin g. Ac y mae hyn yn dangos mai hen drigolion y wlad oeddynt y ? o lawer, er eu bod fel y Saeson a'r Gwyddelod gwedi cael eu n gan y dyeithriaid yma. Y Llychlynwyr hyn, trwy effeithiau ıogaeth, a'u hymgymmysg â hen drigolion Ffrainc, a ddaethant ı bobl gwaraidd a choleddedig, yn lle bod fel yr oeddynt yn eu :ysefin, yn fwystfilod ffer a rheibus. Ond y mae yn ddilys fod y o waedoliaeth gwareiddig Ffrancaidd yn y wlad, yn rhagori yn vr ar eiddo Llychlyn, yr hyn a hyfforddiai ddiwygiad cynneddfol mewn modd nas gallasid ei effeithio trwy eu hegnioedd cynhenid ıor fyred amser.

ıandy a alwyd yn *Ddugaeth*, a'i phennaduriaid yn *Dduciaid;* y ı a ddeilliasant oddiwrth *Rollo*, trwy hanniad gyfreithlawn, hyd at y *Ddug*, *William*, neu *Gwilym y Goresgynydd*, mab o ordderch *Robert*, o ferch i grwynwr, mewn tref fechan o'r wlad honno.

s ymosodiad y Normaniaid ar Loegr, oedd hyn; *Harold*, brenin cyn dyfod i'r orsedd, naill ai trwy ei gymmeryd yn garcharor ar y u trwy ryw ddichwain arall, a syrthiodd i ddwylaw *Gwilym*, Dug ıdy, ac er cyfnewid am ei rydd-did, efe a wnaeth addewid, y byddai : ol marwolaeth y brenin *Edward*, yr hwn oedd yn hen ac yn ymdrechu hyd eithaf ei allu i osod *Gwilym* ar orsedd Lloegr. ɜwid hon efe a gadarnhaodd trwy lŵ, gan osod ei law ar y llyfr, oedd o'i flaen; ac ar ol gorphen ei lŵ, Gwilym, er dangos iddo rogrwydd ei weithred, ac ychwanegu at gadernid ei ymrwymiad,

rir mai llygriad yw y gair *Neustria*, o'r enw *Westria*, neu *Westenrich*, sef *y parth* *l*, yr hwn a roddwyd i'r ardal yma gan y Ffrancod, y rhai, ar eu dyfodiad i dir Gâl, nt iaith Gothaidd. Yn amser y Rhufeiniaid, galwyd y dalaeth hon, *Lugdunensis*

a orchymmynodd symmud ymaith y llen ag oedd dan y llyfr, ac dynocthwyd dirfawr gasgliad o greiriau, sef esgyrn y saint: dyw Harold ddychrynu, pan welodd y pentyriad hyn, ar ba rai y tyngod ddiarwybod fod y fath dan ei law.

Ond pa un ai ar lawer, neu ar ychydig o bethau cysegredig y ty gwelsom oddiwrth ei ymddygiad ysgeler a diegwyddor, nad oedd Ha ddim yn ddyn tebygol i barchu ei lŵ; ac felly, pan bu farw Edward yntau ei hun yn cael ei alw i'r orsedd, ni ofalodd am ei addewid i Wi a'r ammod a wnaethai trwy y llŵ mwyaf cadarn a phwysfawr ag a al dyngu; ond cymmerodd arnaw y lywodraeth yn ddiattreg. Yna Gwi pan glywodd am hyn, a sorrodd yn fawr, ac yn uniongyrchol a wn ddarpariadau i ymosod ar deyrnas ·Lloegr, i ennill yr hyn a haerai yn eiddo iddo trwy ammod. Ac felly, efe a crynhodd yn ng fyddin, o gylch triugain mil o wŷr yn ffurfiedig o *Normani Llydawiaid*, *Ffrancod*, *Fflandrwys*, *Piedmontwys*, a dynion o ardal cymmydogaethawl, y rhai a glywent yn eu meddwl i fyned i l eu tynged ar yr achlysur hwn. A chyda y fyddin yma hwyliodd Gw tua Lloegr, ac ar yr 28ain o Fedi, 1066, tiriodd yn ddiwrthladdiad *Pevensey*, gerllaw *Hastings*, yn *Sussex*. Y brenin Harold, pan w hyn, a gynnullodd y byddinoedd Saesonig, ac a aeth tua gwersy Normaniaid, yr hwn oedd yn agos i *Hastings*, lle, ar y 14eg o Hy y bu brwydr galed a gwaedlyd, yn mha un y gorthrechwyd y Sae a'u brenin *Harold* a laddwyd gan ergyd saeth yn ei lygad, a *Gwil* gyhoeddwyd yn Frenin Lloegr; ac ar y tir lle cyflawnodd y goresgy nodedig yma, adeiladodd fynachlog, yr hon a alwodd Mynachlog y *Bat* ac yn Lladin, *Abbatia de Bello*, sef yw, *Mynachlog y Frwydr* wrth yr hwn enw, y gelwir y lle hyd y dydd heddyw, sef *Battle Al*

Trwy y fuddugoliaeth yma, Gwilym a ennillodd deyrnas Lloegr, n ar un ergyd; canys er nad ymostyngodd y wlad ar unwaith, a bu an wrthladdiadau a chyffroadau yma a thraw yn mhlith y Saeson; on oeddynt oll mor eiddil a difudd, ag na wnaethant ond ychwanegu yr iau a osodwyd ar eu gyddfau gan y giwdawd ormesawl, yr hon, diwedd, a'u llwyr darostyngodd.* Y mae yn ddilys mai llwfreidd-d anegni y Saeson, oedd gan mwyaf, yn achlysur yr ymostyngiad gw wyddus yma i ormes estronawl; ond weithiau, canfyddwn brad yn weithio âg ef. Er anghraifft, pobl *Caint* a wnaethant ymheddychia

* Pwy bynnag a ddymuna gael gwybodaeth mwy cyflawn o'r amgylchiadau byn llened Hanes y Goresgyniad Normanaidd, gan THIERRY. Y gwaith godidog hwn a ei gyfieithu allan o'r Ffrangaeg i'r Saesonaeg, dan yr enw—"*History of the Conq England by the Normans.*" Ac nis gwn pa ham na wnelai rhyw Gymro cymmaint o aeth iddei gydwladwyr, a'i gyfieithu i'r Gymraeg.

Normaniaid, ar y telerau y byddai iddynt gael y fraint o fyw dan eu cyfreithiau eu hunain, heb eu blino; ac ar hynny, gosodasant i lawr eu harfau. Yr ymneilltuad bradychus yma, a wanhaodd egnion yr ardaloedd cyfnesawl, y rhai nid oeddynt ond digon llesg eisioes. Ond yr ymdyniad gwarthus a diegwyddor hwn, oddiwrth eu cydwladwyr, ni weithredodd fawr o les i bobl *Caint;* canys nid ymddengys iddynt gael gwell triniaeth oddiwrth eu harglwyddi newydd, na'r ardaloedd ereill; eithr ysglyfaethwyd eu tiroedd a'u meddiannau yn ddiwahan. Yr oedd, ychydig cyn yr amser yma, lawer o Normaniaid gwedi dyfod drwodd i Loegr, ac wedi cael cymmeradwyaeth mawr i anneddu yn y wlad; a thueddaf i feddwl, mai trwy hudolaeth a dichell y rhai hyn, y llwyddwyd i beru trigolion Caint i ymheddychu â'u gelynion yn y modd cywilyddus yma.

Ar ol gorphen goresgyniad y wlad, a sefydlu ei lywodraeth yn gadarn ac yn ddiysgog, Gwilym a rannodd y cyfan o Loegr rhwng ei ganlynwyr, yn ol eu gradd a'u gwasanaeth, (oddieithr rhai ardaloedd, y sawl a gadwai efe iddo ei hun,) gan ddwyn y tiroedd oddiar eu perchenogion Saesonaidd, a darostwng y rhai hynny i dlodi a chaethwasanaeth. Ac mor haelionus a digonawl ydoedd y rhaniad hyn, a bod y gwaelaf o'i ganlynwyr, y rhai oeddynt lawer o honynt allan o blith gwehilion trigolion y Cyfandir, yn awr yn ddynion cyfoethawg a phendefigawl. Dywedir i Lydawiad o'r enw *Hoël,* ddyfod drwodd gydâ'i wraig *Celestine,* [a hi yn unig, deallaf, heb neb rhyw rwysg boneddawl,] ac efe a gafodd Faenoriaeth *Elinghall,* yn nghyd â'r cyfan a berthynai iddo. Llydawiad arall a ddaeth drwodd, heb neb gydag ef, ond yn unig ei wraig, a'i forwyn, a'i gi; ac a lwyddodd yn yr un dull; a'r hwn a gofiannir yn yr hen bennill canlynol:—

" *William de Cognisby*
Came out of Britanny
With his wife *Tiffany*
And his maid *Manfas*
And his dogge *Hardigras.*"

Yn awr gwelwyd cyfnewidiad nodedig yn nghyflwr canlynwyr y Goresgynydd. Y gwr, yr hwn a adawodd ei wlad ei hun heb un meddiant ond ei arfau yn unig, yn mhen ychydig amser a welodd ei hun yn ŵr urddasol ac yn Farwn cadarn. Bugeiliaid Normandy a gwehyddion Fflandr, y rhai yn eu gwledydd eu hunain, oeddyut yn ddynion gwreng a disylw, yn awr a oeddynt yn Lloegr yn uchelwyr anrhydeddus. Yn mhlith enwau y marchogion Normanaidd, ceir rhai yn arwyddocau yn ddiamheuol eu cyflyrau cysefin, megys *Gwilym y Carrwr, Hugh y Dilledydd,* a *Gwilym y Tabyrddwr.** Y fath a hyn oedd y dynion a wnaethpwyd yn arglwyddi yn

* " *Guillaume le charretier, Hugues le tailleur, Guillaume le tambour.*"—THIERRY.

Lloegr. A'r fath a hyn oeddynt benteuluoedd amryw o dylwythau pendefigol y deyrnas, at ba rai y cyfrifir ef yn beth tra anrhydeddus gan olrhain ach. A lle y perchir tarddiad boneddawl, fel y gwneir yn mhlith goreuwyr Saesonig, nid rhyfedd eu bod a'u gafaeliad yn awyddus a unrhyw linach pa bynnag; canys y goresgyniad a ddiddymmodd yr hen fonedd Saesonaeg mor gyflawn, ag nad oes y dydd heddyw, nemmor o dylwyth yn gallel dywedyd eu bod o waedoliaeth yr hen Saeson, chwaith ach dangos achau boneddigol oddiwrth neb o'r cyfryw.

Yn mhlith y Llydawiaid pendefigol, y rhai a gynnorthwyasant yn ngoresgyniad Lloegr, y mae *Lobineau* yn enwi y canlynol. *Alain le Roux*, a'i frawd *Brient*, meibion *Eudon*, Dug Llydaw; *Raoul de Gael*, *Judicael de Loheac*, yn nghyd â'r *Vicompte de Leon; Robert de Vitre*, ac amryw ereill. Y rhai hyn a ddaethant ac a ddygasant gyda hwy luoedd nifeiriawl o'u cydwladwyr, ac a fuont yn dra gwasanaethgar yn y goresgyniad.

## ALAN FERGANT.

Y cyntaf o'r rhai hyn, sef *Alan le Roux*, oedd fab i *Eudon* Dug Llydaw; gelwir ef hefyd *Alan Fergant*, a chan fod un o'r enw hwn yn Ddug Llydaw, o gylch ugain mlynedd ar ol hyn, rhai haneswyr, o wall ystyriaeth, a honnant mai yr un oeddynt; ond camsyniad yw hyn: yr oedd *Alan Fergant*, dug Llydaw, yn fab i Hoel VII.*

*Alan Fergant*, sef *Alain le Roux*, a fu yn dra chynnorthwyawl i Gwilym y Goresgynnydd, yn gystal trwy ei wrolder neilltuol yn mrwydr Hastings, a thrwy wasanaeth y llu nifeiriol o Lydawiaid, y rhai a ddygodd efe gydag ef. Ar yr achlysur hwnnw, tywysai un o'r tri dosparth i ba rai y rhannwyd byddin Gwilym.† Y mae *Wace*, yn y *Roman de Rou*, yr hwn a ysgrifenwyd yn y ganrif ganlynol, yn crybwyll am ei wasanaeth mewn modd anrhydeddus; Alan Fergant, medd efe, a ddaeth o Lydaw, gyda llu nifeiriol o Lydawiaid. Gwr oedd efe, pendefig o Lydaw, uchelfrydus a gafaelgar, yn barod i gymmeryd meddiant ar ei ysglyfaeth, ac a laddodd lawer o'r Saeson. "Gwych yr ymladdodd *Alan Ffergant*, y marchog dewr a gwrol, a'r Llydawiaid y rhai yr arweiniodd efe a wnaethant o'r Saeson alanastra ddirfawr."

* Nid yw ystyr y gair Fergant yn adnabyddus; rhai a ddychymmygant ei fod yn arwyddocau yn y Lydawaeg, yr un peth a'r Ffrangaeg, *Roux*, [rufus] *Pengoch*. Y mae *De Roujoux*, yn ei hanes o Lydaw, yn tybied y gallasai ryw gamsyniad gael ei wneud yn narlleniad enw y dug, ac mai *Kergent* oedd y cysefin, sef y *Dref wen*, [*Ker-guen.*]

† Hanes Llydaw gan DE ROUJOUX

"Alan Fergant, quens de Bretaigne
De Bretons mene grant compaigne;
C'est une gent fiere e grifaigne
Ki volontiers prent è gaaigne
Cil en ocist mult è mehaigne.
Ne fiert Engleis ki sus remaigne.
Bien se cumbat Alainz Ferganz,
Chevalier fu proz e vaillanz;
Li Bretonz vait od sei menant
Des Engleiz fait damage grant."

*gant* a gafodd am ei wasanaeth, ardal helaeth ar y tu gogledd- *Caerefrawc*, yr hon oedd diriogaeth pendefig Saesonig o'r O fewn i'r ardal yma, *Alan* a adeiladodd gastell cadarn, ar *ale*, i'r hwn y rhoddodd yr enw Ffrengig *Riche-mont*,* *cyfoethog*, [—*Divitem montem*] yr hwn etto a hanfoda yn *hmond*, yn swydd Gaerefrawc.

y bu dau o'r enw *Alan Ffergant*, yn mhlith y Llydawiaid, yswch iddeu hanesyddion, felly y Cymry a ychwanegant un ydain, er cynnal yr un fath betrusder yno, canys rhoddant yr th canlynwyr y brenin *Arthur:* y crybwylliad am dano sydd ioedd, yr hwn a roddaf yn gyfan, er boddhad i'r neb a ddym- cofiant hwnnw:—

eir Teulu ynys Prydain:———Teulu Goronwy Befr o Benllyn a ommedd- wydd o erbynniad y Gwenwynwaywau y gan Llew Llaw Gyffes yn llech laen Cynfel yn Ardudwy; a Theulu Gwrgi a Pheredur, a adawsant eu g Nghaer Greu a chyfnod ymladd a oedd drannoeth iddynt ag Edaf Glin as wynt ill dau; Trydydd oedd Teulu Alan Forgan [*Alan Fyrgan, ar Lan* fau ereill] a ymchwelasant oddiwrth eu harglwydd yn lledrad ar y ffordd, a a'i weision i Gamlan, mann y lladdwyd."—Tr. 81.

vy gamsyniad rhyw ysgrifenydd y daeth yr enw yma i'r Triad biaf y bu, yr unig beth a ddywedaf yw, mai rhaid ei fod yn nhlith y Cymry yn gystal a'r Llydawiaid. Ni cheisiaf ragor hyn, na dywedyd mai tynghedfen rhai amgylchiadau ydyw id mewn amheuaeth a dyryswch.

ieu *Brian*, brawd *Alan*, a fu yn gynnorthwyawl iawn i'r ld, yr hyn a ymddengys yn y gwasanaeth a gyflawnodd efe yr hwn a gynhaliwyd gan y Saeson ar ol brwydr Hastings; flwyddyn 1069, daeth dau fab *Harold*, a chanddynt gyn- Iwerddon, ac a geisiasant adennill y deyrnas oddiar y Norman- *Brian*, yn nghyd â blaenor arall o ganlynwyr Gwilym, a'u

amden i'r enw hwn gael ei roddi, o herwydd y cyfoeth o blwm, yr hwn a

if Nennius, crybwyllir am y gwr hwn tua'r 7fed ganrif, "ipse est *Eata Glin* ni roddir dim o'i hanes, oddieithr ei osod yn mhlith achau Saesonig.

llwyr gorthrechodd mewn brwydr, gan ladd dwy fil o'u gwyr. Ac ni ymddangosasant ar y maes fyth mwyach.

*Raoul*, neu *Radulphus de Gael*, hefyd, a roddodd gyfnerthiad gwerthfawr yn y Goresgyniad, a derbyniodd gan Wilym, er gwobrwy am ei ymdrechiadau, yr ardal a ffurfiai hen deyrnas Saesonig *East-Anglia*, yr hon a gynnwysai swyddau *Norfolk* a *Suffolk*.

Pa rifedi o Lydawiaid a ddaethant drwodd ar yr achos yma, nid oes modd i ffurfio tyb; ond gan mai addas meddwl fod byddinoedd *Alan*, a'r blaenoriaid ereill, yn ffurfiedig, gan mwyaf os nid yn hollol, o'u deiliaid neilltuol eu hunain, y mae yn amlwg rhaid eu bod yn dra lliosog. Ac yma y mae un peth nodedig yn ymgynnyg i'n sylw, sef y modd y darfu i'r Brython hyn, ar ol pedwar cant o flynyddoedd, ddyfod yn ol i dir eu hynafiaid, a chymmeryd meddiant fel goresgynwyr ar yr hyn, allan o ba un yr alltudiwyd eu hen deidiau trwy drais a gormes. Iē, meddaf, y mae yn anghraifft tra neilltuol o adgyweiriad cloriannau, fod i'r Llydawiaid yma, ar ol y fath hir rwysg amser, ddychwelyd iddeu gwlad gynhenid, a chyfrannu mor effeithiol i osod iau caethiwed ar yddfau y Saeson, er taledigaeth am drais ac alltudiad.

Heblaw y milwyr, y rhai a ymladdasant yn mrwydr Hastings, daeth lluoedd nifeiriol o bobl y Cyfandir i Loegr. Canys pan clybuwyd am y fuddugoliaeth fawr hon, a'r cyfoeth oedd iddei gael, heidiau o honynt a ddaethant drwodd i edrych am ryw ran o'r ysglyfaeth; a gresâwyd hwy oll gan Wilym, megys cyfeillion a chyfnerthwyr; a chawsant swyddau milwraidd, gwladwriaethawl, ac Eglwysig, a'r fath gyfrannau o'r yspail, ag a sicrhâai eu ffyddlondeb yn ei wasanaeth.

Ar ol sefydlu ei lywodraeth mewn cadernid, *Gwilym* nid ymfoddlonai yn unig i gymmeryd eu tiroedd oddiar y Saeson, ond hefyd darostyngodd y cyfan o honynt i gyflwr dim gwell nag eiddo caethweision, a ffurfiodd y cyfreithiau mwyaf gormesawl a gwrthun iddeu rheoli felly. Gellir ffurfio tyb am rai o honynt oddiwrth yr un, perthynol i'r *Curfew*, neu y dyhuddgloch, yr hon oedd yn cael ei chanu trwy yr holl deyrnas, bob dydd ar frig y nos, er rhybuddio y trigolion i ddiffodd y tân, a'r canhwyllau. Yr hyn yr oeddynt yn rhwym iddei wneud yn uniongyrchawl. A'r gyfraith hon a ffurfiwyd i rwystro y bobl i ymgynnull yn y nos, rhag cynllwyno o honynt yn erbyn y lywodraeth, Heblaw hyn oll, nid oedd un Sais yn cael llanw un swydd o anrhydedd na chyfrifoldeb; ac i'r fath raddau o waelder y darostyngwyd y genedl, a bod yr enw *Sais* yn arwydd diamheuol o gyflwr gwerinol a thaiogaidd; ac mor ddirmygus yr ydoedd gwedi myned, a'i fod yn warth i un boneddig gael ei alw yn *Sais*. Ysgatfydd, na welwyd erioed lywodraeth mwy gorthrymmus yn cael ei chynnal ar unrhyw fath o bobl, na'r un a gynhaliai y Normaniaid ar y Saeson. Ac er

'n oll, y genedl liosog honno a oedd mor llwfr a digalon, ag ymgrymmu iau, heb braidd un cynnyg i ymryddhau, oddieithr dau neu dri o ;ogiadau eiddil ac aneffeithiol, y rhai, yn lle bod o un math o wasan-h, a oeddynt yn y gwrthwyneb, yn achlysurau i beru gwneud eu 'wynau yn dynnach, a'u hiau yn fwy gorthrwm.

)nd tra yr ydoedd yr amgylchiadau hyn yn cymmeryd lle yn Lloegr, y : yn rhaid edrych beth oedd ymddygiad y Cymry, a pha gyfran oedd ynt hwy yn nichweiniau yr amser yma.

ddiwrth y gelyniaeth chwerw a gwreiddiol, a feithrinid gan y Cymry ; at y Saeson, nid tebygol y teimlent un math o dristwch, wrth eu gweled lerbyn y gorthrechiad hyn gan y Normaniaid; ac nis gallwn ddysgwyl y dent yn cymmeryd un trafferth iddeu cynnorthwyaw yn eu gofidion . Y mae yn wir nad oedd i'r Saeson un hawl i neb rhyw gymmwynas u llaw; ac yn ganlynol i hyn y bu. Y Cymry, tra yr oedd y Saeson :ael eu goresgyn yn mrwydr Hastings, nid ymysgogent ar eu plaid, ;ys cenedl, ond gadawent rhyngddynt a'u gorchwylion. A phe buas-yn cadw at yr ymddygiad hyn, ysgatfydd y buasent yn mwynhau yddwch. Ond ni a gawn fod rhai o honynt yn cael eu cyffroi i uno â'r son yn erbyn y Normaniaid, a hynny yn ddigon o rifedi i beru gelyn-h, ond nid digon i effeithio yn llwyddiannus tuag at wrthladd y odedigion newyddion yma. Yr anghraifft gyntaf a gawn o ymyraeth ymry â'r ymryson yma, sydd o fewn i flwyddyn ar ol brwydr Hastings, y dywedir i bendefig Saesonaeg o'r enw *Edric*, gael cynnorthwyon gan ihinoedd Cymru,* ac iddo amddiffyn ei diriogaethau yn swydd afordd, yn erbyn y Normaniaid, a thros ychydig amser eu rhyddhau iiwrth eu gormes. Ond yn y diwedd, cafodd ei orchfygu a'i gymmeryd garcharor. Dywedir fod cyffroadau ereill yn mhlith y Cymry ar hyn ryd, ac iddynt anfon cynnorthwyon ar amryw achosion.†

[ traethiad nesaf am ymgyfarfod y Cymry â'r Normaniaid yw, yr un a dwyd eisioes, t. d. 445, am i lu o honynt gael eu dwyn i Ddeheu-th, yn y flwyddyn 1069, er cynnorthwyaw *Caradawc ab Rhydderch Iestyn*, yn erbyn *Meredydd ab Owain*. Dywedir hefyd i lu o'r rmaniaid ddyfod mewn llongau yn yr un flwyddyn, i Ddyfed a eredigiawn, a diffeithiaw y gwledydd hynny, ond iddynt gael eu gyrru ffo gan *Garadawc ap Rhydderch*. * Ac etto, yn mynegu i lu o honynt yfod yr ail waith i'r ardaloedd hyn, yn 1071, a chael eu gyrru ymaith yr un modd, gan yr un tywysawg. Ond barnaf mai rhyw grwydriaid

* Accitis sibi in auxilium regibus Wallarorum. *Florent. Wigorn.*—THIERRY.

† Nid oes ond y nesaf peth i ddim yn adroddedig, perthynol i'r pleidwyr Cymreig yma. d pwy bynnag a ddymuna wybod helynt y Saeson, edryched yn hanes THIERRY.

annibynol oedd y rhai olaf yma, ac nid dan dywysiad neb o swyddo y Goresgynydd.

### SEFYDLIAD CYNTAF Y NORMANIAID YN NGHYMRU.
### O GYLCH 1070.

Hyd yn hyn, ni chafodd y Normaniaid un sefydliad yn Nghymru; nid oes mynegiad eu bod gwedi ceisio hynny, megys deiliaid i Wilyn Goresgynydd. Ond yn awr, ni a welwn eu bod, naill ai trwy eu haw priodol, neu o achos annogiad y Cymry yn cynnorthwyaw y Saeson eu herbyn, yn dechreu estyn eu cyrchiadau i Gymru ei hun. Ac a goresgyn yr ardaloedd Saesonig cyfnesawl, o gylch y flwyddyn 1( blaenor o'r enw *Baldwin*, a ennillodd ran o'r wlad ar gyffiniau Cla Offa, ac a adeiladodd yno gastell, yr hwn a alwyd ar ei ol ef; a'r l geidw yr enw hyd y dydd heddyw yn y Gymraeg, sef *Tref-Faldwyn*. ( ychydig ar ol hynny, cafodd ei alw yn *Montgomery*, oddiwrth *Roge Montgomery*, blaenor Normanaidd arall, wrth yr hwn enw, yr ac byddir y lle yn y Saesonaeg. A dywedir mai hwn oedd y sefyd cyntaf o eiddo y Normaniaid yn Nghymru.

### GORESGYNIAD FFLINT.
### O GYLCH 1071.

O gylch 1071, nesasant y byddinoedd Normanaidd etto yn agosa Gymru, ac mewn ychwaneg o gadernid. Canys Gwilym y Goresgyn ei hun, a aeth gyda byddin liosog hyd *Gaerlleon Gawr*, ac a adeila yno gastell cadarn, ac a'i gosododd dan oruchwyliaeth i *Gherbaul Fflandrysyn*, yr hwn oedd y cyntaf a ddygodd yr enw o *Iarll Caerl Gawr*.* Ond y Gwr hwn a gafodd ei aflonyddu cymmaint, yn gystal y Saeson a'r Cymry, ag iddo flino ar ei sefyllfa, a dychwelyd iddei wl hun.† Yna Gwilym a roddodd y ddinas a'r ardal i *Hugues d' Avran* yr hwn a elwid *Hugues-le-loup*, neu *Hugh Lupus*, sef *y Blaidd*, yr a groesodd yr afon *Dyfrdwy* i Gymru, ac a oresgynodd y rhan o'r a elwir swydd *Fflint*, ac a adeiladodd gastell *Rhuddlan;* ac u swyddogion, *Robert d' Avranches*, gan gael ei osod yn llywydd yr gyfnewidiodd ei enw i *Robert de Rhuddlan*. Un arall o'r enw *R de Malo-passu*, a adeiladodd gastell yn swydd Gaerlleon, ger llaw c

* THIERRY.

† "Magna ibi difficilia tam ab Anglis quam à Guallis adversantibus per *Orderic Vital.*"—THIERRY.

iau Gymru, ac a roddodd ei enw iddaw, yr hwn a barhâ hyd heddyw, sef *Malpas*. Y ddau hyn, yn nghyd â blaenoriaid gerwin ereill, a dywalltasant lawer o waed y Cymry.* Oddiwrth yr hyn, y mae yn amlwg na oddefodd y Cymry iddynt eu difeddiannu o'u heiddo, heb ymdrechiad i'w amddiffyn; a dywedir i frwydr waedlyd iawn gael ei hymladd ar *Forfa Rhuddlan*, yr hwn le a oedd eisioes yn enwog am gyffelyb gyfarfod.

Er deall ychydig o gyflwr y wlad, ac o'r ymrysonau, y rhai yn awr, a ddechreuid gynnal rhwng y Cymry a'r Normaniaid, cyfeiriaf at yr hyn a draetha THIERY ar yr achlysur yma. Dywed i *Hugh Lupus*, ar ol ymsefydlu yn Iarllaeth *Caer*, anfon i Ffrainc am hen gyfaill o'r enw *Nigel*, neu *Le Noir*, [*y Du*] yr hwn a ddaeth drwodd gyda phump o'i frodyr, y rhai oll a gawsant ryw swyddau yn y wlad gyfagos. *Le Noir* a gafodd dref *Halton*, ar y *Mersey;* ac yr oedd, pa bryd bynnag y byddai yr Iarll Caer mewn rhyfel, i flaenori y fyddin wrth fyned i ymladd, a bod yr olaf ar ddychwelyd; ac am ei wasanaeth, yr oedd i gael megys ei ran o'r yspail, a gymmerid oddiar y Cymry,—yr holl anifeiliaid o bob rhyw, ac amryw freintiau ereill. Un o'r brodyr a gafodd gan yr henaf, diroedd *Weston* ac *Ashton;* ac yr oedd efe i dderbyn, er gwobrwyad, yr holl deirw a gymmerid oddiar y Cymry.

Y sefydliad uchod o swydd Fflint, oedd yr ail o eiddo y Normaniaid, o fewn i derfynau Cymru; a thros rai blynyddau, ni ddygwyddodd dim o bwys rhwng y ddwy genedl; ac y mae yn debygol fod effeithiau eu gelyniaeth, yn gyfyngedig i ymosodiadau ysglyfaethawl ar feddiannau eu gilydd, heb neb rhyw oresgyniad ardalawl. Ac y mae yn beth tra nodedig na wnaeth y brenin Gwilym y Goresgynydd un ymosodiad ar Gymru, nac un cynnyg at ddarostwng y wlad at ei lywodraeth. Yr unig ymyraeth a wnaeth ar wlad Cymru oedd, myned ar bererindod i Dy Ddewi, yn y flwyddyn 1085; yr hyn a wnaeth gyda mawr rwysg, a chyda byddin gref: a'r hanesyddion Saesonig, a haerant iddo ar hyn o achos, dderbyn darostyngiad y tywysogion Cymreig, ac felly, hawliant fath o oresgyniaeth iddo; ond y mae yn ddigon amlwg fod camsyniad yma. Am y tywysogion Cymreig, gwelsom fod amryw o honynt, yn fynych yn ddigon parod i dalu teyrnged, neu rhyw dâl arall, er gochelyd rhyfel, pan na fyddent yn meddiannu galluoedd iddei gynnal yn llwyddiannus; a thebygol i rai o honynt ar hyn o bryd, ymddwyn felly tuag at Gwilym. Ond am ymostyngiad i lywodraeth Gwilym, y mae yn amlwg nas gallasai hynny gymmeryd lle. Pe buasai Gwilym yn gallel bwrw un hawl i Gymru, neu yn

* "Cum Roberto de Malo-passu et aliis proceribus feris multum Guallorum sanguinem effudit. *Orderic Vital.*"—THIERRY.

cyfrif ei hunan yn alluog i ennill y wlad, nid gŵr oedd efe i esgeuluso ei adeg, ond buasai yn ddigon awyddus i ychwanegu Cymru at ei feddiannau ereill; ond yr oedd Gwilym yn ddyn cyfrwys a deallus, ac yr oedd eisioes gwedi gweled digon o anianawd y Cymry ar gyffiniau Lloegr, i beri iddo oedi, cyn cyffroi gelyniaeth pobl llidiog a rhyfelgar, trwy annogiad afreidiol. Yr oedd Gwilym y pryd hyn, yn rhy ddedwydd yn ei feddiant heddychawl o deyrnas Loegr, i fyned i ryfela â'r Cymry; ac os derbyniodd rhywbeth dan rith teyrnged, gan rai o'r pendefigon, trwy ardaloedd pa rai y teithiai, diau ei fod yn eithaf boddlawn i aros yn llonydd gyda hynny.

Os gofynir, pa ham yr aeth Gwilym i Dy Ddewi, oddieithr ar achos llywodraethawl, attebaf, yr oedd Ty Ddewi yn fann mor hynod, o ran y santeiddrwydd cyfrifedig iddo, a bod *dau* bererindod yno, yn cael eu hystyried yn gyfartal i *un* i Rufain.

" **Roma semel quantum, bis dat Menevia tantum.**"

Yr oedd Gwilym yn wastad yn dangos ei fod yn parchu ei grefydd, a diau ei fod yn awr, ac yntau yn tynnu yn oedranus, yn myned gyda phob difrifoldeb a ffyddlondeb bwriad, i gyflawni gwasanaeth yr hwn a gyfrifai yn deilwng ac yn rhinweddol.

Gwilym y Goresgynydd a fu farw yn y flwyddyn 1087, ac a adawodd ei orsedd iddei fab, *William Rufus*, neu *Y Brenin Coch*, fel y gelwir ef yn yr hanesion Cymreig; yn nheyrnasiad pa un, y gwnaeth y Normaniaid ymosodiad arall ar Gymru, ac a ennillasant swydd Forganwg, yn y Deheudir, megys ag y gwnaethasent swydd Fflint, yn y Gogledd, flynyddoedd o'r blaen. A'r modd y dygwyddodd hyn oll, a draethir yn y Brut gyda chymmaint o fanylrwydd ac eglurder, ag na fedraf well na'i ail-adrodd yma yn gyfan, ac heb gyfnewidiad, gan roddi y cysefin allan o Lyfr Aberpergwm.

## GORESGYNIAD MORGANWG GAN Y NORMANIAID.
### B. A. 1091.

" Ynghylch yr un amser [1088] y bu farw *Cadifor ab Collwyn*, Arglwydd Dyfed, a'i feibion ef, sef *Llewelyn ac Einion*, a'i frawd *Einion ap Collwyn*, a annogasant *Ruffydd ab Maredydd* i ddodi cad ar faes yn erbyn *Rhys ab Tewdwr*. A dyfod a'u lluoedd ynghyd a wnaethant, a brwydr dost a fu, eithr gorfu *Rhys ab Tewdwr* arnynt yn Ngwaith Llandydoch, a dalwyd *Gruffydd ab Maredydd* ac a'i fyrhawyd o benn, a

lladdwyd *Llewelyn ac Einion* meibion *Cadifor.* Ac *Einion ab Collwyn* brawd Cadifor a ffoes at *Iestyn ab Gwrgan* Tywysawg Morganwg a Gwent, yr hwn oedd yn rhyfela yn erbyn Rhys,* ac adrawdd ei ansawdd iddaw. Einion a fuasai yn ŵr swydd yn rhyfela gyda brenin Lloegr a'i archogion yn Ffrainc a gwledydd ereill, a charedig mawr rhyngddo a'r renin a'i farchogion. Ac Iestyn wedi gwybod hynny a addunedwys i inion ei ferch yn briodwraig, os efe a ddygai gyfnerth iddaw o Loegr yn :byn Rhys ab Tewdwr, a chyda y ferch honno yn gyfoeth, Arglwyddiaeth *Meisgyn.*

"Myned i Lundain a orug Einion ac ammodi â *Rhobert fab Amon* [*Robert Fitzhamon*] tywysawg y *Corbwyl*† yn Ffrainc, a chefnderw y *Brenin Coch,* i ddyfod yn gyfnerth i Iestyn ym Morganwg. A Rhobert weithiawdd ar ddeuddeg eraill o Farchogion urddasawl nes eu hynnill i blaid yn un ansawdd ag yntau.

"Dyfod a wnaethant i Forganwg ar frŷs ac unaw lluoedd ac *Iestyn,* myned i wledydd Rhys ab Tewdwr a lladd a llosgi cyfled a'r tir a erddynt.

"A phan glybu Rhys hynny, myned yn eu herbyn; a chyfarfod y dau lu ger llaw *Brecheiniawc,* yn y lle a elwir *Hirwaun Wrgan,* a rwydr waedlyd fawr a fu ryngthynt lle gorfu ar *Rys* ffoi. A'i ymlid a naeth Iestyn a'i ddal yng *Nglynn Rhodneu,* a lladd ei benn. Ac enw lle bu hynny *Penn Rhys.*

"Gwedi hynny ymlid ei wyr a'u lladd yn greulawn, a dal *Goronwy* ab *Rhys,* a lladd ei benn ynteu. A mab arall oedd i *Rys* o'i ordderch elwyd *Cynan* yn ŵr dewr a thrachalonog; ac efe ymchwelyd tuag strad Tywi wedi lladd ei dad a'i wŷr, ymlidiwyd ef mor galed a thost ai orfu arnaw amcanu dianc drwy lynn a elwir *Cremlyn,* [ger llaw *Abertawe,*] lle y boddes ef a llawer o'i wŷr; ac am hynny *Pwll Cynan* gelwir y lle fyth wedi hynny. Mab arall i Rys a elwid *Gruffydd,* ac id oedd ond plentyn pan las ei dad.

"Gwedi hynny ymgynnull a wnaeth gwyr *Rhobert ab Amon* a'i archogion a'u gwyr ar *Drwyn Colwynn,* lle y talawdd Iestyn iddynt eu odd yn aur coeth, ac o hynny hyd heddyw, gelwir y lle y *Filltir Aur;* c ymchwelyd yn eu hol a wnaethant tua Llundein; ac *Einion ab Collwyn* a aeth at Iestyn i erchi'r ferch iddaw yn wraig, a'r cyfoeth a ddawsai gyda hi. Eithr naccau hynny a wnaeth Iestyn, gan chwerthin am benn Einion, a dywedyd y gwnai efe'n well a'i ferch na'i rhoddi ar enw

* Yn 1080, gwyr Rhys ap Tewdwr a ddiffeithiasant Morganwg, ac ar ol hynny, Iestyn a ddiffeithiodd Ystrad Tywi.

† *Corboil,* yn Normandy. Y mae Powel yn dywedyd, yr haerir ei fod yn arglwydd *Astreville,* yn y wlad honno.

asant ei gyngor. Ac yna myned at *Rhotpert ap Seisyllt* a orug Ei
a dangaws iddaw'r cyfan, ac efe a ddug eraill o'r Pendefigion ni c
Iestyn i'r ansawdd. A gwedi cynnull y Pendefigion hynny eu gw
nghyd, ac ymunaw a'r dieithriaid, myned yn erbyn Iestyn, ac y
Gwaith y *Mynydd Bychan* yn ymyl *Caer Dydd*, lle gyrwyd
Iestyn.

"Ymhlaid y dieithriaid yn erbyn Iestyn daeth *Cadifor ap Cedr*
*Gwaithfoed*, Arglwydd Ceredigiawn, ac efe a fuassai cyn no hyn
mhlaid Iestyn yn erbyn Rhys ab Tewdwr, ac ni chyflawnai Iesty
mod ac efe, yn ol a eddunedai Cedrych ab Gwaethfoed Arglwydd Ci
henyw o Forganwg, ac a aeth yng Ngheredigiawn yng ngo
Rhydderch ab Iestyn, lle y rhodded iddaw Bendefigaeth a Chyfoet
garedigrwydd ar Iestyn y daeth efe a'i wyr i Forganwg, a gwedi
ei frad, myned yn ei erbyn ac ym mhlaid y dieithriaid.

"Gwedi gyrru ffo ar Iestyn a'i yspeiliaw o'i wlad Rhobert ab A
wyr a gymmerasant yn eiddaw iddynt eu hunain goreuon y fro
tiroedd breision, ac i Einion, y mynydd-dir a'r garwaf a'r anffrwyt
o'r wlad; ac fal hynny gwledychasant y Ffrancod yn y wlad honn
yrru pawb a gaent ym mhlaid Iestyn ar ffo a dwyn eu tiroedd.

"Wedi gorfod ar Iestyn, efe a ffoes dros y môr i *Ynys y F*
[*Glastonbury*] ac oddiyno fe a aeth i *Gaer Faddon*, ac oddiyno
Went lle y bu farw ym Monachlog *Llangenys*."

Ac felly terfynwyd rhwysg yr adyn ysgeler yma; yr hwn, ac
deilliaw oddiwrth deidiau clodfawr a pharchlawn, ac hefyd yn ben
eppil anrhydeddus, a oedd ei hun mor ddiegwyddor yn ei holl ymdd
ac nas gallwn, heb ryw hyfforddiadau amgen nag sydd gennym, h
ddychymmyg y camrau, trwy ba rai y cyrhaeddodd at y fath

i gyflawnu dial ar ei gydwladwyr am ryw droseddau, y rhai a alwent yn gospedigaeth; canys, megys y sylwa POWEL, yr oedd cynnifer o ddichweiniau anarferol yn cydweithio, ar y pryd yma, i ddarparu ffordd y Normaniaid, ac i sicrhau eu llwyddiant, fel nas gellir amheu fod rhagluniaeth yn caniattâu y blinder hwn, mewn barn ar y bobl, a bod drwg nwydau eu tywysawg, yn cael eu gwneud yn offer cospedigaeth.

Dywedir i *Iestyn* fyw yn y fynachlog yn hollol anadnabyddus, hyd ychydig cyn ei farwolaeth, ac iddo gyrhaeddyd i oedran tra annghyffredin, sef 129 mlynedd. A phan gofiom am ei ystranciau ieuenctidaidd, yn ei hen oedran, [t. d. 434] hawdd credu ei fod yn feddiannol ar egnïedd anianawl tra nodedig, a chyson â'r cyfryw hir hoedliad.

Y mae TALIESIN AB IOLO MORGANWG, yn ei nodiadau iddei Gowydd i'r *Gastell Caerdydd*, yn ail-adrodd honniad o eiddo *Sir Edward Mansell*, yn mha un y rhoddir rhifedi y milwyr, y rhai a orthrechasant Rhys ab Tewdwr, fal y canlyn.

*Sir Robert Fitzhamon* a ddug ganthaw 12 marchog, 24 ysgwydwr, 1000 o wŷr; *Einion ab Collwyn* a ddug 1000 o wŷr; *Cedrych ab Gwaithfoed*, 2000; ac nis gallasai Iestyn gynnull ond 300, a dywaid fod gwŷr Cedrych ac Einion, yn hawliaw y fraint o ymladd yn mlaenaf yn y frwydr, yr hyn a ganiatawyd iddynt gan Fitzhamon, trwy yr hyn y laddwyd mwy na'u hanner, ac arbedwyd y Normaniaid; a hyn a wanhaodd y lluoedd Cymreig cymmaint, ag y gallodd Fitzhamon yn fwy hawdd gymmeryd meddiant ar y wlad.

## RHANNIAD ARGLWYDDIAETH MORGANWG.

*Arglwyddiaeth Morganwg* nid ydoedd gyfartal i'r Swydd bresennol, oblegid fod yr olaf yn cynnwys *Bro Gwyr*, yr hon ardal nid oedd o fewn i'r Arglwyddiaeth. Y mae Morganwg o *Bont Rhymny*, ar y tu dwyrain, hyd at *Bwll Cynan*, ar y gorllewin, yn agos i 35 milltir o hyd. Ac o *Aberddaon*, neu *Aberthaw*, yn y deheu, hyd at ymyl Brecheiniog, ger llaw *Castell Morlais*, ar y tu gogleddol, yn agos i 30 milltir o led. *Robert Fitzhamon* a gymmerth arnaw ei hun lywodraeth y wlad oll, megys arglwydd arbennigol, ac a gadwodd yn eiddo priodol iddo ei hun, gestyll *Caerdydd* a *Chynffig*, *&c.* yn nghyd â chyfran helaeth o'r wlad gyfnesawl, ac a wnaeth *Caerdydd* yn brif anneddfa. Ac a rannodd y gweddill o'r wlad yn arglwyddiaethau bychain deiliadawl, ac a'u rhoddodd i'r deuddeg marchog ereill, ac *Einion ab Collwyn*. A rhoddodd hefyd gyfranau o'r wlad i feibion Iestyn. Pa un ai trwy ryw gynnwrf cydwybod y gwnaeth hyn, neu ynte, iddeu cadw rhag cyfodi mewn gwrthladdiad

iddo, nid ymddengys. Rhoddir cofres o'r deuddeg marchog yn ac hefyd yn ngwaith POWEL, yr hwn a'i cafodd mewn casgliad a pwyd gan *Sir Edward Stradling*, boneddig deilliedig oddiw *Esterling*, un o'r marchogion dywededig. Y mae yr hanesiad yn rhoddir ef gan POWEL, yn dra manwl a chynnwysfawr; ond y rhy faith iddei ail-adrodd yma; a chan ei fod gwedi ei adargra nag unwaith, diachos fyddai ei osod yma yn ei gyflawnder: am ni wnaf ond rhoddi ei sylwedd mewn talfyriad, gan gymmeryd Powel er sylfaen, ac ychwanegu yr enwau Cymreig allan o'r Br fytho gwahaniaeth ynddynt, a'u gosod yn lleddflythyr.

| | | |
|---|---|---|
| | Robert Fitzhamon<br>yr Arglwydd arbennig | ..............Cardiff—*Caerdydd.* |

## *Y Deuddeg Marchog.*

| | | |
|---|---|---|
| 1 | William de Londres<br>neu London<br>*William de Lwndwn* | ..............Ogmor—*Aberogwr.* |
| 2 | Richardus de Grana villa<br>Greenefeeld<br>*Riccard Grinfil.* | ..............Neath—*Castell Nedd.* |
| 3 | Paganus de Turbervile<br>Paine———<br>*Paen Twrbil.* | ..............Coyty—*Y Coetty.* |
| 4 | Robertus de S. Quintine<br>*Rhobert de Sanrwintin* | ..............Llanblethian—*Llanfleiddia* |
| 5 | Richardus de Syward<br>*Riccart Siwart.* | ..............Talavan—*Tâl y Fan.* |
| 6 | Gilbertus de Humfrevile<br>*Gilbert Wmffrefil.* | ..............Penmarke—*Penmarc.* |
| 7 | Reginaldus de Sully<br>*Reinallt Sili.* | ..............Sully—*Abersili.* |
| 8 | Rogerus de Berkrolles<br>*Rosser Berclos* | ..............East Orchard—*Llandathan.* |
| 9 | Peter le Soore<br>*Peter Leswr.* | ..............Peterton—*Llandbedr ar Fr* |
| 10 | Iohannes le Fleming<br>*Ieuan Ffleming* | ..............St. George—*Llanyfelwyn.* |
| 11 | Oliverus de St. John<br>*Olifer Sainsion.* | ..............Fonmon—*Aberbernant.* |
| 12 | William Le Esterling<br>trwy lygriad,—Stradling<br>*William Desterling.* | ..............St. Donat's—*Llanywerydd.* |

Y cyfraniad a wnaethpwyd i'r pendefigion Cymreig, oedd fal y canlyn:

| | |
|---|---|
| Einion ab Collwyn priododd *Nest*, merch Iestyn | ..............Sainghenydd* a Meisgyn. |
| Caradawc ab Iestyn | Aberafan a'r wlad rhwng Nedd ac Afan, yn arglwyddiaeth *Rial*. |
| Madawc ab Iestyn.......... ..Rhathyn. | |
| Hywel ab Iestyn...............Llan Tryddyd. | |
| Rhys ab Iestyn ..............Soflen, rhwng Nedd a Thawy. | |
| Rhotpert ab Seisyllt† ..........Maes Essyllt.‡ | |

Wrth ystyried y fath sefydliad o'r Normaniaid yn Morganwg, ysgatfydd dymunir gwybod beth oedd helynt y tylwythau dyeithr hynny yn y wlad. Ac er boddhau y cyfryw ddymuniad, gellir dywedyd eu bod yn yr 6eg ganrif, gwedi diflannu mor llwyr, ag nad oedd ond un tylwyth, ag oedd yn ddeilliedig oddiwrth un o honynt trwy yr achau gwrywaidd, yn byw yn Nghymru, ac yn meddu y tiroedd cysefin, a hwnnw oedd y *Stradling*, [*Esterling*] ac yn y dydd heddyw, y mae y tylwyth hwn wedi myned ar goll hefyd. *Robert Fitzhamon* ni adawodd ond merch un unig, ac felly, diffoddwyd ei enw ef, ac yntau ei hun ar ol deuddeg blynedd, llawer o ba rai oeddynt drafferthus iawn, a fu farw yn wallgofus, achos ergyd a gafodd ar ei ben. Rhai o dylwythau y marchogion ereill ddarfuant yn yr achau cyntaf; ereill a barasant dros ychydig achau yn wy; a rhai o'u heppil a unwyd trwy briodasau â thylwythau Cymreig. c y mae yn addas cofiannu, fod rhai o'r tylwythau yma yn mhlith y leidwyr mwyaf gwresog o lêenyddiaeth Cymreig, megys y *Stradling-iaid*, &c.

Yn gynnar ar ol goresgyniad Morganwg, *William de Londres* a nwthiodd yn mhellach i'r wlad, ac a ennillodd ardaloedd *Cidweli* a

* Yn ol honniad a ail-adroddir gan *Taliesin ab Iolo*, cafodd *Cedrych ab Gwaithfoed* glwyddiaeth *Senghenydd*; eithr castell *Caerffili* a gadwyd gan Fitzhamon, yn ei ddwylaw hun.

† Oddiwrth yr hyn a ellir ei gasglu allan o'r hanesion Cymreig, yr oedd Robert ap isyllt yn Gymro; ond yr achau a roddir iddo gan Powel, gellid meddwl mai dyfodiad ld efe. Annichonadwy yn awr dywedyd na bod pob tebygolrwydd mai Cymro ydoedd; ys pe buasai yn mhlith canlynwyr Fitzhamon, ar ei gyrchiad i'r wlad, addas meddwl y sai yn cael ei enwi yn mhlith ei farchogion, yn lle ei wthiaw i'r neilltu gyda'r blaenor-d Cymruaidd.

‡ Pa beth yw hanniad yr enw *Maes Essyllt?*—Weithiau, hoffwn ddychymmyg fod rngddo ryw berthynas âg *Esyllwg*, yn yr un modd a *Fferyllt* a *Fferyllwg*, &c.

ymgeisydd am rai o feddiannau y Cymry, a hwnnw oedd *Be Newmarch* neu *Bernardus de Novo Mercatu*, yr hwn o gyl amser, sef 1091, a ddaeth a llu o'r Normaniaid i *Frecheinio* oedd dywysogaeth fechan, yn gyfoeth *Bleddyn ap Maenarch*, hannasai oddiwrth *Garadawc Fraichfras*, a bu brwydr rhwn lu, a *Bleddyn ap Maenarch*, megys oedd tynged amrywiol o'i g a syrthiodd yn amddiffyniad o'i wlad a'i freintiau; a'i fobl, ga gorthrechu, a orfuant adael y maes iddeu gelynion. Y frwydr ol tyb THEOPHILUS JONES, a ymladdwyd yn agos i'r *Gaer*, neu C fel y gelwir y lle, ger llaw i Aberhonddu. *Bernard de Newma* y fuddugoliaeth yma, a ddaeth i feddiant llywodraeth Brech gosododd ei lys yn *Aberhonddu*, gan adeiladu castell yno, tref, trwy yr hyn y symmudodd y priflys o'r *Gaer*, lle yr hanfodai cyn hynny. *Bernard de Newmarch* a briododd *Ne Trahaern ab Caradawc*, ac wyres *Llewelyn ap Sitsyllt*, trw gyfathrach yr ennillodd gynnorthwy yn mhlith y Cymry, ac haodd ei lywodraeth. Ond ni pharhaodd ei enw yn mhlith canys ni bu ond merch iddo, a etifeddodd ei anrhydeddau; o fod rhai o'i hiliogaeth etto yn hanfodi yn yr achlin fenywa *Fleddyn ap Maenarch*, er y collodd efe ei fywyd a'i feddianna pryd, etto, y mae yn dra nodedig fod amryw o'i hiliogaeth etto y ac hefyd mewn gradd foneddigol.

*Bernard de Newmarch*, megys y blaenoriaid Normanaid ddygodd gydag ef lu nifeiriol o ganlynwyr, rhwng y rhai y rha y wlad yn faenorau bychain, yr hyn ranniadau ydynt etto yn p

oesoedd, gwedi eu gwaedoli felly, trwy y cyfathrachiadau hyn, n awr, o ran trechiad ffrydiau cenhedlaethawl, yn Gymry, yn ι llwythau estron.

## LWYDDI Y CYFFINDIROEDD, neu y *LORDS MARCHERS.*

y gair *march*, o'r un gwreiddyn a'r Saesonaeg *mark*, ac yn ιu *nód terfyndirol*, sef *cyffin-dir;* a rhoddwyd ef i gyffindir-:dydd yn gyffredinol; a'r tiroedd, y rhai a bwysent ar Gymru, *farchiæ Walliæ*, ac yn Saesonaeg, *The Marches of Wales.* lechreuodd y blaenoriaid Normanaidd ennill rhai meddiannau ar Cymru, galwyd hwy yn *Lords Marchers.* Eu rhwysg oedd yn.

odd yr arglwyddi Normanaidd yn Lloegr, lwyddiant *Fitzhamon* 'i gydwladwyr yn Nghymru, daeth iddynt ddymuniad i fyned daith, i brofi eu tynged, ac i geisiaw rhan o'r ysglyfaeth. Ac . cael caniatâd, hwy a wnaethant wriogaeth, neu ymostyngiad am wahanol diroedd, fal y canlyn:—

| | | |
|---|---|---|
| ›ntgomery, Iarll Arundel a'r Ymwythig | am | Powys a Cheredigiawn. |
| ›us, Iarll Caer...................... | — | Tegeingl a Rhufoniawc. |
| nab R. Montgomery ................ | — | Dyfed. |
| e Newmarch........................ | — | Brecheiniog. |
| ›rtimer ............................ | — | Elfel. |
| Lacie............................... | — | Euas. |
| :ruer ............................... | — | Y Wyddgrug, [*Moid*] |

h yr un amser hefyd, ceir yr enwau canlynol yn mhlith yr dyfodedigion:—

| | | |
|---|---|---|
| ................................ | am | Clunwy, [*Clun*] |
| Baladun .......................... | — | Y Fenni. |
| t ................................. | — | Hawarden. |
| ................................ | — | Trefynwy |
| .zwarren .......................... | — | Whittingdon. |
| Strange .......................... | — | Elesmere. |
| ................................ | — | Kemmes. |
| ................................ | — | Buallt. |

9/A

Yr arglwyddi arbennig a oeddynt yn ddynion fel ***Fitzhamon*** a *de Newmarch*, yn hawliaw deiliadaeth oddiwrth eu canlynwy y rhoisent faenorau o fewn iddeu harglwyddiaethau; ac er eglur gallwn sylwi fod Fitzhamon yn cynnal brawdlys yn nghastell bob mis, ar ddydd llun a dydd mawrth, yn mha un yr oedd yn cwynion, ac yn penderfynu ymrysonau, a phob achosion brawd yr oedd yn mwynhau awdurdod brenhinol, *jura regalia*, yn m oddieithr maddeu teyrnfradwriaeth. Ar y diwrnodau brawdly yr oedd pob un o'r marchogion, ac yr arglwyddi maenorawl ereil gyd-ddrychiol, ac ar ddydd mercher aent bob un iddei gastell gynnal eu brawdlysoed neilltuol dros eu maenorau, ac yr oedd yno bob un freintiau brenhinol, *jura regalia;* oddieithr os anfoddlondeb yn cyfodi o herwydd unrhyw benderfyniad, fo symmud yr achos i frawdlys Caerdydd.

Er fod yr arglwyddi Cyffindirol yn dala dan frenin Lloegr, dichonadwy dyfod i hyd i'r cyfan o'u breintiau llywodraetha nid oeddynt dan yr un telerau ag arglwyddi Lloegr. Yr oedd dala trwy *fraint-ysgrifau.* [*chartæ*] oddiwrth y brenin, yn pennodwyd terfyndiroedd eu harglwyddiaethau, yn nghyd bethau, perthynol i leoedd a thrigolion o fewn iddeu hawdurd dywedir nad oes un ysgrif o'r fath ar glawr, perthynol i'r Cyffindirol, y rhai yn gyntaf, a oresgynasant diroedd o fewn A'r achos a roddir, yw y canlynol:—Nis gallasai brenin Lloeg cyfryw *fraint-ysgrif* yn mlaenllaw, am na wyddai pa diroed i'r arglwyddi hyn eu hennill, nac ychwaith, a fyddai iddynt ennill rhyw rai ba bynnag; ac ar ol i'r blaenoriaid hyn ores ardaloedd, nid oeddynt mewn un brys i fyned at frenin Lloegr

eu darostwng, ond mynnent mewn amryw fannau, gadw eu cyfreithiau cysefin. A'r arglwyddi a oeddynt gallach na'u gyrru i wrthryfel, trwy ballu iddynt y fraint hynny, ac felly, gadawent mewn amryw leoedd i'r cyfreithiau Cymreig gael hanfodi; trwy yr hyn yr oedd mewn amryw ardaloedd, ddau lys, sef y *llys Cymreig*, a'r *llys Saesonig*, y rhai a adnabyddwyd felly, trwy yr enwau *Anglicana* a *Wallicana*, neu *Wallensis*, ac weithiau *Englisherie*, ac *Welshcrie*. A'r enwau hyn a barhânt hyd heddyw mewn trafodiadau maenorawl, megys yn Morganwg, *Coyty Anglicana* a *Coity Walliæ*; *Avon Anglicana* ac *Avon Wallicana*. Yn Mrecheiniog, *Haia Anglicana* ac *Haia Wallicana*; *English Penkelly* a *Welsh Penkelly*; *English Talgarth* a *Welsh Talgarth*; ac yn swydd Gaerfyrddin, *Kidwely Anglicana* a *Kidwely Wallicana*, &c. Yn rhai o'r ardaloedd Cymreig, yr oedd y cyfreithiau Cymreig, gan mwyaf, os nid yn hollol, yn hanfodi. Ond weithiau byddent yn gymmysgedig, yr hyn a elwid "*Cyfraith Saesonaeg a rhan Gymraeg.*" Dyledus syniaw fod o fewn i ychydig ar ol goresgyniad Lloegr, i bob peth perthynol i'r deyrnas honno, gael ei alw yn *Saesonaeg*, gan ys o ba le bynnag yr hannai, a chollwyd yr enw *Norman*.

Y gwahaniaeth rhwng y cyfreithiau hyn oedd yn bennaf yn ganfodedig yn y dull o drosglwyddo tiroedd. Trwy y gyfraith Saesonig, y tiroedd a elent i'r mab henaf; ond yn ol y rhai Cymreig, rhennid hwy rhwng y plant oll, yn ol y ddefod a elwir *gavelkind*. Etto, yn y maenorau a'r daliadau, yn ol y gyfraith Saesonig, yr oedd trosglwyddiad tiroedd o un perchen i'r nall, yn cael ei wneuthur trwy weithredoedd cyfreithiawl, y rhai a ganfyddir etto yn nghyfreithiau teyrnas Loegr, yn yr ymadroddion *Fine*, *Recovery*, *Feoffment*, *Livery of Seizin*, ac *Attornment*; eithr yn yr ardaloedd lle y cedwid y gyfraith Gymreig, cyflawnid hyn trwy ddefodau a elwid *Côf llys*, ac *Estyn wialen*.

Yr oedd hefyd wahaniaeth rhwng yr arglwyddiaethau Cyffindirol ac arglwyddiaethau Lloegr, mewn perthynas i awdurdod y brenin, a'i ddull o hawliaw ei arbenicter drostynt; canys nid oedd yr ysgrifau brenhinawl, y rhai a elwid *Writ* a *Brief*, yn cerdded yno—"*ubi brevia regis non currunt.*" Ac yr oedd y brenin, pan yn gorchymmyn cynnull milwyr i ryfel, neu yn erchi unrhyw wasanaeth arall, yn wastad yn cyfarch yr arglwyddi Cyffindirol mewn dull amgen i rai Lloegr. Ac er cyfrif am y gwahaniaeth hyn, y mae yn rheidiol sylwi, fod yr arglwyddi Cyffindirol gwedi cynnal y rhyfel yn erbyn y Cymry, ac wedi ennill y tiroedd yn eu meddiant, ar eu traul eu hunain, heb gael cynnorthwy oddiwrth y brenin na threthi oddiwrth y deyrnas tuag at hynny.

Ond pan cofir fod y gair *marches*, yn arwyddocau y *cyffiniau*, gellir gofyn, pa fodd y daeth yr enw i gael ei roddi i ardaloedd yn mhell yn

Nghymru, megys *Brecheiniog* a *Gwyr;* canys y mae y rhai hyn, ac hyd nod rannau o swydd Gaerfyrddin a swydd Benfro, yn cael eu galw felly, *Marchiæ Walliæ.* Er atteb, gellir dywedyd fod yr enw yn ddechreuol, yn cael ei roddi i'r arglwyddi ar y cyffiniau, ac fel ag yr oedd y rhai hyn yn estyn eu goresgyniadau i'r wlad, estynwyd yr enw gyda hwy, ac felly, *Lord Marcher*, oedd enw pob arglwydd a oresgynai un rhan o Gymru yn y modd uchod, hyd deyrnasiad *Edward I.* ar ol pa amser, ni ffurfiwyd un arglwyddiaeth newydd, o'r cyfryw. Ac ar y pryd hynny, yr oedd y rhan fwyaf o Gymru gwedi ei hennill yn y modd yma, ac yn myned dan yr enw *Marchiæ Walliæ.* Ond o'r afon *Teifi*, yn y Deheubarth, hyd at yr afon *Conwy*, yn Ngwynedd, nid oedd un arglwyddiaeth *Marcher*, eithr yr oedd yr ardaloedd hynny yn wastad yn meddiant tywysogion Cymru, hyd at farwolaeth *Llewelyn ap Gruffydd*, pan unwyd y Dywysogaeth â theyrnas Loegr.* Ac y mae amrywiol arferion llysawl ac hawliau maenorawl y gwahanawl diriogaethau hyn, etto yn dwyn cofiant am y deiliadeithau, y rhai a arddelwyd ynddynt.

Y mae yn addas meddwl nas gallasai yr arglwyddi hyn ddim dyfod i feddiant o'r tiriogaethau rhagenwedig ar unwaith, nac ychwaith yn ddiwrthladdiad, ac felly, cawn weled mai yn raddol y bu hyn; ac er nad oes ond ychydig yn hyspys, perthynol i'r rhyfeloedd ar eu hymosodiadau cyntaf, etto, y mae digon ar glawr i ddangos na ddarfu i'r Cymry ymostwng i golli eu meddiannau yn ddiymdrech; ac hefyd, gwelir peth arall, nid mor anrhydeddus iddeu callineb gwladwriaethawl, ag yw y llall iddeu gwrolder cynhenid; sef yw, mai nid trwy eu galluoedd neilltuol eu hunain, y llwyddodd yr arglwyddi Normanaidd i ymsefydlu yn Nghymru, eithr trwy offeryndod y tywysogion Cymreig, y rhai, ar bob achlysur, naill ai a gyflogent y dyeithriaid yn y rhyfeloedd cartrefol, megys y gwnaethpwyd yn Morganwg, neu ynte, a unent â hwy, ac a'u cynnorthwyent, er eiddigedd a dial, a gyfodai trwy yr amrywiol ymrysonau, y rhai a derfysgent y wlad. Un o'r anghreifftiau cyntaf o'r gwrthladdiad a roddwyd i'r ymosodiadau Normanaidd, ydyw y canlynol; yn yr hyn y canfyddir fod hiliogaeth *Iestyn ap Gwrgan*, etto yn meddiannu ysbryd gwladgar eu teidiau, ac yn dangos gwrolder tra anrhydeddus. Ac yma y mae yn rhaid cyfaddef, mai nid eisiau dewrder, oedd bai *Iestyn* ei hun; canys y mae yn amlwg ei fod yn ddyn dewr a chalonog, ac yn dra chwannog i ryfel, ond yn hunanaidd a diegwyddor, mewn cymmeriad cyffredinol. Yr anghraifft atgyfeiriedig, yw y canlynol:—

* Gwel adysgrif gan y Parch. W. J. Rees, yn y *Cymmrodorion Transactions*, o hen draethawd ar y testun hwn. Yr wyf dan ddyled i'r gwaith hwn am lawer o hyfforddiad yma.

" *Gruffydd ab Rhydderch ab Iestyn* a gynhylles lu mawr o'r gwyr a ffoasant rag y Dieithriaid, ac ymddiffyn *Caerllion ar Wysg*, a Gwlad *Went* ac ymgadarnhau yno yn erbyn y Dieithraid, a *Charadawc ab Gruffydd ab Rhydderch ab Iestyn* yn Dywysawg ar y Cyfoethau yng *Ngwent* a *Gwaen Llwg* a'r cynnal yng *Nghaerllion ar Wysg*, lle y buasai cyn no hynny Brifgynnalfa *Morganwg a Gwent* parth Teyrnedd a Digynnull Gwlad."

Pa gyfarfodydd a gymmerasant le ar yr achlysur hyn, ni hyspysir; ond y mae yn eglur fod y pendefigion Cymreig etto mewn meddiant o wlad Gwent, ac oddiwrth eu dull o ymgynnull, nid tebygol y bu iddynt gilio yn ddiymdrech. Ond gan ys pa drafodiadau bynnag a fu rhwng y Cymru a'r arglwyddi Normanaidd, deuant weithian yn fwy rheolaidd dan hanes y tywysogion Cymreig, at ba un y dychwelwn. A chan fod yr arglwyddi hyn, yn gystal a'u canlynwyr, gwedi ymgorffori â'r Saeson mewn ystyr teyrnasawl, crybwyllir am danynt o hyn allan, gan mwyaf, dan yr enw o *Saeson*, oddieithr fod rhyw achos pennodol i nodi gwahaniaeth rhwng y ddwy genedl.

Hefyd, y mae yn addas sylwi, fod peth gwahaniaeth rhwng y rhyfeloedd a gynhelid gan yr arglwyddi Cyffindirol, ar eu hymgyrchiadau cyntaf, a'r rhai a gymmerasant le mewn diweddarach amseroedd; canys y rhyfeloedd cyntaf a gynhalwyd ar draul neilltuol yr arglwyddi yma, heb gynnorthwy brenhinawl, megys y mynegwyd eisioes: ond ar ol hynny, byddai brenhinoedd Lloegr eu hunain, yn dyfod i Gymru gyda'r byddinoedd teyrnawl, ac yno, nid pendefig unigol yn erbyn tywysawg ydoedd, eithr Lloegr yn erbyn Cymru, ond gyda hyn o anffawd, fod byddinoedd Lloegr yn wastad, yn unfrydawl yn eu hymosodiadau, a'r Cymry, fynychaf, mor rannedig, a bod rhyw un tywysawg yn cael ei adael i ymladd yn erbyn y Saeson, tra byddai y lleill yn sefyll ar y naill tu, yn edrych ar yr ymdrech gyda'r dibrisdod mwyaf, ac ysgatfydd, gydâg eiddigedd, a drwg-ddymuniad tuag at eu cydwladwyr.

## GRUFFYDD AP CYNAN.

### 1080.—1137.

Gruffydd ap Cynan a gafodd fwy llwyddiannus dynged na neb o oesolion, o ran cofiant o'i fuchedd; canys y mae ysgrif gryn hela hanfodi, yr hon a gynhwysa ei hanes, a'r hon sydd argraffedig yn y Arch. ac allan o ba un y cymmeraf rai o'r mynegiadau canlynol mae yn rhaid cyfaddef, na welwyd yn fynych, yn mhlith buc pennaethiaid, un mor llawn o ddichweiniau annghyffredin eu han ac mor frith o lwydd ac anffawd, ag eiddo y tywysawg dewrwych h

Gwelsom eisioes, fod *Gruffydd ap Cynan*, yn deilliaw od *Rhodri Mawr*, ac yn etifedd i orsedd Gwynedd. Ond yn yr ymr am lywodraeth, yr oedd ei dad, *Cynan ap Iago*, gwedi gorfod Iwerddon, lle y cofodd noddfa gan *Afloedd*, brenin Dulyn, yr hw o genedl y *Llu du*, neu y Daniaid, y rhai oeddynt ar yr amser mewn meddiant ran o fawr o'r Iwerddon. Pan yno, *Cynan* a br *Rannillt*, merch *Afloedd;* ac a wnaeth amryw gynnygion i ad-e dywysogaeth Gymruaidd, ond yn aflwyddiannus: a gorfu arnaw y loni iddei alltudiaeth yn Nulyn, yr hwn le a oedd yn awr yn gartre ac yn yr hwn y ganed ei fab *Gruffydd*, yr hwn a ddygwyd i fyn gweddai i fab tywysawg, gan feithrin ynddo yn wastadol gof am i orsedd Gwynedd, yn nghyd â bwriad iddei had-ennill. Yr hen a grybwylla am hyn fal y canlyn:—

"Wrth hynny pan yttoedd Gruffudd etwa yn fab da ei ddefodau a thrythyll ei f yn yscynnu ar flwyddynedd ieuenctid yn nhy ei fam, ac yn troi ym plith ei chene plith hynny i manegei iddaw peunydd pwy a pha ryw wr oedd ei dad a pha tref eiddaw, a pha ryw frenhiniaeth, a pha ryw treissiwr oedd yn ei phreswylyaw. gigleu ynteu hynny gorthrwm i cymmerth, a thrist fu lawer o ddyddieu; ac wr i cerddws ynteu i lys *Murchath* frenin a chwynaw wrthaw ef yn bennaf, ac wrth oedd Iwerddon y lleill, bod estrawn genedyl yn arglwyddi ar ei dadawl deyrnas, ac iddynt yn ysmala roddi cynnorthwy iddaw y geisiaw tref ei dat. A thruanu w orugant ac addaw cynnorthwy iddaw pan ddelei amser."

Yr hanes a â yn mlaen i fynegi i Ruffydd hwyliaw i Gymru, yn *Abermenei*, ac anfon genhadau at wŷr Môn ac Arfon, a th *Merwydd o Leyn*,—*Asser*, *Meiriawn*, a *Gwgawn*, a gwyrda erchi iddynt ddyfod ar frys iddei gyfarfod. Ond nid oedd hyn yn iddo, eithr megys ei gydwladwyr ereill, ceisiodd gynnorthwy y Sae hyn o orchwyl; canys aeth at *Robert*, arglwydd *Rhuddlan*, iarll *Caer*, ar yr un neges. Ar ol cael cyfnerth gan yr amrywiol gy wyr hyn, aeth gyda'u byddin i gantref Lleyn, yn erbyn *Cynw Rhiwallon*, ac "cerddasant yn ystrywus ag i doethant am ei b ddirybudd ag i lladdasant ef a llawer oe wyr."

Yr *Henry Beaumont* yma, neu *de Bello monte*, [lle yn Normandy] a elwir hefyd *de Novo burgo*, [Newburgh] oddiwrth le ei enedigaeth yn Normandy: yr enw cyntaf oedd eiddo ei dad *Roger de Bello monte*, yr hwn a ddaeth drwodd gyda'r Goresgynydd, ac a gafodd iarllaeth Warwick. Y mae yn beth cyffredin honni deilliad *Fflandraidd* trigolion Seisnigaidd *Bro Gwyr*. Ond gan ys pa gymmysgiad o'r dyfodedigion hynny sydd yno, gallwn feddwl mai y ddwy haid rhagenwedig, yn nghyd â hen drigolion y wlad, a ffurfiant nifer liosocaf y bobl; canys ni ddygwyddodd y cyrchiad Fflandraidd i Loegr, ddim dros amryw flynyddau ar ol hyn.

Tra yr oedd y Cymry yn y modd yma, yn cael eu gorthrechu mewn un ardal, yr oeddent hefyd yn ol eu tynged cyffredinol, yn mwynhau rhyw fesur o lwyddiant mewn mannau ereill.

"Yn yr un flwyddyn y bu farw *Huw* Iarll Caerllion, ac y bu gorfoleddu mawr yn Ngwynedd glywed hynny, a'r gorfoledd a beris ddigofaint i *Robert* ei fab ac efe a ddaeth a llu i *Arllechwedd* yn erbyn y Cymry, a nhwy heb neb o'u blaen, a'u gyrrasant ar ffo gyda cholled a chywilydd." Wrth yr hyn, y deallaf i bobl y wlad gyfodi heb un blaenor iddynt, a thrwy gydweithrediad prydlawn, a gwrolder, orthrechu y gormesydd hwnnw.

Ar ol ymadael o'r dyeithriaid ag ynys Fôn, ni bu *Gruffydd ap Cynan* ddim yn hir cyn dyfod drachefn i edrych ei eiddo; dychwelodd o'r Iwerddon, yn nghyd â Chadwgan ap Bleddyn, ac anfonodd genhadon at Iarll Caer, ac ymheddychodd âg ef; a bu fyw yn llonydd dros amryw flynyddau yn ei diriogaeth ei hun, yn Môn, tra yr oedd *Cadwgan* gwedi cael Ceredigiawn, a rhan o Bowys.

Yn y flwyddyn 1100 'y daeth llawer o'r Cymry a ffoasent rhag y Ffrancod yn ol i Forganwg, ac a gymmerasant diroedd yn fodd i fyw. A'r Ffrancod a welasant yn oreu gadael iddynt ac ymheddu a nhwy. A'r un amser y troes y Cymry yn Ngwynedd ar y Ffrancod, a mynnu modd i fyw a gadael iddynt a wnaethpwyd. A hynny yn y diwedd a droes yn gadernid i'r Ffrancod ac yn wanhad i'r Tywysogion.'

Y mae Brut Ieuan Brechfa yn cynnwys cofiant perthynol i'r amser yma o herwydd yr hwn, ysgatfydd, a gydweithiodd tuag at yr ail feddiant o'u tiroedd gan y Cymry, yn y Deheudir, er nad ydyw o fawr anrhydedd iddynt, os cywir y cyffelybiaeth rhwng y weithred ag eiddo y Saeson gynt. Y cofiant yw y canlynol:—

"1100 Aeth y Cymry yng Ngwyr a Morganwg a Gwent a Brecheiniog yn nyfnder y nos am ben gwyr y Ffrancod ac a'u lladdasant yn eu gwelyau yn yr un modd ac y lladdodd y Saeson cyn no hynny y Gwyr Duon, ac adoresgyn eu tiroedd a wnaeth llawer o'r Cymry, a thorri rhai o'r cestyll Yna'r gwyr mawr o'r Ffrancod a ymroddasant i wneuthur cestyll cedyrn yn mhob man lle'r oeddynt yn Nghymru ac a ddodasant wobrau i bawb o'r Cymry a fyddaint yn wyr iddynt, ac felly gwanhawyd y tywysogion dyledog yn fawr."

Yn y flwyddyn 1100, bu farw y *Brenin Coch*, trwy ergyd saeth, yr hwn a roddwyd iddo yn anfwriadus gan un o'i gyfeillion, wrth hela. Y mae rhyw beth mor nodedig yn nhynged y pennadur hwn, ag nas gallaf attal sylwi arnaw ychydig yma, gan adrodd rhai o nodiadau THIERRY ar y testun.

Yn mhlith ei amrywiol ormesiadau ereill ar y Saeson, yr oedd *Gwilym y Goresgynydd*, gwedi sefydlu *Cyfreithiau y Fforestau*, trwy ba rai y neilltuwyd ardaloedd helaeth mewn amryw gyrrau o'r wlad, ac a'u trowyd yn dir anial, i'r dyben o fagu gwylltfilod helwriaeth, er difyrwch iddo ef a'i bendefigion Normanaidd. Y cyfreithiau hyn oeddynt mor greulawn a gormesawl, ag na feiddiai un o waedoliaeth Saesonig, fyned i'r fforestau yma âg arfau yn eu dwylaw, dan boen o angau; a phwy bynnag o ŵr anfreiniawl, megys yr oeddynt y Saeson, a laddai garw neu aderyn helwriaeth, neu faedd gwyllt, mewn un mann, a gai ei gospi, trwy dynnu eu lygaid allan o'i ben. Ac yr oedd hefyd yr ysgyfarnogod yn waharddedig yn yr un modd. Y mae etto weddill o'r cyfreithiau hyn yn parhau yn ein plith, yn y ddeddfres a elwir y *Game Laws;* y mae yn wir nad yw y gosp yn awr, ddim yn estyn at ddihenyddiad, neu dynnu llygaid, am ladd ysgyfarnawg; ond yr ydym weithiau, gwedi gweled alltudiaeth a charchariad, yn ddeddfrydawl i'r trosedd yma, hyd nod o fewn i flynyddoedd diweddar. Gwilym y Goresgynydd ei hun, a oedd yn meithrin eiddigedd tra dwfn, perthynol i gadwraeth y fforestau; ond ei fab y *Brenin Coch*, a oedd lawer mwy llym ac eiddig o'u plegid, nag yntau; a chan ei fod yn ddyn gerwin, ac anynawd, ei reddfau, yr oedd ei ormes ef yn hyn o beth, yn llawer mwy blin nag eiddo ei dad. Mor atgas oedd y cyfreithiau hyn i'r Saeson, a'u bod yn honni fod yr yspryd aflan yn ymddangos i'r Normaniaid yn y coedydd mewn llun dychrynllyd, ac yn traethu wrthynt yn eglur, lawer o bethau am danynt eu hunain, ac am eu brenin.

Yn nifer yr ardaloedd, y rhai a anialwyd yn y modd yma, yr oedd yr un a elwir y *New Forest*, yn ardal Hampshire, trwy neilltuad pa un, y cyflawnwyd annghyfiander mawr ar y trigolion, gan eu troi allan o'u tai, a'u difeddiannu o'u tiroedd. Y mae yn wir fod eu hen deidiau, y Saxoniaid, wedi gafaelyd ar y tiroedd hyn trwy drais, a chwedi eu hysglyfaethu oddiar y Brytaniaid, ac am hynny, nyni y Cymry, nis gallwn lai na chyfaddef, fod cospedigaeth gyfiawn gwedi syrthio ar y genedl Saesonig yn hyn; ac er fod amrywiol oesoedd gwedi cerdded, etto, nid oedd ad-daliad rhagluniaeth ddim gwedi gwydaw i anghof, ond ymddangosodd yn ei iawn bryd, a'r estroniaid Saesonig a gawsant, yn eu tro, oddef oddiwrth ereill yr un blinderau, ag y berasant eu cyndeidiau hwy i'r hen drigolion. Ond y mae y trefniadau hyn, yn rhyfedd ac yn anchwiliadwy;

c yn yr un modd ag y gwelwn y barnedigaethau cenhedlaethawl hyn yn rgwydd ar ol rhwysg oesoedd, felly cyfeirir ein sylw at gyffelyb ddatniad o anfoddlonrwydd dwyfol, mewn anghreifftiau o ddygwyddiadau ag at ddynion unigol. A gosodir ger ein bron dynghedfen teulu y resgynydd yn hyn o beth. Y *New Forest* yma a oedd yn fann lle y gwyddodd amryw ddichweiniau anffodus iddynt; canys yma, yn y yddyn 1081, y derbyniodd *Richard*, mab henaf Gwilym, glwyf angeul, gan saeth; ac yma, yn 1100, y lladdwyd *Richard*, nai y Brenin ch â saeth; ac yma, yn yr un flwyddyn, y lladdwyd y Brenin Coch unan, yn yr un modd. Yr amgylchiadau, perthynol i'r dygwyddiad n, oeddynt y canlynol:—

Ar y boreu y cafodd ei ladd, y *Brenin Coch* a wnaethasai wledd fawr ei gyfeillon yn nghastell Winchester, ac yno ymbarotodd i fyned i hela *New Forest.* Tra yn ymwisgaw i'r dyben hynny, daeth gweithiwr i wn â chwech o saethau newydd iddo. Ar ol canmol y gwneuthuriad, lwodd bedwar ei hun, a rhoddodd y ddau arall i *Sir Walter Tyrel,* o'i gyfeillion Ffrangaidd, gan ddywedyd, ei fod yn addas rhoddi y ethau llymmaf i'r hwn a fedrai roddi ergydion marwol â hwy. Pan ar chwyn, daeth i mewn fonach, ac a fynegodd iddo fod monach arall edi gweled breuddwyd, yn mha un yr oedd arwyddion o ddrwg i'r renin, am ei ormesiad o'r Saeson. Yntau a chwarddodd yn groch, an ofyn, a oeddynt yn meddwl ei fod megys y Saeson, y rhai a adawent u gorchwylion, o herwydd bod hen wrach yn entrewi, neu yn breuddwydio; ac yn uniongyrchol gorchymmynodd gychwyn. Pan yn y forest, y brenin a Sir Walter Tyrel a gadwasont gyda'u gilydd, pob un i fwa croes yn ei law yn barod i saethu. Yn rhwysg yr helfa, daeth arw yn ganlynedig gan y cŵn, rhwng y brenin a'i gyfaill; yna y brenin ollyngodd ei fwa, ond y llinyn a dorrodd, a'r saeth nid ehedodd, a'r carw safodd yn syniawg rhwng y ddau, gan edrych oddiamgylch iddo; yna, y brenin a amneidiodd ar ei gyfaill, ond hwnnw nid ymsyflodd. Ar hynny, y brenin a waeddodd allan, "Saetha, saetha, fel diawl;"* ac yn ddiattreg, Sir Walter a ollyngodd ei saeth, yr hwn, gan dreilliaw yn erbyn pren, a wyrodd at y brenin, ac a'i brathodd trwy ei galon, fel y syrthiodd yn gelain yn y mann.† Ar hyn, Sir Walter a ffodd, yn nghyd â phawb ereill yn yr helfa, a'r brenin a adawyd yn y coed, lle y cafwyd ei gorff gan ryw

* Y mae yn ddilys mai Ffrangaeg oedd iaith Gwilym a'i gyfaill; ond yr hanesyddion a roddant yr ymadrodd hwn ac ereill, yn yr iaith a arferant yn eu hanesion, sef y Lladin; ac er fod ychydig o amrywiaeth, etto, y mae yr ystyr yr un peth; megys "*Trahe, trahe arcum, ex parte diaboli.*"—"*Sagitta diabole,*" *&c.*

† Yn un o'r Brutiau Cymraeg dywedir mai oddiar gefn carw y treilliodd y saeth "a dathlamhv y saeth yar gevyn vn o'r keiriw yny un adan bron y brenhin."

losgwyr glo-coed, a'r saeth ynddo; a hwynthwy a'i dodasant yn *eu* menn glô gwael, a hen lenllian am dano, ac un ceffyl tra thruan yn *ei* dynnu. Ac yn y dull yma y rhoddwyd ef i ofal dyn gwladaidd, id*dei* gludo i'r ddinas; a thra yr oedd hwnnw yn myned ar hyd ffordd ddofn a lleidiawg, y fenn freuawl a dorrodd, a chorff y brenin a syrthiodd i'r llaid, lle y gadawodd y taeawg ef i bwy bynnag a ofalent am ei symmud ymaith iddei gladdu. A hyn a fu diwedd y gormesydd uchelfrydus, y BRENIN COCH, yr hwn a gyflawnai cynnifer o orthrymderau ar y Saeson, ac a fuasai yn gwneuthur yn yr un modd â'r Cymry, oni fuasai i ddewrder *Gruffydd ab Cynan* a'i wrolion, ei wrthladd mor egniol a llwyddiannus.

Yn y gorpheniad yma o rwysg y *Brenin Coch*, gwelwn ddarostyngiad i'r adyn cyndyn hwn, cyfattebawl iddei falchder trahaus. Hyd nod y rhybudd breuddwydawl, ar yr hwn y tywalltodd chwerthiniad a gwarth, a drodd allan yn gyson a'i dynged. O ba hanniad oedd y rhybudd hwn, aflesiol holi; ond un peth sydd amlwg, cynnwysai wirionedd pwysfawr, perthynol i greulonder a gormes y brenin; a phe buasai efe yn deimlawl o gyhuddiad cydwybod, neu yn parchu llais cyfiawnder, yr oedd y cyfeiriad, poed mor ddistadl ac ofergoelus ag y mynnir, yn ddigon iddei gyffroi i synia ar ei fuchedd; ond bu farw yn ei galon galedwch, ar chwedl a ddirmygai megys gwrachaidd a chwerthinus, a lyna wrth ei goffadwriaeth, megys y rhybudd olaf a gafodd.

Y mae yn beth tra nodedig i gorff marw ei dad, *Gwilym y Goresgynydd*, dderbyn yr un fath anmharch; canys yn uniongyrchol gwedi myned yr anadl allan o honaw, ei holl gyfeillion a'i wasanaethwyr a ffoisant ymaith, pob un yn cludo gydag ef yn ysglyfaeth, yr hyn a allai afaelyd arnaw, hyd nod at ei ddillad; a chorff y brenin a adawyd yn noeth ar y llawr, lle y bu dros rai oriau, a neb ni ofalai am dano. Ond o'r diwedd, rhyw ddyn gwerinawl, er gweithred gardodawl, a gyflogodd fenn, ac a'i dygodd o *Rouen*, lle y gorweddai, i fyned tua *Caen*. Ar y ffordd, daeth iddei gyfarfod liaws o bobl; eithr tân a dorrodd allan mewn rhyw dŷ, a'r holl dyrfa a redasant iddei ddiffodd, gan adael y corff i ofal rhyw ychydig fonachod. Ond nid oedd hyn y cyfan; pan daethpwyd i'r Eglwys, yr oedd bedd gwedi ei dorri yn agos i'r allawr, ac ar ol terfynu y gwasanaeth achosawl, a myned i ollwng y corff i lawr i'r bedd, wele ddyn yn cyfodi yn mhlith y dyrfa amgylchawl, ac yn dywedyd â llais uchel, "Offeiriaid, ac Esgobion; y tir hyn sydd eiddo fi, yma y safodd dŷ fy nhad, y dyn dros yr hwn yr ydych yn eiriawl, a'i dygodd oddiarnaf trwy drais, i adeiladu ei Eglwys. Nid wyf nac wedi gwerthu fy nhir, na'i wystlaw, na'i gamlyriaw, na'i roddi; myfi a'i piaf, ac a'i hawliaf. Yn enw Duw, gwrharddaf i chwi osod gorff y treisiwr yn y mann yna, na'i orchuddio â'm tywarchen i."

Pawb o'r rhai oddiamgylch a gyfaddefent gyfiawnder yr hawl, a chyttunwyd â'r gŵr am arian, iddynt gael caniatâd i gladdu y corff yn y lle, ac hefyd cael ad-daliad am y tir oll. Ond etto, yr oedd un gwaradwydddiad yn ychwaneg iddei gyflawni. Pan ostyngwyd y corff i'r bedd, cafwyd yr ysgrin maen yn rhy gul, a'r gweinyddion, yn ceisiaw ei wasgu i mewn, y corff a rwygodd yn agor, a'r sawyr oedd mor anoddefadwy, ag y bu i'r canlynwyr ffoi o'r lle, gan adael i'r offeiriaid gyflawni y gwasanaeth eu hunain; yr hyn a wnaethant gyda brys.*

Ysgatfydd y gofynir i ba ddyben y cofiannir y pethau hyn; attebaf, y maent yn rhan o hanesyddiaeth. Ond gofynir etto pa wahaniaeth a wnelai i'r marw, pa un ai parch ai anmharch, a ddangosid iddei gorff? Diau na wnelai ddim. Ond nid er adeiladaeth y meirw yr ydys yn ysgrifenu hanesion, eithr i'r byw.

Dangoswyd eisioes fod y cyfreithau Normanaidd, perthynol i helwriaeth, yn flin a gormesawl iawn; ac fel ag yr oeddynt yn llym, felly yr oeddynt yn hollawl newyddion i drigolion yr ynys hon. Nid oes fawr hyspysrwydd am gyfreithiau helwriaeth y Saeson dan eu brenhinoedd cynhwynawl; ond y mae yn ddilys nad oeddynt ddim o'r anian orthrymmus, a'r rhai a sefydlwyd gan y Normaniaid. Ac am y Cymry, y mae yn amlwg nad oedd dim o'r fath yn hanfodi dan deyrnasiad y Tywysogion. Yr oedd y Cymry yn hoffi yn fawr y difyrwch o hela, ond nid oedd eu pendefigion ddim yn neilltuo iddynt eu hunain y gwylltfilod, yn y modd y gwnelai y brenhinoedd a'r arglwyddi Normanaidd, ond yr oedd y creaduriaid hyn yn rhyddion i bawb a'u helent; a'r cyfreithiau helwriaeth Cymreig a berthynent i gynhaliad trefn a rheol yn yr ymlid, ac nid i gyfyngiad y difyrwch i'r pendefigion, fel y canfyddir yn yr anghreifftiau canlynol:—

"Or Naw Helwriaeth, tair helfa gyfredin sydd. 1. *Carw.* 2. *Haid wenyn.* 3. *Gleisiad.*

Y Carw a ddywedir ei fod yn un o'r tair helfa gyffredin, yn gyntaf am ei fod yn wychaf ac yn wrolaf anifel, y mae helwriaeth arno â bytheiaid ac â milgwn. Yn ail am ei fod yn rhanog rhwng pawb a ddel atto wedi ei ladd cyn tynnu y croen oddiamdano: oblegid os bydd gwr ar ei daeth yn dyfod heibio yr amser hwnnw, efe a gaiff ran o hono wrth gyfraith, cystal a'r neb a'i lladdo."———

"Gleisiad a elwir yn helfa gyffredin, oblegid pan fydder yn ei hely a rhwyd, neu a thryfer, neu mewn modd arall, pwy bynnag a ddel atto cyn ei rannu, y mae iddo ran o hono cystal a'r neb a'i dalio, os bydd mewn dwr cyffredin."———

"Am Ysgyfarnog, pa beth bynnag a'i lladdo, y ci neu'r peth arall a'i coto o'i gwâl a'i piau, os ei cheisio y byddai yw hymlid."

* Gwel THIERRY.

Oddiwrth yr uchod, y mae yn amlwg nad oedd un gradd freiniog o bobl, i ba un y perthynai y difyrwch o hela, a lladd anifeiliaid gwylltion, ac nad oedd un gwaharddiad ar ladd pysgod, oddieithr o fewn terfynau meddiant dyn arall, canys felly y deallaf y cyfeiriad at *ddwr cyffredin.*

Etto, y mae yr un fath rydd-did cyffredinol oddiwrth neb rhyw gyfreithiau gormesawl, yn amlwg yn y rheolau canlynol:—

"Ni all neb illwng na milgi na miliast i un anifel pan fo'r bytheiaid yn ei ymlid, oni bydd iddo yntau fytheiaid yn ei ymlid; ac oni bydd, fe all y neb a fo yn canlyn y bytheiaid dorri llinyn-gar ei filgi, os efe a'i gillwng."

Ac etto,—

"Nid rhydd i neb saethu anifel y bo helwriaeth arno pan fo yn ei esmwythdra, tan boen colli ei fwa a'i saeth i Arglwydd y tir. Ond efe a geiff ei saethu, a'i ladd, os gall, pan fo'r huaid ar ei ol; ond ni chaiff saethu yn mysg y cwn.

Yma nid oes na thynnu llygaid, na chrogi, am ladd creadur gwyllt; a'r unig waharddiadau a geir, ydynt y rhai a oeddynt angenrheidiol er chwareu têg, a threfn reolaidd yn mhlith yr helwyr: ac y mae yn ddilys fod y Cymry gwerinol, yn yr amseroedd hyn, yn mwynhau y fraint o fwytta cig carw, neu ysgyfarnog, yn gystal a'r pendefigion, os byddent mor fedrus a dyfod o hyd iddaw. A'r unig wahaniaeth a allaf feddwl a hanfodai rhwng braint un dyn a'r nall, a achlysurwyd gan berchenogaeth y tir, sef y gwahaniaeth rhwng yr hawl i hela ar dir *cyffredin,* ac ar dir *neilltuol.*

Y mae yn wir fod diwygiad mawr gwedi cymmeryd lle yn y *Game Laws* o fewn i'r ychydig flynyddau diweddaf, a chanfyddir agosbad at arddeliad o'r egwyddor fod gan bob dyn iawn i'r creaduriaid gwylltion, a ddelir ar ei dir ei hun, bydded foneddig ai gwreng; ond y mae digon o'r hen ddeddfres etto yn hanfodi i ddangos y goresgyniad estronawl gynt. Gwn y gall rhai fy nghyhuddaw o annghofio y parch sydd ddyledus i *hen arferion,* yn y sylwadau hyn. Attebaf, pan fytho hen arferion yn feithrinawl o wladgarwch, neu o ddifyrwch diniwaid, teimlwn fy hun yn troseddu yn erchyll, pe ceisiwn eu diddymmu, neu wanhau eu heffeithiau mewn un gradd. Ond am y cyfreithiau y *Game,* nis gallaf ganfod ynddynt un tueddiant o'r cyfryw, ac nis gallaf deimlo tuag attynt un parch, amgen sydd ofynol tuag at gyfreithiau hanfodedig, y rhai y byddai yn dra dymunawl eu dilëu, megys sefydliadau, y rhai a barhasant weithiau lawn ddigon hir mewn grym. Ië, meddaf, yn ychwaneg na hyn, nis gallaf ganfod un achlysur i dalu parch i gyfreithiau y *Game.* Mewn trais a gormes y gwthiwyd hwy ar y Saeson, gan Dug Normandy, a'i ganlynwyr Ffrancaidd, ac ni pherthynent i nyni y Cymry, oddieithr trwy arglwyddiaethiad yr un giwdawd estronawl.

Yn ol honniad rhai hanesyddion, y Brenin Coch a wnaeth ddau ymosodiad ar Gymru, gan arwain ei fyddinoedd ei hunan. Y cyntaf a grybwyllwyd am dano eisioes; ac achlysur y llall a fynegir fal y canlyn. Ar ol dychweliad y brenin o Gymru, neu yn hytrach ei ffoad gwarthus, yn 1094, y Cymry yn mhlith gorchestion ereill, a ymosodasant ar gastell Trefaldwyn, y cadarnaf yn Nghymru, ar hwn y darfu i'r Normaniaid ei amddiffyn yn wrol ac yn fedrus amryw ddyddiau; eithr y Cymry a ddymchwelasant rai o'r muriau, ac a'i cymmerasant â llaw gadarn; a chan ladd y ceidwaid, torrasant y castell i lawr. Y Brenin Coch, yn llidiog o herwydd y cyfryw sarhad, yn gystal ag amryw ereill o'r un fath, y rhai a gyflawnwyd mewn amryw gyrrau o'r Dywysogaeth, yn 1096 a gynnullodd fyddin gref, ac a ddaeth yr ail waith yn erbyn y Cymry; ond hwynthwy a'u gwrthladdasant ef gyda'r fath wrolder ac egni, ag y darfu iddo gilio yn ol gyda chywilydd a cholled, yn yr un modd ag y gwnaeth o flaen *Gruffydd ap Cynan.*

[Am y profiadau o'r ail gadgyrchiad yma, gwel Warrington.]

Ar farwolaeth y Brenin Coch, ei frawd *Henry*, mab ieuangaf y Goresgynydd a drawsafaelodd ar orsedd Lloegr, gan ddifeddiannu *Robert*, ei frawd, y gwir etifedd. Hwn oedd Henry I. yr hwn a gyfenwid Beauclerc, ac ni bu hir cyn dechreu fel ereill o'i gydwladwyr, ymdrin â thrigolion Cymru. Achlysur ei drafodiaeth cyntaf â hwy oedd fal y canlyn.

Yn y flwyddyn 1101, *Robert de Belesmo*, mab *Roger de Montgomery*, *Iarll Amwythig*, ac *Arnulph*, ei frawd, *Iarll Penfro*, a wrthryfelasant yn erbyn y brenin, ac a gadarnhasant eu gwahanawl gestyll. Ac yr oedd Robert gwedi adeiladu castell *Brugge*, sef *Bridgenorth*, yn swydd Amwythig, heb ganiatâd y brenin, yr hyn a barodd ei anfoddlonrwydd. Yna yr ieirll yma a hudasant, trwy wobrwyon *Iorwerth*, *Cadwgan*, a *Meredydd*, meibion *Bleddyn ap Cynfyn*, i uno â hwy, ac a wnaethant gadgyrchiadau i diriogaethau y brenin; ac a'u diffeithasant. Pan glybu Henry am hyn, cynnullodd fyddin liosog, a chyrchodd yn eu herbyn, ac wedi ennill rhai o gestyll Robert, daeth yn erbyn *Bridgenorth*, lle yr oedd yr iarll ei hun. Ond yr oedd y lle hwnnw mor gadarn, ag nad oedd yn ei allu, ei gymmeryd. Yna efe a anfonodd at *Iorwerth ap Bleddyn*, ac a addawodd iddo wobrwyon mawr, os troddai efe ar ei ochr ef, gan ei adgofio hefyd o'r camweddau a wnaethasai tad yr iarll, a'i frawd, i'r Cymry. Ac er ei wneud yn fwy calonog yn ei wasanaeth, y brenin a roddodd i Iorwerth, holl diroedd yr iarll, a'i frawd, o fewn i Gymru, heb na threth na llŵ; yr hyn a gynnwysai ran o *Bowys*, *Ceredigiawn*, a hanner *Dyfed;* yr hanner arall a oedd gan mab Baldwyn,

yn nghyd âg *Ystrad Tywi* a *Gwyr*. Ar hyn, Iorwerth a unodd â'r brenin; a chan anfon ei luoedd i diriogaethau yr iarll, diffeithiodd hwy yn enbydus. A chafodd afael ar lawer o yspail o anifeiliaid, a daoedd ereill; canys yr iarll a barhasai gludo y pethau hyn i Gymru, allan o ffordd y brenin. Pan glybu yr iarll a'i gyfeillion am hyn, ofnasant yn fawr, a chan wybod nas gallent mwyach wrthsefyll y brenin, yr iarll a'i frawd a ofynasant am ganiatâd i fyned i Ffrainc, yr hyn a roddwyd iddynt.

Yna Iorwerth a fwriodd ei frawd Meredydd i garchar, ond ymheddychodd â Chadwgan, a rhoddodd iddo ran o Bowys. Ac efe ei hun a aeth at y brenin, i hawliaw ei addewidion. Ond y brenin a ymddygodd tuag atto, yn ol ei gynllun bradychus ei hun tuag at yr iarll, a chymmerodd Ddyfed oddiwrtho, ac a'i rhoddodd i farchog o'r enw *Saher*, a rhoddodd *Cydewen* a *Gwyr*, i *Hywel ap Gronw;* ac felly, Iorwerth a orfu fyned ymaith yn waglaw.

Ond yr oedd *Henry* yn ofni y byddai i'r fath sarhad a chamwedd a hyn, gyffroi dialedd *Iorwerth*, ac arwain i ryw ad-daliad cyfattebawl; ac efe a'i gwahoddodd ef i ddyfod i'r Amwythig, i gyfarfod â rhai o'i weinidogion, dan rith ymgynghori ar achosion gwladwriaethawl; ond pan cafodd ef yn ei allu, cyhuddodd ef o fradwriaeth; a chan ei brofi ger bron brawdlys, barnwyd ef yn euog; ar yr hyn, parodd ei fwrw yn ngharchar, lle y bu dros o gylch saith mlynedd, cyn cael ei rydd-did.

Wrth y rhoddiadau uchod o Bowys a Dyfed, &c. gan Frenin Lloegr, y mae yn amlwg fod y Saeson gwedi llwyddo i ennill sefydliad cadarn yn Nghymru ar y pryd hyn, onite nis gallasai y brenin ddim hawliaw y fath iawn. Ond etto, y mae yn rhaid sylwi, nad oedd ei feddiant o'r ardaloedd hyn, ond tra annghyflawn. Ac mewn amryw fannau, nid oedd ond enwawl yn unig. Yr oedd y cestyll yn ddiau yn ei ddwylaw, a chymmaint o'r ardaloedd amgylchawl iddynt, ag y gallai y dalwyr eu cadw dan eu llywodraeth. Ond y mae yn ddilys nad oedd trigolion y wlad yn y cyrrau pell oddiwrth y cestyll hyn, yn talu ufudd-dod i'r estroniaid, eithr yn glynu wrth eu pendefigion cynhenid; ac y mae yn amlwg mai trwy awdurdod y cyfryw bendefigion, yr oedd y Saeson yn llwyddo i gynnal eu hawdurdod. Er prawf o hyn, gwelwn y brenin Henry, yn gorfod gwobrwyaw Iorwerth ab Bleddyn, iddei gynnorthwyaw, cyn gallei darostwng y pendefigion ereill. A thrwy y gyfundraeth hyn o hudo, gwobrwyaw, a chamarwain y penteuluoedd Cymreig, y cynhaliai yr ychydig awdurdod ag a feddai yn y wlad. Ond gan ys i ba raddau yr arddelwyd ei awdurdod yn mhlith trigolion yr ardaloedd tufewnol o'r wlad, yr oedd *Henry y* 1*af*, yn ddiamheuol mewn enw, yn benllywydd ar ran helaeth o honi; a phe na buasai gyffroad i ymdrech fwy egniawl ar

n y Cymry, buasai yr oes honno yn gweled trancedigaeth eu hannibyn-rwydd, megys cenedl.

Yn y flwyddyn 1103, bu farw *Owain ap Edwin* ar ol hir glefyd. Ac y flwyddyn honno, *Richard mab Baldwyn* a gadarnhaodd gastell *hyd y Gors*, ac a yrrodd *Hywel ap Gronw* allan o'i feddiannau yn trad Tywi; eithr Hywel a ddychwelodd yn fuan gyda llu cadarn, ac a iffeithiodd feddiannau y Normaniaid, gan ladd rhifedi mawr o honynt, a gadwodd feddiant ar y wlad oll, oddieithr y cestyll, y rhai oeddynt nwylaw y dyeithriaid. Y rhai hyn gan hynny yn gweled nad allent y ddim trechu ar Hywel trwy ryfel, a gymmerasant at eu hen arferion rad a dichell; a llwyddasant yn hynny trwy offeryndod un o'r enw *vgan ab Meuryg*, yr hwn a fuasai yn meithrin mab i Hywel, ac felly arddel cyfeillach âg ef. Y Gwgan hwn a wahoddodd Hywel iddei dŷ, ı rith cyfeillgarwch; ac yn y nos, wedi iddynt fyned i gysgu, anfonodd y Ffrancod yn nghastell Rhyd y Gors, i fynegu iddynt fod Hywel yno; hwynthwy a ddaethant yn y plygain ac a amgylchynasant y lle, ac a odasant floedd uchel, ar yr hyn y dihunodd Hywel, ac yn ddilesg a siodd ei arfau; canys yr oedd efe wedi dodi ei gleddyf wrth ben ei ly, a'i waeywffon îs y traed. Ond yr oedd y bradwr, Gwgan, wedi nud y rhai hyn, tra yr ydoedd Hywel yn cysgu. Yna, Hywel a alwodd ei gyfeillion, ond yr oeddynt oll wedi ffoi; yna, yntau a orfu ffoi, ond ŷr Gwgan a'i daliasant ef, ac a'i tagasant. A'i gorff a roddwyd i'r rmaniaid, y rhai a dorrasant ei ben, yr hyn a ddygasant i gastell Rhyd rs.

O gylch yr un amser, lladdodd Owain ap Cadwgan ap Bleddyn, ddau Trahaearn ap Caradawc, sef Meyrig a Gruffydd; a dihangodd Mered-d ap Bleddyn o garchar, ac adennilles ei gyfoeth yn ddiwrthladd.

Yn ystod yr unrhyw amserodd, sef yn 1106, neu yn ol cyfrif arall, )8, tra yr ydoedd y terfysgiadau gwladwriaethawl hyn yn hanfodi, bu hweiniad anianol yn un o'r taleithiau Cyfandirol, yr hwn a achlysur-l ganlyniadau anffodus, nid yn unig i'r brodorion hyny, ond i drig-on Cymru hefyd: oblegid torrodd y môr dros ran fawr o'r wlad, ar r yr *Iseldiroedd*, sef *Flandrwys*, neu fel y gelwir y wlad yn y Brut, r *Galedin;* a gorfu ar y bobl ffoi lle y gallent am eu heinioes; a llawer honynt a ddaethant i Loegr at y brenin Harri, yr hwn a roes iddynt ›edd mewn amryw gyrrau; ond yn enwedig anfonodd lu nifeiriog o ıynt i Gymru, i ardal *Rhos*, yn ngwlad Penfro, lle mae rhan o'r genedl ıno yn preswyliaw hyd heddyw.

Y mae amryw geisiadau gwedi eu gwneyd gan hanesyddion, i ddyfod i bodaeth mwy manwl o'r amgylchiadau cydfynedig, ond er eithaf eu riliadau hynafiaethawl, nid oes braidd ddim ar glawr yn ychwaneg na'r

hyn a draethir yn yr ychydig eiriau uchod: ac oddiwrth yr hyn ysgatfydd y cynnwys y canlynol sylwedd yr hanes.

### Y FFLANDRWYSIAID.

Yn mhlith y cymmysglu Cyfandirol a ffurfiai fyddin Gwilym gynydd, yr oedd llawer o Fflandrwysiaid, y rhai fel ereill o'i ga a gawsont diroedd yn Lloegr, megys eu rhan o'r ysglyfaeth, ac eu gwasanaeth. Ac ar ol eu sefydlu yno, daeth amryw o'u cyd drwodd attynt o bryd i bryd, megys y deuai o'r cenhedloedd e gwahanol gyfeillion: a'r dyfodiad hyn o eiddo y Fflandrwysiaid wyd ac a hyfforddwyd yn neilltuol, trwy fod Matilda, brenines yn ferch i Balwyn, iarll Fflandrwys. Ac felly, pan ddygwyd amgylchiad dinystriol hyny yn y wlad honno, trwy ruthr y môr olion a droisant eu llygaid at Loegr, megys y nawddle mwya iddeu gresawu: yn ganlynol, daeth rhifedi mawr o honynt i o Lloegr, lle y cawsant drigle; ond yn mhen amser, daethant mo a bod yn faich ar y trigolion; ac felly y brenin Harri I. a'u tro odd i Ddyfed, lle y byddent yn gynnorthwy iddo yn ei ryfel Cymry. Y dyfodedigion hyn a ganlynwyd gan ereill o'u cydwl wahanol brydiau, nes yn y diwedd, iddynt ddyfod yn sefydlia cadarn i boblogi yr ardal, a chadw meddiant arni. Y Brut a ddiflaniad yr haid gyntaf, ac am ddyfodiadau ereill. Gwelir iadau yn y pigion canlynol:—

"Oed Crist 1106, chwythawdd y gwyntoedd y tywod yn aruthrawl dros *Galedin* hyd onid aeth yn for dwfn lle y buassei'r traethau a'r tywynau, a gorl wlad honno fyned lle y gallent am fywyd, a llawer o honynt a ddaethant i I wnaethant drychineb mawr, ar Brenin Harri au gyrrawdd i Gymru lle y t Nyfed yn y lle a elwir *Rhws*, lle gwledychasant rai flynyddau ac yna diflannu."

Etto,

"Yn y flwyddyn honno [1113] bu marwolaethau trymion ar y Saeson achos haint, ac nas gallai'r Brenin [*Harri I.*] gael gwyr wrth ei raid, a haint anifeiliaid onid aeth prinder ymborth yn drwm ar Loegr, ac nid felly yng N hynny fu gyfnerth i *Ruffydd ab Rhys*, ac yn hynny o amser daeth y Fflandry waith i Loegr achaws y mor yn diffeithiaw eu tiroedd lle y torres Morlif flynyddau o'r blaen, ar Brenin ac eisiau gwyr arnaw yn erbyn rhuthrau Gruffyd a ddanfones at ei gastellwyr, a'i swyddogion, a'r Ffrancod, a'r Cymry a'i car iddynt arfoll y Fflandrysiaid a dodi modd i fyw iddynt yn ammod iddynt fod yn gossawd, wrth achaws y Brenin ai ffyddloniaid, ac felly y bu, a'r dieithriaid hy ant *Rhws* yng ngwlad *Penfro Dyfed*, ac a wledychasant yno yn wyr ffydd i'r B a ddodes Saeson yn eu mysg er dysgu iaith y Saeson iddynt a'r awr honn Saeso yn ormes Dyfed a Deheubarth achaws eu twyll a'u celwyddocrwydd, yn anad ychant o fewn i derfynau Ynys Prydain."

Ac etto, crybwyllir am ddyfodfa yn amser Harri yr Ail.

ld *Ystyffan* yn Frenin fe ddaeth gydag ef [*o'r Cyfandir*] laweroedd o'r Fflan-
'nys Prydain, a'r rhai hynny a'i carent, ac efe a ddodai lawer o roddion ac
iddynt, canys goreuon o'i Bleidyddion oeddynt, a gwedi dyfod *Harri'r ail* ni
yn Lloegr, achaws hynny daeth niferoedd mawrion o honynt i Gymru, a llawer
a gerynt Ystyffan, a'r dieithriaid hynn a aethant yn wyr damdwng i Bendefig-
iod yng Ngheredigiawn a Dyfed."

y gwahanol ddyfodiadau hyn, daeth yr ardal honno i gael ei mor gyflawn gan y dyeithriaid, a'i bod yn cael ei galw gan y *Lloegr Fechan tu hwnt i Gymru.** A dywedir mai o achos d hyn yn yr ardal, yr oedd cyfreithiau Lloegr yn cael eu gweini ı gwahanol ddull i'r rhannau ereill o Gymru, y rhai oeddynt yn glwyddi y Cyfandiroedd, a bod cerddediad yr ysgrif frenhinawl *rit*, yn gyfyngedig i wlad Penfro.

Fenton yn dychymmyg gyda llawer o debygolrwydd cywirdeb, ydd o ddynion gwreng oeddynt y Fflandrwysiad hyn, yn ffurf-elfyddydwyr ac amaethyddwyr ac ereill o isel radd, heb neb o n gyda hwy, a'u bod yn hollol dan lywodraeth y Normaniaid, l gynnal un math o wledychawd priodol nac annibynolrwydd eu Canys nid oes ar glawr, enwau neb rhyw ddynion pendefigol yn r genedl. Giraldus Cambrensis, o gylch pedwar ugain mlynedd yfodiad cyntaf, a ddywaid eu bod yn gelfydd mewn masnach ac eithiadau gwlân, ac hefyd canmola yn fawr eu dewrder a'u dd.

a allaf ddeall, nid oes nemmor o gyfnewidiad wedi cymmeryd ıerfyndiroedd y Fflandrwysiaid dros amryw oesoedd: ond nis ldi yma rediad a ffiniau, am nas galles eu cael gyda digon o d;—rhodded rhyw un adnabyddus â'r ardal, hyn o ychwanegiad ddiaeth daearyddiaethawl. Y mae y bobl hyn yn awr yn siarad aesonig. Pa fodd y daethant i'r arfer hyn, na pha bryd, nis nid yw yr hyspysiad yn y Brut yn eithaf boddhaol i mi. Ond ydd addas ystyried, sef, bod cymmaint o gyffelybrwydd gwreidd-iaith gysefin yr Iseldiroedd â'r Saesonaeg, ag y gall siaradydd fod i wybodaeth o'r nall, heb fawr o orchest.†

* "Anglia Transwallina."—Camden.

r flynyddau yn ol, gwelais hen hanes Brytanaidd argraffedig, yr hwn a gyn-ddodiadau am y Fflandrwysiaid; ac os cywir y brith-gof sydd genyf am eu negent fod ymrysonau yn parhau rhwng yr estroniaid hyn a'r Cymry, yn hir ar yfeloedd y tywysogion, a'u bod yn pwysaw cymmaint ar rai o'r ardaloedd cyfnes-y eu heondra a'u hawydd, yn peri cymmaint o aflonyddwch i'r trigolion, ag i giawn gyfodi yn unfryd idden gwrthladd, ac y bu i frwydr galed gymmeryd lle lwy blaid, yr hon a ymladdwyd â phastynau, yn yr hon y gorthrechwyd yr a gorfu arnynt gilio; ac ni flinasant yr ardal fyth mwyach. Yn y cyfarfod n a barhaodd trwy y dydd, yr oedd yr ymdrech mor galed, a'r ergydion mor lilaesiant, a bod y rhai a oeddynt yno yn dywedyd ar ol hynny, nad oedd dim maint a *distwn pastwn*; yr hwn ymadrodd a aeth yn ddihareb yn y wlad.

O gylch yr amser yma, achlysurwyd lawer o ofidion yn y deheubarth, trwy ddrwgnwydau un o'r pendefigion Cymreig, hanesiad o'r hyn a ddengys anianawd afreolaidd y gwrthddrych, yn nghyd â chyflwr terfysglyd a digyfraith y wlad.

Dangoswyd eisioes y modd y darfu i *Ruffydd ap Cynan*, yn nghyd â *Chadwgan ap Bleddyn ap Cynfyn*, o gylch y flwyddyn 1094, orthrechu ar y Saeson yn Nyfed a Cheredigiawn; drwy ba fuddugoliaeth yr adennillodd y Cymry lawer o'u tiroedd, a *Chadwgan ap Bleddyn*, a gadwodd feddiant arnynt dros amryw flynyddau, ac ymddengys ei fod yn cynnal ei lys yn nghastell Aberteifi. Yn y flwyddyn 1107, yn ngwyliau Nadolig, y tywysog hwn a wnaeth wledd anrhydeddus yn y castell hwnnw, ac a wahoddes iddi bennaduriaid a phendefigion y wlad o bob ardal yn Nghymru, "Ac," medd y Brut, "er dangos y goreu o barch i'r gwestteuon, efe a wahoddes y Beirdd a'r Cerddorion Tafawd a Thant goreu a gaid yn holl Gymru ac a ddodes gadeiriau iddynt a chynadl y gorchestion, herwydd Defawd Gwleddau y Brenin Arthur, ac yn y wledd honno y dodes ef iddynt ddefodau, a breiniau, a rhoddion anrhydeddus, ac a'u gollynges yn obredig o roddion, ac yn freiniedig o anrhydedd bob un ar ddychwel i'r lle yr henyw."

Yn y wledd honno yr oedd, *Owain*, mab *Cadwgan ap Bleddyn*, yr hwn a ddaethai o Bowys, â *Nest*, merch *Rhys ap Tewdwr*, gwraig *Gerald de Windsor*, rhaglofydd castell Penfro. A phan gwelodd Owain, Nest, efe "a'i serchawdd yn ddirfawr rhag ei thecced o bryd a gwedd a bonheddicced ei moes." Ac yn mhen ychydig amser ar ol hynny, efe a gynnullodd o gylch pedwar ar ddeg o gyfeillion, a than rith o fyned i ymweled â'i gares, canys yr oedd Nest yn berthynas iddo, efe a aeth i gastell Gerald, sef castell tref Penfro, safle yr hwn a elwyd gynt, *Cenarch Bychan*, neu *Cengarth vachan*, a'r hwn le yr oedd Gerald, y flwyddyn o'r blaen, wedi ei adgyweiriaw a'i gadarnhau, ac wedi dwyn iddaw ei holl gyfoeth. Ac yn y nos, Owain a'i gyfeillion ysgymmun, a wnaethant glawdd dan y trothau, yn ddirgel, heb wybod i geidwaid y castell. Ac yna rhoisant floedd o'r tu allan i'r castell, a dodasant y tai ar dân. Wrth y trwst, Gerald a ddeffrodd, a thrwy gynnorthwy ei wraig, a ddihangodd, ond Nest a ddaliwyd gan Owain; ac ar ol yspeilio y castell, a'i losgi, dygodd hi a'i phlant i Bowys.*

Pan wybu Cadwgan am y weithred ysgeler yma o eiddo ei fab, bu drist

* Rhyfedda rhai pa fodd y gallasai y fath ychydig ddynion dorri i mewn i gastell, newydd ei gadarnhau a'i adgyweiriaw. Ond nid ymddengys hyn mor ddyeithr, pan gofier fod Nest yn gares i Owain; a chan iddo fyned yno dan rith o ymweled â hi, megys perthynas, y mae yn ddilys fod ganthaw gyfleusderau i gyflawni ei amcanion, y rhai ni allasent fod o fewn cyrhaedd i neb, oddieithr un yn mwynhau yr un radd o gyfeillgarwch, a thrwydded teuluawl.

wn o'i herwydd, a cheisiodd ganthaw anfon Nest yn ol at ei gŵr, eithr fu lwyddiannus; a phan ddaeth hyn i glyw *Rickart*, esgob Llundain, yr m oedd y pryd hwnnw yn raglofydd *Ymwythig*, efe a benderfynodd isio dial y sarhad a'r trais a wnelsid; ac felly annogodd, trwy addewid wobrwyon mawr, *Ithel* a *Madawc*, meibion *Rhiryd ap Bleddyn*, i fodi yn erbyn Owain, ac naill ei ddal neu ei ymlid o'r wlad; ac at y i hyn, efe a ychwanegodd *Llywarch ap Trahaearn ap Caradawc*, 1 o frodyr pa un a laddesid gan Owain, ac hefyd *Uchtryd ap Edwin*; pedwar hyn a gynnullasant lu, ac a aethant yn erbyn Owain a'i dad. d y mae yn debygol fod Uchtryd yn meithrin rhyw ewyllys da tuag at id Owain; canys efe a anfones genhadon at wŷr y wlad, i fynegu y ldai i bwy bynnag a ddeuai attaw ef gael nawdd; a rhai a giliasant o ef, ac ereill i Arwystli, ereill i Faelienydd, ereill i Ystrad Tywi, ac ill i Ddyfed, lle yr oedd Gerald yn feddiannus. Y rhai a ffoisant at htryd a gawsant amddiffyniad, a'r un modd y rhai a aethant i Ystrad wi; canys *Meredydd ap Rhydderch* a'u derbyniodd yn anrhydeddus 1 eu harfolli yn hygar; y rhai a aethant i Ddyfed hefyd, a gawsant yogelwch: ond y mae yn debygol i ryw dynged mwy anffodus ddy-ydd i rai o honynt yn Maelieynydd ac Arwystli: ond y mae y traeth-d am dano yn y Brutiau, mor dywyll, ag nis gallaf ddyfod o hyd i'r yr. Yn y terfyn yma, Cadwgan ac Owain a gawsant long Wyddelig Aberdyfi, yn yr hon y dihangasant. Yna eu hymlidwyr a ddaethant leu tiriogaeth, ac a ddifrodasant y wlad yn erchyll, gan ladd a llosgi; ac th glywed fod rhai o bleidwyr Owain yn noddfa Dewi yn Llanddewi efi, diffeithiasant y lle yn gwbl.

Tra yr oedd y pethau hyn yn cymmeryd lle, Owain, a'r ychydig a ym-ent wrtho, sef y cydymdeithion ysgeler hynny, y rhai a'i cynnorthwy-ont yn ei ymosodiad ar Gerald de Windsor, gan nad oedd iddynt un ogelwch yn eu gwlad priodol, a ffoisant i'r Iwerddon, lle y cawsant aw parod gan y brenin *Murtarch*, [*Murkertach*] canys efe a fuasai o o'r blaen yn amser y rhyfel yn Môn gan y ddau iarll.

Ar ol ffoedigaeth Cadwgan ac Owain, syrthiodd eu tiriogaethau yn owys, i ddwylaw eu hymlidwyr, Madawc ac Ithel, meibion Rhiryd, y i a'u llywodraethent yn anfoliannus, gan nad oeddent heddychol rhyng-ynt eu hunain. Ac yn y cyfamser, Cadwgan a ddaeth yn ddirgel i wys, a thrwy gyfrwng Ricart yr ystiwart, llwyddodd i ymheddychu â'r nin Harri, ac a gafodd ail feddiant ar Geredigiawn, trwy daliad o gant nt, ar yr ammod na fyddai iddo ar un cyfrif roddi nawdd na chynhaliaeth i fab Owain, na gadael iddo ddyfod i mewn iddei diriogaeth: a hyn a o gylch y flwyddyn 1108.

Ar ol gostegi y terfysg, dychwelodd y werin wasgaredig iddeu han-

neddau, a'r rhai o'r gwŷr y sawl a ffoisent i'r Iwerddyn, a ddaethant i Gymru, a llechu yn ddirgel yn y wlad; ac yn mhen blwyddyn, Owain ei hun a ddychwelodd, eithr nid i Geredigiawn, ond i Bowys, a cheisiodd cael ammodi â'r brenin Harri, eithr heb lwyddiant.

Yn yr amser hyn dygwyddodd ymryson rhwng *Madawc ap Rhiryd*, âg esgob Llundain, rhaglaw y Cyffindiroedd, o achos fod drwgweithredwyr yn ffoi o diriogaethau brenin Lloegr at Fadawc, er noddfa; pa rai a geisiodd yr esgob gael eu dychwelyd, eithr heb lwyddo; ac am hynny, sorrodd yn fawr. Yna Madawc, er ymgryfhau, a geisiodd gyfeillach ei hen elyn, *Owain ap Cadwgan*, a hwynthwy a ammodasant â'u gilydd, ac a gyrchasant ymaith yn erbyn y Saeson, gan gerdded "yn nghyd pa le bynnag y dyccei eu tynghedfen hwynt;" a llosgi a diffeithio tiroedd eu gelynion, a dwyn ganddynt ysglyfaethau gwerthfawr.

Y brenin Harri yn awr, naill ai er mwyn arian, neu ysgatfydd, er gwrthwynebu *Madawc* ac *Owain*, a ollyngodd o garchar *Iorwerth ap Bleddyn*, am "dri chant o arian," neu gwerth hynny o anifeiliaid; ac a ddychwelodd iddo ei diriogaethau drachefn, a gollyngwyd hefyd yn rhydd mab *Cadwgan*. Ar y pryd hyn yr oedd Owain a Madawc yn diffeithio tiroedd y Saeson yn ddiarbed, ac yn dwyn yr yspail i diroedd *Iorwerth*, lle y cynhalient eu preswylfa. Ar hyn, Iorwerth a anfonodd attynt yn barchlawn i geisio ganddynt beidio a dyfod iddei diroedd ef a'u hyspail; eithr hwynthwy a ddirmygasant ei gais, gan droseddu fwyfwy yno. Ar hynny, Iorwerth a gynnullodd lu, ac a'u hymlidiodd oddiyno, a hwy a aethant i wlad *Uchtryd*, yn Meirionydd; eithr meibion *Uchtryd* a gynnullasant fyddin iddeu gwrthwynebu; a bu brwydr greulon rhyngddynt; a Madawc ac Owain, ar ol ymladd yn ddewrwych, gan fod eu gwrthwynebwyr yn gorthrechu arnynt, a ffoisant ymaith, yn nghyd â'u gwŷr. Owain a aeth i Geredigiawn i diriogaeth ei dad; a Madawc a aeth i Bowys.

Tra yr ydoedd Owain yn yr ardal honno, gwnaeth amryw gyrchiadau i Ddyfed, gan yspeilio y wlad a dwyn y trigolion yn garcharorion, ac yn peri iddeu perthynasau eu prynu yn ol ganthaw, neu ynte, yn eu hanfon yn rhwym i'r llongau, y rhai a ddaethent gydag ef o'r Iwerddon.

Yn mhen ychydig, amlhaodd ei ganlynwyr yn fawr, a chynhaliodd ei arferion yn fwy egniol nag o'r blaen, heb wrandaw ar rybuddion ei dad, na gofalu am waharddiad y brenin Saesonig.

Tra yr oeddynt yn canlyn y fuchedd yma, dygwyddodd fod gŵr pendefigol o'r Fflandrwysiaid, o'r enw William de Brabant, ar ei daith trwy'r wlad, a rhai o wŷr Owain a oeddynt yn gwarchadw y ffordd; a hwy a'i lladdasant ef a'i ganlynwyr. A phan glywodd Cadwgan, a Iorwerth ei frawd, o hyn, hwy a aethant i lys y brenin, i gyfiawnhau eu hunain, fel

chyhuddid hwy am ymgyfranogi yn y gorchwyl: ond brawd i'r gŵr a lesid, a ddaeth iddeu cyfarfod, ac a fynegodd i'r brenin am y gyflafan. yna y brenin a ddywedodd wrth Gadwgan,—am na allai efe attal ei rhag cyflawni y cyfryw droseddau, nac arbed ei wlad rhag y fath esiadau, y rhoddai efe ei feddiannau i arall, yr hwn a'u cadwai. Ac r, dododd ar *Gadwgan*, na chai efe ddychwelyd yn ol i Gymru, heb aniattâd ef; ond bod yn rhydd i fyned lle y mynnai, namyn hynny, ael ei borthi gan y brenin. A rhoddodd tiriogaethau Cadwgan i *Gilbert ongbow*, iarll *Strigyl*, os byddai efe yn alluog iddeu hennill. A nw a gynnullodd fyddin gref, ac a aeth i Geredigiawn, ac a oresgyn- y wlad. Ac yno yr adeiladodd ddau gastell, sef un yn *Aberystwyth*, nall ger llaw *Aberteifi*, mewn lle a elwir *Dingeraint*, [*Cilgeran*, dylia rhai,] mann lle yr oedd *Rhôsser de Montgomery* wedi dechreu ell o'r blaen. Pan glywodd Owain a Madawc am hyn, hwy a ffoisant Iwerddon; eithr yn mhen ychydig, Madawc a ddychwelodd i Bowys orwerth ei ewythr; ond hwnnw ni roddai na nawdd na derbyniad w, rhag ofn digiaw y brenin. "Ac ynteu yn wibiawdyr a lechawdd t ac yma gan ochel cydrychiolder Iorwerth." Ac Iorwerth a orchym- odd na fyddai i neb ei gynnorthwyaw. Ac yna Madawc a ymgyfrin- ws â *Llywarch ap Trahaearn*, gelyn Iorwerth, a hwynthwy a gyn- nasant ddinystr Iorwerth, yr hyn hefyd a gyflawnasant yn y flwyddyn ynol, gan ddyfod yn y nos a gwarchae y tŷ lle yr oedd efe yn cysgu *Nghaereinion*, gan ei osod ar dân, a lladd Iorwerth yn y cynnwrf."

an glywodd y brenin Harri o hyn, rhoddodd diriogaethau Iorwerth i wgan ei frawd, a chaniattâodd faddeuant i Owain ap Cadwgan, gan io gan ei dad anfon iddei ymofyn ef yn ol o'r Iwerddon.

an welodd Madawc fod ei ewythr Cadwgan yn llywodraethu y wlad, u yn y coedydd a wnaeth, gyda'i gyfeillion, gan ystrywiaw ei ddy- a. Ac felly, ar ol i Gadwgan ostegu y terfysg, a dyfod a'r wlad i elwch, aeth i'r *Trallwng*, [yn Mhowys] gyda'i bendefigion, i'r dyben leiladu castell yno; a Madawc a ddaeth yn ddisymmwth arnaw, ac laddodd ef yno, cyn y gallai na ffoi nac ymladd.

r ol y weithred hyn, Madawc, gan wybod fod esgob Llundain yn iau Cadwgan yn fawr o achos yr hen ymryson a fu rhyngddynt, a nodd attaw i fynegu iddo am yr hyn a wnaeth, gan ofyn am diroedd lwgan; ac efe a gafodd y rhai a fuasent yn eiddo Ithel ei frawd. Ac yd, *Meredydd ap Bleddyn*, wrth glywed am farwolaeth ei frodyr, a at y brenin i geisio meddiannau Iorwerth; a'r brenin a'u rhoes iddo dw, hyd nes dychwylai Owain o'r Iwerddon; yr hwn a ddaeth cyn ; ac a gymmerodd afael arnynt; ac felly, Owain a Madawc a ymhedd- asant â'r brenin, gan dalu gwobrwyon a rhoddi gwystlon.

Ond ni pharhaodd tawelwch yn hir; canys y flwyddyn 1112, *Meredydd ap Bleddyn*, a anfonodd fyddin o'i wŷr i wneuthur cyrchiad i wlad *Llywarch ap Trahaearn*, yr hwn a oedd yn elyn i Meredydd, ac i Owain, a'r hwn a fuasai yn cynnorthwyaw Madawc ap Rhiryd i ladd Iorwerth a Chadwgan, brodyr Meredydd; a thra yr oedd y fyddin honno yn tramwy trwy wlad Madawc yn y nos, cawsant wybodaeth ei fod ef ger llaw, ac yno, yn foreu drannoeth, ymosodasant ar y tŷ yn ddirybudd; ac ar ol lladd llawer o'i wŷr, cymmerasant Madawc yn garcharor, a dygasant ef at Meredydd, yr hwn a'i rhoddodd ef iddei nai, Owain. Ac er fod Madawc wedi lladd tad Owain, etto, er mwyn y cyfeillach a fu rhyngddynt gynt, Owain a arbedodd ei fywyd, eithr tynnodd ei lygaid, a gollyngodd ef yn rhydd. A thyma'r modd yr ymddygai y pendefigion Cymreig tuag at eu gilydd, gan erlid a dyfetha eu gilydd yn mhob cwr o'r wlad, tra yr oedd eu gelynion Saesonig yn un fryd, ac mewn cysondeb gweithrediad, yn cyd-egnio i ddarostwng y genedl.

Ar ol y fuddugoliaeth hyn, Meredydd ac Owain a rannasant diroedd Madawc rhyngddynt, sef *Caereinion*, *Aberiw*, a *Thraian Deuddwr*. Eithr ni fu iddynt hir dawelwch, o herwydd dygpwyd achwynion at y brenin Harri, gan *Gilbert*, i'r hwn y rhoisai y brenin Geredigiawn, fod Owain ap Cadwgan yn rhoddi nawdd i'r sawl a ddrygent ei diriogaethau ef. Ac yn yr un modd, *Hugh*, iarll Caer, a achwynodd fod gwŷr *Gruffydd ap Cynan*, a gwŷr *Gronw ap Owain ap Edwyn* arglwydd Tegengl, yn diffeithiaw ac yn yspeilio gwlad Caer; ac i ychwanegu y trosedd, dywaid nad oedd Gruffydd nac yn talu treth nac yn arddel awdurdod y brenin. Ar hyn, y brenin a lidiodd yn fawr, gan benderfynu na adawai efe mwyach neb o'r Cymry yn fyw, eithr dileu y genedl yn gyfan-gwbl; ac i'r dyben i gyflawni hyn, efe a gynnullodd lu o'r holl ynys, o *Benrhyn Pengwaed*, yn Nghernyw, hyd yn *Mhenrhyn Blathaon*, yn y gogledd, ac a ddaeth yn erbyn Gwynedd a Phowys; a chan rannu ei fyddin yn dri dosparth, efe a roddes un dan dywysiad *Gilbert*, iarll Strigyl,—yr hyn a gynhwysai holl gadernid pedwaredd ran Lloegr a Chernyw, ac yr oedd i fyned yn erbyn Deheubarth Cymru; a'r ail a roddes dan dywysiad *Alexander*, brenin yr Alban, a *Hugh*, iarll Caer, ac a gynnwysai luoedd yr Alban a Gogledd Lloegr,—a'i ddyben oedd myned yn erbyn Gwynedd; a'r trydydd dosparth a gynnwysai luoedd perfedd-wlad Lloegr, ac a oedd dan dywysiad y brenin ei hun. Yna *Meredydd ap Bleddyn*, gan ofni y cyfryw ymosodiad, a aeth ac a ymostyngodd i'r brenin; eithr *Owain*, yn fwy gwladgar a chalonnog, a aeth at *Gruffydd ap Cynan*, i Wynedd. Ac ar hyn, y brenin a drodd ei holl gadernid y ffordd honno, ac a ddaeth i *Fur Castell*, a brenin yr Alban a iarll Caer a ddaethant i *Bennant Bachwy*, Yna y Cymry a giliasant

oedd *Eryri*, ac i fynyddoedd ereill y wlad, gan gludo ymaith eu aid a'r holl ymborth. A'r brenin ni allai eu canlyn hwy yno, yfryw o'i wŷr ag a ryfygent fyned oddiwrth y gwersyll, a laddwyd threchwyd.

renin yr Alban a geisiodd ddenu *Gruffydd* i ddyfod i ymgymmodi i, ond yn ddilwyddiant. Ac felly, Henri, gan weled nad oedd efe ll na chlod na golud yn y cadgyrchiad hwn, ar ol yr holl fygwth h, fel na ddychwelai yn hollol ddineges, a anfonodd ei hun at ddyfod i ymgymmodi âg ef: ond Owain ni ymddiriedai i'r brenin, daeth ei ewythr *Meredydd* mewn modd dichellgar, ac a'i hudodd l i ymgymmodiad, a hyn a hyfforddwyd trwy gydweithiad *iarll* ı arferu yr un ddichell tuag at *Gruffydd ap Cynan;* y ddau frad-rma yn cyffroi drwg-dybiad yn meddyliau *Owain* a *Gruffydd*, ₃u gilydd, ac yn peru i bob un gredu fod y nall wedi ymostwng i'r pan nad oedd felly. Ac wrth hyn, llwyddwyd i hudo Owain i i gymmodiad. Ac yna, y brenin a'i derbyniodd ef yn gyfeillgar ırhydeddus, ac a'i cadarnhaodd ef yn ei feddiannau, gan adael iddo yn ddidreth. Yna Gruffydd ap Cynan hefyd a ymgymmododd in, eithr gorfu arnaw dalu llawer o arian am ei fraint.

hyn, *Henri* a aeth i Normandy, ac a gymmerth *Owain ap* ın gydag ef; yr hwn hefyd a ddychwelodd gydag ef yn ol i , ac a oedd mewn parch mawr ganthaw, ac a gafodd ganthaw ei yn farchog. Diau fod rhyw beth yn nghymmeriad Owain, er ei ıu, ag oedd yn dra pharchlawn a sylwddenol, ac hefyd ei fod yn ; moesgar a boneddigaidd, yn gystal ag yn rhyfelwr gwych, onite i ddim yn derbyn y cyfryw anrhydeddau oddiwrth *Henri*, yr hwn ı oedd yn ddyn dewr a rhyfelgar, ac ar yr un pryd wedi ei ddwyn ıewn llêenyddiaeth, ac o ran ei ddysgeidiaeth, yn cael yr enw *lerc*, sef, yr *Ysgolhaig hardd;* ond er hyn i gyd, nid oedd yr ddau yma ond cynnifer o arwyddion o arglwyddiaethad estron-c er na allasai *Owain* wneuthur gwell, dan yr amgylchiadau ı hynny, pan oedd ei gydwladwyr mewn brad a digasedd yn eu gilydd, etto, ni allwn lai na galaru am neb rhyw achosion, y rrent y pendefigion Cymreig i gyfranu eu gwasanaeth i bennadur-onaidd, yn lle eu cyflwynaw iddeu gwlad a'u cenedl.

ıedd y rhyfel yn Ngwynedd ond braidd wedi terfynu, cyn y d gwrthladdiad newydd i'r Saeson yn y Deheubarth, yr hwn yn riad, a ledodd trwy Gymru yn y fath fodd ag y bu cynhyrfiad ·iaethol cyffredinol yn y wlad; a thynged y Cymry a dderbyniodd diad, a'u hawyrgylch a ddaeth yn fwy dysgleiriawl nag y gwelwyd ı hir; effeithiau yr hyn a barhaodd dros rai oesoedd heb lwyr ddi-

flannu. A'r cyfnewidiad hyn a ddechreuodd gyda chyfodiad *Gruffy*
*Rhys;* canys efe yn awr wedi dianc i'r Deheubarth, nid oedd ganth
cynnyg i arbed ei einioes, ond ymarfogi a gwrthsefyll ei elynion ar y
Ac felly, yn y flwyddyn ar ol ei ddychweliad i'r Deheu, sef yn 1116
nullodd lu o'r sawl a bleidient gydag ef, a gwnaeth gadgyrchiad yn
castell Arberth, yr hwn a ennillodd maes o law ac a'i torrodd. Yn
yn erbyn castell *Llanymddyfri*, yr hwn oedd yn nghadwraeth *Mer*
*ap Rhydderch ap Caradawc;* ond ar ol llawer o ymladd, gorfu
ei adael heb ei ennill; ond llosgodd ran o honaw, a lladdodd amr
ceidwaid. Oddiyno aeth yn erbyn castell *Abertawi*, a llosgodd
honaw, a diffeithiodd *Ystrad Tywi.*

Ar ol hyn, llawer o wŷr ieuainc a ymgasglasant atto o amryw g
o'r wlad; ac ychwanegodd ei lu yn fawr; ac efe a wnaeth aml g
iadau i *Rôs* a *Dyfed*, gan ddifrodi ac yspeilio y wlad. Yna y No
iaid Saesonig a'r Fflandrwysiaid, yn goddef cymmaint o ddrygau
law, a ymgynghorasant pa fodd i wrthladd ei rwysg. A hwy a alw
attynt y pendefigion Cymreig, y rhai oeddynt yn bleidwyr i frenin L
ac a ofynasant iddynt os oeddent yn ffyddlon i'r Brenin; a hwy a
asant eu bod. Yna, hwy a ddywedasant wrthynt, os oeddynt fell
yn rhaid iddynt ddangos eu ffyddlondeb trwy amddiffyn castell
*fyrddin*, pob un yn ei dro; sef,—yr oedd *Owain ap Caradawc*
gadw dros bythefnos; a *Rhydderch ap Tewdwr*, a'i feibion dros b
nos arall; ac felly yn y blaen. A'r pendefigion a gyttunasant i hy
*Owain ap Caradawc* a gymmerth arnaw amddiffyniad y castell,
pythefnos cyntaf.

Yn mhen ychydig ar ol hyn, *Gruffydd ap Rhys* a anfonodd ym
wyr yn ddirgel i edrych cyflwr y castell, y rhai a ddychwelasant
ddwyn mynegiadau da. Ac yna, *Gruffydd* a ddaeth yn ddisymmw
y dref, a'i holl lu gydag ef, a hwy a gyfodasant floeddiad a chy
dirfawr; ac *Owain ap Caradawc*, gan glywed y gawr, a aeth all
lle, gan feddwl bod ei wŷr yn ei ganlyn; ond yn lle hynny, hwyn
gan mwyaf, a ffoisant; ac *Owain*, wedi ymladd yn wrol, a laddwyd
a'r dref a ennillwyd ac a losgwyd, a'r rhag-gastell hefyd a losgwyd;
ni aethpwyd i mewn i'r tŵr. Ac yna y dychwelodd Gruffydd a'
gyda dirfawr ysglyfaeth.

Y llwyddiant hyn a berodd etto ychwanegiad mawr iddei fyddin;
gwŷr ieuainc a ddaethant atto yn barhaus. Ac efe a aeth yn
castell *Gwyr*, ac a'i ennillodd, ac a'i llosgodd; a *Gwilym de Lo*
a ffodd rhag ei ofn, a'i wŷr gydag ef, gan adael ei holl feddiann
ysglyfaeth iddaw.

Wrth glywaid am hyn, gwŷr Ceredigiawn a anfonasant am *Gru*

iddyfod attynt, gan ei ethol ef yn flaenor iddynt; canys yr oedd brenin Lloegr wedi darostwng y wlad honno, ac wedi gosod amryw ddyeithriaid yno iddei llywodraethu; ond y trigolion ni charent mo honynt. A *Gruffydd* a aeth yno, ac a gafodd dderbyniad cyfeillgar gan *Cadifor ap Gronw*, *Hywel ap Dinerth*, a *Thrahaiarn ap Ithel;* ac efe a aeth yn erbyn castell *Blaen Porth Gwythan*, yr hwn a adeiliasai yr iarll Gilbert a'r Fflandrwysiaid; ac ar ol ymladd caled, llosgasant y dref a darostyngasant y wlad Ac ar hyn, yr holl estroniaid a ffoisant, a Gruffydd a aeth ac a ddiffeithiodd y wlad hyd *Penwedig*.

Oddiyno yr aeth Gruffydd a'i wŷr yn erbyn castell *Ystrad Peithyll;* ac ar ol lladd amryw, hwy a'i ennillasant ac a'i llosgasant.

Oddiyno aethant i'r *Glasgrug*, gerllaw *Llanbadarn*, a thra yno, cyflawnasant drosedd erchyll, gan gymmeryd allan yn ysglyfaeth, yr anifeiliaid a oeddynt yno dan nawdd y lle. Ond y weithred hon a ganlynwyd gan gospedigaeth a dial trwm. Canys oddiyno yr oeddynt yn bwriadu drannoeth myned yn erbyn castell *Aberystwyth;* yr hyn pan wybu *Ralph*, ei geidwad, anfonodd yn ddiogel i gastell *Ystradmeyrig*, am gynnorthwy o wŷr, y rhai a ddaethant atto yn y nos: a thrannoeth, *Gruffydd*, heb wybod lliosogrwydd gwŷr y castell, a aeth tuag atto mewn modd esgeulus, heb osod ei wŷr mewn trefn milwraidd; a thra yr oedd efe a rhai o'i gyfeillion yn sefyll ac yn ymgynghori perthynol i osodiad y peiriaint tuag at ei dorri, y ceidwaid, mewn ystryw, a anfonasant rai saethyddion at y bont; a'r Cymry wrth weled hynny, a aethant iddeu cyfarfod, ac ar ol peth ymladd, ffodd y castellwyr tua'r castell, a'r Cymry yn eu canlyn: ond cyn nemmor, dyma lu o farchogion allan o'r castell yn eu cyrchu yn ddisymmwth; ac wedi lladd llawer o honynt, y lleill oll a ffoisant; ac felly gorfu ar *Gruffydd* adael y lle gydag aflwydd a siommedigaeth.

Yna'r brenin, gan weled y modd yr oedd yn colli ei feddiannau yn Nghymru, a alwodd atto *Owain ap Cadwgan*, ac a ddywedodd wrtho ei fod yn ymddiried ynddo ef i wrthladd rhwysg *Gruffydd ap Rhys;* a chan addaw iddo lawer o wobrwyon os byddai iddaw ei wasanaethu yn ffyddlon, dywedodd y caffai yn gynnorthwy *Llywarch ap Trahaiarn*, ac yr anfonai hefyd ei fab *Robert* gydag ef. Yna *Owain*, yn llawen am fod y brenin yn dangos y fath hyder ynddaw, a addawodd gyflawni ei ddymuniad: ac efe a'i gyfeillion a aethant i Ystrad Tywi i gyfarfod â mab y brenin; a chan rannu ei lu yn amryw fyddinoedd, efe ei hun a gymmerth gydag ef o gylch cant o wŷr, ac a aeth i fewn i goed, yn agos i gastell *Caerfyrddin*, i'r dyben i ddala yn ysglyfaeth rhai o'r anifeiliaid, y rawl a welai wrth ei hol, eu bod wedi eu gyrru y ffordd hynny; ac ar ol lladd rhai o geidwaid yr anifeiliaid, a pheru i'r lleill ffoi, efe a ddychwel-

odd, gan ddwyn gydag ef yr anifeiliaid. A dygwyddodd ar yr ur fod *Gerallt de Windsor*, (gwraig yr hwn a ddygasai *Owain* odd gynt trwy drais,) yn dyfod hefyd o Rôs tua Chaerfyrddin, i gyfa mab y brenin, a chydag ef lu o Fflandrwysiaid. Ac yna, wele y ( a yspeiliasid gan *Owain* yn cyrchu y castell, ac yn mynegi am y wei a phan wybu Gerallt fod *Owain* yno gyda mor lleied o wŷr, ac ysgı heb wybod mai yn ngwasanaeth y brenin yr oedd, efe a feddylio iddaw gyfleusdra da i ddial am y camwri a dderbyniodd ar ei law felly, efe a'i ymlidiodd i'r wlad. Yna gwŷr Owain a geisiasant ga ddianc, ond efe a attebodd mai gwŷr y brenin oeddynt hwy, fel ynt felly mai cyfeillion oeddynt. Ond pan nesasant, dechreuasant s yna Owain, gyda'i arferol wrolder, a drodd iddeu gwrthsefyll. A ergydiaw saethau ar bob tu, Owain a frathwyd gan saeth, ac a la yn y fan. Ac yna ei gyfeillion gan weled nad oedd un hyder idde yn ngwŷr y brenin, a ffoisant oll, ac a ymadawsant a'r ardal. Ac terfynodd rhwysg *Owain ap Cadwgan*.

Ar ol marwolaeth *Owain ap Cadwgan*, ei frodyr a rannasant ei d rhyngddynt; ac er dangos ychydig o arnodiad yr oes, o ran y swyddau cymdeithasawl, rhoddaf yma eu henwau ac eiddo rhai o'u ynasau. *Owain* ei hun oedd fab i *Iwerydd*, merch Edwyn; y oeddynt *Madawc*, mab *Gwenllian*, merch *Gruffydd ap Cyna Einion*, mab *Sannan*, merch *Dyfnwal*——*Gwrgan*, mab *E* merch *Cadifor ap Collwyn*——*Meredydd*, mab *Eurfron*, *Hoedliw*——a *Henry* a *Gruffydd*, meibion merch *Pigot le S* wraig briod. Diau fod y cofrestr uchod yn ymddangos yn dra an redin y dydd heddyw; ond yn yr oesoedd yn awr dan sylw, br cyfrifid yn feius amryw bethau a fyddant mewn goleuach a moe oes yn ymddangos yn droseddau erchyll. Ac y mae y diffyg egwyddorion da, yn eglurhau i ni ychydig o achlysur yr holl fradw a'r trais, a'r anudon, a'r troseddau gwrthun eraill a gofiannir gyferb amseroedd hynny. Ac yn mhlith pa rai y gallwn osod y canlynol, anghraifft cywir, fel ag y ceir yn y Brut:—

"*Cadwgan fab Bleddyn* a roddasai Feirionydd a Chyfeiliawc i *Uchtryd* fab dan ammod ei fod yn gywir iddaw yn erbyn ei holl elynion. Ac ynteu oedd wrthw ac ymladdgar yn erbyn Cadwgan a'i feibion. A gwedy colli *Owain*, heb debygu gall feibion Cadwgan y gwnaeth efe y dywededig Castell. A hwynteu [a ddywed drwy sorr a gyrchasant y Castell ac ai llosgasant."

O gylch yr un flwyddyn, 1116, cawn anghraifft arall o effeithia eidiol yr eiddigedd a'r digasedd parhaus a hanfodai rhwng y pend Cymreig, mewn ymryson rhwng *Hywel ap Ithel*, arglwydd R Rhyfoniawc, a *Rhiryd* a *Llywarch*, meibion *Owain ap E*

Ar yr achlysur yma, *Hywel* a anfonodd at *Meredydd ap Bleddyn*, ac at *Einion* a *Madawc*, meibion *Cadwgan*, am gynnorthwy; a hwy a ddaethant a phedwar cant o wŷr dewrion gyda hwy i *Ddyffryn Clwyd*, gwlad meibion *Owain ap Edwyn;* a'r rhai hynny wrth glywed am y cyrch hwn, a anfonasant am gymhorth at eu cefnderwyr, meibion *Uchtryd*, ac at y Normaniaid yn Nghaerlleon Gaer; a'r lluoedd hyn a gyfarfuasant, a bu rhyngddynt frwydr waedlyd iawn; yn mha un y lladdwyd *Llywarch ap Owain ap Edwyn*, a *Iorwerth ap Nudd;* a gorfu ar *Rhiryd* ffoi, a *Hywel ap Ithel* a gafodd y fuddugoliaeth; ond yntau a glwyfwyd mor dost, ag y bu farw yn mhen ychydig amser; a *Meredydd ap Bleddyn*, a meibion *Cadwgan* a ddychwelasant adref rhag ofn y Ffrancod. Yn awr gwelwn y pleidiau hyn yn gwanhau eu hunain trwy eu hymladdiadau gwrthun yn mhlith eu gilydd, a thrwy hynny yn analluog i wrthladd eu gelynion estronaidd, y rhai oeddent yr unig rai ar ennill, trwy yr holl dywallt gwaed yma.

Yn y flwyddyn nesaf, sef 1120, cawn anghraifft arall o'r un effeithiau niweidiol o anghydfod cartrefol: ac ar yr un pryd, gorchest tra nodedig a chlodfawr o ddewrder, ac o ymdrech teilwng, o eiddo plaid fechan o Gymry, yn erbyn byddin gadarn a dychrynllyd o'u gelynion estronaidd. Canys yn yr amser hwn HENRI I. brenin Lloegr, a a gynnullodd lu tra nifeiriog, ac a ddaeth yn erbyn y Cymry, i wlad *Powys*. Yr hyn, pan wybu y tywysawg *Meredydd ap Bleddyn*, a thri mab *Cadwgan*, sef *Einion*, *Madawc*, a *Morgan*, pendefigion yr un ardal, hwy a anfonasant at *Gruffydd ap Cynan*, tywysawg *Gwynedd*, i geisio cynnorthwy. Ond efe a'u hattebodd ei fod ef wedi ymgymmodi â'r brenin, ac na allai efe ddim anfon iddynt gynnorthwy, nac ychwaith adael iddynt ddyfod i mewn iddei diriogaeth. A phan glywodd Meredydd a meibion Cadwgan hynny, hwy a welsant nad oedd iddynt iddeu wneuthur ond naill ai ymostwng i frenin Lloegr, neu ynte amddiffyn eu gwlad y goreu ag y gallent. Ac fel dynion call a chalonog, penderfynasant ar yr olaf. A'r brenin a'i luoedd a nesasant at derfynau Powys; ac fel yr oedd yn treiddiaw i'r wlad, anfonodd ran o'i fyddin yn nghyd â'r llwythau trymion ar hyd un ffordd, ac yntau ei hun yn nghyd â llu dewisol, a gymmerodd ffordd arall. Ac yna, Meredydd ap Bleddyn a anfonodd ychydig o saethyddion ieuainc iddei gyferbyn, mewn gwrthallt goedog, y ffordd yr oedd yn dyfod, fel y gallent â'u saethau ei wrthladd. A ddamweiniodd, fel y daeth y gwŷr ieuainc hynny i'r wrthallt, ddyfod y brenin yno hefyd gyda'i lu. "A'r gwŷr ieuainc hynny a erbyniasant yno y Brenin a'i lu, drwy ddirfawr gynnwrf gellwng saethau yn mhlith y llu a wnaethant; a gwedi lladd llawer, a brathu ereill, un o'r gwŷr ieuainc a dynnodd ei fwa, ac a ellyngodd saeth yn mhlith y llu, a honno dygwydd-

odd yn nghadernid arfau y brenin, gyferbyn a'i galon, heb wybod i'r gŵr a'i bwriodd; ac nid argyweddodd [niweidiodd] y saeth yr Brenin, rhag daed yr arfau [gan gystal oedd ei arfogaeth,] canys lluragog oedd, namyn treilliaw a orug y saeth drachefn yr arfau; Ac ofnhau yn fawr a wnaeth y Brenin, a dirfawr aruthr a gymmerth ynddo, yn gymmaint haiach, a phei brethid trwyddaw. Ac erchi yr lluoedd a wnaeth pebylliaw. A gofyn a orug pa rai a oeddynt mor eofn a'i gyrchu ef yn gyn lewed [dewred] a hynny. A dywedyd a wnaethpwyd iddaw, mai rhai o wŷr ieuainc a anfonasid gan *Feredydd ap Bleddyn* a wnathodd hynny. Ac anfon a wnaeth attynt genhadau, i erchi iddynt ddyfod attaw drwy gyngreir. Ac hwynteu a ddaethant. A gofyn a wnaeth iddynt pwy a'u hanfonasai yno. A dywedyd a wnaethant mai *Meredydd*. A gofyn iddynt a wnaeth, a wyddynt pa le yd oedd Meredydd yna. Ac atteb a wnaethant y gwyddynt. Ac erchi a wnaeth yntau i *Feredydd* ddyfod i heddwch. Ac yna y doeth *Meredydd* a *Meibion Cadwgan* i heddwch â'r Brenin. A gwedi heddychu y rhyngddynt yd ymchwelodd y Brenin i Loegr drwy adaw deg mil o wartheg yn dreth ar *Bowys*. Ac felly y terfynodd y flwyddyn honno."*

Y mae yr hanesiad uchod yn dra nodedig a haeddiannol o sylw, o herwydd mwy nag un achlysur. Yn y man cyntaf, dangosa effeithiau gwrolder a phenderfyniad, yn nghyd âg ymdrech calonnog mewn achos da. Yn y man nesaf, cynnwys anghraifft hynod o fedrusrwydd y Cymry yn yr amseroedd yma yn y gelfyddyd o saethu â bwa; yn mha gelfyddyd y rhagorent yn fawr, fel y dangosir drachefn.

Wrth ganlyn y cofiant a roddir yn y Brut o hyn allan, dros rai blynyddau, ni chawn ond rhyfeloedd cartrefol tra gwaedlyd a niweidiol, yn nghyd â chofres o ladd, dilygeidiaw, a difrodi, o'r math mwyaf gwrthun; a'r hyn yn ddiau oedd ddigon i dynnu dial ar y genedl a'i cyflawnai, trwy eu rhoddi iddeu cospi gan oresgyniad eu gelynion. Yn y flwyddyn 1122, bu farw *Einion ap Cadwgan*, yr hwn a roddodd iddei frawd† *Meredydd ap Cadwgan*, y rhan honno o *Bowys a Meirionydd*, yr hon a ennillasai gynt oddiwrth *Uchtryd ap Edwin*. Eithr ei ewythr, *Meredydd ap Bleddyn*, a'i gwrthladdodd, ac a gymmerodd y wlad honno iddei feddiant ei hun. Ac o gylch yr amser hyn y rhyddhaodd y brenin, *Ithel ap Riryd ap Bleddyn*, yr hwn a fuasai yn ngharchar ganthaw amryw fly-

* Y rhan hon o'r hanes a gymerwyd allan o *Frut y Tywysogion*, gan *Caradawc o Lancarf*... yn unig cyfnewidiwyd y llythyreniad ychydig. Yr oedd *Caradawc* yn byw yn y cant... hwn, ac felly ysgatfydd yn meddiannu cyfleusdra i gael adroddiad o'r dygwyddiad, gan... rhai a oeddynt gydrychiol ar y pryd. Y mae adroddiad arall o'r hanes gan awdw... Saesonig; ond nid oes fawr wahaniaeth yn yr amgylchiadau.

† Y mae ychydig o annghysondeb mewn gwahanol ysgrifau perthynol i'r enwau hyn; ... chan na fedraf eu cysoni, dilynaf yr adroddiad a roddir gan *Powel*.

ldoedd. A phan glywodd *Gruffydd ap Cynan*, Tywysawg Gwynedd, d *Meredydd ap Bleddyn* wedi cymmeryd trwy drais, diriogaeth ei nai, 'eredydd ap Cadwgan*, efe a anfonodd ei feibion, *Cadwallawn** ac *wain*, a dirfawr lu ganddynt i Feirionydd; a hwy a ddarostyngasant y ad, ac a ddugasant y trigolion yn garcharorion, a'u meddiannau yn pail hyd yn Lleyn. Ac ar ol hyn, meibion Cadwgan a ddiffeithiasant roedd *Llywarch ap Trahaiarn*, am iddo unaw â meibion *Gruffydd.*

Yn ystod y deng mlynedd nesaf, ni chawn braidd ddim ond cofres o 'oseddau atgas o frad, lladdiad a chreulonder. Yn 1125, *Meredydd ap lleddyn* a laddodd ei nai *Ithel ap Rhiryd.* Ac yn fuan ar ol hynny, '*adwallawn ap Gruffydd ap Cynan* a laddodd ei dri ewythr, *Gronw*, *hiryd*, a *Meilyr*, meibion *Owain ap Edwin.* Ac hefyd *Morgan ap 'adwgan*, [neu *Cadifor*] a laddodd ei frawd *Meredydd* â'i ddwylaw ei un; ond ar ol hynny, edifarhaodd, ac a aeth ar bererindod i Gaersalem, bu farw cyn dychwelyd.——Yn 1128, *Llywelyn*, mab *Owain ap 'adwgan*, a garcharodd *Meredydd ap Llywarch*, yr hwn oedd wedi add *Meyric*, ei gyferder, ac wedi dilygeidiaw dau gyferder arall, eibion *Griffri.* Gellid ychwanegu yn fawr at y cofrestriad brawychus wn; ond llammaf drwodd at un traethiad yn y Brut, yr hwn a ddengys n amlwg, anianawd yr oes yn gyffredinol:—

"Oed Crist 1124, bu farw *Meredydd ap Bleddyn* YN EI HENAINT, *peth nid mynych y* *bid ar Deulu Bleddyn ap Cynfyn.*"

Yr oedd *Meredydd ap Bleddyn* yn ddyn gwladgar a thra egniol; ac mae y gwrthladdiad gwrol a llwyddiannus a wnaeth i'r brenin *Henri*, i ddigon i osod ei enw yn mhlith gwronion pennaf ein cenedl. Nid nddengys ei fod yn fwy gwaedlyd ei dueddiant, na'i gydoesolion yn ffredinol; a dichon na wnaeth ond canlyn arferion yr oes, yn yr hyn adroddir am ei weithredoedd o greulonder tuag at rai o'i berthynasau. 1 yr amseroedd annedwydd yma, yr oedd llaw pob dyn yn erbyn ei mmydog, a'r unig ddyogeliad yn erbyn trais a chynllwyn oedd arferu un ymddygiad tuag at eraill. Diau ei fod, trwy amrywiol foddion, di llwyddo i afaelyd a chadw meddiant ar diroedd y rhan fwyaf o'i rthynasau: oes o ysglafaethiad oedd; a phe na fuasai efe yn gwneuthur n, dichon na fuasai y pendefigon hynny, yn gallu eu cadw rhag y Saeson, stal ag y gwnaeth ef, pan y daethant iddei ddwylaw.

Ar ol sylwi ar y gofres erchyll uchod, o frad a llofruddiaeth, awn agom at weithredoedd mwy anrhydeddus, lle y gwelwn egnioedd ein

* Mewn ysgrif arall, dywedir mai ei fab *Cadwaladr* oedd hwn. Yr oedd yn mhlith ibion Gruffydd ap Cynan, ddau o'r enwau hyn, sef *Cadwallawn* a *Chadwaladr*; lladdwyd *dwallawn* o gylch 1130, yn *Nanheudwy*, gan *Einion ap Owain ap Edwin*, ei ewythr.

cydwladwyr yn gyffroedig yn erbyn eu gelynion estronaidd, yn lle treulio eu nerth yn ninystr eu gilydd.

Yn y flwyddyn 1135, bu farw y brenin *Henri I.* a *Stephan*, ei nai, a ddaeth i orsedd Lloegr yn ei le. A chyn hir, dygwyddodd ymryson rhwng rhai o'r arglwyddi Saesonig, a'r pendefigion Cymreig, a lladdwyd *Richard*, mab *Gilbert*, gan **Morgan ap Owain.** A'r brenin *Stephan* a ddanfones at *Gruffydd ap Rhys*, i orchymmyn iddaw ddyfod attaw yn ddiodor, i atteb cwynion a roisid arnaw gan y Ffrancod; a *Gruffydd*, heb wybod achaws cwyn, a gynnullodd ei wŷr ac ymluyddu. Ac yn gyfnerth iddaw, daeth *Cadwaladr* ac *Owain*, [yr hwn ar ol hynny, a elwid *Owain Gwynedd*] meibion *Gruffydd ap Cynan*, a myned yn ddisyfyd i Geredigiawn yn erbyn ei elynion, y Fflandrwysiaid a'r Normaniaid, a lladd llawer o honynt, a diffeithiaw eu gwlad. Y rhai hyn, ar y rhuthr cyntaf a losgasant gastell *Walter d' Espec*, a chastell *Aberystwyth*, yr hwn oedd dra chadarn. Ac yna daeth yn gyfnerth iddynt, *Hywel ap Meredyth*, a *Rhys ap Madawc ap Idnerth*, y rhai a aethant ac a losgasant gastell *Richmond de la Már*, a chastell *Dinerth*, a *Chaerwedros*, a dychwelasant a llawer yspail, a chyda chlod.

Gwedi y cadgyrchiad buddugoliaethus yma, dychwelodd y ddau frawd tua diwedd y flwyddyn, gyda byddin o chwech mil o wŷr traed, a dwy fil o wyr meirch; ac yn gyfnerth iddynt y daeth *Gruffydd ap Rhys*, a *Hywel ap Meredydd*, o Frecheiniawc, a'i ddau fab, a *Madawc ap Idnerth;* a hwy a ddaethant at Aberteifi, ac oll yn gyfun, a gyweiriasant eu byddinoedd yno. Ac yn eu herbyn y daeth *Stephan*, cwnstabl Aberteifi, a *Robert Fitzmartin*, a meibion *Gerallt*, a *Gwilym Fitzjohn*, a holl gadernid y Fflandrwysiaid, y Normaniaid, a'r Saeson, a ellid eu cynnull yn Nghymru a'r Cyffindiroedd; a'r ddwy fyddin a gyfarfuasant mewn brwydr, lle y bu ymladd caled a gwaedlyd iawn. A'r estroniaid yn cael eu trechu, a ffoisant, gan adael rhifedi mawr yn farw ar y maes, heblaw y rhai a foddwyd wrth geisio dianc, a'r rhai a gymmerwyd yn garcharorion.

Y Saeson, yn awr wedi eu gyrru allan o Geredigion, a ffoisant tua Morganwg; a gerllaw *Glyn Nedd*, daeth meibion *Caradawc ap Iestyn*, yn eu herbyn, lle y bu brwydr waedlyd, ac y lladdwyd tair mil o'r estroniaid hyn; a'r ychydig o honynt y rhai a ddihangasant, a ffoisant i wlad *Gwyr*, lle y cawsant nawdd y cestyll a wnaethai Harri Beaumont yno.

Y fuddugoliaeth yma, a osododd *Rhys ap Gruffydd* yn gadarn ar orsedd y Deheubarth, ac ymddengys ei fod yn cynnal ei hun mewn modd teyrnawl, megys yr arweddai i dywysawg cadarn ac annibynol; am arnodiad ei fawrhydri, a gogonedd ei lys, gallwn ffurfio dychymmyg oddiwrth y cofiant canlynol :—

"Gwedi adynaill ei diroedd fe wnaeth *Gruffydd ap Rhys* wledd anrhydeddus yn *Ystrad* *ai*; lle y gwahoddes attaw bawb a ddeuent yn heddwch o Wynedd, a Phowys, a Debeu- th, a Morganwg, a'r Mers, a pharottoi pob moethus o fwydydd a diodydd, a phob yson Doethineb, a phob diddanwch Cerdd Arwest a Cherdd Dannau, a chroesawi pryd- ion, a cherddorion a chynnal pob chwareuon hud a lledrith, a phob arddangos, a b campau gwrolion. Ac i'r wledd honno y daeth *Gruffydd ap Cynan* a'i feibion, a 'er o'r pendefigion yn mhob ardal yng Nghymru, a chynnal y wledd dros ddeugain urnod: Ac yna gollwng pawb tua'u cartrefi a dodi rhoddion anrhydeddus i a'u dirper- o Feirdd a Cherddorion a Doethion a Champusion o bob rhyw."

Ac nid dyma yr unig arwyddocâd o awdurdod teyrnawl a ddangosodd uffydd ap Rhys ar ol dyfod i feddiant o'i orsedd, ond ymosododd fel madur arbennig i ddiwygio cyfreithiau y wlad, yn ol yr hyn a wnaeth- yd gan dywysogion eraill, yn nghylch yr amser hwn; cofiant am yr n a geir fal y canlyn:—

"Gwedi'r Wledd honno fe ymroddes *Gruffydd ap Rhys* i alw attaw y Gwŷr Doethion Ysgolheigion, a myned yn eu cyngor a dodi Trefn a Chyfraith ar bawb o fewn ei seth a threfnu llys yn mhob Cantref a Rhaglys yn mhob Cwmmwd, a'r un peth a eth *Gruffydd ap Cynan* yng Ngwynedd. A drwg fu gan y Ffrancod a'r Saeson weled rthau hynny, a dodi cwyn yn erbyn y ddau Dywysawg at y Brenin *Ystyffan* a wnaeth- ; ac am nas gwyddai *Ystyffan* a fai oreu, ni ddodes atteb i'r cwynau."

Diau fod y diwygiadau hyn yn nghyfreithiau y wlad, yn angenrheidiol n: canys yr oedd dros rai oesoedd gwedi bod mewn cyflwr o afreol- h tra enbydus, a dengys dueddiant anrhydeddus ar ran y tywysgion a i ymdrechu tuag at les cyffredinol eu deiliaid, eu bod hwy yn mhlith holl derfysgau y rhai a hanfodent, yn cyfeiriaw eu hymdrechiadau tuag yfryw orchwyl. Ar ol dangos y gorchestion milwriaethawl a llywodr- hawl rhagenwedig, yn y flwyddyn 1156, [neu, ysgatfydd 1137]* *uffydd ap Rhys* a fu farw gwedi meddiannu yr orsedd gydag amrith nged dros ugain mlynedd; a chan y cafodd ei dad, *Rhys ap Tewdwr*, ladd yn 1091, pan oedd *Gruffydd* yn blentyn, y mae yn ddilys nad ld y tywysawg hwn, ar ei farwolaeth, ond braidd wedi cyrhaedd deg a ngain oed. Crybwyllir yn y Brut am ei angau fal y canlyn:—

"Oed Crist 1136. bu farw *Gruffydd ap Rhys*, y gwrolaf, a'r doethaf, a'r trugarocaf, a'r lisusaf, a'r cyfiawnaf o'r holl Dywysogion; a mawr y bu'r galar o'i farw. A *Rhys* ei a gymmerth ei le, a'i fam ef, [sef gwraig Gruffydd ap Rhys] oedd *Gwenllian*, merch *ffydd ap Cynan*."

Yr un flwyddyn, sef 1136, [neu 1137,] a welodd drancedigaeth *uffydd ap Cynan*, yn bedwar ugain a dwy flwydd o oedran, ac wedi ldel yr orsedd dros yn agos i hanner cann' mlynedd. Y mae yn wir ei

* Passel a osyd yr amgylchiad yma yn 1137; a chan nas medraf gyweirio yr annghyd- leb, rhoddaf ei amseriad ef ar ben y ddalen, o herwydd ofer fyddai amrywio oddiwrtho ddibrawf.

fod dros ran fawr o ddechreuad yr amser hwnnw, mewn alltudiaeth, yn ffoedig neu yn garcharawl; ond etto nid oedd tywysawg arall yn ei gyfoeth; ac am hynny dyledus yw cyfrif y talm hwnnw megys yn gyfran o'i deyrnasiad, fal y gwnelir mewn hanesion pennaduriaid gwledydd eraill, dan yr un amgylchiadau.*

Y gyfran olaf o'i deyrnasiad oedd yn dawel ac yn llwyddiannus: ac am yr hyn, ni allaf well na rhoddi y darluniad o honaw allan o'r Traethawd am ei fuchedd:—

"A gwedi hynny y gwledychws Gruffydd llawer o flynyddodd yn hyrwydd gywaethog gan arafwch a heddwch, ac yn arfer o gymmydogaeth y brenhinedd nessaf iddaw yn gyfun, nit amgen *Henri* frenhin Lloegyr, a *Murchath* frenhin Iwerddon, a brenin Ynysoedd Denmarc, a honnoeit amlwg fu, ac yn y teyrnasoedd pell iwrthaw, ac yn y rhei agos iddaw, ac oddiyno yr amlhaws pob cyfryw dda yn Gwynedd ac i dechreuassant y ciwdawtwyr adeilat eglwyssen yn mhob cyfeir ynddi, a heu coedydd, ac eu plannu a gwneuthur perllanneu murddin ac ymborth o ffrwytheu y ddaear o ddefawt gwyr Rhufein."

"A Gruffydd yntau a wnaeth eglwyssen mawr yn y llyssoedd pennaf iddaw ehun, ac adeiladoedd y llyssoedd, a gwledden yn wastad yn anrhydeddus. Pa beth hefyd? yr echtywynnygu a wnei Wynedd yna o eglwysseu calcheit fal y ffurfafen o'r syr, &c."

Yna'r hanes a draetha am henaint a marwolaeth *Gruffydd*, ac am ei haelioni tuag at yr eglwysi, o'r hyn y rhoddaf† yr ailadroddiad canlynol, i'r dyben i ddangos y gwahaniaeth rhwng gwerth arian yn y dyddiau hynny, ac yr awrhon; canys yr anrhegion coffaedig oeddynt yn ddiau yn cael eu cyfrif yn dra haelonus y pryd hwnnw, ac yn deilwng o dywysawg clodforus.‡

* Er anghraifft, gallwn gyfeiriaw at y brenin *Alfred*, yr hwn a dreuliodd ran o ddalm ei deyrnasiad, mewn alltudiaeth rhag gormes y Llu du.

† Y mae *Syr John Wynne*, yn ei hanes o *Deulu Gwydyr*, yn dywedyd i fuchedd *Gruffydd ap Cynan*, gael ei ysgrifenu gan fonach o Gymry tra hynafawl, ac iddaw gael ei gyfieithu i'r Lladin, gan *Nicholas Robinson* Esgob Bangor, [bu farw yn 1815.] Y mae yn debygol oddiwrth hyn, mai yn y Gymraeg, yr oedd y cysefin; eithr pa un ai hwnnw yw yr un yn y Myv. Arch. nis gwn; ond y mae ynnwyf dueddiad cryf i feddwl mai nid cyfansoddiad cysefin ydyw, eithr cyfieithiad o'r Lladin. Seiliaf fy marn ar rai o'r sylwadau a geir yn y pennodiadau Lladin, yn mha rai y mae'r esponiwr yn cyfeiriaw at ailadroddiad allan o waith arall; ac hefyd, oddiwrth yr esponiad Lladin o ddarogan Myrddin yn nghorff y gwaith, yr hyn ni fuasai raid wrthaw mewn cyfansoddiad Cymraeg cysefin, ond yn bennaf, meddyliaf y canfyddaf rai troadau ymadroddawl o lediaith Lladin, yn y geiriad, yma ac accw: ac er anghraifft, nodaf yr ymadrodd—"*Pa beth hefyd*," yr hwn sydd yn atteb mor gyson i'r "*quid plura*," a "*quid amplius*," mor arferol gan ysgrifenwyr Lladin y canol-oesoedd, pan yn dymuno cyffroi synniad neilltuol; ac hefyd mor annhebyg i eiddo ysgrifenwyr Cymraeg cysefin, ag nas gallaf attal tybio fod y rhan wreiddiol o hanes *Gruffydd ap Cynan*, gwedi ei ysgrifenu yn y Lladin; y mae canmoliad o'i haelioni tuag at yr eglwysi, yn tystio mai Gwr Llen ydoedd yr awdwr; ond hefyd y mae rhai pethau eraill yn arwyddocau fod gan ryw un o'r beirdd law yn y gwaith Cymraeg dan sylw; tybiaf weithiau mai *Meilyr Brydydd*, ydoedd hwnnw.

‡ Nid cwbl hyspys gwerth arian y pryd hwn; nid oedd un bath o'r enw *swllt*, eithr arian cyfrif yn unig ydoedd, a thebygol y talai mewn pwys arian, yn agos i *dri* o'n sylltau ni. Ac fod *dafad* yn werth *swllt*; a buwch yn werth *pump swllt*, a march yn werth 30 swllt: ond ammheüir hyn iawn oll.

"Ac yn y diwedd eisioes Gruffydd a hynaws, [*heneiddiodd*] a choll'i trem ei lygaid a orug, a rhoddi a orug yntau ei ynni i weithredoedd o drygaredd, wedi meddyliaw o honaw ennill enw tragywyddol o filwriaeth, ef a arfaethws hefyd fyned ei hun i le dirgel ysgafala [*llonydd a diogel*] i ddwyn buchedd ddwyfawl, a thremygu [*dirmygu*] ei holl Arglwyddiaeth fydawl yn llwyr. Ac eisioes fal ydd oedd ei derfyn i fyned o'r byd hwn yn nessau, galw ei feibion a orug a lluniaethu ei farwolaeth fal y gwnaeth y Brenin Ezechias waith arall, ac wrth hynny rhannu a orug ei holl dda; a'i gyfiawnder yntau a bara yn oes oesoedd. Efe a ddanfones ugain swllt i Eglwys Crist yn *Nulun*, yn y lle ei ganned ac ei fagwyd, a chymmaint a hynny i holl Eglwysau pennaf Iwerddon; a'r gymmaint i Eglwys *Fynyw*, a'r gymmaint i Fonachlog *Caer*, a'r gymmaint i Fonachlog *Amwythig*, a mwy na hynny i Eglwys *Fangor*; a deg swllt i *Gaer Gybi*, a'r gymmaint i *Benmon*, a'r gymmaint i *Gelynnawc*,—i *Enlli*,—i *Feifod*,—i *Lan Armon*,—i *Ddineirth*, ac i lawer o eglwysau pennadurâf ereill."*

Gruffydd hefyd a adawodd anrhegion iddei blant a'u berthynasau, yn ol eu gradd; ac i *Angharad* ei wraig, merch *Owain ap Edwyn*, rhoddodd hanner ei dda, a dwy randir, a phorthloedd *Abermenai*, [*trethau y porthladd*, ysgatfydd.]

Mynegir i *Ruffydd ap Cynan* wneuthur diwygiadau yn nghyfreithiau ei dywysogaeth, yn enwedig y rhai perthynol i *Gerddoriaeth;* ac y mae etto ar glawr amryw reolau cerddorawl, y rhai a gyfrifir i'r eisteddfodau a gynhaliwyd dan ei awdurdod ef;† ac i'r dyben i adgyweiriaw y trefniadau, dygodd o'r Iwerddon amryw gerddorion medrus, iddei hyfforddi yn y gwaith. Ond y mae yn ddyledus sylwi yma ar gyfeiliornad tra annghyffredin, yr hwn a hanfoda yn ngwaith rhai hanesyddwyr perthynol i wasanaeth y cyfryw gerddorion Gwyddelig yn Nghymru; canys haerir gan rai, mai o'r Iwerddon y cafodd y Cymry eu tônau a'u gwybodaeth o beiriant cerddorawl, megys y delyn a'r crwth. Y camsyniad hyn a ddechreuwyd gan *Powel*, yr hwn, yn niwedd ei draethiad am deyrnasiad *Gruffydd ap Cynan*, a ddywaid i'r cyfryw gerddorion, *mewn modd*, ffurfio yr holl gerddoriaeth peiriannol mewn arferiad gan y Cymry; ac er prawf o hyn, dyga yn mlaen y llyfrau a ysgrfenwyd, ac enwau y tônau a'r mesurau yn mhlith y Cymry. Y mae yn rhaid addef, fod arwyddion diamheuol yn nefodau *Gruffydd ap Cynan*, o ddeilliad Gwyddelig i amryw enwau o'r mesurau, ac hefyd fod gan ffurfwyr y trefniadau hyn, olwg ar y gyfundraeth Wyddelig; ond am yr haeriad mai trwy y dyfodiad hyn o gerddorion o'r Iwerddon, y cafodd y Cymry eu holl wybodaeth o alawon a cherddoriaeth peiriannol; nis gallaf ond rhyfeddu pa fodd y cafodd Powel ei arwain i arferu y fath ymadrodd ag a geir yn ei waith. Y mae *Powel* gan mwyaf, mor gywir, nid yn unig yn ei ailadroddiadau, ond hefyd yn ei ddychymmygiadau, âg

* Yn yr ailadroddiad uchod, cyfnewidiwyd y llythyreniaeth mewn rhai geiriau, er mwyn attal dyryswch i ddarllenyddion annghynhefin â'r hen ddull.

† Rhai o'r cyfreithiau cerddorawl yma, a argraffwyd gan *Sion Dafydd Rhys*, yn ei Ramadeg, ac eraill sydd yn y Myv. Arch. III.

y dewiswn, yn hytrach ymddiried yn ei *ddychymmygion* ef, nag yn *nhraethiadau haerawl* y rhan fwyaf o hanesyddion eraill; ac felly, pan caffwyf y cyfryw fynegiad a'r uchod, nis gallaf lai na meddwl nad oedd *Powel* ddim yn bwriadu iddei eiriau gael eu cymmeryd yn yr ystyr trwyadl, yn yr hwn y mae rhai wedi eu deall: canys y mae yr ymadrodd, "*mewn modd*," wedi ei daflu i mewn, er attal y cyfryw ystyr hollolaidd. Ond y rhai hynny, y sawl a ailadroddant ei sylwadau, a ânt heibio i'r ymadrodd hwnnw, megys yn ddiystyr. Eithr i'r dyben i ddangos fy nadleuon am amrywiaw oddiwrth *Powel*, hyd nod yn un ystyr o'i honniad, af rhagof.

Yn y man cyntaf, y mae yn ddilys mai nid oddiwrth y Gwyddelod, yn amser Gruffydd ap Cynan, y cafodd y Cymry arferiad y *Delyn*, canys yr oedd yr offeryn hynny ganddynt, oesoedd maith cyn ei deyrnasiad ef. Ac yr oedd yr arferiad o honi wedi ymwreiddiaw cymmaint yn anianawd y bobl, a bod y Delyn yn wrthrych neillduol o ddeddf-roddiad yn nghyfreithiau *Hywel Dda.* O herwydd yn y cyfreithau hynny, ceir amryw drefniadau perthynol i'r *Bardd Teulu*, yr hwn oedd yn un o swyddogion llys y brenin, ac ar y Tair Gwyl arbennig yr oedd efe i eistedd yn y llys, yn nesaf at y *Penteulu*, yr hwn oedd i fod yn fab i'r brenin, neu ynte, yn bendefig o'r gradd uchaf, ac yr oedd hwnnw ar yr achosion hyn, i *roddi ei Delyn yn llaw y Bardd Teulu;* ac y mae amryw reolau perthynol i'r caniadau, y rhai yr oedd efe iddeu canu yn y llys. Hefyd, dywedir am ei delyn yn y modd hyn.

"Telyn a gaiff i gan y Brenin, a Modrwy aur i gan y Frenhines pan wystler ei swydd iddaw. Y Delyn ni ad byth i ganthaw nac ar werth nac yn rhad tra fo byw."

Ac yn y cyfreithiau hyn, rhoddir gwerth gwahanawl delynau gyda manylrwydd; er anghraifft—

"Telyn Brenin chweugaint. [*sef 120 ceiniawg a dâl.*]
Ei Gyweirgorn, pedair ar ugaint,"—*sef yr offeryn at gyweiriaw y Delyn.*

"Telyn Pencerdd chweugaint a dâl.
Ei Gyweirgorn pedair ceiniawg a dâl."

"Telyn Uchelwr trugaint a dâl.
Ei Gyweirgorn deuddeg ceiniawg a dâl."

Hefyd yr oedd y Delyn ei hun mewn fath barch gan y Cymry, a bod yn mwynhau braint neillduol, fel y gwelir yn y Trioedd defodawl—

"Tri thlws cenedyl:——*Llyvyr, Telyn, a Chleddyv;* ac nis dygir yn ngavael gan ddedryd llys a chyvraith."

Y mae y cyfreithiau hyn yn llawn ddigon i brofi, fod cerddoriaeth ac arfer y Delyn megys offeryn cerdd, yn hanfodi yn mhlith y Cymry yn y 10fed ganrif, yn y fath radd a dangos arwyddion amlwg o hynafiaeth tra esawg yn mhlith y genedl.

Ac nid yn unig yn y 10fed ganrif y cawn brofion o hyn, ond welwn hefyd fod yr un fath goleddiad o gerddoriaeth yn hanfodi yn echreu y *ddeuddegfed ganrif;* canys dywedir i *Gadwgan ap Bleddyn p Cynfyn*, yn y flwyddyn 1107, wneuthur gwledd anrhydeddus yn ghastel *Aberteifi*, ac "a wahoddes y Beirdd a'r Cerddorion Tafawd a 'hant, goreu a gaid yn holl Gymru, &c," [gwel t. d. 514,] a chan y anhaliwyd yn y wledd honno, ymrysonau celfyddydawl a chynadl gorbestion, y mae yn ddilys fod o fewn derfynau Cymru, gampwyr ddigon ml a medrus i weini tuag at gynhaliaeth o'r cyfryw ymgystadliad mewn nodd addas. Ond pa fodd y mae hyn yn ymgysoni â'r haeriad, perthnol i'r trosglwyddiad peroriaethol o eiddo *Gruffydd ap Cynan?* Er tteb, gallwn ddweyd nad oes un cysondeb rhyngddynt. Nid oedd Gruffydd p Cynan, ar yr amser hyn, ond braidd wedi ymsefydlu yn y Dywysogeth. Canys yn y flwyddyn 1099, y dychwelodd ef o'r Iwerddon, a thros nnyd ar ol hynny, y mae yn ddilys nad oedd ganthaw arfod i ofalu am diwygiad cerddcrawl, gan fod digon o waith iddaw gynnal ei gyfoeth 'n erbyn ei elynion; a chyn hynny, nis gallasai wneuthur llawer yn y orchwyl hwn, canys bu *un mlynedd ar bymtheg* yn garcharor yn *Nghaerlleon Gawr*, ac o'r rhan arall o'i deyrnasiad, gwelsom eisioes nai talm o ymdrech am hanfodiad ydoedd, a'i fod yn fwy mynych ar gil 'n ei wlad ei hun, neu ar ffo mewn gwledydd dyeithr, nag yn llywodraethu 'n llwyddiannus ar orsedd ei dywysogaeth. Ac felly, meddyliaf mai ar ol y flwyddyn 1100, sef wedi ymsefydlu mewn llonyddwch yn ei gyfoeth, 'gwnaeth *Gruffydd ap Cynan* neb ryw ddiwygiadau yn nefodau y wlad, na un ai cerddorawl ai arall.

Ond etto, bydded diwygiad cerddorawl *Gruffydd ap Cynan* mor ynnar ag y bytho, barnaf mai nid tebygol y gallasai ei gludiant Gwyddlig ef effeithio y fath chwyldroad yn mheroriaeth Cymru, ag yr honnir. Canys nid oedd ei lywodraeth ef yn cyrhaedd allan o dalaeth *Gwynedd*, c nid tebygol y buasai i'r taleithiau eraill a'u tywysogion, yn yr amseredd hynny o eiddigedd a gelyniaeth cyffredinol, oll ufuddhau i dderbyn yfreithiau oddiwrtho ef, a bwrw ymaith hen ddefodau eu tadau, er mwyn mabwyso eiddo'r Gwyddelod.

Yn y man nesaf,—Os bu y fath drosglwyddiad o beroriaeth o'r Iwerddon i Gymru, a'r fath dderbyniad cyffredinol, a chwyldroad, diau fod ar ol hyn, yr un ddulliad ac arnodiad mewn archwaeth, ac arfer, yn hanfodi 'n y ddwy genedl. Ond pa le y mae yr arwyddocâd lleiaf o hyn yn

mheroriaeth y ddwy genedl? Y mae peroriaeth y Cymry, y dydd heddyw, mor wahanol yn ei anianawd oddiwrth eiddo y Gwyddelod, ag nad oes yr arwydd lleiaf, fod erioed gyffelybrwydd wedi hanfodi rhyngddynt. Felly, barnaf fod camsyniad yn yr haeriad, perthynol i'r chwyldroad yma—Nid mor hawdd cyfnewid archwaeth cerddorawl un rhyw bobl, yn enwedig pobl mor lynedig wrth eu hen arferion a'r Cymry. Ac er cadarnhad o'r farn yma, rhoddaf ran o sylwnod yn *Hanes Gruffydd ap Cynan*, yr hwn a honnir ei fod yn cynnwys ystyr geiriau ysgrifenydd o'r enw *Robert Gruffydd;* dywedir fal y canlyn:—

"——*Gruffudd ab Cynan*, brenin Gwynedd a gynnaliodd eisteddfod at y cyfryw amcan yn *Nghaerwys;* i ba le y cyrchodd holl gerddorion Cymru; a rhai hefyd o Loegyr, ac o'r Alban; pan y dirmygai y Cymry ymarver a phibau, ac mewn rhan a waherddid gantynt; pan yw Ysgodawg oedd yn rhagori ar bawb yn y cyvarvod hwnnw o ganu pib, ac i ba un y rhoddes *Gruffudd ab Cynan y Bib Aur*, yn arwydd o'i orchest yn pibanu. Y cyvreithiau à sefydled yno sydd etto yn parâu, ac y maent y dydd hwn yn gyvarwyddid i gerddorion holl Gymru. Ni cheisiodd Gruffudd ymyru am vraint ar y Deheubarth gan fod estroniou wedi cael goresgyndawd yno yn ei amser ev; ac nis gall chwaith tywysogion Deheubarth, drwy gynnal y fath orseddau a chyvarvodau, holi braint yn Ngwynedd, mwy nag yr holes Gruffudd yn y Deheubarth, yn Lloegyr, neu yr Alban, o ba wledydd cyrchasai amrafaelion gerddorion i'r Eisteddfod honno."

Oddiwrth hyn, y mae yn amlwg fod yr estroniaid yn rhagori yn arferiad o'r pibau; ac y mae hefyd yn ddilys fod y Cymry yn dirmygu yr offer hyn, ac nid oes achaws i ni feiaw ar eu harchwaeth; canys os wrth yr enw hwn y deallwn y *pibau a'r cwd*, fel ag y gwelir hwy yn eu hen ddull mewn arferiad gan yr Ysgodogion y dydd heddyw, ac weithiau yn y dull yma yn mhlith y Gwyddelod: nid oes un peth i beru galar eu bod hwy yn cyffroi dirmyg y Cymry, ac yn awr wedi syrthio i ddiarfer; canys nid ynt braidd byth yn ddiwall o ran cyweiriad, pan ar y goreu; ac yn gyffredinol, y maent mor wallus eu cyweiriad, ag anafu clustiau y rhai a'u clywant. Ac hefyd mewn ystafell gyfyng, nid ydynt oddefadwy; ac nis gellir ar unrhyw bryd eu harferyd megys offer cerdd addas i gyfalawu â'r llais; felly o ran caniad cerddau neu odlau prydyddol, y maent yn hollol ddiles; a chan nad oes iddynt ond un llais alawaidd, nis gellir ffurfio cyfalawiad â hwy, neu uniad o amryw rannau tôn. Felly, o ran y dyddanwch teuluaidd o beroriaeth, dedwydd yw tynged y Cmry i'r fath offeryn cyflawn a chelfyddydawl a'r delyn, syrthio iddeu cyfran megys offeryn gwladawl; a da a chanmoladwy oedd eu harchwaeth, pan ei dewisasant felly, ac a'i priodolasant.

Ond yn awr, dygir yn fy erbyn dystiolaeth *Giraldus Cambrensis*, yr hwn, yn y flwyddyn 1185, a oedd yn trigiannu yn yr Iwerddon; a dwy flynedd ar ol hynny, sef yn 1187, ysgrifenodd draethawd hanesyddol ar y wlad honno, yn mha un y dywaid fod y Gwyddelod "yn rhagori tu hwnt i gymhariaeth, yn eu celfydd-dra mewn peiriannau

peroriaethawl ar bob cenedl ag a welodd erioed; ac nad oedd eu dull o chwareu yn gyffelyb i'r un Frytanaidd, â pha un yr oedd yn gynnefin, sef yn araf ac yn sorrawl, eithr yn gyflym a bywiog, ond ar yr un pryd yn felus ac hyfrydlon."* Ac ar ol helaethu ar eu dull o chwareu, ychwanega ddywedyd,—"Bydded hysbys, er hynny, fod yr *Alban* a *Chymru*,—y gyntaf o herwydd gwaedoliaeth, a'r olaf o herwydd cynniweiriad a chystlynaeth, yn ymegnio i efelychu'r *Iwerddon* mewn celfydd-dra peroriaethawl."†

Yn awr, Pa beth y mae y tystiolaethau hyn yn profi?—Ai trosglwyddiad o beroriaeth Cymru o'r Iwerddon gan *Ruffydd ap Cynan?* Barnaf nad ê,—eithr y cyflawn wrthwyneb; sef, fod yn 1187, ysgatfydd bedwar ugain mlynedd ar ol eisteddfod *Caerwys*, wahaniaeth tra nodedig yn hanfodi rhwng dulliau peroriaethawl y ddwy wlad. Ac am yr efelychiad rhag-grybwylledig, tybiaf fod y geiriau—"*æmulâ imitari nitantur disciplinâ*," yn arwyddocâu ymdrech i gystadlu mewn medrusrwydd, yn hytrach na mabwysiad dull a threfn.

Etto, un cyfeiriad yn ychwaneg. Yr un awdwr, *Giraldus Cambrensis*, o gylch y flwyddyn 1204, a ysgrifenodd draethawd ar ddefodau y Cymry, yr hwn sydd etto ar glawr. Yn y traethawd hwn, yr awdwr a ddywaid, fod yn arferol yn Nghymru, i ymweledyddion, pan ddeuent i ryw dŷ yn y boreu, gael eu difyru hyd bryd bwytta yn yr hwyr, gan ymddyddanion y morwynion ieuainc, a sain telynau; a bod yn mhob tŷ, delynau, a morwynion ieuainc dyledswydd pa rai oedd i ofalu am y gwasanaeth lletteugar hwn.‡ Ac ychwanega hefyd, fod yn mhob teulu, y dynion yn hoffi medrusrwydd mewn chwareu ar y delyn, tu hwnt i bob celfydd-dra.||

Pa effaith a gafodd y cystlyniaeth Gwyddelig ar anianawd peroriaeth Cymru, ac archwaeth y bobl yn ffurfiad o'u halawon, gan na ellir olrhain un tebygolrwydd yn eiddo y ddwy genedl, y dydd heddyw, nis gallaf atteb. Er mor fedrus yr oedd y Gwyddelod gynt yn y gelfyddyd o chwareu ar y delyn, y mae yr offeryn hynny y dydd heddyw wedi diflannu o'r wlad mor llwyr, ag y gellir teithio dros ran fawr o'r ynys heb

* "In musicis solum instrumentis, commendabilem invenio gentis istius diligentiam, in quibus præ omni natione quam vidimus, incomparabiliter est instructa. Non enim in his sicut in Britannicis, (quibus assueti sumus) instrumentis, tarda et morosa est modulatio, verum velox et præceps; suavis tamen et jucunda sonoritas."

Y mae yn rhaid addaf nad yw Giraldus ddim yn enwi y delyn, yn mhlith peiriaint yr Iwerddon, ond braidd y gellir amheu mai atti hi y mae yn cyfeiriaw:—

† "Notandum vero, quod Scotia et Gwallia, hæc propagationis, illa commeationis et affinitatis gratia, Hiberniam in modulis, æmulâ imitari nitantur disciplinâ."

‡ "Qui matutinis autem horis adveniunt, puellarum affatibus, et cytherarum modulis usque ad vesperam delectantur; domus enim hic quælibet puellas habet et cytheras ad hoc deputatas."

|| "Omni quoque decuria seu familia, viri citra doctrinam omnem cytharizandi per se peritiam tenent."

fyth glywaid son am dani; ac y mae y *pibau a'r crwd* yn llan megys peiriant gwladawl. Pa un ai y *Delyn* ai y *Pibau* oedd y archwaeth y bobl Wyddelig yn yr hen amser, ni wyddys, am dim o'u peroriaeth yn gadwedig. Ond y dydd heddyw, hawdd mai y *Pibau* a ffurfiant gynllun alawaeth. At eu chwareu ar y mae y tônau cyffredin wedi eu haddasu; a'r werin, yn eu can fynych a efelychent sain y pibau, ac a ganlynant â'u llais eu troa odawl, yn y fath fodd a'i wneud yn ddiamheuol, mai yr offer ffurfiant sail peroriaeth yr Iwerddon, y dydd heddyw. Felly, c cael allan ryw ddadleuad cadarnarnach nag a welir, yn erbyn fy n ol yr hyn a dddangoswyd, meddyliaf y cynhelir fi yn fy marn, ddisail yr haerir deilliad Gwyddelig i beroriaeth Cymru.

---

Y mae y talm o amser, yn yr hwn y cynhwysir teyrnasiad G *ap Cynan*, sef diwedd yr 11eg, a dechreu y 12fed ganrif, yn nodedig yn hanes y byd. Canys yn ystod y talm hwn, y deffroad y cynheddfau dynol allan o'r trymgwsg, yn mha un yr wedi gorwedd dros amryw ganrifau. Pa beth oedd achos y rhagflaenol, neu pa beth a achlysurodd y deffroad, nid hawdd pen ond hyn sydd amlwg ddigon, fod i'r fath wahaniaeth canfodad meryd lle, o fewn i ychydig flynyddau yn y byd cynheddfawl, ag yn y byd anianawl, rhwng goleufer y wawrddydd a thywyllwch y cyfnewidiad hyn a welir yn eglur yn y gweddillion hynny o'r ta y rhai ydynt etto ar glawr, yn gystal yn y dosparth llaw-gelfydd un llênawl; canys nid ydyw diwygiad yn un o'r ddau, ond effa cynheddfawl, yn gweithio yn fwy egniawl na chynt. Canfyddir gyfnewidiad diwygiol, yn y gweddillion adeiladawl, y rhai ydy hanfodiad. Cyn yr 11fed ganrif, er dim ag a ellir ei ddeall, hyd nod y cestyll a'r llysoedd pendefigol, yn gyffredinol, ond ffurfio o goed, ac yn amddiffynedig â chloddiau pridd ac â ffos yn awr gwelwn gaerau ardderchog yn cyfodi gyda thyrau a mu gylchawg, lluniedig o feini nadd o gerfiad hardd a chelfydd. amser yma, nid oedd yr eglwysi ond ystafelloedd bychain a g ffurfiedig o furiau isel, a pharwydydd o wiail plethedig, a th iddynt yn lle ffenestri. Ond weithan gwelwn eglwysi cadeiriol yn cyfodi, y rhai ydynt y dydd heddyw yn ryfeddodau o adei medrus a gorchestawl; a'r sawl, yn nghyd â'r monachlogydd ddull weithiad, a oeddynt yn offerynol i hyfforddi gwybodaeth ce yn y wlad, mewn modd tra llesiol, trwy roddi annogaeth i we

d a maen, lluniad offer haiarn o waith gôf, tuag at y cyfryw, cymgiad a thoddiad delidau tuag at fwrw clych, gwneuthuriad a lliwiad dr tuag at y ffenestri;—mewn gair, yr oedd holl gelfyddydau yr oes ael eu coleddu trwy y gweithredoedd hyn; a gwareiddiad anianawd elaethiad gwybodaeth yn cael eu hyfforddi i raddau, nid hawdd eu gyffred, ond effeithiau buddiol yr hyn a fwynheir y dydd heddyw, holl gyfansawdd y gyfundraeth gymdeithasawl.

eblaw hyn oll, yn nghylch yr amser yma y dechreuwyd ffurfio ieith-. Cyfandir Ewropa, y sawl ydynt mewn arferiad y dydd heddyw. gid cyn yr amser yma, nid oeddynt ddim o'r ieithoedd hynny mewn odiad; y trigolion a siaradent ryw lafarieithoedd cymmysgedig, gan af, yn ffurfiedig o sorod y Lladin, eithr yn hollol afreolaidd; ac fel bir, mor glyttiedig a didrefn, ag nad oedd un talaeth gwlad yn gwbl rwydd a dull ymadroddiad y lleill. Y Lladin oedd iaith llêenydd-, yn hon yr ysgrifenid y llyfrau, a chan mwyaf, yn hon y triniwyd thrediadau cyfreithiol; ac felly, ieithoedd y werin ni dderbynient ldiad, ac nid oedd nebun o honynt ond cyfrwng trwsgl o feddylm cyfyngedig ac annghyflawn. O ieithoedd y Cyfandir, y gynharaf urfiad, oedd y *Ffrangaeg*, ond mor hollawl oedd y cyfnewidiad, ag oes gan hen iaith Ffrainc yn y 10fed ganrif, sef y Lladin llygredig, cyffelybiaeth braidd cydnabyddol i iaith yr un wlad yn y 12fed if; ac nid yw Ffrangaeg y 12fed ganrif, yn ddealladwy y dydd lyw, odddieithr i fyfyrwyr ieithyddawl. Ond yr oedd y iaith honno, pryd hyn, wedi dechreu derbyn y dull hynny ag sydd yn awr yn ddocâu ei hanianawd neilltuol; felly, os ceisir unrhyw gyfansoddiad ieithoedd Cyfandirawl, cynharach nag o gylch yr amser yma, ceisir yn ni ellir ei gael, am nad oedd hyd nod y ieithoedd eu hunain mewn bdiad. Wrth yr hyn y gallwn weled fod y cynhyrfiad cynheddfawl peru yn mhlith eraill, ddiwygiad tra nodedig mewn llêenyddiaeth: s yn y gwledydd yn awr dan sylw, achlysurodd y fath gyfnewidiad gellir ei alw yn ffurfiad newydd o lêenyddiaeth, yn hytrach na giad.

thra yr ydoedd y gweithiad hyn yn myned yn y blaen trwy y gwled-cymmydogaethol, nid oedd Cymru ddim yn parhau yn ddigyffro, ymgyfranai yn y diwygiadau cyffredinol. Gwelsom fod y tywys-, o gylch yr amser yma, yn ymosod i ddiwygio cyfreithiau, ac i eirio y defodau gwladawl, ac yn cynnal eisteddfodau a gwleddoedd wl, yn adeiladu cestyll, eglwysi, a monachlogydd; mewn gair, ry nid oeddynt yn ol yn yr yrfa gynheddfawl, mewn perthynas i bodaeth celfyddawl angenrheidiol tuag at amddiffyniad gwlad a lid.

Ond tra yr oedd y Cymry yn cyd-redeg a'r cenhedloedd cymmydogaethawl yn y dosparth yma, yr oeddynt yn blaenori yn fawr mewn pethau eraill, yn enwedig mewn barddoniaeth a choleddiad iaith; canys tra yr oeddynt y cenhedloedd eraill, yn agos yn amddifad o lafariaethoedd rheolaidd, ac ar y pryd yn ymdrafferthu dan yr anhawsderau o ffurfio ieithoedd newyddion; yr oedd y Cymry yn berchenogion ar iaith goeth a chyflawn, wedi ei choleddu dros oesoedd maith, ac hefyd yn meddiannu cyfundraeth ardderchog o farddoniaeth, yr hon oedd wedi ymwreiddiaw yn eu plith er cyn cof, ac felly, pan ddaeth y cyffroad rhag-grybwylledig, yn lle bod y Cymry yn myned i ffurfio iaith newydd i fynegi eu meddyliau dihunedig, yr oedd ganddynt yn barod at eu hachos, y cyfrwng hwnnw. Ac yn ganlynol, cawn o fewn i'r 11fed ganrif, arwyddion amlwg o hanfodiad awenyddiaeth, prydyddiaeth, ac iaith reolaidd sefydledig. A hyn a ymddengys yn ngwaith y beirdd, o gylch yr amser yma, y cynharaf o ba rai ydyw *Meilyr Brydydd*, un o gyfansoddiadau yr hwn a ymddengys ei fod mor gynnar a diwedd y canrif yma, a hwnnw yw yr awdl farwnad i'r tywysog *Trahaearn ap Caradawc*, yr hwn a laddwyd ar fynydd *Carno*, mewn brwydr yn erbyn *Gruffydd ap Cynan*, yn y flwyddyn 1080. Y canlynol yw y cyfansoddiad:—

"*I Drahaearn a Meilyr.*"

---

"Meilyr Brydyt a gant yr Awdyl hon yn y lluyt [lluydd] y llas Trahaearn vab Caradawc, a Meilyr mab Riwallawn vab Cynfyn."*

"Gwolychaf ym Ren rex awyr
Arglwyt a wyr uym[1] pryder — [1] fy'n
Pryder pryderaf yn fawr
Am uy arglwyt llawr llyw niuer
Ny dotynt dros uor[2] etwaith — [2] fôr
Pobyl anhyuaeth nanhyuer
Gwytyl dieuyl[3] duon — [3] Gwyddyl diefyl
Ysgodogion dynion lletfer[4] — [4] bwystfilaidd.
Cad a uyt ym mynyt Carn
A Thrahaearn a later[5] — [5] ladder
A mab Rywallawn rwyf myr
O'r gyfergyr[6] nyd aduer — [6] y frwydr
Difiei[7] ym pen y teir wythnos — [7] dydd Iau
Tu a nos yd ith later."

Y mae y cyfansoddiad hwn yn dangos pob arwydd iddo gael ei ffurfio yn fuan ar ol y frwydr; yn y rhagymadrodd, dywedir mai *yn y lluydd* sef yn y cadgyrchiad, y canwyd ef. Ac y mae yr awdwr, fel pe byddai yn crybwyll am ryw amgylchiadau, y rhai a ddygwyddasent yn ddiweddar,

* Y mae ychydig o ymrafael yn yr hanesion perthynol i'r gwŷr yma. Mewn un ysgrif, crybwyllir am y Meilyr hwn megys yn fab i *Riwallawn ap Gwyn ap Collwyn*.

a thra yr oeddynt etto yn graff yn ei gôf, megys y dydd ar ba un y bu y frwydr, sef *dydd Iau*, ar amser ar ol y cyrchiad i'r maes, sef *yn mhen tair wythnos*, ac hyd nod yr amser o'r dydd, yn mha un y syrthiodd *Trahaiarn*, sef *tua nôs*. Ni fuasai yr amgylchiadau bychain hyn yn debygol i ddyfod i feddwl un gŵr na fuasai yn gyd-ddrychiol yn y frwydr, ac i hwnnw chwaith, oddieithr yn fuan ar ol y dygwyddiad. Ac y mae hefyd yn amlwg fod y prydydd, nid yn unig yn dra adnabyddus â'r amgylchiadau, ond hefyd yn bleidiol tuag at *Drahaearn*, yr hyn nid yw tebygol y buasai, flynyddoedd ar ol y dygwyddiad. Yr oedd Trahaearn, y pryd hwnnw, ond newydd ei ladd, a'i awdurdod braidd wedi ei ddymchwelyd; ac felly, y prydydd a allasai yn ddiogel fynegi ei alar am ei golled. Ond hyn ni allasai wneud yn mhen amser ar ol hyny; canys wedi gorchfygu *Trahaearn*, a sefydlu ei elyn, *Gruffydd ap Cynan*, ar yr orsedd, nid tebygol y buasai un dyn mor ddisyniad am ei ddyogelwch ei hun, a myned i gyfansoddi y cyfryw farwnad. Ac yn mhellach, yr oedd *Meilir Brydydd* ar ol hyn, wedi ymgymmodi â *Gruffydd ap Cynan*, ac wedi dyfod mor garedig tuag atto, a'i fod yn canu ei farwnad yntau mewn dull a arwyddocâai lawer fwy o wresawgrwydd pleidgarwch tuag atto ef, a hoffder am ei orchestion, na thuag at *Drahaearn* gynt. Felly, barnaf nad oes un achos i amheu fod y fawrnad hon wedi ei chyfansoddi yn uniongyrchol ar ol y frwydr, sef yn y flwyddyn 1080. Ac y mae yn ddilys gennyf fod y bardd ei hun yn gyd-ddrychiol yno, canys dywedir mai yn y lluydd y canwyd yr awdl; ac y mae ynnwyf dueddiad i gredu ei fod ef yno mewn sefyllfa swyddol, megys *Bardd Teulu*, neu un yn ol defodau y cyfreithiau Cymreig, y rhai a ddarparent fod y cyfryw swyddog yn myned gyda'r brenin i ryfel, ac yr oedd i gael rhan o'r yspail, ac hefyd ar y rhaniad o honaw, i ganu y gân oruchafiol o flaen y llu, fel y gwelir:—

"Ef a ddyly buwch neu ych o'r anrhaith a wnel y teulu yn ngorwlad, gwedi ydd el i'r brenin y traian [drydedd ran]."

Ac yna ychwanegir ei ddyledswydd ar y cyfryw achlysur:—

"Ystau a ddyly, pan rannoent yr anrhaith ganu *Unbeniaeth Prydain*.

Y mae y swyddwaith yma yn dra nodedig, ac yn profi fod y Bardd Teulu, trwy osodiad deddfawl, yn rhwym i fyned allan gyda'r fyddin freninol i ryfel. Ac yn ganlynol, cawn yn ngweithiau amryw feirdd, fynegiadau pennodol eu bod eu hunain wedi gweled y gorchestion milwriaidd, y rhai yr oeddent yn eu coffa; ac felly, y mae pob tebygolrwydd fod awdwr y cyfansoddiad hwn yn gyd-ddrychiol yn y frwydr am yr hon y cana, naill ai fel Bardd Teulu, neu ynte, un o'i ddisgyblion,

Y mae yn rhaid i mi gyfaddef fod rhai anhawsderau ar y fford sefydliad y dychymmygion hyn, canys yr oedd hanner cann mly rhwng lladdiad *Trahaearn*, a marwolaeth *Gruffydd ap Cynan*, ac yr oedd yn rhaid i *Feilyr* ddechreu prydyddu yn ieuanc iawn, ac h feddiannu egni cynheddfawl yn nerthol iawn, yn ei hen oedran. Yr beth a allaf ei ddywedyd ydyw, nad yw hyn oll ddim yn annichona nac ychwaith lawer allan o'r rhwysg gyffredinol, o herwydd gall *Meilyr* ganlyn ei dywysawg naill ai fel milwr, neu ynte, fel un o gan wyr y Bardd Teulu, yn ieuanc iawn, ac ar ol hynny, goleddu yr a hyd aeddfedach oedran. Gallasai ganu marwnad *Trahaearn*, yn b ar hugain oed, ac eiddo *Gruffydd ap Cynan*, yn bymtheg a thriug O ran gorchest cynheddfawl, nid yw hyn ddim mwy nag a welwyd ein dyddiau ein hunain, yn anghreifftiau *Iolo Morganwg* ac *Idriso* ysgatfydd amryw eraill.

Y nesaf o "*Ganuau Meilyr*" ydyw *Mawrnad Gruffydd ap Cy* yr hon a gynhwysa amryw gyfeiriadau at amgylchiadau yn muched y tywysawg hwnnw, ac hynny gyda'r fath fanylrwydd a ffurfio cofre hyfforddawl tuag at eglurhau ei hanes. Y farwnad a gynhwysa yn i ddau cant o linellau, ac a ddechreua fal amryw eraill o gyfansoddi y beirdd, gyda rhagymadrodd cyfarchawl o anianawd dwyfawl:—

"Rheen nef mor rhyfedd ei ryfeddawd,
Rhiau Rhwyf elfydd, rhwydd ei folawd,
Rex raddau fru oryn fyngbardawd, } nid eglur i
Rhec rydeirinam yn rhan drindawd } rhan hon
Pan dyfo Dofydd yn nydd pennawd
Peryf par wrthfyn yn erbyn brawd,
Pan gaffwyfi y gan glain glân gyflogawd, &c."

Yna enwa y gwrthddrych, sef y Tywysawg, gyda chyfeiriad a ardderchawgrwydd:—

"Gruffydd glew dywal ar orfeddawd,
Gwyr gwae ei werin, gwin eu gwirawd
Gwr a lywai lu cyn bu breuawd
Blaidd byddin orthew yn derw blyngawd."

Yna y bardd a grybwylla am amryw o orchestion Gruffydd, a'i glod

"Gan gerddau cyhoedd oedd ardderchawc
O Ysgewin barth hyd borth Efrawc."

Dengys hefyd gadgyrchiad difudd brenin Lloegr:—

"Dyhu brenin Lloegr yn llnyddawc
Cyd doeth ef, nid aeth yn warthegawc."

Daeth brenin Lloegr gyda'i luoedd, ond er y daeth, ni ddychwelodd gydag ysglyfae wartheg.

lchiad hwn a adroddir yn yr hanes, os nid yn yr un geiriau, ystyr; canys dywedir am frenin Lloegr:—

iafas ei gyfarwyddieit ganthaw neb cyfryw ffrwyth nac ynnill cymmaint a

: yn y farwnad, y canlynol:—

" Ni yn eryri yn reiawc
Ni thorres i bawr a fu breiddiawc."

d i borfa yn mha un yr oedd praidd.

yd a gyfeirir attaw yn yr hanes, pan grybwyllir am gadgyrchiad

.

dd ynteu o gynnefindra a brwydr a luestwa yn ei erbyn ynteu ym mreichiau [*eira—eiryawg.*]"

ardd a draetha am haelioni y tywysog, a'r anrhydedd a gaffai wasanaeth:—

" Yfais gan deyrn o gyrn eurawc
Arfod faedd feiddiad, angad weiniawc
Yn llys Aberffraw yr ffaw ffodiawc
Bum o du gwledig yn lleithiawc
Eilweith ydd aethum yn negessawc
O leufer llyw camawn iawn dywysawc
Bysedd aurgylchwy yn fodrwyawc."

ɔwylla am frwydrau Gruffydd, ar fôr a thir:—

" Torresid gormes yn llynghesawc
Gwedi tonnau gwyrdd gorewynawc
Dyphorthynt ei seirch meirch rhygyngawc
A fu neud gweryd yn war waedawc."

:yfeiria at y bradwriaeth a fu yn ei erbyn:—

" Gwae a ymddiried wrth fyd bradawc."

offhâ amryw o'i orchestion:—

" Yn y fu werydd ei obennydd."

pridd yn obennydd iddaw.

" Men yd las Trahaiarn yn Ngharn-fynydd."

---

" Cad rhag tal Prydain prennial fethydd
Gruffydd a orfu rhag llu Gwythrydd."[1]

[1] *Grothrei*, y brenin [Llychlynaidd.

da, gan ddymuno iddaw—

" Gan glain gloyw addef yn nef drefred."

Heblaw yr uchod, y mae un awdl arall ar glawr o eiddo y bardd yr hon a elwir *Marw ysgafyn Feilyr Brydydd*, sef awdl ar ei angau. Yr hwn gyfansoddiad a gynhwysa fwy o amrywiad mesu lleill, ac ysgatfydd fod hyn yn achlysuredig gan y diwygiad cyffred gymmerodd le mewn llêenyddiaeth yn yr amser hwn; canys ni feddwl fod bardd wedi bod yn coleddu yr awen dros hanner cant o yddau, mewn oes o gynhyrfiad cynheddfawl, heb i ryw raddau yr rannu yn y cyfnewidiadau hanfodol. Ond gan fod y cyfansoddiad yn perthyn i ddiweddarach oes nag eiddo *Gruffydd ap Cynan*, afr fyddai ei ailadrodd yma; fy amcan wrth roddi y sylwadau hyn ydy cymmaint gosod allan gwaith *Meilyr*, megys prydydd, a phrofi fod Gymraeg, gyfansoddiadau barddonawl rheolaidd o waith y gogynf mor gynnar yn y canol-oesoedd a'r flwyddyn 1080; yr hyn a dd nid yn unig rhagoriad y Cymry mewn llêenyddiaeth yn yr amser ond hefyd a ychwanega gymmal arall at y cadwyn canrifol o lêenyd Cymreig.

Oddiwrth yr hyn a ddangoswyd, gellir cyfrif yr 11fed ganrif amser ail darddiad o'r ffrwd nerthol hwnnw o farddoniaeth, yr ddylifodd allan mor helaethlawn o'r pryd hyn dros amryw oesoed wlad Cymru. Ac hefyd yn yr oes yma yn ddiau y bu y cyffroad llêenyddiaeth cyffredinol, yr hyn a ymddangosodd ar ol hynny amlwg yn llafurwaith *Gruffydd ap Arthur*, *Caradawc o Lanca* *Giraldus Cambrensis*, ac eraill o ddysgedigion perthynasawl i Cymru,

Yn mhlith y defodau achawl, y rhai a ffurfiwyd yn yr oes hon, cyfeiriaw mewn modd neilltuol, at sefydliad *Pump Brenhinl* *Cymru*, y rhai oeddynt y canlynol, ac yn mha rai y gwelir fod Gr ap Cynan yn bencenedl ar lwyth Gwynedd:—

| Y Taleithiau. | Y Penau-cenhedloedd. |
|---|---|
| Gwynedd | Gruffydd ap Cynan. |
| Powys | Bleddyn ap Cynfyn |
| Deheubarth | Rhys ap Tewdwr. |
| Morganwg | Iestyn ap Gwrgant. |
| Fferyllwg, neu y wlad rhwng Gwy a Hafren | Elystan Glodrydd. |

Ac y mae yn debygol i bob un o'r llwythau hyn yn yr amser yma hwysaw trefn eu hachlenau. Y mae hyspysiad neilltuol, fod Bledd Cynfyn wedi gwneyd hynny, a'i weithred a goffeir yn yr englyn canl

"Bleddyn ap Cynfyn bob cwys
Ei hun bioedd hen Bowys
A wnaeth hon, nid anoeth bawl
Ar Achau'n ddeddf edrychawl."

y mae pob achaws i feddwl fod yr un fath adgyweiriad wedi ei trwy y taleithiau eraill.

Gruffydd ap Cynan amryw o blant, enwau y rhai ydynt y can- —o'i wraig *Angharad*, merch *Owain ap Edwyn*, bu iddo *Owain*, a elwir *Owain Gwynedd*, ac hefyd *Cadwaladr* a *Chadwallawn*; hed oeddynt—*Marred*, *Susaanna*, *Ranyllt*, *Nest*, a *Gwenllian*; arall, bu iddaw—*Iago*, *Ascain*, ac *Edwal* Abbad Penmon; a *g*, yr hwn oedd offeiriad dysgedig, ac hefyd *Elen*, gwraig *Hwfa* l Felyn o Iâl.

ıwodd Gruffydd ap Cynan ei orsedd iddei fab henaf, *Owain*.

## OWAIN GWYNEDD.

### 1137.—1169.

---

Ar ol marwolaeth Gruffydd ap Cynan, rhanwyd ei feddianau rhwng ei blant yn ol ei drefniad ei hun, a defodau yr oes: ond ei fab henaf, *Owain*, a gafodd arbenicter y dalaeth, megys Tywysawg Gwynedd, a chyda hynny yr enw *Owain Gwynedd.*

Y tywysawg hwn a fu yn mhlith y mwyaf enwog a chlodfawr o holl bennaethiaid y Cymry. Gŵr oedd ef o gynheddfau gloywon, ac o wrolder tra nodedig; llywodraethodd ei gyfoeth gydag anrhydedd, dros ddeuddeg mlynedd ar hugain, gan ei amddiffyn yn ogoneddus, yn erbyn ei elynion Saesonaidd. Bu yn llwyddiannus ac yn fuddugoliaethawl yn ei holl orchwylion, ac ni chymmerodd mewn llaw un weithred, na chyflawnodd hefyd. Ni fu y tywysog egniol hwn ddim yn hir ar ol esgyn i'r orsedd, cyn ymarfogi yn erbyn ei elynion, megys y gwnaethasai amryw weithiau yn amser ei dad; gwelsom eisioes fod Owain a'i frawd Cadwaladr wedi gwneuthur amryw gadgyrchiadau yn erbyn Saeson a Fflandrwysiaid y Deheubarth, gan gymmeryd a llosgi eu cestyll; ac yn y flwyddyn hon, cyrchasant yno drachefn, a chymmerasant gastell *Ystradmeiryg*, *Llanstyffan* a *Chaerfyrddin*, ac ar ol eu llosgi, dychwelasant i Wynedd gydag yspail fawr. Hwn oedd y gorchwyl milwraidd cyntaf o eiddo *Owain*, ar ol ei ddyfodiad iddei dywysogaeth, ac nid ydoedd argoel anfadus o'i rwysg dyfodawl.

Dros ychydig amser ar ol hyn, ni chlywn am un mudiad o eiddo *Owain;* ond yr oedd amryw rannau o Gymru yn parhau mewn cyflwr terfysglyd iawn; yn 1138, lladdwyd *Cynfrig* ap Owain Gwynedd, gan Fadawc ap Meredydd ap Bleddyn ap Cynfyn. Ac yn 1140, y llas *Hywel* ap Meredydd ap Rhydderch, arglwydd y *Cantref Bychan*, gan y Ffrancod: a'r un flwyddyn y llas *Hywel* ap Meredydd ap Bleddyn gan ei genedl ei hun. A bu ymryson rhwng *Hywel* a *Chadwgan*, meibion Madawc ap Idnerth, ac a laddasant y naill y naill.

Yn y cofiaint uchod, ni welwn ddim ond ymraniadau gwrthun, gan mwyaf, rhwng ein cydwladwyr; ond cawn hefyd fynegiad am ddygwyddiad, yr hwn a arweiniodd at ganlyniadau mwy anrhydeddus iddein cenedl.

Yr oedd *Stephan*, brenin Lloegr y pryd hyn, sef o gylch 1140, mewn ymryson â'i arglwyddi, amryw o ba rai a oeddynt wedi cyfodi mewn

'n eu herbyn, yntau a warchaeodd arnynt yn nghaer *Lincoln.*
i o arglwyddi y Cyffindiroedd a ddugasant luoedd o Gymry
n erbyn y brenin. *Robert*, *Iarll Caerloiw*, a ddug lu mawr
*Rhanwlf*, iarll *Caerlleon Gawr*, a ddug lu o wŷr *Rhyfon-
engl*, a *Gilbert*, *Iarll Clar*, a ddug lu o wŷr *Dyfed*. Daeth
lwyddi Saesonig â lluoedd cedyrn o drigolion Lloegr, a bu
d, yn mha un y gorthrechwyd ar y brenin, a chymmerwyd
ror. "Ac," medd y Brut, "goreu am wrolder y gwelwyd y
yn yr ymladdfa yno, y cymmerth *Iorwerth ab Owain ab*
y blaen ar *Iarll Clâr*;* a digiaw'n fawr ei lid a wnaeth yr
'n gweled *Iorwerth* wrtho ei hunan yn ymyl afon yn pysg-
attaw, ac a roddes iddaw fonclust, gan ei alw yn Gymro
na wyddai foneddigeiddrwydd. Yna *Iorwerth* a darawodd
ldwrn oni bu farw.† A phan glybuwyd hynny yn Nghymru,
ai y Cymry yn erbyn castell *Meibion Uchtryd*, [lle ydd oedd
wedi ffoi o gastell Caerfyrddin,] a gyrru ar ffo y castellwyr a
beiliasant ac a'i llosgasant; yna y dug *Owain ap Gruffydd*
giawn y danaw, ac a fynnes Gêd ganthynt."
ymrafael neilltuol hyn y tarddodd i fyny ryfel cyffredinol, yn
fodd y Cymry, dan flaenoriaeth Owain Gwynedd, feddiant ar
ynny o Geredigiawn, y sawl oeddynt wedi bod yn nwylaw y
os nad oes cyfeiliorni yn yr hanesiad hwn, ehangwyd llyw-
gwron hwnnw iddei harferol gyffiniau tua'r ardal honno ar

ddilys fod yr ymrysonau hyn yn mhlith y Saeson yn dra

*aris*, wrth grybwyll am y frwydr hon, a ddywaid i'r fyddin freninol dan
*Albemarle* a *William D' Ypres*, ymosod ar y Cymry, y rhai a ddeuent o'r
gyrru ar ffo; ond i'r fyddin dan dywysiad *Iarll Caer* ruthro ar honno a'i
bithau mewn munydyn, a'r holl farchogion breninol a ffoisant, a *William*
gymmerwyd yn garcharor, yn nghyd â'r cyfan o'r rhai ni allent ffoi—" Acies
erat Comes Albemarlensis, et Willielmus Yprensis, percussit Wallenses,
ocedebant, et eos abegit in fugam. Sed et acies Comitis Cestrensis irruit
rædictam, et sicut acies prior dissipata est in momento. Fugerunt igitur
Regis; et Willelmus Yprensis, vir consularis, atque alii qui fugere non
nes capti sunt, et vinculis mancipati."
ebygol mai at y fyddin dan arweiniad Iarll Caer, y mae y Brut yn cyfeiriaw,
onadwy fod *Iorwerth ap Owain* yn myddin Iarll Clar: ond am hyn nid

gael digon o gadarnhad i'r hanes yma, iddei dderbyn yn hollol heb betrusder;
ll fod camsyniad yn yr enwad, neu ynte nad oedd yr ergyd mor angheuol
. Y mae yn ddyledus sylwi, y ceir mewn un ysgrif o'r Brut, o gylch y
5, y canlynol:—"*y llas Rickert, uab Gilbert y gan Vorgan ab Owain,*" ac
ir am gadgyrchiad Cadwaladr ac Owain i Geredigiawn. Ond gwaith
cysoni y cyfryw amrafaeliadau, pan fyddo cymmaint yn pwyso ar wall
l, mewn enw neu oesiad; ac i ychwanegu y dyryswch, cawn hanes am
enw *Iorwerth ap Owain*, o gylch y flwyddyn 1129.

hyfforddiol i annibynolrwydd y Cymry; canys yr oeddynt yn caniattâu ychydig gyfleusdra iddynt anadlu, ac ailennill eu grym, ar ol yr ymdrech gyfyng a fu ganddynt yn amser y *Brenin Coch*, a'i frawd *Henry I.* Ac yr oedd ganddynt waith dwys o'u blaen, cyn cwbl ail dderchafu eu hanrhydedd gwladwriaethawl. Yr oedd y wlad etto yn llawn o gestyll, yn gadwedig gan y Saeson, dan yr arglwyddi Cyffindirawl; rhai o'r cestyll hyn a oeddynt dan gadwraeth y *Ffrancod*, sef y *Normaniaid;* rhai eraill a gadwyd gan y *Fflandrwysiaid;* y rhai hyn oll oeddynt yn ddarostyngedig i Frenin Lloegr; ac felly, er gochelyd cymmysgiad camarweiniol, galwaf, megys mewn modd cyffredinol, eu ceidwaid wrth yr enwad o *Saeson*, er nad oedd y giwdawd Saesonaeg etto wedi myned i radd o bendefigrwydd; canys y Normaniaid oeddynt y bobl freiniog, a'i hiliogaeth hwy yn llywodraethu ar y Saeson, y rhai ni chaent well triniaeth na gwasanaethu yn y byddinoedd er cynnal awdurdod eu harglwyddi estronaidd. Ond gan ys pa genedl a flaenorai, nid oedd llonyddwch yn hanfodi yn Nghymru: yr unig beth a gymmerai le, a fyddai llaesu o'r frwydr dros ychydig ennyd.

## RHYS AP GRUFFYDD,
### NEU
## YR ARGLWYDD RHYS.
### *Tywysawg Deheubarth.*
### 1137——1196.

Yr ydym yn awr yn gweled gwron newydd yn dyfod ger bron, yn mhlith dewrion Cymru, sef yr enwog RHYS AP GRUFFYDD, yr hwn a adnabyddir hefyd wrth yr enw YR ARGLWYDD RHYS,* mab ydoedd i *Gruffydd ap Rhys ap Tewdwr*, yr hwn a fu farw yn 1137, a chanlynodd y llwybr anrhydeddus yr hwn a ddangoswyd iddaw gan ei dad, gyda chlod a llwyddiant, gan ymdrechu yn wrol dros rydd-did ei wlad, yr hyn hefyd yn y diwedd y llwyddodd iddei ennill gan ail sefydlu Tywysogaeth y Deheubarth, os nid mewn cyflwr o gyfanolrwydd ac annibynrwydd arbenig, etto, mewn amgylchiadau tra gogoneddus o ran cymhariaeth â'r rhai a welwyd yn yr oes rhagflaenawl, pan iselwyd hi gan y Saeson a'r Normaniaid: ond y mae gorchestion *Rhys ap Gruffydd*, mor glymedig âg hanes cyffredinol y wlad, ag nad rhaid ychwanegu arnynt yma mewn modd neilltuol; yr unig beth a sylwaf arnaw yw,

* Tybiaf iddaw dderbyn yr enw hwn oddiwrth fod Henri II. gwedi rhoddi iddaw y swydd o *Arglwydd Brif Ynad Deheubarth*, sef yw yn y Saesonaeg, *Lord Chief Justice of South Wales*; ac felly y Saeson a'i galwant *The Lord Rees*; gan ysgrifenwyr Lladin gelwir ef weithiau yn Frenin y Deheubarth; ond Giraldus Cambrensis a'i geilw yn Dywysawg, *Princeps Rhesus*.

fod ar y pryd hwn, ddau dywysawg tra gwych a chlodfawr, wedi cyfodi yn mhlith y Cymry, sef *Owain Gwynedd*, yn Ngwynedd, a *Rhys ap Gruffydd*, yn Neheubarth.

Ond yn yr amser hyn bu dygwyddiad alaethus, yr hwn a berodd aflwydd mawr i'r wlad. GRUFFYDD AP RHYS AP TEWDWR, tywysog y *Deheubarth*, a briodasai *Gwenllian*, merch *Gruffydd ap Cynan*, ac o honi yr oedd iddaw fab o'r enw *Anarawd*, yr hwn, ar ol ei dad, a ddaeth i feddiant o ran o'i dywysogaeth. Yr oedd efe gwedi priodi merch iddei ewythr *Cadwaladr*, brawd *Owain Gwynedd;* ond trwy anghydfod galarus, yn y flwyddyn 1142, dichweiniodd ymryson rhwng *Anarawd* a'i dad-yn-nghyfraith, yr hyn a ddiweddodd gyda lladdiad *Anarawd;* canys fel y mynega y Brut, *Anarawd* "a fynnai gyfnerthu *Rhys ap Gruffydd*, ei frawd, ac ni fynnai Cadwaladr hynny; a geiriau digofus a fu rhyngddynt, oni wanes *Gadwaladr Anarawd* yn ei ais ag y bu farw," yr hyn pan wybu Owain Gwynedd, sorrodd yn fawr wrth ei frawd Cadwaladr, a chynnullodd fyddin, ac yn nghyda'i fab Hywel, rhuthrodd ar ei diriogaeth, ac a'i difrododd, gan losgi ei gastell yn Aberystwyth. Ond Cadwaladr ei hun a ffodd i'r Iwerddon, ac yno cyflogodd lu nifeiriog o'r Llu du, ac o Wyddelod, a thiriodd yn *Abermenai*, yn Arfon. Ac *Owain Gwynedd* a aeth yn ei erbyn â byddin gref; ond cyn cyfarfod mewn brwydr, y ddau frawd a ymheddychasant. Wrth glywed hyn, y Gwyddelod a gadwasant Gadwaladr yn garcharor; ac ni ryddhasant ef nes iddo roddi iddynt ddwy fil o wartheg, heblaw yspail fawr, ac hefyd rhyddhau iddynt amryw garcharorion. Ond pan wybu y tywysog *Owain Gwynedd*, fod ei frawd wedi ei ryddhau, rhuthrodd ar y Gwyddelod, ac a laddodd lawer o honynt, a chymmerodd y gwartheg a'r cwbl a roddasid iddynt gan Gadwaladr; a'r rhai a ddihangasant a wnaethant hynny gan fraidd achub eu heinioes, ac heb nac yspail na chyflog.

Heblaw *Anarawd*, a'i frawd *Yr Arglwydd Rhys*, gadawodd *Gruffydd ap Rhys ap Tewdwr*, ddau fab arall, sef *Cadell* a *Meredydd*, gwŷr ieuainc dewrion a chlodwiw. Yr oedd Meredydd yn arglwydd Ceredigiawn, a Chadell yn meddiannu tiriogaeth yn *Nyfed;* ac ymddengys fod Rhys yn mwynhau arbenicter *Deheubarth*, eithr ni ddeallaf pa beth oedd etifeddiaeth *Anarawd.*

Gwelsom eisioes fod *Owain Gwynedd* wedi dechreu ei rwysc gydag egni tra nodedig yn gystal a medrusrwydd rhyfelawl, a bod ei lwyddiant yn gyfartal iddei ymdrechiadau. Ond yn awr syrthiodd cwmmwl tywyll ar ei yspryd, yr hwn a fu dros ychydig amser yn gystudd trwm iddo ef ac iddei gyfeillion, yr hyn a achlysurwyd trwy farwolaeth ei fab *Rhun*, gwr ieuanc o gynheddfau ac anianawd tra ardderchog; yr oedd efe yn

hardd a chadarn o gorffolaeth, ac fel y dywed y Brut, "teg oedd o ffi a drych, ac hynaws o ymadroddion a huawdr wrth bawb. Rhagwelawg yn rhoddion; ufydd yn mhlith ei dylwyth, balch yn mhlith estronion a therwyn garw wrth ei elynion, digrif wrth ei gyfeillion."—"A phan ddaeth y chwedl irad angau ef at ei dad *Owain*, ef a godded ac a dristaodd yn gymaint ag ni ellai dim ei hyfrydu ef, na thegwch teyrnas na digrifwch, na chlaer diddanwch gwyrda, nac edrychedigaeth mawrweirthogion bethau." Ac yna Caradawc a draetha am dderchafiad y tywysog allan o'r cyflwr cystuddus yma, yr hyn a wna mewn modd tra difrifol, a chyda theimladau teilwng a diolchgar. "Namyn," eb efe, "Duw, rhagwelawdyr pob peth o'i arferedig ddefawd a drugarhaodd wrth genedl y Brytaniaid rhag ei cholli, megys llong heb lywiawdyr arni, a gedwis iddynt Owain yn Dywysog arnynt; canys cyrchasai annioddefedig dristyd feddwl y Tywysawg, eisioes ef a ddyrchafawdd ddisyfyd lawenydd drwy ragweledigaeth Duw." Ac yna Caradawc a fynega yr achlysur o'r cyfnewidiad dedwydd hwn yn mryd y tywysawg, sef oedd hynny ennilliad castell y *Wyddgrug*, oddiar y Saeson. Yr oedd y castell hwn yn le cadarn; ac er y buwyd yn ymladd yn ei erbyn yn fynych, gwrthsafai pob ymosodiad. Ond pan ddaeth gwŷr Owain yn ei erbyn, ni ellai nac anian y lle a chadernid ei furiau, nac ychwaith wrolder ei amddiffynwyr, ei arbed rhag y rhuthrau ffyrnig a wnaethpwyd arnaw, eithr cymmerwyd ef ar ol dirfawr alanastra, a llosgwyd ef i'r llawr. A phan glybu Owain am y gorchestwaith hyn, ysgydwodd ymaith ei holl flinder ar unwaith, o phob "meddwl cwynfanus ac y daeth yn rymus yr ansawdd a oedd arnaw gynt." Hyn a ddygwyddodd yn y flwyddyn 1144.

Yr oedd y Saeson hefyd yn ymegnio ar eu rhan hwyntau, ac yn fuddugoliaethus mewn amryw fannau o Gymru; canys o gylch yr amser hwn, *Hugh, Iarll Caer*, a adgyweiriodd Gastell *Cymaron*, ac a ennillodd *Maeliennydd*, ac hefyd adgyweiriwyd gastell *Colwyn*, [*Colunwy*, y. s.]* a darostyngwyd ardal *Elfael* yr ail waith gan y Saeson. Ac o gylch yr un pryd *Hugh de Mortimer* a gymmerodd yn garcharor *Rhys ap Hywel*, gan ladd amryw o'i wŷr, a dala ereill. Ac y mae yn debygol fod yr estroniaid wedi llwyddo i adennill rhannau o Geredigiawn, eithr ni chawsant hir feddiant o honynt mewn llonyddwch, canys o gylch yr un amser, sef 1144, *Hywel* a *Chynan*, meibion Owain Gwynedd a ddugasant fyddin i'r wlad honno ac a'i hennillasant, ar ol brwydr arwdost, yn yr hon y lladdasant lawer o'r Fflandrysiaid, a'r Ffrancod, a'r

* Y mae castell *Colwyn* yn swydd Faeshyfaidd, eithr *Colunwy* yw *Clun*, yn swydd Amwythig.

n. Ac wedi cymmeryd castell Caerfyrddin, ac eiddo meibion yd, dychwelasant gyda dirfawr anrhaith.

y flwyddyn rhagwyneb, sef yn 1145, daeth iarll *Clâr* a chadernid o wŷr, ac a adgyweiriodd gastell *Caerfyrddin*, a chastell *Meibion yd;* ond ni bu castell Caerfyrddin yn hir yn ei feddiant, canys o 'r flwyddyn honno daeth *Rhys ap Gruffydd*, a *Chadell* ei frawd, ›l ennill castell Dinefwr, ymosododd ar gastell Caerfyrddin, ac a'i ›dd. Ac wedi hynny ennillodd gastell Llanstyffan, ac a laddes wr o'r Fflandrysiaid a'r estroniaid eraill. Ac yn mhen ychydig hynny daeth dirfawr liosogrwydd o'r estroniaid yn ddisyfyd i d ar gastell Caerfyrddin, ar yr hwn yr oedd *Meredydd ap ydd*, wedi ei osod yn geidwad; rhyfelwr dewr a gwych ydoedd efe, oedd ond llanc ieuanc; a phan welodd hyn, annogodd ei wŷr i ›li yn eu herbyn: ac er nad oeddent ond ychydig o rifedi, etto, ddewrder a medrusrwydd, llwyddasant i amddiffyn eu meddiant dforus. Canys y gelynion, wrth ganfod bychander eu llu o fewn ıll, a ymhyfasant, ac a ddyrchafasant ysgolion yn erbyn y muriau, ben i ddringad i fyny, a *Meredydd* a oddefodd iddynt esgyn bylchau, ac yna efe a'i wŷr a ymchwelasant yr ysgolion, a'r ryr a syrthiasant i'r clawdd; a'r lleill a ffoisant, gan adael llawer r.

yr un flwyddyn, sef 1145, bu cynnwrf nid lleg yn y barth: canys *Rhys ap Gruffydd*, yn nghyd â'i ddau frawd, l a *Meredydd*, a ddaethant yn erbyn castell *Gwys*, yn ngwlad o, yr hwn oedd yn meddiant y Saeson, a'r hwn, gan ei fod yn adarn, ni allent ei ennill. Yno anfonasant at *Hywel*, mab Owain ›dd, i geisio cynnorthwy; canys rhyfelwr gwych a medrus oedd Ac ar y gwahoddiad hwnnw, efe a ddaeth gyda byddin gref tua'r honno, at warchaead y castell, ac yno efe a berodd gwneuthur nau celfydd a chryfion, y rhai a dorrent y muriau mewn modd lawl, ac a daflent geryg mawrion i'r castell, ac felly efe a'i ennill- ıc a ddychwelodd i Wynedd gydag anrhydedd mawr.

ni bu yn hir cyn i'r Cymry etto syrthio i amrafael yn eu plith eu ı; canys o achos rhyw anghydfod, dygwyddodd ymryson rhwng *ıladr*, brawd Owain Gwynedd, a'i neiaint, *Hywel* a *Chynan*, n y Tywysawg; a'r gwŷr ieuainc hyn a gynnullasant eu gwyr, ac ınt i diriogaeth Cadwaladr, yn Meirionydd, ac a'i darostyngasant; r hyn, arweiniasant eu byddinoedd at gastell *Cynfael*, yr hwn yr Cadwaladr wedi ei gadarnhau, a'i osod dan gadwraeth *Merfyn*, *ran*, y. a.] Abbad y Ty Gwyn ar Dâf, yr hwn ni roddai y lle dwylaw, naill nac am wobrwy, na rhag bygwth. Ac felly, hwynt-

hwy a ymosodasant ar y castell, ac a'i cymmerasant trwy nerth arfau.

Yr ymegniadau hyn ar ran y Cymry, er eu bod weithiau yn erbyn eu gilydd, etto a oeddent hefyd mor ddibaid yn erbyn eu gelynion Saesonaidd, ag y gwelwn megys troad nodedig yn nghyflwr y ddwy genedl yn y wlad hon. Yr oedd y Cymry yn dechreu meddiannu cestyll y Saeson, ac hefyd yn adeiladu rhai newyddion iddynt eu hunain; yn y flwyddyn 1148, *Owain Gwynedd* a adeiladodd gastell yn *Iâl*, a'i frawd *Cadwaladr* a wnaeth gastell arall yn *Llanrhystyd*, [*Castell Rhodwydd*] ac a roddodd ei ran o Geredigiawn iddei fab *Cadwgan.* Tua diwedd yr un flwyddyn, *Madawc ap Meredydd ap Bleddyn* a adeiladodd gastell *Croes Oswallt*, ac a roddodd ei ran o *Gyfeiliawc* iddei neiaint *Owain* a *Meyrig*, meibion *Gruffydd ap Meredydd;* ond yr oedd ambell i ymryson cartrefol rhwng y Cymry, megys arferol, yr hyn oedd yn lluddias eu hymdrechiadau gwladgar yn fawr. Yn y flwyddyn hon, gorfu ar Owain Gwynedd garcharu ei fab *Cynan* am ryw ymddygiad anufudd; ac *Hywel*, mab *Owain*, a ddaliodd ei gefnder, *Cadfan*, mab Cadwaladr, ac a'i carcharodd, gan afaelyd yn ei gastell a'i gyfoeth. Yr oedd yspryd egniol yn awr ar gyffro, yr hwn weithiau a effeithiai er lles trwy wrthladd gormesiadau estronol, ac nid yn anfynych, er niwaid, trwy ryfeloedd cartrefol. Yn yr amser yma, *Cadell*, mab *Gruffydd ap Rhys*, a adgyweiriodd gastell Caerfyrddin yn dra chadarn, ac oddiyno gwnaeth ryfelgyrch yn erbyn *Cedweli;* ac ar ol diffeithiaw y wlad, dychwelodd gydag yspail fawr. A chyn hir, unodd ei alluoedd âg eiddo ei frodyr, *Meredydd* a *Rhys*, a hwy a aethant i *Geredigiawn*, i diriogaeth *Hywel ap Owain Gwynedd*, a darostyngasant y wlad a elwyd *Is-Aeron;* ac ar ol ymosod hir a blin, ennillasant gastell *Llanrhystyd*, a chastell *Ystradmeuryg*, lle y dodasant gastellwyr iddeu cadw, a dychwelasant i *Ystrad Tywi*, gydag anrhaith fawr o wartheg.

Ychydig ar ol hyn yr oedd *Cadell ap Gruffydd* yn hela yn Nyfed; a rhai o Saeson gwlad *Dinbych*, [*Gwyr*, y. a.] a ddodasant gynllwyn er ei ladd; a gwedi ymosod arnaw a gyrru ffo ar ei gyfeillion, rhuthrasant yn ei erbyn, eithr efe yn ŵr gwych a chadarn, a amddiffynodd ei orsaf, ac a laddodd rai o'i elynion, a gyrru ffo ar y lleill; eithr efe a gafas glwyf trwm, a nychu yn flin o'i achaws yn hir o amser. A phan welsant hynny, ei frodyr *Meredydd* a *Rhys*, cyrchu *Gwyr* a wnaethant â'u lluoedd, a galw am y cynllwynwyr, y rhai a ymosodasent ar *Gadell*, a phan nas cânt, canys yr oeddent gwedi ffoi i gastell *Dinbych y Pysgod*, rhuthro a wnaethant ar y wlad, a'i diffeithiaw, a thorri castell *Aber Llychwr* yn garnedd, a llosgi castell *Llanrhidian*, a dwyn anrhaith fawr i gastell *Dinefwr*, a chadarnhau y castell hwnnw, a dodi castellwyr gwybodus a ffyddlon ynddaw.

'gylch yr un amser, sef 1148, galwyd *Owain Gwynedd* ei hun i'r ;, yn erbyn dau bendefig cymmydogaethawl tra chadarn, sef *Madawc Meredydd*, tywysawg *Powys*, a *Randwlf*, iarll *Caerlleon Gawr*. chaws o'r ymrafael hyn, ni wyddys; ond y mae yn debygol mai gyda Caer y dechreuodd, ac i *Madawc* uno âg ef o eiddigedd tuag at *in*, ac anfoddlonrwydd i ddala dim o'i diriogaethau dano ef. Eithr odd bynag y bu hyn, y iarll a gynnullodd lu dirfawr o Saeson a ıcod, ac a ddaeth tua Gwynedd, a *Madawc* yn gyfnerth iddaw. : *Owain*, fel rhyfelwr call a medrus, ni oddefodd iddei elynion od yn mhell iddei diriogaeth, eithr cyfarfu â hwynt ar yr ymylau, n swydd Fflint, gerllaw lle o'r enw *Cwnsyllt;* a'i elynion, gan eu yn fwy o rifedi ac yn meddiannu gwell arfogaeth, a oeddynt dra od i'r frwydr, eithr yn y diwedd gorthrechwyd hwy mor gyflawn gan *in*, ag y darfu iddynt daflu ymaith eu harfau a ffoi, a gwŷr Gwynedd ymlidiasant mor galed ag na ddihangodd fawr o honynt, oddeithr y ' meirch.

llwyddiant hyn ni pherai i'r Cymry lesghau; ac yn y flwyddyn mawl, sef 1150, darllenwn i *Hywel ap Owain Gwynedd* adgy-aw castell *Hwmffre*, yn nyffryn *Clettwr*.

ı y flwyddyn rhagwyneb, sef 1151, *Cadwaladr*, brawd Owain nedd, a dorrodd allan o garchar, lle y cadwyd ef gan ei nai *Hywel*, ddihangodd i ynys Fôn, ac a lwyddodd i ennill rhan o'r ynys honno; Owain o anfonodd lu yn ei erbyn, ac a'i hymlidiodd oddiyno; a ı arnaw ffoi i Loegr at berthynasau ei wraig *Alis*, merch *Richard*, *Clâr*.

ldiwrth weithred ysgrifawl, yr hon a roddir yn *Hanes Teulu Gwydr*, af fod *Cadwaladr* yn meddiannu, ar ran ei wraig, rai tiroedd yn d Lancaster; canys yn y weithred honno, ymddengys i mi ei fod hoddi i Abbad a Monachlawg *Amwythig*, ei holl dir rhwng yr 'dd *Ribble* a *Mersey*, sef yr ardal yn mha un y mae tref *Liverpool.**

Cadwalader frater Owini magni salutem in Domino; Notum sit universitati vestræ go Cadwalader pro salute animæ meæ et omnium antecessorum et heredum meorum t concessi Deo et Ecclie[1] S. Ioannis Evan[2] de Hageman et Canonicis ibidem Deo stibus in puram et petuam[3] Eleemosynam Ecoliam de Nevin. T.[4] Alic' de Clara mea, Ranulpho Comite Cestriæ, etc. Precipio quod Abbas Salop et Conventus rt totam tenuram suam inter Ryblam et Mersam. T. R. Comite de Clara et ladro ap Gr. ap Cynan rege Walliarum, et Roberto Basset et Gaufrid apud m."

[1] Ecclesiæ. [2] Evanglistæ. [3] perpetuam. [4] Testantibus.

yr yr hyn yw y canlynol, meddyliaf:——" Cadwaladr. brawd Owain Mawr, yn anerch yn yr Arglwydd: Bydded hyspys idd eich Brif-gôr, fy mod i Cadwaladr, yd fy enaid fy hun, ac eiddo fy hynafiaid, a'm heppil, gwedi rhoddi ac anrhegu i ae Eglwys Sant Ioan yr Efangylwr, yn Hageman, ac i'r gwyr llen yn gwasanaethu yno, er gwir a gwastadol elysen, Eglwys Nefyn. Yn dystion y mae Alicia de Clâr fy

Pa un a oedd y gyfathrach Saesonaeg hyn yn achlysur o anghydfod rhwng y brodyr, nid ymddengys, ond tebygol iawn ei fod; a dichon fod yn yr amser yma, fradwriaeth yn hanfodi yn erbyn Owain Gwynedd, yn mhlith eraill o'i berthynasau; oblegid heb hyn nis gallwn ganfod yr achos o'i greulonder tuag at ei nai *Cunedda*, mab ei frawd *Cadwallawn*; canys daliodd hwnnw, a pherodd ei ddilygeidiaw, fel nad allai fyth geisio yr orsedd.*

Yn y flwyddyn hon, daeth Meredydd a Rhys, meibion Gruffydd, yn erbyn castell *Penwedig*, yr hwn oedd yn meddiant *Hywel ap Owain*; ac ar ol llawer o drafferth, ennillasant ef. Ac ychydig ar ol hynny, aethant yn ddirgel yn y nos yn erbyn castell *Dinbych y Pysgod*, yr hwn oedd yn nghadwraeth *William Fitzgerald*, ac a'i ennillasant ef, ac a laddasant y cwbl o'r castellwyr, er dial clwyfiad eu brawd *Cadell*; canys yr oedd y gwŷr a ymosodasent arno ef gwedi ffoi i'r castell hwn.

Wrth ddychwelyd oddiyno, y ddau frawd a rannasant eu llu, a *Rhys* a aeth yn erbyn castell *Ystrad Cyngen*, ac a'i torres. Ac oddiyno aeth yr ail waith i *Gyfeiliawc*, ac anrheithiodd y wlad. A *Meredydd* ar yr un pryd a aeth yn erbyn castell *Aberafan*, ac a'i ennillodd; a dychwelodd adref gydag yspail fawr.

Yr ydym yn awr gwedi dyfod i ystod tra nodedig yn hanes Cymru; ac y mae yr amgylchiadau hanfodol yn galw am ychydig sylwadau i'r dyben i ddangos sefyllfa gwladwriaethawl y bobl. Yr amgylchiadau ydynt y canlynol:—Yr oedd y tair talaeth yn awr dan dri o dywysogion priodol ac annibynawl; ac yr oedd brenin newydd wedi dyfod i orsedd Lloegr, a dichweiniau y rhai a achlysurant hyn ydynt y canlynawl:—

*Cadell ap Gruffydd* a benderfynodd fyned ar bererindod, a hynny, meddyliaf, gan ei fod gwedi ei analluogi i wasanaethu ei wlad mewn rhyfel, o herwydd y clwyfau a dderbyniodd gerllaw Dinbych y Pysgod, ac efe a adawodd ei holl feddiant yn nghadwraeth ei frodyr *Meredydd* a *Rhys*, hyd nes dychwelai. Ac yn y flwyddyn 1153, Meredydd a fu farw, yn 25 mlwydd oed, gwedi bod yn rhyfelwr dewr ac enwog, ac hefyd tra llwyddiannus yn ei ymgeisiadau. Yr oedd efe yn *Arglwydd Ceredigiawn*. Ac felly ar ei farwolaeth ef, daeth y cyfan o eiddo y tri brawd, i feddiant *Rhys*, yr hwn oedd yn awr yn Dywysawg arbenig y Deheubarth.

ngwraig, Ranwlff, Iarll Caer, &c. Yr wyf yn erchi, bod i Abbad Amwythig a'r Fe... gael ei diriogaeth [*pa diriogaeth, nis gwn*] rhwng y Ribble a'r Mersey. Tystion—Iarll Clâr a Chadwaladr ap Gruffydd ap Cynan, Brenin y Cymry, a Robert Basset a Geoffrey, yn Nghaerlleon Gawr." Barnaf nad yw yn galw Cadwaladr yn Frenin y Cymry, eithr mai iddei dad, Gruffydd ap Cynan, y rhydd yr enwad.

* Yn y flwyddyn hon lladdwyd *Stephan*, mab *Baldwyn*, gan *Llewelyn*, mab *Madawc ap Meredydd*, eithr yr achos nid hyspysir.

r oedd *Gwynedd* gwedi bod yn hir yn annibynawl dan lywodraeth
ıdwiw *Owain*, ac yr oedd Powys yn eiddo *Madawc ap Meredydd*
*lleddyn ap Cynfyn.*

: yn y flwyddyn 1154, bu farw *Stephan*, brenin Lloegr, a *Henri II.*
ıeth i'r orsedd.

ıd yn awr gadewch i ni edrych yn ol dros ychydig flynyddau ar
r y bedwaredd ran o Gymru, sef gwlad *Morganwg*.

relsom eisioes fod yr ardal hon gwedi ei goresgyn gan y Norman-
yn y flwyddyn 1090, mor belled a diffoddi yr enw o Dywysogaeth;
etto canfyddwn nad oedd y wlad ddim yn hollol yn meddiant
ıtroniaid, canys yr oedd amryw bendefigion Cymraeg, etto yn
iannu tiriogaethau oddifewn iddi. Ac oddiwrth yr ychydig hys-
dau hanesyddol ar glawr, gallwn ddeall eu bod yn dra galluog: yn
h y rhai hyn gallwn nodi yn mlaenaf hiliogaeth y dewrwych *Iestyn*
*wrgant*, canys pa feiau bynnag yr oeddynt ar *Iestyn*, ni ellid achwyn
r am eisiau dewrder; ac y mae yn dra amlwg fod ei eppil yn etifeddu
ıryd rhyfelgar, ac ar yr un pryd yn rhydd oddiwrth ei anrinweddau.

chan fy mod mewn rhan rhagflaenol o'm hanes gwedi gosod i lawr cynnifer o
dianrhydeddus, perthynol i'r tywysawg hwn; yn awr, ar ol ail synuu ar y profion,
r ond cyfiawnder hyspysu fy marn, fod ei haneswyr gwedi ymddwyn tuag atto
erwinder, braidd cyfiawnadwy, a minnau yn derbyn eu tystiolaeth hwy heb wneuthur
if dyledus am arferion ac anianawd yr oes. Nid oedd moesau yr oes honno, ond
ıwn: ac felly, wrth farnu arferion ei bodolion, nid teg cymmeryd ymddygiad rhyw
neillduol, a'i gymharu âg eiddo rhai o'r un radd y dydd heddyw, eithr âg eiddo ei
ısolion yn yr amser hwnnw; a phe gwnaed hyn, meddyliaf na fyddai cymmeriad
ap Gwrgant lawer duach nag eiddo rhai eraill o'i gyd-oesolion. Hefyd, yr oedd *Iestyn*
syrthio i ymryson â rhai o'r mynachod, fel y gwelir yn Llyfr Teiliaw; a chan mai
hwy oeddynt, gan mwyaf, hanesyddion yr oes, nid tebygol yr arbedent ddrwgliwiad
ent gyfleusdra.* Etto, cyhuddir Iestyn o afaelyd yn meddiant *Rhys ap Tewdwr*, a'i
yneba ar ei ddychweliad. Ond y mae yn ddyledus cofio fod *Rhys* wedi ymgadw
rth ei wlad dros bedwar ugain mlynedd; ac yn yr amseroedd hyn o drawsfeddiant
ıs, yr oedd llawer llai na'r fath ystod hir, yn ddigon i ffurfio hawl mewn tiriogaeth,
ıtal ag mewn pob math o feddiant, yr hwn a gynhelid trwy rym arfau.
ı unwaith. Yr oedd *Iestyn ap Gwrgant* gwedi meddiannu teyrngadair Morganwg
n agos i hanner cann mlynydd, sef o 1043, hyd 1090. Ac nis credaf y gallasai
y fath awdurdod gyhyd a amser, yn y fath oes derfysglyd, pe na fuasai yn medd-
rhyw rinweddau, y rhai ni chyfrifir iddaw gan ei hanesyddion. Ni fuasai gwŷr
awg yn amddiffyn gorsedd neb rhyw dywysawg, cyhyd o amser, pan yr oedd cynifer
eisyddion gwychion yn wastad yn barod i brofi eu tynged, oddieithr fod y cyfryw
awg, trwy ryw foddion neu gilydd, gwedi llwyddo i ennill ewyllys da ei ddeiliaid,
perchennogi rhinweddau y rhai a oeddynt mewn rhan fawr yn gwrthbwysaw ei
A meddyliaf mai y cyfryw rinweddau oeddynt wrolder neillduol o barodrwydd
, a medrusrwydd mewn trafodiaeth teyrnawl, ac ysgatfydd, anianawd ysgafn, diofal,
feillgar, yn denu hoffder dynion ieuainc egniol, y rhai nid ymhoffent mewn dim,
thr ymladd, ac arferion rhyfelawl. Am weithred *Iestyn* yn cyflogi y Normaniaid.
dd ond yr un peth ag y gwnelai y pendefigion eraill yn yr oes honno. Diau mai ffol
eladgar oedd yr ymddygiad; ond nid yw y cyhuddiad yn perthyn i *Iestyn* yn unigol;
wath amryw o'i gyd-oesolion. Hyn, ar ol taflu ailolwg dros hanes y wlad, yw fy
am *Iestyn ap Gwrgant*. Yn yr hyn a ddywedais o'r blaen, ymfoddlonais rhoddi

Gwel y ban yn dechreu,—"Gistinus filius Gurcant misit familiam suam ad
viam, maligno spiritu, &c."

yn unig ail-adroddiad o fynegiadau ei hanesyddion. Ond yn awr, dymunaf, er cyfiawnder iddaw, roddi fy marn fy hun, ar ol manwl bwysaw yr amgylchiadau perthynol iddaw. *Nid* peth hoff yw gorfod cyfaddef gwall, na thynnu yn ol oddiwrth haeriad; ond pan fydd cyfiawnder yn erchi, nid oes ond gwneud hyn, neu ynte gynnal cyndynrwydd annheilwng.]

Eithr bydded hyn fel y bytho, y mae yn eglur mai yn ngorchfygiad *Iestyn ap Gwrgant*, y diffoddwyd Tywysogaeth Morganwg. Ond ni ddiddymwyd yspryd y wlad; yr oedd, mal y sylwais, amryw bendefigion yn cynal llywodraethau annibynol mewn rhai ardaloedd; ac er anghraifft, gallaf enwi y gwron clodwiw hwnnw, *Ifor Bach*, neu *Ifor ap Cadifor*, yr hwn a gynhaliai fath o unbennaeth tywysogawl yn y blaeniau, ar y cyfoeth yr hwn oedd yn eiddo trefwladol iddaw. Dywed Iolo Morganwg ei fod yn arglwydd ar y rhan uchaf o Senghenydd, ac yn anneddu yn nghastell *Morlais*, gerllaw Merthyr Tydfil; ac iddo adeiladu y *Castell Coch* yn ngodre glyn Taf, lle y cadwai ddau cant o wŷr, a bod ganthaw yn y cwbl, ddeuddeg cant o filwyr yn ei wasanaeth. Y mae *Giraldus Cambrensis* yn coffâu gorchest dra nodedig o eiddo y gwron hwn. Traetha fal y canlyn:—"Yn nghastell Caerdydd digwyddodd yn ein dyddiau hyn beth nid annheilwng o goffadwriaeth. Canys *Gwilym*, Iarll Caerloiw, mab y Iarll *Robert*, yr hwn a oedd yn meddiannu holl Dalaeth *Gwlad Forgan*, trwy raith etifeddiaeth a digwyddodd fod mewn rhyfel ag un o fewn iddei arglwyddiaeth, o'r enw *Ifor*, ac iddo yr atenw *Bach*, o herwydd yr oedd efe yn ddyn bychan o gorffolaeth, ond o ddewrder anfeidrol. Y gwr hwn, yn ol arfer y Cymry, a oedd yn meddiannu rhai tiroedd mynyddig a choediog, y rhai, er hynny, yr oedd y iarll yn ceisiaw eu dwyn oddiarnaw yn hollol, neu mewn rhan. Felly, ar ryw noswaith, er fod castell *Caerdydd* mor dra-chadarn gan amgylchiad muriau, yn seinio gan liosogrwydd gwarcheidwaid; ac er fod yn y dref, gant ac ugain o filwyr, a llawer o saethyddion, a'i bod hefyd yn llawn o fyddinwyr cyflogedig, etto, yn nghanol y cyfryw warchaeadau, a moddion diogeliad, y rhagenwedig *Ifor*, gan ddyrchafu ysgolion a dringad y muriau yn ddirgel, a ddugodd allan y iarll a'r iarlles, yn nghyd â'u hunig maban bychan, ac a'u cymmerodd i'r Coettir; ac nis rhyddhaodd hwy nes iddaw adgaffael yr hyn a ddygpwyd oddiarno yn anghyfiawn, ac ychwaneg gyda hynny.*

* "In castro quoque de Caerdyf contigit his nostris diebus res memoratu non indigna. Claudiocestriæ namque Comes, *Gulielmus*, *Roberti* Comitis filius, qui cum castro prædicto totam provinciam de *Gwladuorgan*, i. e. *Terra Morgani*, jure hæreditario possidebat, cum quodam homine suo, nomen *Yvorus* agnomen *Modicus* erat, forte guerram habuerat, erat enim vir staturæ modicæ, sed animositatis immensæ. Wallensium more, montana quædam et silvestria possidens, quæ tamen illi Comes vel auferre prorsus vel mutilare contendebat. Nocte igitur quadam, quanquam castrum de *Caerdyf* murorum ambitu munitissimum excubiarum multitudine personaret: quanquam militibus centum et viginti,

Y mae coffâd am yr amgylchiad hyn yn un ysgrif o'r Brut, yr hwn a ddywaid na ryddhawyd o'r iarll a'i wraig, hyd "oni ddodes ef yn ol i'r Cymry eu rhyddyd, eu breiniau, a'u cyfreithiau, herwydd y buant yn amser *Hywel Dda*, a chael gan y Brenin ymrwymaw ei law a'i lŵ na wnelai efe a *Gwlad Forgan* namyn caredigrwydd, a gadael iddo; a mynnu arnaw na ddoded ar neb o'r Cymry na swydd na gwaith, na chymmorth, heb i bob gwr a ddodid hynny arnaw, ei dir yn rhydd, a'i fraint yn ddyledawl, modd ag oedd gyfiawn i genedl y Cymry. A gwedi cael cadarnhâad ar hynny gan *Robert* a'r brenin, *Ifor* a'i wyr a ymheddychasant a'r Brenin ac a *Rhobert;* a phawb adref, a phawb iddei le, a'i ansawdd."

Ond y mae yn rhaid sylwi fod ychydig amrafaeliad rhwng yr hanes, fel ag y rhoddir yn y Brut, a chan Giraldus; canys y Brut a'i gesyd o gylch y flwyddyn 1110, ac a ddywaid mai *Robert*, iarll Caerloiw, oedd y pendefig, ac nid *William* ei fab; a phe buaswn yn dilyn yr amseriad hwn, buasai yn ofynol i mi gyfeirio at yr amgylchiad yn gynharach yn fy hanes, gan fod Giraldus yn dywedyd i'r peth ddygwydd yn ei ddyddiau ef a'i gydoesolion; a chan y ganed ef yn 1150, a'i fod yn ysgrifenu yr hanesiad hwn ar ol 1188, meddyliaf fy mod yn agosach i'm lle, wrth wedi mynegiad am y gorchwyl, hyd yr ystod presennol: canys *Robert* a fu farw yn 1146.

Gwelir hefyd haeriadau perthynol i waith *Ifor Bach* yn mynnu cyfangiad terfynau caethiwed *Robert*, duc Normandi, yr hwn oedd yn cael ei garcharu gan ei frawd, y brenin Henry I. yn nghastell Caerdydd; ac os felly, gan mai yn 1133, y bu farw *Robert*, y mae yn rhaid fod *Ifor Bach* wedi dechreu ei rwysc milwraidd amryw flynyddau cyn amser *Giraldus*.

Oddieithr y mynegiad uchod, ni cheir ond ychydig perthynol i neb rhyw ymdrafodiaeth a fu rhwng y pendefigion Cymreig a'r arglwyddi Normanaidd, yn Morganwg; y tebygolrwydd yw fod y ddwy genedl yn parchu cadernid eu gilydd ormod i gyfodi mewn rhyfel cyffredin. Yr oedd yr arglwyddi hyn yn ddynion cyfrwys, ac yn deall gwerth heddwch yn rhy dda, i gyffroi gwrthladdiad yn ddiachos; a phe eu tueddid weithiau i awyddu yn meddiannau eu cymmydogion Cymreig, diau fod ambell i gyffroad fel eiddo *Ifor Bach*, yn achlysuraw gwastadhau eu hawydd, ac yn peru iddynt gynnal heddwch. Ond ymddengys fod y *Gwilym* hwn yn chwannog ddigon, pe gallai, i afaelyd ar eiddo ei

...sa et arochariis multis, stipendaria quoque plurima urbs redundaret; inter tot tamen ...a et securitatis argumenta, prædictus *Yvorus* scalis allatis clam muros irrepens ...m et Comitissam cum parvo quem unicum habebant filio secum educens, ad ...tria perduxit, nec remisit, donec quicquid injuste ablatum fuerat, et ampliora ...peraseet."

gymmydogion mewn mannau eraill o'r wlad, ac hefyd yn cynnal rh tuag at gyflawnu ei amcanion; ond gwelir iddaw gyfarfod â gwrthlad effeithiawl, gan rai o hiliogaeth Iestyn ap Gwrgant:—

"Yr un flwyddyn [1147] y bu ymrysonau rhwng wyrion *Iestyn ap Gwrgan* a *Wil* ab *Rhobert Consyl* [*Cwnstabl*] ond heddychwyd rhyngddynt trwy athrywyndeb *Nich* Escob Teilaw, ac a doded braint ffair a marchnad yn mhob arglwyddiaeth, ac nas ge caeth o Gymro Dyledawg hyd nas profid arnaw gwyn galanas. Gwedi hynny ymlony a wnaethant y Cymry; a llawer a ddaethant wedi hynny o Drefn i Forganwg i wlady achaws diogelwch a gaid yno rhag anghyfraith y Ffrancod yn Nyfed a Cheredigiaw mannau eraill."

Yr oedd yr esgob hwn, sef *Nicholas ap Gwrgan*, fel y gelwir ef y Brut, yn ddyn call, ac o egni neilltuol; perodd adgyweiriaw llawe eglwysi Morganwg, ac adeiladu eraill; a thrwy anrhegion amryw be defigion, o bryd i'w gilydd, aeth rhan fawr o'r tir yn eiddo a than naw yr eglwys. Hefyd yr oedd arglwyddi Normanaidd Morganwg yn coled celfyddydau ac arferion heddychlawn, yn fwy nag amryw eraill. Dywe i *Robert Consyl*, ddodi "i wyr ieuainc ddysgu creffteu a chelfyddyd ac a ddug athrawon o Ffrainc, a chyn no hynny crefftwr pob gwr id ei hunan yng Nghymru namyn y creffteu breiniawl; sef gofaniael saerniaeth, ac ysgolheigiaeth." Yr oeddynt hefyd yn noddi dysgeidiaet o herwydd yr enwog *Gruffyth ap Arthur*, [*Sieffre o Drefynwy*] gyflwyna ei lyfr i'r Robert hwn, gan ddwyn tystiolaeth iddei ddysc; yr oedd efe pan fu farw, yn offeiriad teulu i *Gwilym*, mab *Robert*, yr hwn a grybwyllwyd uchod. Ac felly, rhwng effeithiad yr eglwys, arglwyddi Normanaidd, a'r heddwch cyffredinol a hanfodai yn y wla nid rhyfedd fod dynion o dueddiad heddychlon yn cilio i wlad Mo ganwg, er byw mewn tawelwch; ac nid annhebygol mai cywir i ry raddau, ydyw yr hyn a ddywaid y Brut yn nghylch yr amser yma; sef "ac o hynny gwell yn trin eu tiroedd ac nid cystal yn rhyfel gw Morganwg a Gwent." Yr hanesiad hwn, ysgatfydd, a gyfrif mewn rh am yr amgylchiad canlynawl, gyda'r hwn y dychwelwn yn ol i'r taleithi eraill.

Gwedi i *Meredydd* a *Rhys*, meibion Gruffydd, wneuthur y ca gyrchiad buddugoliaethus yn erbyn *Dinbych y Pysgod*, yn 1151, Brut a ddywaid;—

"Fe ddanfones Rhys at *Forgan ap Caradawc ap Iestyn*, ei gefnder, [canys *Gwla* ferch *Gruffydd ap Rhys ap Tewdwr*, oedd gwraig *Caradawc*, a mam *Morgan*] ac en cyfnerth ganthaw, ac y gyrrynt y Ffrancod a'r Saeson o bob gwlad yn Nghymru; danfon yr un neges at *Fadawc ab Meredydd*, Tywysawg *Powys;* ac nis caffai hynny law un o naddynt. Yna idd aeth *Rhys* i *Gyfeiliawc* ac a'i diffeithiawdd yn llin a dw ysbail drom oddiyno. A *Meredydd* a ddug ei lu yn erbyn *Morgan ab Caradawc* i *Forgan* ac ymosod am ei gastell yn *Aberafan*, a'i faluriaw, a dwyn ysbail fawr; eithr *Morg* a'i wyr a ffoasant, ac a ddodasant eu hunain a'u gwyr yn nawdd yr Elwysi a'r Mona logydd, ac yn nawdd *William* ab *Rhobert* Tywysawg *Morganwg*."

yr ymgais gwladgar hwn tuag at ffurfio cyngrair Cymruaidd, nid mynegiad fod *Rhys* gwedi anfon at *Owain Gwynedd* am gyd-diad; a'r achos o hyn oedd, meddyliaf, a oedd rhyw gynfigen a ai rhwng y ddau dywysawg: canys ychydig ar ol hynny, darllenwn glywaid fod *Owain* yn dyfod â llu mawr i *Geredigiawn*, ar yr cynnullodd yntau lu, ac a aeth tuag ymylau gogleddol yr ardal gyfarfod; ond nid gwir yr hyspysiad a gawsai; ac felly, ar ol u castell yn *Aberdyfi*, dychwelodd i *Ddeheubarth*.

yn hyn, dros amryw flynyddoedd, yr arglwyddi Normanaidd t y blaenoriaid, yn erbyn pa rai yr oedd ymdrech cenhedlawl y ; ond yn awr gwelwn ar y maes elyn lawer cadarnach ac enw-sef Henri II. brenin Lloegr. Ac fel y bu y gelyn yn fwy galluog, lrech yn ddwysach, felly y bu y clod i'r genedl yn ardderchocach, dugoliaeth yn fwy anrhydeddus. Y brenin *Henri II.* oedd yn egni tra nodedig, ac o ddewrder cyfartal; ac yr oedd hefyd yn ddiannu callineb o'r godidocaf, a chyda hyn oll yn gynhyrfiedig helfrydedd o'r radd ddyrcholaf. Y pennadur ynniol hwn ni fu dechreu ymrysonau â'r Cymry: y weithred elyniaethawl gyntaf alltudio allan o Loegr, y Fflandrwysiaid a ddaethant at ei rag-d *Stephan*, a rhoddi iddynt ganiatâd i fyned i Gymru, i *Ddyfed edigiawn*, lle y cawsant noddfa gan eu cydwladwyr, y rhai oedd-ioes yma. Ond ni bu hir cyn gwneuthur ymosodiad ar y wlad, fyddinoedd ei hun, ac yn cael ei annog i hynny gan *Gadwaladr*, *Owain*, a *Madawc ap Meredydd*, tywysawg Powys, yr hwn a ddai yn fawr wrth Owain, ac a ddugai gynfigen tuag attaw.

di ffurfio bwriad i lwyr ddarostwng Cymru, yn 1157, *Henri* a lodd lu anfeidrol o filwyr, yn gystal a llynges nifeiriol a chad-: mor benderfynol yn ei fryd yr oedd efe, ag y darfu ychwanegu l ran iddei fyddin, neu, fel ag y dywed *Matth. Paris*, fel ag y l i bob dau filwr trwy Loegr oll gael allan drydydd.* Ac â'r fawr yma, y brenin a ddaeth hyd yn *Maesdir* [*Morfa*, y. a.] *eon Gawr*, sef *Saltney Marsh* o fewn i filltir i'r ddinas. A wybu *Owain Gwynedd* am hyn, yn ol ei arfer, ni adawodd iddo iddei diriogaeth yn ddiwrthladdiad, eithr cychwynodd iddei d, gyda'i feibion a'i luoedd, ac a ddaeth hyd at ddinas *Basing*, *igwerk*] lle y pebylliodd, gan fesur lle castell, a dyrchafael clodd-awr. A phan wybu y brenin hyn, efe a rannodd ei fyddin yn u, ac a anfonodd un o honynt dan dywysiad ei ieirll a'i farwniaid

* "Eodem anno [1157] Rex *Henricus* magnam paravit expeditionem, ita ut duo milites *Anglia* tertium invenirent ad expugnandum *Wallenses* per terram et per mare."

ar hyd y traeth tuag at wersyll *Owain;* a'r brenin ei hun a ar
y llall ar hyd ffordd arall, trwy goed a elwid *Coed Eulo.*
*Dafydd* a *Chynan*, meibion Owain, a gyfarfuasant, ac a ymo
arno gyda'r fath wrolder, ag iddynt, ar ol brwydr chwerw-dost
llawer o'i wŷr, ei orthrechu mor gyfunawl, ag y gorfu iddo ff
einioes, a braidd y dihangodd yn ol i'r *Maesdir.*

Yna y brenin, gan fwriadu ymddial am y gwaradwydd hyn,
yn y blaen yn erbyn Owain; eithr cyfarfu â'r un dynged; can
y Cymry âg ef i frwydr, wrth *Cwnsyllt,* [*Coleshill*] gerllaw
lle y goddefodd y fath ddymchweliad, ag y bu iddei fydd
ddychryn, ffoi oddiar y maes. *Eustace Fitz-John*, a *Robert de*
dau bendefig anrhydeddus, a laddwyd; a *Henry de Essex*, etif
awl gludwr o'r fanier frenhinol, er yn filwr gwych ac enwog, a
y llumman i lawr, ac a waeddodd fod y brenin gwedi ei ladd;
y gallodd y brenin arbed ei wyr rhag gorthrechiad cyflawn. (
gilio i ryw amddiffynfa gyfagos, arhosodd yno i ail gadarnhau ei

Yna y brenin, yn dra digllon o herwydd y gwarth a odd
fudodd ei holl fyddin, a chychwynodd ar gad-daith ar hyd la
tua chastell *Rhuddlan*, a'i wyr, fel o'r blaen, yn rannedig yn
A phan ganfu *Owain* ei ddull o gyrchu, a rhag cael ymosod a
ddau ochr ar yr un pryd, yntau hefyd, yn ei gallineb, a fudodd e
ac a wersyllodd mewn lle a elwid oddiwrth hynny, *Cil-Owain;*
hynny, pebylliodd mewn lle a elwid *Llwyn Tal y Pina,* [neu
*pin*] gerllaw *Llanelwy;* [gelwir ef yn awr *Pen y Parc;*] lle
naliodd ryfel parhaus â'r brenin, gan ymfrwydro â'i wyr, ddydd a
roddi amser gorphwys iddynt.

Y brenin, ar hyn o bryd, a oedd yn nghastell *Rhuddlan*,
gadarnhaodd yn fawr; ac yno y rhoddodd orchymynion pertl
lynges ddirfawr, yr hon yr oedd efe gwedi ei darparu; a'r h
tystiolaeth *Matth. Paris*, a oedd gwedi ei chynnull gydâ'r
gyflawnder o ddarpariad rhyfelawr ar fyddin dirawl. Ac yn o
a ddeallir yn ngwaith bardd cydoesawl, yr oedd y lynges wedi ei c
nid yn unig yn *Lloegr* a *Normandi*, ond hefyd yn yr *Iw*
*Llychlyn.* Y lynges ddychrynllyd hon a hwyliodd tuag *Yn*
ac ar ol treiddio i'r caincfôr, mor belled ag *Abermenai*, tiriodd y
a dechreuasant anrheithio y wlad, ac yspeiliasant eglwys *Mair*
ac amryw ereill. Ond ni fuont yn hir cyn derbyn taledigaeth
canys gwŷr Môn yn ddioed a gyfodasant yn arfogion, a th
dodasant gad ar faes yn eu herbyn, a bu brwydr dra gwaedlyd

* Gwel Pennant, yr hwn a dybia mai yn y *Gadlys*, gerllaw Coleshill, y gwers

*Tal-y-Moelfre*, ar ymyl y *Menai*, lle y bu yr ymladd yn llym
d, ar y tir ac ar y dwfr; ond yn y diwedd, y Cymry a orthrechasant
flawn ag na ddihangodd un o'r estroniaid, oddieithr y rhai a allent
dd y llongau, a hwyliaw ymaith. Yn y frwydr hon lladdwyd
o'r blaenoriaid Saesonaeg; a diau na fu y Cymry chwaith heb eu
on; canys rhaid fod yr ymdrech yn dra ffyrnig, yn enwedig yn
, ar y pryd yr oedd y Saeson yn ceisio eu llongau, ac yn amddiffyn
ain a'u llestri, tra yn ymbarottoi i ymollwng: canys dyweda'r
fod *Menai* yn goch gan waed! ac er mai iaith brydyddol yr arfera
dywedyd fod y trai yn attaledig gan faint y gwaed-ffrwd; etto y
n ddilys mai nid galanastra fechan a berai i'r fath lynges gadarn
elyd yn orthrechedig at y brenin.

ol y gorthrechiad hwn, y rhai a oeddynt mor ddedwydd a chyr-
y llongau, a gyfodasant hwyliau, ac a ddychwelasant i *Gaer*.
a y brenin, gan deimlo ei warth a'i golled, a ymheddychodd âg
, dan yr ammodau fod i *Gadwaladr* gael meddiant ar ei gyfoeth
fn.

ddugoliaeth hon a achlysurodd gyfansoddiad awdl ardderchog gan
ld *Gwalchmai*, at yr hwn y cyfeiriwyd eisioes. Yr awdl hon,
ei rhagoriad awenyddol, a gynnwys cynnifer o gofiaint hanes-
ag y barnaf yn addas ei rhoddi yn gyflawn yma:—

*Gwalchmai ai cant i Owain Gwynedd.*

---

"Ardwyreaf hael o hil Rhodri,
Ardwyad gorwlad, gwerlin teithi,
Teithiawg Prydain,
Twyth arfdwyth[1] Owain,
Teyrnain ni grain,
Ni grawn rëi.

Teir lleng a ddaethant, liant lestri,
Teir praff prif lynges wy bres brofi,
Un o'r Iwerddon,
Arall arfogion,
O'r Llychlynigion,
Llwrw hirion lli,

A'r drydedd dros fôr, o Norddmandi,
A'r drafferth anferth, anfad iddi,
A draig Môn mor ddrud ei eisillydd yn aer,
A bu terfysc taer i haer holi

A rhagddaw rhewys dwys dyfysci,
A rhewin, a thrin, a thranc cymmri;
A'r gad gad greudde,
A'r gryd gryd graendde,
Ac am dâl Moelfre,
Mil fanieri,

[1] neu *afrdwyth*.

A'r ladd ladd lachar, ar bar beri
A ffwyr ffwyr ffyrfgawdd ar ffawdd foddi,
A Menai heb drai o drallanw gwaedryar,
A lliw gwyar gwyr yn heli:
A llurygawr glas, a gloes trychni,
A thrychion yn nhud rhag rheidrudd ri,
A dygyfor Lloegr, a dygyfranc a hi,
Ag ei dygyfwrw yn astrusi,
A dygyfod clod cleddyf difri,
Yn saith ugain iaith wy faith foli."

Gan y dichon fod rhannau o'r awdl hon yn aneglur i rai darllenwyr anghynnefin â hen farddoniaeth, rhoddaf yma yr ystyr mewn iaith mwy sathredig, gan gymmeryd cyfieithiad *Ieuan Brydydd Hir*, gan mwyaf, yn sail:—

Clodforaf y gwron hael o eppil *Rhodri Mawr*, amddiffyniad rhag estron-genedl, pendefig anrhydeddus, gogoniant Prydain, egniawl *Owain*, Tywysog nid ymostwng, ac ni chasgl olud.

Tair byddin a ddaethant, llongau y dyfnfor; tair dirfawr brif llynges, i chwyrn ymosod, Un o'r *Iwerddon*, arall yn arfog o wyr *Llychlyn* ar hyd maithder yr eigion.

A'r drydedd a ddaeth dros fôr o *Normandi*, gydag ymdrechiad anferth, ond aflwyddiant fu iddi.

A llywiawdwr Môn, mor ddewr ei hiliogaeth yn y frwydr! A bu terfysg ffyrnig, ac eofn ymgeisiaw, ac o'i flaen ef ei hun oedd afreolaidd drabludd, a dwys ymgymmysc, a dinystr, ac ymladd, ac angau pendefigion. A byddin-yn-myddin, yn waedlyd, a dychryn ar ddychryn yn arswydawl, ar o amgylch i *Dâl-Moelfre*, mil o lumanau.

Yno yr oedd lladd-ladd tanbaid, a digter gwaewffyn, a chyrch-gyrch cadarn-angherddawl, gyda llewyrchus ddisgleiriant. A *Menai* heb iddei dwfr gael trai, o herwydd y mawr lanw gan waed-rediad; a lliw gwaed gwyr a oedd yn y môr. Yno yr oedd a llurygau gleision, a gloesiad archollion, a'r clwyfedig ar y llawr o flaen y brenin coch-waewawr. A *Lloegr* yn ymgyfodi mewn terfysc, ac ymdrafod a hi, a'i chollfarnu, a dyfod cyfyng-gyngor arni, a dyrchafu clod cleddyf y gwron. Mewn saith ugain iaith iddei haul foliannu."*

Y mae yr awdl hon gwedi derbyn anrhydedd nid bychan, a hynny nid yn unig yn mhlith y Cymry, ond hefyd gan ddyeithriaid. Y prydydd GRAY a'i trodd i brydyddiaeth Saesonaeg, oddiwrth gyfieithiad *Ieuan Brydydd Hir*, yn y cyfansoddiad a enwir—"*The Triumph of Owain.*" Ac y mae yr esgob *Percy* yn ei chanmawl gyda gwresawgrwydd mawr, ac yn rhoddi sylwadau tra llewyrchus ar anianawd y prydyddiaeth.† Ac y mae y gwr doniol a dysgedig hwnnw, gan gyfeiriaw at farddoniaeth y Cymry yn yr oes hon a'r ganlynol, yn dywedyd, mewn llythyr at *Ieuan Brydydd Hir*,—"Yr wyf yn ddiweddar gwedi bod yn casglu anghreifftiau o brydyddiaeth Saesonaeg trwy bob oes, o amser y Saxoniaid i lawr hyd eiddo Elizabeth; ac y mae arnaf gywilydd dangos i chwi y fath sothach gwael yr oedd ein rhigymwyr ni yn ei gyfansoddi yn yr un amser, yn mha un yr oedd eich beirdd chwi yn arwyrain clod Llywelyn, gydag awenyddiaeth braidd is nag eiddo Pindar."

* Nis gwn a oes yma ryw gyfeiriad at amrywiawl ieithoedd y cenhedloedd, y rhai a ffurfient y fyddin Saesonaeg.

† Gwel llythyron yr esgob Percy at y Parch. Evan Evans, [Ieuan Brydydd Hir] yn y Cambro Briton. CYF. I. a II.

Y mae yn debygol mai at y frwydr hon y cyfeira *Hywel ap Owain* *'wynedd* yn un o'i odlau, ac os felly, y mae yn ddilys fod y lynges yn ifeiriol iawn, canys yn ei ormodiaith prydyddol, dywed fod trichan llong 'edi trengu trwy ei llosgu, ac i ddeg cant cymmaint ffoi heb adael berchen arf ar Fenai. Y mae yn debygol fod y pendefig hwn yn gydrychiol n y frwydr, ac yn gyfeiriedig atto gan Walchmai dan yr ymadrodd *'syllydd*, sef *eppil* y Tywysuwg Owain. Y canlynol yw Awdl *Hywel*.

'Pan vei lawen vrein pan vrysyei waed
Pan wyar waryei
Pan ryuel pan rudit e thei
Pan rudlan pan rudlys losgei
Pan rudam rudflam flemychei hyt nef
Yn addef ny noddei."

"Hawd gweled goleulosc arnei
O gaer wenn[1] geir emyl menei
Treghissant trydydyd o uei[2] trichanllog
Yn llyghes vordei
A deckant kyman ae kilyei
Kyuaryf heb vn varyf ar venei."

[1] *Caer Seiont* ysgatfydd, yr hen gaer Rufeinig, gerllaw yr hon, ar ol yr amser yma, yr eiladwyd Caernarfon. [2] Y trydydd dydd o Fai.

Er nad hyspysir hyny yn yr hanesion, etto arwyddocceir yn agoriad wdl *Gwalchmai*, yn gystal a thrwy y gair *Rhi*,* fod *Owain Gwynedd* ei un yn gydrychiol yn y frwydr yma. Ac os felly, gadawodd rhan o'i lu i urchawd y Brenin gar Rhuddlan, tra y brysiodd ei hun tua Môn, i erbyn lynges; ac nid anhawdd oedd hyn, canys ni allasai y fath ddarpariad rfawr o longau a milwyr, gael ei wneud heb iddo ef dderbyn hyspysydd o hono, ac o'i ddibeniant; ac hawdd oedd iddo ef gyrhaedd Môn ı blaen. Ond tra'r oedd y gweithredoedd gwych a chlodforus yma yn el ei cyflawni gan Owain, yr oedd bradwriaeth o'r gradd mwyaf gwrthun hanfodi yn mhlith y genedl. Canys ar y pryd yma *Iorwerth Goch* *Meredydd*, yr hwn a ymbleidiai gyda'r Brenin Henri, a ymosododd ar stell *Iâl*, yr hwn yr oedd Owain wedi ei adeiladu, sef meddyliaf, castell *lodwydd* ger llaw *Rhuthin*, ac a'i llosgodd. Ond etto nid oedd hyn tyccio i wellau sefyllfa y Brenin, yr hwn, gan adael cestyll Rhuddlan a sing yn nghadwraeth rhai o'i wyr, a ymadawodd â Chymru ac a ychwelodd i Loegr.†

* *Rheidrudd Ri*,—yn ol *Ieuan Brydydd Hir*, *rheiddrudd* yw y gair cyntaf, ac yn tarddu iwrth *rhaidd*, *gwaewffon*. Oni buasai y cyfryw awdurdod yn fy attal, buaswn yn barnu i *rhëidr-rudd*, oedd y gair, sef *ffrydiau cochion*; [*rhaiadr*;] ac fe'm tueddesid i hyn gan alynol o eiddo *Cynddelw*, Bardd o'r un oes.

"Gweleis i glôd, a rhôd a rhawdd
O beleidr, a rheeidr rhudd o gnawd."

† Y mae Math. Paris, yn ol ei arfer, yn haeru'r fuddugoliaeth i'r Brenin Henri, ac ymfostyngiad ar ran *Owain Gwynedd*; a diau iddo ef glywed y cyfryw chwedl yn Lloegr. I y mae yn ddilys mai ymffrost wâg ydyw; y mae ymadawiad y lluoedd Saesonaeg o'r d, a rhwysc mawrhydrus y Tywysawg ar ol hynny, yn dangos yn amlwg yr anwiredd o aw.

O gylch yr un amser, sef 1157, bu cynhwrf yn y Deheudir, rhwng rhai o'r pendefigion cynhenid. Canys *Gwrgant ap Rhys ap Iestyn*, prydydd goreu a dysgedicaf a gaed yn ei amser, a laddwyd gan *Ifor ap Meurig*, o *Sainghenydd*; "a *Morgan ab Owain ab Caradawc* a fynnai ddial hynny, a myned am ben *Ifor* a'i ladd, a dwyn ei diroedd, a'u rhoddi yn nghyfoeth *Iorwerth ab Owain*, ei frawd, Arglwydd *Caerlleon ar Wysc*."

Pa le mae gwaith *Gwrgant ap Rhys*,—y Prydydd goreu o'r oes?—Ni cheir cymmaint a llinell o hono. A diau fod niferoedd o gyfansoddiadau godidog o'r oesoedd hyn, yn yr un modd wedi myned ar goll, oblegid o'r amser yn mha un y deffrodd yr awen pan ddechreuodd *Meilyr* brydyddu yn 1080, hyd pan ganodd *Gwalchmai*, ei fab, Arwyrain Owain Gwynedd, yn 1157, nid tebygol fod cynnifer o orchestion gogoneddus wedi eu cyflawni, a dim coffhad barddonawl o honynt, ond yr ychydig ag sydd yr awrhon ar glawr.

Yr oedd y Brenin Henri, yn yr amser hyn, gwedi llwyddaw i ymheddychu a holl Dywysogion ac Arglwyddi Cymru, oddieithr *Rhys ab Gruffydd*, Tywysawg Deheubarth, yn unig; ac efe ei hunan, fel gwron gwladgar, a ddarparodd gwneuthur rhyfel ag ef; ac i'r dyben i ddwyn hynny yn mlaen, cynhullodd ei holl gyfeillion, a'u meddiannau, a chiliodd i goedyddd *Ystrad Tywi*, lle y bwriadai wneuthur ei brif wersyllfa. "A phan gigleu y Brenin hyny, anfon cenhadau a wnaeth at *Rhys* i fynegu iddaw fod yn gryno iddaw fyned i lys y Brenin, yn gynt nog y dygei Loegr, a Chymru, a Ffreinc am ei ben, ac nad oedd neb, eithr ef ei hunan, yn ymerbyniaid a'r Brenin." Ar ol derbyn y cenadwri hyn, ymgynghorodd *Rhys* a'i wyrda, a phenderfynwyd iddaw fyned i lys y Brenin, "Ac yno y gorfu arno, o'i anfodd heddychu a'r Brenin, dan ammod iddaw gaffael y *Cantref Mawr*, a chantref arall o'r a fynai y Brenin ei roddi iddaw, yn gyfan heb ei wasgaru. Ac ni chynhelis y Brenin ag ef hyny; namyn rhoddi iddaw ddrill o dir yn ngyfoeth pob Barwn, o ymrafaelion Farwniaid." Nid oedd Rhys ddim yn anneallus o'r twyll yma, ond er hyny cymerodd y tiroedd ac a gynhaliodd yr heddwch. Ond ni pharaodd llonyddwch yn hir; canys *Rhosser*, Iarll *Clâr*, yr hwn oedd wr cadarn, a thra chwannog o gyfoeth y Cymry, a aeth at y Brenin ac a erfyniodd ganiatâd i fyned i oresgyn eu tiroedd; yr hyn a roddwyd iddaw. Ac yno aeth i Geredigiawn, yr hyn nis beiddai wneuthur cyn ymheddychu o Rhys a'r Brenin, ac yno efe a gadarnhaodd ac a ddygodd gynhaliaeth i amryw gestyll, megys castell *Ystrad Meurig*, *Hwmffrai*, *Aberdyfi*, *Dineir*, a *Llanrhystyd*. Gwedi ymgadarnhau o Iarll Clâr yn y wlad yn y modd yma, aeth *Walter Clifford*, yr hwn a biau gastell *Llanymddyfri*, ac a wnaeth gadgyrchiad i gyfoeth Rhys, a chan ladd llawer o'i wyr, anrheith-

iodd ei feddiannau. Yna Rhys a anfonodd at y Brenin i achwyn am y cyfryw ymddygiad, ac i geisiaw iawn. A'r Brenin, mewn modd twyllodrus, a gymmerth arno erchi gwneuthr iawn i Rhys, ond ni wnaethpwyd felly; canys arfer brenhinoedd Lloegr, eirioed, ydoedd cynnal y Saeson yn eu gormesau ar y Cymry, ac ni chai y Cymry, un amser, y iawn lleiaf ganddynt, oddieithr trwy law gadarn a nerth arfau. Ac felly ar y pryd hyn, *Rhys ap Gruffydd* yn cael ei gyffroi gan y gormesiad, a'r sarhâd a ddefai, ac yn gweled yn amlwg nad oedd dim gobaith o dderbyn iawn trwy heddwch ac ymddarostyngiad, a benderfynodd fynu iddo ei hun, trwy nerth yr iawnder, yr hwn ni roddai Brenin Lloegr iddaw trwy dêg; ac a ymarfogodd, a rhuthrodd ar gastell Llanymddyfri, eiddo *Walter Clifford*, ac a'i goresgynnodd. Yna *Einiawn ap Anarawd*, nai Rhys, gwr, ieuanc o oed, eithr gwrawl o nerth, o achaws gweled fod ei ewythr, y Tywysawg, yn rhydd oddiwrth yr ammod, ac oddiwrth bob llw a roddasai i'r Brenin, ac o achaws ei fod yntau yn doluriaw cyfarsangedigaeth ei briawd genedl gan dwyll ei gelynion, yna y cyrchodd am ben castell *Hwmffrai*, ac a laddodd y marchogion dewraf, a cheidwaid y castell yn gwbl, ac a ddug oddiyno yspail fawr o feirch, ac arfau, a pheirianau maenus." Ac yna Rhys, yn gyfunol a'r mudiad hwn, a ruthrodd ar yr holl gestyll a oresgynasai y Saeson yn Ngheredigiawn, ac a'u torodd yn falur; a chan ddiffeithiaw eu tiroedd, dygodd yr holl wlad dan ei lywodraeth.

Y Brenin wrth glywed am hyn a ddaeth i'r Deheubarth, yn erbyn Rhys, eithr wedi mynych wrthwynebu o Rys a'i wyr iddaw, ac yntau yn gweled cenedl y Cymry yn ymnifeiriaw o bob man at Rys, efe a ddangoses ammodau heddwch; a Rhys a ymwystlodd â'r Brenin, er cynnal heddwch; a dodi gwystlon a wnaeth Rhys, a dodi cestyll yn ngwystl i Rys a wnaeth y Brenin; a'r Brenin a ymchwelodd o Gymru, y waith hon etto, yn ddifudd ac yn ddianrhydedd, ac efe a aeth i Loegr, ac oddiyno i Normandi.

Yn awr Rhys a aeth i gymeryd meddiant ar y cestyll y rhai a wystlasid iddaw gan y Brenin, y rhai y mae yn debygol oeddynt yn *Nyfed*, eithr y castellwyr nis gollyngent iddo. Ac yna efe a gynhyllodd ei luoedd ac a ddiffeithiodd Dyfed, ac a dorodd yr holl gestyll yn garneddau; ac oddiyno cyweiniodd ei fyddin yn erbyn castell *Caerfyrddin*, yr hyn pan wybu *Rhynallt* Iarll *Brystei*, mab o ordderch i'r Brenin, efe a gyngreiriodd a Iarll Clâr, a rhai Ieirll ereill, ac a gynhullodd lu dirfawr o Ffrancod, a Normaniaid, a Fflemysiaid, a Saeson, ac er gwarth tragwyddawl i'r genedl, gyda hwy, fyddyn dra chadarn o Gymry. Canys trwy addaw y Deheubarth i Owain Gwynedd efe a'i hudodd i roddi iddaw ei gyfnerth, ac *Hywel* a *Chynan*, meibion *Owain*, yn nghyda *Chadwaladr* ei frawd, a ddygasant eu lluoedd ag eiddo Rhynallt ac a ddaethant yn erbyn y Tywysawg Rhys. Eithr y Tywysawg a oedd yn rhy gall i ymgolledi ei hun yn

ddiachos, trwy gyfarfod a'r fath gadernid anghyfartal mewn brwydr; felly efe a ymdynnodd gyda'i wyr oddiar eu ffordd, ac a giliodd i fyny *Cefn Rhestyr*, [*Cefn Rychtir mein*, y. a.] lle y gwersyllodd. Yna gelynion a ddaethant hyd gastell *Dinweleir*, lle y gwersyllasant hwythau Ac ar ol aros yno ennyd o amser, heb feiddiaw ymosod ar y Tywysaw ymadawsant oddiyno yn wag llaw. Ar ol yr hyn, yr ymadawodd Rh yntau o'i wersyllfa, ac a adawodd iddei wyr ddychwelyd iddeu cartrefi.

## MADAWC AP MEREDYDD.

Yr ydym yn awr wedi gweled *Gwynedd* a *Deheubarth* yn meddia dau Dywysawg gwych a chlodfawr, yn amddiffyn eu breintiau gyd egni anrhydeddus; weithian y mae yn bryd taflu golwg ar Dalaeth *Powy* ond yno, er gwarth a galar, ni chawn mo'r un gwrthrychau teilwng i sirioli, canys *Madawc ap Meredudd ap Bleddyn*, Tywysawg *Powys*, yn wr o gynheddfau llewyrchus ac o ddewrder diamheuol, etto a oedd we ymroddi cymmaint i gynnal awdurdod y Saeson yn y wlad, a'i fod haeddianawl o gael ei gyfrif yn mhlith gelynion pennaf ei genedl. Y m yn debygol mai eiddigedd tuag at Owain Gwynedd a achlysurai hyn, gystal a gwendid cynhenid ein hanian, yr hwn a ddarostynga cynnifer honom i lywodraeth gweniaith a thwyll, a'r hyn, yn y Tywysawg yma, hudodd i ymwrthod a'i genedl ei hun, ac ymgyfeillachu a dieithriaid thrwy hyn, er dan rith o rhydd-did ac annibyniaeth, etto, mewn gwiri edd, sefydlu caethiwaid, a gormes estronawl. Y cyfryw oedd *Madawc Meredydd*, a chynhaliodd ei gyfeillgarwch a'r Saeson hyd y diwedd, a farw yn *Nghaer Wynt*. Dugpwyd ei gorph i *Meifod*, lle y claddwy yn anrhydeddus, lle yr oedd yr wyddfa yn Eglwys *Tisiliaw* Sant.*

* *Gwyddfa,—beddrod*, h. y. *gorweddle*, [*cwyddaw, gogwyddaw*, &c.] y mae yn r gwahaniaethu rhwng y gair hwn a *Gwyddfa*, *Lle uchel amlwg*, yr hwn a ddeillia oddi *gwydd, golwg*. Ac y ceir yn yr enwau, *Yr Wyddfa*, [*Eryri*,] a'r *Wyddgrug*, [*Mons Al* Am y gair yn arwyddocau *Lle claddedigaeth*, ceir ef yn ngwaith *Hywel ap Owain Gwyn*

"Ton wen orewyn a orwlych bedd
Gwyddfa Rhufawn Befyr, Ben Teyrnedd."

Amryw flynyddau yn ol, wrth ddygwydd myned i mewn i Fonwent *Llanberis*, mew hoffder a gefais wrth weled ar un o'r cerrig beddau, ysgrif yn dechreu gyda'r ymadr GWYDDFA A. B. &c. &c. a drwg iawn gennyf fy mod wedi annghofio enw y Cymro diled a biau yr orphwysfa hono.

gan fy mod yn cyhuddo *Madawc ap Meredydd* perthynol iddei
rwch, nid ydyw ar yr un pryd ond cyfiawnder iddaw, gyfaddef
yn feddianol ar fath o wladgarwch, er mewn cyflwr o gyfeiliorni.
dgarwch a weithredai i geisio ymddiffyn ei Dywysogaeth, *Powys*,
*wain Gwynedd*, ac i attal oddiwrthaw y deyrnged yr hyn oedd
us i arbenicter Gwynedd. Ac y mae yn ddilys iddaw gyflawni hyn
modd egniol a theilwng, er nad yn wastad yn llwyddianus. Y mae
*elw*, yn un o'i Farwnadau iddaw, yn crybwyll am ei wasanaeth i
Powys.

"Pei byw llary[1] lleisiawn,
Ni luestai Wynedd yn mherfedd Edeirniawn,
Heb wyr lladd gan llyw camawn[2],
Llith berion[3] llwyddion llawn."

[1] blaenor.
[2] brwydr.
[3] gwaewffyn.

'arwnad hon a ddechreua gydag enwau amryw gadgyrchiadau o
*Madawc*, ac yn mha rai y mae yn debygol fod y Bardd ei hun yn
hiol; canys y mae yn mynegi hynny am rai, ac yn arwyddocau ei fod
yflawni gwasanaeth effeithiol yn y cyntaf o honynt, oblegid dywaid
ef yno, a'i gleddyf yn waedlyd.

aes Bryn Actun canhun neu rifais
huddlafn ar fy nghlun?
trai tryohan catcun,
ont nef arnun."

"Yn maes Didlystun oedd dyhun ein glyw,
Nid oedd glod gwarafun;
Pob llary ar llyfnfarch diffun,
Pob llew a llafn ar glun."

"Yn maes y Croesau, croesasam deon
Marchogion meirch gwinau;
Hawlwyr hwylynt am breiddiau,
Haelon cleddyfau rhuddion clau."

law yr uchod, y mae gan *Gynddelw* Awdl Farwnad i *Fadawc*, ac
englynion galarnad iddei deulu. Yn yr olaf ceir rhai ymadroddion, y

dd Meifod yn lle tra chyfrifol yn yr amser yma. *Cynddelw*, yr hwn oedd o'r
na, a grybwylla am dano felly.

"Caraf y lan a'r llen gangadredd,
Ger y mae Gwyddfarch[1] uch Gwynedd,
Gwyddfidle glywdde glew ddeachwedd,
Gwydd fynwent gwyddfa brenhinedd,
Beirdd nefedd niferawg orsedd,
Freisc adorth ehorth ehofnedd,
Breiniawg log leudir cyfanedd,
Meifod wen nyd meiwyr[2] a'i medd?

[1] Sant o'r enw.
[2] gwronion.

e y gair *mai* yn arwyddocau *lle teg a gwastad*, ac ceir ef mewn amryw fannau yn
hai o enwau y cyfryw leoedd; a meddyliaf iddo gael ei drosglwyddo oddiwrth y
gwastad at y *maes milwraidd*, ac oddiwrth hwnnw at y *milwyr* eu hunain, y rhai a
*wyr*.

sawl o'u camddeall, a allent fod yn achlysur o'm cyhuddo i o annghywirdeb yn y cymmeriad a rhoddaf i'r Tywysawg hwnw, o'i fod yn bleidgar i'r Saeson; canys yr ymadroddion a arwyddoeant elyniaeth iddynt, a gwae ar eu pennau. Y mae yn ddilys fod y cyfryw wae yn ddatganedig yn eu herbyn, ond nid o ddwylaw *Madawc* na'i deulu, eithr yn ol fy marn i, datgan y mae y Bardd y gwae oedd ar ddisgyn ar Saeson Powys a'r gororau Lloegrwydd, trwy ymosodiadau *Owain Gwynedd*, gan fod *Madawc*, pan yn fyw, yn amddiffyniad iddynt yn erbyn y Tywysawg hwnw, ond fod ei angau wedi gadael y giwdawd Seisnigedd yn agored iddei lid. Y canlynol ydynt yr englynion.

"*Englynion a gant Cynddelw i deulu Madawc mab Meredydd, pan fu farw Madawc, am glybod o'u godwryf.*"

"Godwryf a glywaf am glawr Maelenydd
Mur elfydd elfan,[1] gawr[2]
Teulu Madawc mad anawr,
Mal teulu ban Benlli Gawr."

"Godwryf a glywaf am glawr Ieithion, hir
Hyder ei wyr ar Saeson
Teulu Madawc mur galon
Mal Twryf tormenoedd Cynon."

"Godwryf a glywaf godor dreis waewawr,
Gwae wyr Lloegr yn nydd oein!
Teulu Madawc mur Prydein
Yn llwythawg yn llithiaw brein.

"Godrwyf a glywaf am glawr, llafar[3] rhai
Rhyfelglod disegur
Teulu Madawc mawrglod mur,
Mal gawr toryf teulu Arthur.

"Godwryf a glywaf am glawr, fagu glyw
Glew Fadawc bieufu
Trinfa cyfa cynnyddu
Trydydd Tri Diweir Deulu.*

"Tyll eu hysgwydawr terfysgfawr faon,——[rhan ar goll.]

[1] Gwlad fynyddig, "Maelenydd elfydd fannedd." Gwynfardd Brycheiniog. [2] Bloedd.
[3] Llaferydd.

Fe all rai ofyn, os ydoedd *Madawc* mor garedig tuag at y Saeson, pa fodd yr oedd Bardd gwladgar fal *Cynddelw* yn ei ganmoli mor galonawg? Yr atteb yw fod *Cynddelw* yn ddeiliad i Madawc, ac yn enedigol o Dalaeth Powys, ac y pryd hyn yn Fardd ieuanc egniol, ac yn marchogaeth yn harddwych, a'i gleddyf ar ei glun yn mhlith milwyr *Madawc*; ac am ddybenion y cadgyrchiadau, ni welai ddim ynddynt yn draws i wladgarwch, eithr yn y gwrthwyneb, credai eu bod er buddioldeb gwladwriaethol, ac amddiffyniad *Powys* yn erbyn *Gwynedd*; ond ar ol hyn, cawn *Gynddelw* yn arwyrain clod *Owain Gwynedd*, mewn modd llawer mwy

* Gwel y Triad am y *Tri diweir Deulu*. Y mae yr englynion hyn yn gweini tystiolaeth, nid egwan, tuag at brofi hynafiad y *Trioedd*; canys dengys fod rhai yn hanfodi mor gynnar ac o gylch y flwyddyn 1159.

resawg nag y gwnai i eiddo *Madawc* gynt. Ac heblaw hyn oll, yr ld *Madawc* yn noddwr haelionus o'r Beirdd, fal y mynega Cynddelw dano, "oedd beirddgar barddglwm dilediaith, &c."; ac yr oedd yn ınal yr arferiad cysefin o gadw Pencerdd yn ei lys, canys bu ymryson rng *Cynddelw* a *Seissyllt Bryffwrch* am y Pencerddiaeth. Ac felly ryfedd ei fod yn mwynhau parch yn mhlith ei bleidwyr. Yr oedd efe yd yn wr rhinweddol mewn amryw bethau, ac yn dra hael tuag at yr lwys a'r tlodion; a gallwn orphen ein sylwadau gyda'r galarnad fod y h bennadur ardderchog yn methu canfod gwir fudd ei genedl, eithr trwy bleidio ag estroniaid, yn hyfforddi rhwysc y rhai hynny iddei wlad.

*Madawc ap Meredydd* a adawodd o'i wraig, *Susannah*, merch *uffydd ap Cynan*, dri o feibion, *Gryffydd Maelor*, ac *Owain* ac *isse*, a merch o'r enw *Marred*, yr hon a briododd *Iorwerth Drwyn-m;* gadawodd hefyd o ordderch *Owain Brogyntun*, *Cynwrig Efell*, *Einiawn Efell*, ac yn ol defod y wlad, rhannodd ei diriogaeth rhwng blant, er dirfawr gwanhad ac afles i'r wlad yn gyffredinol.

Yr oedd Talaeth Powys gwedi ei rhannu gan *Meredydd ab Bleddyn* ddwy gyfran, rhwng ei ddau fab. *Madawc* a gafodd y rhan a elwyd th ei enw ef, sef *Powys Fadawc*, a *Gryffydd* ei frawd a gafodd yr lal a elwyd ar ol hynny, *Powys Wenwynwyn;* a *Madawc*, yntau, yn yr un cynllun, a rannodd ei diriogaeth rhwng ei feibion. *Gruffydd aelor* a gafodd *Maelor*, a *Ial*, a'r ardalodd cymydogaethawl ereill. *wain* a gafodd *Mechain Isoed*; ac *Owain Brogyntyn* a gafodd *inmael* ac *Edeirnion*.

Yr oedd hefyd gan *Fadawc* fab arall o'r enw *Llewelyn*, a merch o'r w *Efa*. Y mae yn ngwaith *Cynddelw* awdl i'r olaf dan yr enwad o *'eingerdd*, yn yr hyn y canmola ei thegwch yn fawr, a dywed ei bod hi ı gyfartal o liw i ewyn y dwr yr hwn a friwiai y gwynt, y foneddiges deg ymraeg, o lys y Dyffryn, [*Mathrafal*] yn gyflewyrchus a gwawr y dydd, an gyfodai yn ei rwysc, ac yn gyfliw a'r eira gwyn ar uchelder y mynydd.

"Cymrawd ewyn dwfr a'i dyfriw gwynt,
Cymraeg laesdeg o lys dyffrynt,
Cyfleuer gwawr dydd, pan dwyre hynt
Cyfliw eira gorwyn gorwydd epynt."

Ond wrth wneuthur yr haeriadau yma perthynol i garedigrwydd *Madawc ap Meredydd* tuag at y Saeson, nid cyfiawn fyddai celu fod arwnad arall i *Fadawc*, mewn hanfodiad o eiddo *Gwalchmai*, yr hon a nhwysa amryw ymadroddion, y rhai ni ellir eu deall yn yr ystyr hyn, hr cyfeiriant at ryw ymrysonau rhyfelgar a fu rhwng *Madawc* a'r Saeson, mha rai yr oedd ei fab *Llewelyn*, yn weithredydd egniol, megys,

"*Cosb Lloegrwys,*" "*o ddiffeithiad Lloegr, &c.*" "Ac yn awr pa fodd y cysonir hyn a'r haeriadau rhagflaenol? Meddyliaf fod un cofiant yn y Brut yn taflu digon o oleuni ar y peth iddei egluro, sef yw i *Lewelyn mab Madawc*, yn y flwyddyn 1151, ladd *Stephan mab Baldwyn*, [t. d. 550.] Pwy ydoedd y gwr hyn ni hyspysir; ond gan fod y ddau enw yn gyffredin yn mhlith y Saeson, y mae yn debygol mai rhyw bendefig Seisonaeg oedd efe, yn un o ardaloedd Saesonaeg Powys, neu ar y gororau; a'r farn a ffurfiaf oddiwrth y casgliadau hyn, ydyw, fod *Madawc ap Meredydd*, er yn cynnal heddwch a'r brenin Henri, etto, weithiau yn cael ei gyffroi i elyniaeth a'r Arglwyddi Saesonaeg a'u perthynasau yn y cyffindiroedd, ac yn gorfod ymarfogi yn eu herbyn, ac felly, tybiaf mai at y cyfryw ymrysonau y mae *Gwalchmai* yn cyfeirio.

Y mae un eglurhad etto yn eisiau perthynol i'r Farwnad hon, yn gystal ac awdl arall, o waith *Gwalchmai*, er arwyrain i *Fadawc*; sef pa fodd y daeth *Gwalchmai*, yr hwn a dderchafai glod *Owain Gwynedd*, cyn, ac ar ol marwolaeth *Madawc*, feddwl am glodfori yr olaf, yn y modd calonog yma. Yr unig atteb a allaf ei gynnyg yw, fod *Madawc*, naill ai yn berthynas neu yn gyfaill, i *Walchmai;* a thebygol oddiwrth rai ymadroddion yn ngwaith y Bardd, ei fod yn bob un o'r ddau, canys wrth gwynaw am angau Madawc, dywaid "Câr a'm oedd nid oes." Ac er mor enbyd yr amseroedd terysglyd hynny, ysgatfydd fod i *Walchmai* fel Bardd drwydded i lys *Madawc*, megys braint ei urddas; a dichon fod rhyw amgylchiadau ereill yn cydatteb i sefydlu caredigrwydd rhyngddynt, y rhai nid ydynt hyspys y dydd heddyw, ac am y rhai ni fyddai ond ofer ffurfio dychymmyg.

Am *Lewelyn ap Madawc*, oddieithr y cofiant byr rhagdraethedig, yr unig fynegiad a gaf amdanaw yn y Brut yw y canlynol, ar ol y crybwylliad am farwolaeth *Madawc*: "Ni bu fawr wedi hyny yn y llas *Llywelyn* ei fab, y gwr a oedd unig obaith i holl wyr Powys." Ac y mae yn ddilys gennyf mae ei angau anmhrydlawn a achlysyrodd na chafodd ran o diriogaeth ei dad; canys ymddengys oddiwrth waith y Beirdd ei fod yn bendefig tra gwych a gwrol, ac hefyd yn feddianol ar wladgarwch tra gwresog, ac oddieithr y cyngrair anffodus rhwng ei dad a'r brenin *Henri*, nid oes amheuaeth y buasai yn mhlith y blaenaf i wrthladd yr ymwthiadau Saesonaeg i'r wlad.

Heblaw y cyfeiriadau rhag-grybwylledig at *Llewelyn ap Madawc*, y mae yn y Myv. Arch. englynion o glodforedd iddaw, y rhai a gyfrifir i Fardd o'r enw *Llywarch Llaety*, yr hwn a ddywedir ei fod yn prydyddu rhwng 1290 a 1340. Ond gan fod hynny mwy na chant o flynyddau ar ol amser y pendefig hwn, y mae yn ddilys fod camsyniad yma. Y mae yr englynion yn crybwyll am *Llewelyn*, megys *gelyn Gwynedd;* yr hyn

sai fyw yn yr amser uchod, canys nid oedd rhyfel rhwng *nedd* y pryd hwnw. Ac y mae yn amlwg na chyfansodd-on mewn amser diweddarch, oherwydd y mae y Bardd yn n *Lewelyn*. Ond meddyliaf y gellir symmud yr annghyson-ig gyfeirio at yr enw y rhydd y Bardd iddaw ei hun, sef *ew Cad;* oddiwrth yr hyn y casglaf, naill ai mai nid *ety* ydoedd efe, neu ynte fod hwnw yn byw gant o flyn-mser cyfrifedig iddaw. Y canlynol yw y cyntaf o'r englyn-fin lythreniad, gydâ'r eglurhad goreu a allaf ei roddi mewn Dangosant ddull ac agwedd milwr yr oes yn ei gyflawn

| | |
|---|---|
| on ny bu raen gan rei | A ofynnws neb—oni bydd ofal gan ddynion |
| baearngaen | Cyn coohu ei baiarn orchudd, |
| lasgaen | Pa was a wisg ei las arfau, |
| balch or blaen." | Pa wron yw yr uchelfrydus o'r blaen? |
| | |
| rennic[3] o ranned dyall | Pendefig ardderchawg, er mynegiad, |
| e barwed | Nid arall a ymddug. |
| r anhangnyued | Llywydd cadarn, dewr, anheddychgar, |
| gwyned." | Llewelyn gelyn Gwynedd. |
| | |
| egutwal kynnwan | Pwy biau y darian buan-fudiad, blaenorawl |
| w am y tal | A'r ddisglaer waewffon ger ei bwyneb? |
| r llit aer ddywal | Pwy yw'r dewryn, llew digter frwydr-wych |
| ng dwy brennyal." | A'i dal hi gerfydd ei dwy llawgarn? |
| | |
| 'n liw kadeithi bro | Tarian Llewelyn pennaeth breintiau gwlad |
| yw honni | Y honno er honniad, |
| ryd yndi | Tarian ac ysgwydd ynddi |
| yt recdi." | Tarian a dychryn ger ei bron. |
| | |
| cleu a drauodir | Pwy biau y cleddyf hyderlawn a drafodir, |
| liambeu | Y diau glwyfydd |
| itor nat geu | Clodfawr, nid gau y clywir |
| aw deheu." | Y cafodd ladd a'r llaw ddehau? |
| | |
| treuat amddiffyn | Yr hwn a'i trafoda yw amddiffynydd trefad |
| s gymynat | Mewn swrth naddiad i lawr, |
| yn dyd aergat | Rhyfelwyr argaead yn nydd brwydr,— |
| a gorwyrein gwlat." | Gwron Mechain yw, clodforedd gwlad. |
| | |
| rud uaran aerule | Pwy biau yr helm gron gochwedd y cadfaes, |
| id gyr y ban | A llun blaidd ffyrnig ar ei choppa, |
| browysuarch can | Pwy yw'r dewr uwch y grymmus farch gwyn |
| not gyuran." | Pa beth ei enw, mor hynod ei radd. |
| | |
| llawhir Llywelyn | Sef ei elwir Llawhir Llewelyn |
| yn teruysc dir | Blaenor angerddawl terfysc daear |
| uchel y wir | Lawr, uchel floeddiant ei wyr, |
| liueuyl gywir" | Diffeithwr Lloegr, diwarth, a chywir yw. |

" Pieu yr aruen aruot heb gilyaw[4]
Ny gilyant byt aghen
Pwy wr pennaetheid geneu
Rac pawb pieu y dechreu."

Pwy biau y gad-wisc addas heb wall,
Ni chilia o frwydr hyd angau,
Pwy yw y gwr o eppil pendefigol,
Ger gwydd pawb, pa beth yw ei hanni:

" Yssef yw hwnnw honneit nud ar glyw
Ef yw glew a llofrud
Mygyr gawr uar trablawr trablud
Mab Madawc vab maredud."

Sef yw hwnnw yr enwog a'r cadarn hen
Dewr ydyw a lleiddydd [teri
Mawreddog, tra mawr waew, sorrawl m
Mab Madawc ap Meredydd.

" Pieu y katuarch catulaen ae goruoid
Ar goruot dihauarch
Ar gwr ar gwyr am y barch
Ar gwaew ar gwan anghyuarch."

Pwy biau y march rhyfel a feiddia y bl
A'r cerddediad hyderus, |r
A'r gwr y mwynhau parch ei wyr
A'r waewffon a'r brathiad diattreg?

" Yssef yw hwnnw hanneit ganllaw draws
Dra sauo duw ganthaw
Gwyr oruod gwrd glot gludaw
Gwr rac gwerin dyssilyaw."

Sef yw hwnnw, cyfnerthydd enwog
Tra safo Duw ar ei blaid,
Gorthrechwr gwyr, cadarn a chlodfawr
Gwr ger bron cynlleidfa Tysiliaw.

[1] Y mae y gair *lleisiawn* yn digwydd yn fynych yn ngwaith y Beirdd, ac yn dra dyrys Barnaf fod iddaw fwy nag un ystyr. Ymddengys i mi weithiau megys enw lle yn Nhal Powys, ac yn perthyn i dylwyth *Madawc ap Meredydd.* Pryd arall arwyddoca, *bend rwydd,* ac yn atteb i'r gair *haelion*, yn gyffredinol, ac yn yr ystyr hyn meddyliaf y tar o'r gair *llaes*, yn yr un ystyr a *hael, llaw egored,* &c. [2] *Wyrenig*, [*derchafedig*] [3] Y mae englyn hwn mor debyg i un o *Englynion y Beddau*, t. d. 82, a'i fod yn ddilys gennyf fo Bardd a hwnnw mewn golwg. [4] *Bryw.* [*egniol.*] [5] *Cyliaw.*

OWAIN AP MADAWC, yr hwn a gafodd y brif ran o gyfoeth ei dad, gynhaliodd lawer o ymdrin a'r galluoedd cymmydogaethol; ac yn ol cofiant byr a geir amdano, a ymddengys fel rhyfelwr gwrol. Y mae ga *Gynddelw* amryw odlau iddaw, yn mha rai y cyfeiriai at ei orchestio milwraidd, ac hefyd, nid anghofia ei haelioni i'r Beirdd.

" Gwynfydig ei Feirdd o'i fawrddawn rebydd,
Gwr a'm rhydd rudd eurddawn;
Arlleg torf rhag twrf camawn,
Fal twrf ebyr yn llyr llawn.

————————eurglawr Arglwydd
Arglwyddi gyntwrf gyntorawr yn torf,
Yn terfysc byddinawr;
Marchawg balch bwlch ei aesawr,
Meirch anfonawc Mynnawg mawr."

Ceir grybwylliad am y Tywsawg hwn drachefn, yn ystod hanes y w ac er mai tra byr y cofiant, etto gan ei fod yn fyw amryw flynyddau a dyfod iddei gyfoeth, y mae yn ddilys nad ydoedd ddim yn hollol segu mhlith yr holl gynhyrfiadau, â hanfodent yn ei amser.

*Gynwrig*, mab *Madawc ap Meredydd*, a gafodd diroedd gerlla

', a galwyd ef yn Arglwydd *Eglwys Egle*. *Einiawn*, mab
l yn Arglwydd *Cynllaeth*, ac a gafodd diroedd yn nghym-
*Croes Oswallt*. Y mae *Powel* ac ereill yn rhoddi y rhanniadau
·l a wnaethpwyd rhwng y Tywysogion a'r Pendefigion hyn,
o fanylrwydd: eithr nid ail adroddaf hwy yma, gan y barnaf
peri maethder diachos; gan nad oeddynt y pendefigion hyn
;ion arbeniig, eithr yn hytrach yn Arglwyddi tiriogaethawl yn
a braint na hawl i arbenicter, nag ychwaith alluogrwydd iddei

OWAIN CYFEILIAWC.

ıwn wron arall yn ymddangos yn mhlith Tywysogion Cymru;
doniau, a dewrder, ac egni milwraidd, nid oedd anghyfartal a'r
onynt, a hwnw oedd y clodfawr *Owain Cyfeiliawc*, Tywysawg
)alaeth Powys. Mab ydoedd i *Ruffydd ap Meredydd ap*
› *Cynfyn*, Tywysawg Powys. Nid oedd ei dad wedi mwyn-
aaduriaeth, canys bu farw cyn ei dad yntau, *Meredydd*: ac
'*ydd*, yr hwn a fu farw o gylch 1130, a rannodd ei diriogaeth
b *Madawc*, a'i wyr *Owain Cyfeiliawc*. Ni chawn un hyspys-
hredoedd *Owain Cyfeiliawc* yn y rhan foreuaf o'i deyrnasiad,
ı ddiau, am ei fod yn ieuanc iawn pan ddaeth i'r orsedd, ac yn
ı nawdd ei ewythr *Madawc*, yr hwn, gan ei fod mor bleidgar
loegr, yn ddiammau a arweiniodd dueddiadau ei nai yr un
yn, meddyliaf, a gyfrifa am y cyfeillgarwch a fu rhwng *Owain*
, a'r Brenin Henri II. Dywedir iddei dad *Gryffydd ap*
ymddarostwng i *Henri* I. ac iddaw gael ei alw gan y Brenin
orion Seneddawl, ac hefyd iddo gael ei wneud yn un o'r
:yffundirawl, dan yr enwad o *Arglwydd Powys*; ac felly, dan
s o amgylchiadau, peth annichonadwy fuasai i'r Tywysawg
ıdw yn hollol rydd oddiwrth bob cyfeillach Seisnigaidd. Heblaw
a rhyfelawl, *Owain Cyfeiliawc* a fwynha enwogrwydd tra dwyr-
ei ddoniau prydyddol, pa rai a ymddangosant yn llewyrchus
ardderchawg o'r *Hirlas*. Cafodd yr enw *Cyfeiliawc* oddiwrth
ıno, yr hon a oedd ran o'i diriogaeth, a'r hon sydd yn awr o
ld *Drefaldwyn*.

›d filwraidd gyntaf o eiddo *Owain Cyfeiliawc*, mewn coffhad,
:h y flwyddyn 1162. Ychydig cyn yr amser yma, *Cadwallawn*
s *ap Idnerth* a ddaliwyd gan ei frawd *Einiawn Clud*, ac a

wlad Gymruaidd rhwng Gwy a Hafren, a ymosododd ar gastell *wern*,† yn *Nghyfeiliawc*, ac a'i torrodd. Yr hyn pän glybu *Cyfeiliawc*, sorrod yn fawr, a daeth gyda llu nifeiriol hyd at *Lland* yn *Arwystli*, ac anrheithiodd y wlad. Yna pobl y wlad a hyllasant at eu harglwydd, *Hywel ap Iefaf*, a hwy a ganl *Owain* hyd at lan Hafren, lle yr oedd yn gwersyllu, lle y bu waedlyd, yn yr hon y lladdwyd llawer o wyr *Hywel*, a gorfu arna lu ffoi o'r maes, a chilio i'r coedydd a'r creigiau Ac yna *O* ddychwelodd, ac a adgyweiriodd ei gastell, ac a'i cadarnhaodd.‡

Y flwyddyn rhagwyneb *Owain Cyfeiliawc* ac *Owain ap Mad* *Meredydd ap Hywel* a ymosodasant ar gastell *Carreghofa*, Croesoswallt, ac a'i torrasant; meddyliaf mäi eiddo *Gruffydd* oedd y castell; eithr achlysur y weithred, nid amlygir.

Tra'r oedd y pethau hyn yn cymmeryd lle yn y Gogledd, *Rhys ap Gruffydd* yn ymgadarnhau yn feunyddiol yn *Neheubar* Brenin Henri, yr hwn a fuasai hyd yma dros dalm o amser yn yn awr wedi dychwelyd i Loegr, a gyffrowyd gan eiddigedd o he ymddygiad *Rhys*, ac a ddaeth a byddin gref, hyd at le *Pencadeir*, ac yno dodi câd ar faes, o'r ddau lu; eithr Brecheiniawc a drywynasant rhwng Rhys a'r Brenin, o dodi gwy du Rhys, sef ei neiaint, *Einiawn ap Anarawd*, a *Chadwg*

* Y mae yr ysgrif o'r Brut, yr hwn a ganlynir gan *Powel*, yn dywedyd m Gwynedd oedd hwn. Ac meddyliaf fod y camsyniad wedi cael ei achlusuraw trwy roddir iddo yn un o'r Brutiau sef, *Owain ap Gruffydd*, yr hwn a berthyn i'r ddau D Ond y mae yn ddilys gennyf mai *Owain Cyfeiliawg* oedd y gwr; o herwydd Owain Gwynedd mewn cyfeillgarwch a'r Saeson, ac nid oedd ganthaw, chwaith, o ardal *Cyfeiliawc*.

† Dafalwern—Walwern, y. a.

*redydd ap Gruffydd.* A'r Brenin a ymwystles i Rys y *Cantref wr, a Dinefwr;* ac yno ddychwelod i Loegr.*

' ddau bendefig ieuanc a roddwyd gan y Brenin dan gadwraeth *usser* Iarll *Clâr,*† ac cyn hir llofruddiwyd hwy ill dau. *Einiawn* ddwyd yn ei gwsg, gan ei was ei hun, *Wallter ap Llywarch, adwgan,* gan *Walter ap Ricard.* Ac gan mai ar annogiad y Iarll y wnwyd yr ysgelerwaith hwn, Rhys, mewn llid a dialedd, a ymosododd yfoeth y Iarll, gan ei anrheithiaw yn erchyll, a chymmeryd castell *r Rheidiol,* a chastell *Mabwyniawn,* a'r cestyll ereill o eiddo y Iarll, llosgu, ac atoresgyn holl *Geredigiawn.* Ac yna gwnaeth aml gadhiadau yn erbyn y Fflemisiad, a dwyn mynych anrheithiau oddiynt.

'r mudiad hwn a effeithodd gymmaint yn y wlad, ag yr ymarfolles yr Gymry yn gyfun i fwrw ymaith lywodraeth yr estroniaid, ac felly, yn yddyn rhagwyneb, sef 1165, *Davidd ap Owain Gwynedd* a wnaeth yrchiad i *Degengl,* yr hwn ardal a oedd yn meddiant Brenin Lloegr, ddiffeithiodd y wlad, ac a ddygodd y trigolion a'u hanifeiliaid gydag *Ddyffryn Clwyd.* A'r Brenin, pan wybu hyn, a ddaeth mewn brys r gyda byddin gref hyd at gastell *Rhuddlan,* gan feddwl cynnortheì wyr; ond ar ol aros yno dridiau yn ddifudd dychwelodd i Loegr. Ac gwnaeth ddarpariad dirfawr tuag at ymosod ar Gymru, un waith etto. 'r dyben o hyn, cynhyllodd fyddin dra nifeiriol, allan o bob cwrr a edl dan ei lywodraeth, ac o fewn ei gyfeillach, gan ddwyn yn nghyd oledigion ymladdwyr *Lloegr, Normandi, Fflandrys, Angiw, sgwyn, Guien,* a'r *Alban;* ac â'r darpariaeth anfeidrol hyn, daeth at *Groes Oswallt,* ac a wersyllodd yno, gan fwriadu llwyr ddifetha dl y Cymry, a'u dilêu o'r wlad.

Tywysogion Cymreig, wrth glywed am y darpariad hwn, er unwaith anes y genedl, a fuont yn unfrydus a chyttun i ymddiffyn eu gwlad; elly cynhyllasant eu galluoedd tuag at wrthladd y cadgyrchiad dychlyd hwnnw. *Owain Gwynedd* a'i frawd *Cadwaladr* a ddaethant a holl rnid *Gwynedd. Rhys ap Gruffydd* a ddaeth a holl gadernid *Deheuh. Owain Cyfeiliawc* a *Iorwerth Goch* a meibion *Madawc ap edydd* a ddaethant a holl luoedd *Powys.* A dau fab *Madawc ap rth* a ddaethant a'r gwyr *rhwng Gwy a Hafren.* A rhai hyn i gyd, ddiergrynedig, a ddaethant hyd *Edeirniawn,* a phebyllasant yn

* mae Matth. West. yn dywedyd, i *Malcolm,* Brenin yr *Alban,* yngbyda *Rhys,* ac eraill hinoedd a phendefigion Cymru wneuthur wyriogaeth i'r Brenin Henri, ac iddei fab, oodstock, o gylch y pryd hyn. "Eodem anno [1163] Rex *Malcolmus,* Scotorum; et s Princeps Dimetiæ, id est dextralium Wallensium; cum aliis Regibus et ibus Cambriæ, Kalendis Julii apud *Woodstoche* fecerunt homagium Regi Anglorum ario filio ejus."

† *Rhosser D' Acr,* Iarll Caerloiw, y. a.

*Corfaen*, [*Corwen.*] Ac wedi trigo o'r ddau lu yno dalm o amser heb arfeiddiaw gyrchu at ei gilydd i ymladd, llidiaw a wnaeth y Brenin yn ddirfawr, a mudo ei lu hyd at *Aber Ceiriawc*, a dechreu torri y coed i lawr. Ac yno y daeth ychydig o'r Cymry, heb wybod iddeu Tywysogion, ac a ymosodasant yn wrol ar y Saeson, lle y bu brwydr waedlyd, a llawer a laddwyd o'r rhai goreu, o bob tu. Y Brenin, yna yn gweled enbydrwydd ei gyflwr, a fudodd ei fyddinoedd o'r dyffryn, ac a aeth i fynydd *Berwyn*, lle y pebylliawdd. Ac yno cafodd ei warchae mor gyfyng gan y Cymry, ag na allai gael cynhaliaeth iddei lu. Ac i gyflawni ei aflwydd, digwyddodd y fath wlawogydd a llifeiriant, ynghyd â chadrythriadau dibaid y Cymry, a wneuthant ei sefyllfa mor annedwydd, ag y gorfu arnaw fudaw oddiyno, a dychwelyd i Loegr gyda gwarth a cholled. A chymmaint oedd ei lid o'i herwydd, ag y darfu yn y modd mwyaf dieflig, beri tynu llygaid y gwystlon y rhai a oeddynt gwedi eu rhoddi iddaw gynt, a'u hanafu yn echryslawn, sef *Cadwallawn* a *Chynwrig*, dau fab *Owain Gwynedd*, a *Maredydd*, mab yr *Arglwydd Rhys*, ac ereill.

Y mae yn beth tra nodedig i sylwi mor ddystaw y mae yr hanesyddion Saesonaeg perthynol i'r gorthrechiad hwn a gafodd y Brenin yn Nghymru. *Matth. Paris.* ni ddywaid air o'i blegid, a *Matth. West.* a rydd y cyfan perthynol iddaw mewn pump gair, "*Rex in Walliam expeditionem fecit.*"—*Y Brenin a wnaeth gadgyrchiad* i *Gymru*. Nid testyn dymunawl ydoedd iddynt. Yn wir, y mae yn rhaid cyfaddef nad ydynt y *Brutiau* a *Giraldus Cambrensis* yn rhoddi ond cofiaint tra byrron o'r amgylchiad yma; ac felly pan geisiom ffurfio barn am yr ymladd a gymmeroedd le, nid oes gennym fawr gwell na dychymmyg i'n cyfeiriaw; ond oddiwrth anianawd rhyfelgar y Cymry yn yr amseroedd hyn, a gwrolder eu Tywysogion, yn nghydâ'r annogiad a hanfodai i gyffroi yn eu plith gystadledd mewn gwychder a chalonogrwydd, y mae pob lle i gredu fod ymladdiadau parhaus a dibaid yn gynnaledig ganddynt, ac ymosodiadau ar y gwersyll estronawl. Ac y mae *Powel* yn cyfrif i'r cadgyrchiad yma, yr hanesiad a roddir am y perygyl yn yr hwn y bu y Brenin, trwy ergyd saeth, tra yn gwarchae pont: canys dywedir fod i Gymro dynnu ei fwa, a medru ar y Brenin, ac y buasai yn ddiau yn ei ladd yn y man, oni *Hubert de St. Clere*, Rhaglaw *Colchester*, a neidiodd o flaen y Brenin, a dderbyniodd y saeth yn ei gorff ei hun, ac a fu farw i achub ei Arglwydd. Y mae hyn yn profi y cyfryw ymdrin llym a fu rhwng y ddau lu, ac hefyd ergydiad nerthawl y bwa Cymraeg, yr hwn oedd alluog i ddrylliaw yr arfau trymion durawg, y rhai a wisgid gan y marchogion Normanaidd yn y dyddiau hynny.*

* Haerir gan *Holingshed* mai wrth *Bridgnorth* y digwyddodd hyn. Ond barnaf fod y camsyniad yn deilliaw oddiwrth fod hen enw y dref honno, *Brugge* yn arwyddocau *Pont.* Ond braidd y meddyliaf fod ymdrin rhwng Henri yr II a'r Cymry yn y lle hwnw.

lwir y frwydr hon wrth y gwahanol enwau o frwydr *Corwen*, a dr *Crogen*, ond y mae *Powel* yn sylwi, gyda phob ymddangosiad rirdeb, mai yr olaf yw y iawn enw; canys y frwydr a ymladdwyd yn fryn, odditan gastell *Crogen*, yr hwn a elwir weithiau, *Castell y* n, ac hefyd, castell *Chirk;* ac haera fod yr enw o *Adwy'r beddau* ei roddi i le gerllaw, o herwydd claddu y lladdedigion yno.

yn awr, gan fod mor lleied yn hyspysedig perthynol i'r amgylchiad ı gweithredoedd o effeithiau mor bwysfawr wedi eu cyflawni, y mae ilys gennyf nad ydyw yr hanesiad am y frwydr uchod yn gyflawn, a cyfarfod hwnw lawer mwy cyffredinol nag yr arwyddoceir. Ac felly, ıniateid i mi, oddiwrth y cofiaint byr, amneidiol, a geir ar yr achos, ı dychymyg, rhoddwn y canlynol megys dull yr amgylchiadau.

Tywysogion Cymreig, wrth glywed am fudiadau *Henri*, a'i gyrchiad 'hymru, a unasant eu byddinoedd yn *Nghorwen*, megys lle tra us o ba un iddei gyfarfod, yn mha le bynnag y byddai iddaw od ar y wlad, a dechreuasant "fesuraw castell," h. y. ffurfio caer ar ı y tu gogleddol i'r dref, yr hwn a elwir *Caer Drewyn*. Ac yno sant gaer o faintioli dirfawr, yn gyfatebol i liosogrwydd y byddincyngreiriawl, gan fwriadu amgylchu y rhan fwyaf o warthaf y bryn. yn iddynt orphen y gorchwyl, cawsant hyspysiad fod Henri yn nesau gororau. Yno gadawsant y gaer yn annghyflawn, a mudasant i waered l ddyffryn *Glyndwrdwy* iddei gyfarfod, ac y mae y rhan anorphen'r gaer etto yn aros yn yr un cyflwr;* a rhyw flaenor diweddarach a aodd y gwaith, gan gyfyngu llawer ar faintioli y lle, canys nid nhullodd gynnifer o wyr yno fyth wedi hyn, ac nid oedd achos am elaethed amddiffynfa. *Henri*, yn ol ei arfaethiad, a arweiniodd ei a Chymru, ac a ddaeth i gyffiniau y wlad, ac wrth wybod am yr ad cyffredinol yno, attaliodd ei rwysc wrth *Groes Oswallt*, a yllodd yno, gan fod y castell yn meddiant y Saeson. Y Tywysogion, tau a ddaethant iddei erbyn, ac a wersyllasant yn *Nghrogen*. Ac ddau lu, a dim ond saith milltir rhyngddynt, a fuont yn gwarchod eu l "yn hir," megys y dywaid y Brutiau, heb arfeiddiaw un ymosod lall. Ar ol treulio amser yn y modd hyn, y Brenin yn llidiog, ac yn ım ddialedd, ac yn hyderu yn amlder ei fyddinwyr, a dreiddiodd i'r mor belled ag *Aber Ceiriawg;* a chan fod yr ardal yn llawn o goed, tef yn cofio ei warth a'i golledion gynt, yn *Nghoed Eulo*, a archodd lawr y coed, fel na fyddent yn loches i'r gelynion, ac fel y gallai ei gion, a'i filwyr arfdrwm gael gwell cyfleusdra ymdriniad. Ar y pryd bu i'r ychydig filwyr Cymraeg, yn ddiarwybod iddeu Tywysogion, d ar y rhagfyddin honno a oedd yn tori y coed, megys ag y cry-

* Felly yr ymddengys i'm llygaid i.

bwyllir yn y Brutiau. Ond er mai ychydig a ddechreuasant y frwydr mae yn ddiamheuol mai nid ychydig a'i gorphenasant. Canys nid teb y buasai y Saeson yn gadael iddeu rhagfyddin gael eu gorthrechu, ddyfod a'u holl alluoedd iddeu cynnorthwyaw; ac nid dynion oe Cymry i sefyll a'u breichiau yn mblŷg, tra'r oedd eu cyfeillion yn yml o flaen eu llygaid yn erbyn nifeiriolach lu. Ac y mae mor ddiamhe gennyf, a phe cofianesid ef gan dyst gydrychiol, fod y frwydr ho frwydr gyffredinol rhwng holl luoedd cynhylledig Lloegr a Chymru. i'r Brenin oddef y fath orthrechiad, a gorfod gadael y maes, a chilia mynydd; ac yn lle parhau i dori y coed yn ol ei amcan cyntaf, a threi i'r wlad gyda rhwysg goresgynawl, gorfu arnaw yno, wersyllu, er hu ymddiffyniad, mewn oerfel a newyn, nes i rhuthriadau dibaid y Cy yn nghydâ chwerwder y tywydd, beri iddaw frysiaw yn ol i Loegr, ar y ffordd y daeth, Hyn yw y tŷb a ffurfiaf am y cadgyrchiad hwn; e nid ydyw ond tŷb, heb un awdurdod profadwy; derbynied y darllen ef fel y barna yn deilwng.

Y mae rhai yn barnu mai yn uniongyrch ar ol y frwydr hon, y can *Owain Cyfeiliawc* ei awdl o'r *Hirlas*. Lle mabwysir y dychym hwn, gellir dywedyd er cadarnhad o hono, fod yr enw lleawl cynta gwbl ymgysoni ag ef; canys o fewn i Gwmmwd *Trefred* yr ymladd y frwydr, ac ar gyffiniau Talaeth *Owain Cyfeiliawc:* ac o ddiffig boddhaol achlysur, nid oes gennyf gynnyg ond cyduno yn y tŷb.

Yr awdl a gymmer ei henw oddiwrth y corn Buelin hir, a glasliw, un yr arferid yfed. Y Tywysawg a eistedd yn ei lys gyda'i bendefigio rhyfelwyr mewn gwledd anrhydeddus, ac a archa i'r *Menestr*, sef g iwr y llyn, [*Minister*] lanw y corn, a'i ddwyn o amgylch at y gwaha bendefigion, gan eu henwi bob yn un, ac anfon y corn wedi ei ne lanw, at bob un yn neilltuol, gydag annerchiad molianawl, a cho anrhydeddus am eu gwrolder. Annichonadwy yw rhoddi yr awdl ym yn ngair, mewn iaith sathredig, heb yn hollol gyfnewid ei hania dystrywiaw ei hawenyddiaeth; canys, fel y rhan fwyaf o waith y Be y mae llawer o'i theilyngdod yn pwysaw ar anianawd y geiriad; h y mae ymadroddion byrr toledig, a thrawsfudiadau disymmwth o'r bry yn digwydd mor fynych, ag na fyddai un anrhydedd i'r awdl nag ych i'r cydieithydd, pwy bynnag a geisiai ei throi yn y cyfryw ddull. ydwyf fy hun yn deall y cyfan o'r awdl hon, ac felly, ni chymmeraf a ei heglurhau; ond gan ddilyn y tŷb uchod perthynol i achlysur ei ch soddiad, a'r ystyr cysonawl, gellir feddwl fod yr awdl yn agor g chyfeiriad at ddechreuad brwydr *Crogen*, a'r Tywysawg yn adgofian gyfeillion am roddiad y gad-floedd gyda dwyread y wawr, yn my anffodus dynged ei gelynion, eu gwyr eu hunain y gochffrydiog g

yn/

ymdrech dwys, ac yn galw yn dyst edrychwyr y frwydr, oddiar furiau y castell.

"Guaur pen dwyre gaur a doded
Galon yn anfon anvnt dynged
Geleurnt ein gwyr guedi lluted trwm
Tremit govwy mur Maelawr Drevred."

Yna ar ol ychydig linellau cyfanian, y Tywysawg, gan gyfeiriaw at ei fwriadau lletengar a gwresoglawn, a archa i'r gweinydd lanw y corn, a'i ddwyn at un o'r gwesteion o'r enw *Rhys*,

"Dywyllaw di venestyr gan vothaed
Y Korn yn llaw Rhys yn llys llyw ced
Llys Ewein ar brait yt ryborthed eirioed
Porth mil a glywi pyrth egored."

Ac yna yr anfona y corn yn yr un modd at amryw wronion, wrth eu henw, gan draethu rhyw gyfarchiad cymmediwaidd i bob un, perthynol iddeu dewrder a'u teilyngdod milwraidd, megys *Gwgan Gruffydd*, *Ednyfed*, &c. Ac yn mhen ychydig, ceir ganthaw un tarawiad prydyddol tra nodedig o ran y dychymmyg a'r brydluniad, yn gystal a'r dull disymmwth ac effeithlawn o'i ddwyn yn mlaen. Canys archa i'r gweinydd gyda mwy o bwysfawrogrwydd nac o'r blaen, lanw, a'r llyn goreu, y corn anrhydeddus, addurnedig ac arian tew, a'i ddwyn at *Tudur*, eryr brwydrau; ac hefyd ei ddwyn at *Moreiddig*, annogydd cerddau; ac yna canmola yn uchel eu gwrolder a'u teilyngdod rhyfelawl, gan gyfeiriaw at eu gorchestion drosto. "Rhyfelwyr a'm cyflawnasant gwasanaethau—bleiddiaid rhythrawl i flaen-rhesau brwydr, yn mhlith enbydus a gwaedlyd waewffyn—achybwyr pob rhaid, cochion eu harfau, cadwent rhag terfysc eu cyffiniau; clod yw eu heiddo y rhai gwynfydus."—Ac yna fel y mae efe yn danfon y corn ettynt, gwel eu lle yn wâg, a hwynthwy heb fod yn mhlith y llu. Ac yno cofia yn uniongyrch eu bod wedi syrthio yn y frwydr rhagflaenawl; gan ac ar hynny, tor allan gyda galarnad marwnadawl am eu colli, gan hyspysu mor flin ganthaw y cof o weled eu clwyfau, a datgan mor drwm y teimla ei golled.

"Diwallaw di venestr na vyn angau
Korn can anrydet ynghyvetau
Hirlas buelin breint uchel hen ariant
Ai gortho nid gortheneu*
A dytwg i Dudur eryr aereu
Gwirawd gyssefin o'r gwin gwineu
Oni daw i mewn o'r met gorau oll
Gwirawd o ban dy ben vateu
Ar llaw Voreitig llochiat certau
Kertyn hyn i glod cyn oer adnau
Dieithr vrodyr vryd uchelden
Diarchar arial a dan daleu
Cedwyr am gorug gwasanaetheu
Nid ym hyn dihyll nam hen deheu
Kynnivieid gyrthieid vleinieid vleitiau
Kynvaran creulawn creulyd vereu
Glew glyw Mochannwys o Bowys beu
O glew gwnet arnatunt deu
Achubieit pob rheid rhut eu harveu
Echedwynt rag terfysc eu tervynau
Moliant yw ei rann y rei gwynnau
Marwnad vu ueud mi newid y dau
O chan Grist mor drist wyf o'r anaeleu
O goll Moreitig mawr ei eissieu."

* Rhai a gymmerant y gair hwn megys *gwrthenau*—*min-gam*; ond y mae yn amlwg mai Por a *teneu* yw ei wreiddiau, a bod yr ymadrodd yn arwyddocau fod yr arian a doai y corn yn *drwchus*—nid yn *deneu*.

Y mae *Giraldus Cambrensis* wrth grybwyll am y cadgyrchiad yma o eiddo *Henri II.* yn ei alw yn un anfuddiol, ond etto yn draulfawr, ac yn fawrhydus.* Ac yn dywedyd i'r Brenin orfod dychwelyd yn ddifudd o achaws y rhyferthwy, a'r gwlaw. Ac y mae yr awdwr hwn, ar yr un pryd, yn rhoddi un anghraifft o ymddygiad *Owain Gwynedd*, yr hon a'i dengys yn ddyn call a phwyllgar. *Giraldus* a ddywaid, i rai o flaenoriaid y fyddin Saesonaeg, y dydd cyn dychweliad y Brenin, fyned a llosgi rhai o'r Eglwysi Cymraeg, ynghyd a phentrefi; ac ar yr hyn y bu i feibion *Owain Gwynedd*, gyda gwyr ieuainc gwisgi y llu, ddyfod ac annog yn danbaid eu tad a'r Tywysogion ereill, gan ddywedyd ac haeru na fyddai iddynt, fyth mwyach arbed Eglwysi y Saeson. Ac fel yr oedd yn agos yr holl lu yn cydsyniaw yn y bwriad hwn, *Owain Gwynedd* yn unig, gan ei fod yn ddyn o gymmedrolder a challineb mawr, gwedi gostegu y terfysc a lefarodd yn y modd hyn. "Fy marn i, yn wir, ni chyduna yn y penderfyniad hwn; canys dylem yn hytrach orfoleddu o blegyd y weithred hon, a llawenhau: o herwydd, oddieithr ein cyfnerthu â dwyfawl gynhorthwy, yr ydym o lawer yn anghyfartal a'r Saeson,† ac y maent hwy trwy y weithred hon, gwedi peri i'r Rhagluniaeth, eu cynhalydd hwy a ninnau, fod yn elyn iddynt. Am hynny bydded i ni addaw yn ddifrif i'r Arglwydd, y bydd i ni ddangos i'r Eglwysi a'r llefydd cyssegr ychwaneg nag arferol o barch ac anrhydedd." Y llu a gytunodd a'r cyngor hwn, a'r nos ganlynol y daeth y gosp o'r llifeiriant ar y Saeson.

Y mae y cofiant hwn yn ddiau yn profi parch Owain tuag at grefydd, ac hefyd ei ddoethineb megys blaenor. Canys pe buasai efe yn cydsynio gyda'r gwyr ieuainc penboethion hyn, yn eu bwriad o fyned i gyflawni dialedd ar yr Eglwysi Saesonaeg, fe fuasai yr holl fyddin Gymraeg yn gadael eu gorchwyl o warchod y Brenin, ac yn ymdaenu ar hyd faesdir Lloegr, yr hwn oedd o fewn ychydig filldiroedd iddynt, ac yn diffeithio y wlad trwy ladd a llosgi, tra buasai y fyddin Saesonaeg yn cael cyfle i ymadael a'u sefyllfa gwarchâedig a threiddio i Gymry yn ddiwrthladd. Pa fodd y cafodd y Saeson rhagenwedig gyfleusdra i adael eu lloches i gyflawni eu cyflafn, ni hysbysa *Giraldus*. Yr Eglwyswr hwn, gan mwyaf, a frysia heibio i amgylchiadau gwladawl a milwraidd, gydag un gair neu ddau, tra y sylwa gydag helaethrwydd ar bethau Eglwysig, y rhai yn fynych y byddai i'r hanesydd cyffredinol, pe caffai ei ddewis, eu hebgor lawer yn hytrach na'r lleill.

* "Rex Henricus Secundus cum expeditione quanquam inutili, sumptuosa tamen et nobili, nostris temporibus Powisiam intravit."

† Cysona hyn yn gywir a'r mynegiadau perthynol i anfeidrawl liosogrwydd byddin Henri.

*mri*, gan ei fod yn bennadur tra balch ac uchelfrydus, ni allai oddef yw orthrechiad gwaradwyddus ag a dderbyniodd, heb deimladau o hywilydd, o'r math mwyaf llym a phigog; ac yn llawn o fwriadau dawl, dychwelodd i *Gaerlleon Gawr*, gyda phenderfyniad o hur un cynnig yn ychwaneg i oresgyn y Cymry, a'u cospi am y a gafodd ar eu dwylaw. Ac i'r dyben o gyflawni hyn, perodd ymgyn- i holl gadernid llynghesawl attaw; ac er cyfnerthu ei ddarpar, cyflog- ngau o'r *Iwerddon*, ac hyd nod anfonodd am rai, yr ail waith, i'r iono. Ond ar ol yr holl ymarfogiad yma, pan clywes ef fod *Rhys ap ydd* ac *Owain Gwynedd* yn ymluyddu yn gadarn yn ei erbyn, er m y wnaeth efe a'u meibion, gollyngodd y llongau ymaith a dychwel- n ol tua'i gartref.

d er i'r Brenin rhoddi heibio ei fwriad, etto y Cymry ni llesghasant hymdrechiadau gwladgar. A *Rhys ap Gruffydd* a aeth yn erbyn l *Aberteifi*, ac a'i torres, ac hefyd gastell *Cilgerran* yn yr un modd; ldaliodd yn garcharor ei gefnderw *Robert Fitz-Stephen*, ceidwad ll *Aberteifi*, mab i *Nesta*, ei fodryb, a dychwelodd adref gydag rdedd, a dirfawr anraith.

i y flwyddyn rhagwyneb daeth llu mawr o *Fflemysiaid* a *Norman-* o wlad *Penfro*, ac a ymosodasant yn gadarn ar gastell *Cilgerran*, yr oedd yn nghadwraeth *Rhys;* eithr ar ol colli llawer o'u gwyr, dych- ant yn waglaw. Ond mor benderfyniol yr oeddynt i gael meddiant castell hwnnw, ag iddynt yn mhen ychydig amser, ddychwelyd tuag r gyda darpariaeth fawr; ac ar ol cael eu maeddu y waith honaw iefn, dychwelasant iddeu gwlad yn ddifudd.

a'r oedd *Rhys* yn buddigoliaethu yn y modd yma yn y dehau, yr *Owain Gwynedd* yntau yn canlyn yr un rhwysc anrhydeddus yn y dd; ac ymosododd ar gastell *Basing*, ac a'i cymmerodd o ddwylaw y n, ac a'i cadarnhaodd, ac a osododd ei wyr ei hun ynddo.*

id ynawr, gan fod y Cymry gwedi eu rhyddhau oddiwrth ymosod- l y Saeson, gwelwn hwy yn ddioed yn dychwelyd at eu hen arferion rysonau cartrefol. O herwydd o gylch yr amser yma, [1167] y eiriodd *Owain Cyfeiliawc*, ac *Owain Fychan ap Madawc ap dydd*, yn erbyn *Iorwerth Goch ap Meredydd*, a chan ei yrru allan rfoeth, a'i rhanasant rhyngddynt eu hunain, gan osod *Mochnant Rhaiadr* i *Owain Cyfeiliawc*, a *Mochnant Is Rhaiadr* i *Owain* an. Ond y weithred hon a dynnodd arnynt ddihaledd y Tywysogion O herwydd *Owain Gwynedd* a *Chadwaladr* ei frawd a *Rhys ap ydd* a ddaethant yn eu herbyn, a chan yrru *Owain Cyfeiliawc* allan

* gylch yr amser yma bu farw *Llewelyn ap Owain Gwynedd*, gwr yn rhagori mewn r a doethineb, ac amryw rinweddau ereill.

o Bowys, a ddodasant i *Owain Fychan* adael castell *Caereiniawn* yn mraint *Owain Gwynedd.* Ond cyn hir *Owain Cyfeiliawc* a ddychwelodd, gyda llu o Normaniaid yn gyfnerth iddaw, ac a adennillodd ei feddiannau, ac a gymmerodd gastell Caereiniawn, ac a'i llosgodd.

Yn yr un flwyddyn, daeth *Owain Gwynedd* a'i frawd *Cadwaladr* yn erbyn castell *Rhuddlan*, yr hwn oedd yn dra chadarn, gwedi ei adgyweirio gan y Brenin Henri; ac ar ol ei warchae dors dri mîs, a'r castellwyr yn ei ymddifyn gyda gwrolder tra godidog, y Tywysogion a'i cymmerasant ac a'i torrasant; ac hefyd gastell *Prestatyn*, yn yr un cadgyrchiad.

Dangoswyd eisoes fod *Rhys ap Gruffydd* wedi cymmeryd yn garcharor ei gefnderw, *Robert Fitz-Stephen;* ac yn awr, ar ol ei gadw ef felly dros ennyd, gwelwn ef yn caniatau iddaw ef ei rydd-did; yr hyn a wnaeth o herwydd y cynnyg a wnaethpwyd i *Fitz-Stephen* gan *Dermod Mac Murchad*, brenin alltudiedig o'r Iwerddon, yr hwn a geisiai gyfnerth tuag at ailennill ei gyfoeth. Yr ydoedd eisoes gwedi addaw i iarll Clar feddiant o Dalaeth Leinster, ac yn awr addawai i *Robert Fitz-Stephen* a'i frawd *Maurice Fitz-Gerald*, Dref *Wexford*, a'r ardal amgylchawl, os byddai iddynt hwy uno yn yr un gorchwyl. Ar hyn, *Rhys ap Gruffydd* ar ol ychydig o oediad, a ryddhaodd *Robert*, a'r ddau frawd a hwyliasant i'r Iwerddon, ac yno dechreuwyd yr hyn a ddiweddodd yn nghyfan ddarostyngiad yr ynys honno gan frenhinoedd Lloegr. Gwel t. d. 132.

Y fyddin, yr hon a hwyliodd o Gymru, a oedd dan dywysiad *Robert Fitz-Stephen;* cynhwysai 30 o farchogion, oll o blith ei geraint ei hun, 60 o wyr mewn arfau trymion, a 303 o'r Saethyddion goreu yn y Deheubarth. Y fyddin fechan hon a dirioedd yn lle a elwir *Bann*, [*Llwch Garmon* medd y Brut] gerllaw *Wexford.* A thrannoeth y tiriodd yn yr un lle *Maurice de Prendergast*, pendefig o Ddyfed, yr hwn a ddaethai yn gyfnerth iddynt; a 10 marchog, a 60 o Saethyddion. Ac yn ebrwydd unodd *Dermod* a hwy â 500 o wyr. Ac ar ol ymladd caled, ennillasant dref Wexford. Gwedi yr hyn, cawsant gyfnerthiadau o Frydain, ac ymsefydlasant yn y wlad. Y cadgyrchiad hwn a gyffrowyd yn 1168.

Tra'r oedd y Cymry yn y modd hyn yn anfon lluoedd i wlad ddieithr, yr oedd yr un yspryd cynhyrfgar yn effeithio yn eu plith eu hunain, gartref; rhai o ffrwythau pa un a geir yn y mynegiadau byr yn y Brut, lle y dywedir i *Feurig ap Adda*, o *Fuellt*, gael ei ladd yn ei gwsg, gan ei gefnderw, *Meredydd Bengoch.* Ac hefyd i *Gwrgeneu*, Abbad, a *Llanidden*, ei nai, gael eu lladd gan *Cynan ap Owain Gwynedd.* Achlysur y cyflafn olaf hwn, ni fynegir; na phaham y cyflawnid y cyfryw ar wr Eglwysig; ond dichon fod hwnnw, fel llawer o'i frawdoliaeth, yn ymyrryd mwy na rhaid â phethau gwladwriaethawl, ac ysgatfydd yn ymgynllwynaw yn erbyn *Cynan.* Ond pa un a roddasai yr annogiad

id hawdd dychymyg. Yr oedd y *Cynan* hwn llawn mor derfys-nian, ag y gallai unrhyw fonach fod yn rhoddedig i ddirgel-frâd. o afreol ac anghyfraith oedd y rhai hyn. Unig hunan amddi-gwan a'r anarfawg, oedd dichell; ac unig raith y cadarn ydoedd urawg y cleddyf.

iser hwn, sef 1169, a welodd drancedigaeth yr ardderchog rg, Owain Gwynedd, ar ol teyrnasiad gogoneddus o 32 mlynedd; 'g, yr hwn yn ystod ei einioes, a fwynhaodd arwyread clodforusaf ac ar ol ei farwolaeth a gafodd iddei goffadwriaeth deyrnged ldus o'r unrhyw ddefnyddiad coeth. Heblaw yr odlau o eiddo *nai*, y mae hefyd gan *Gynddelw* rai cyfansoddiadau i *Owain d*, yn mha rhai y cyfeiria at amryw o'i frwydrau. Ac am un o ba rwydr *Aberteifi*, rhodda y fath ddarluniad bywiog prydyddawl o'r lchiadau, ag, braidd y gallasai ei ddychymmyg, oddeithr gan un a 1 weledydd o honynt. Ac er mor faith y tynnais eisioes allan o Beirdd dan y teyrnasiad yma, nis gallaf ymattal rhag rhoddi y 1 yn ychwaneg. Y mae *Cynddelw*, yn gyntaf, yn cyfeiriaw at *Owain*, a'i ymdrech frwydrawl; ac yna, yn dywedyd fod gwyrdd rfr *Teifi* yn tewychu gan waed gwyr a'r llanw morawl; bod y [môr aderyn] wedi cochu ganthaw, yn groch ysgrechain yn us tra yn nofiad ar y tonnau gwaedlyd.

"Gwyrdd heli Teifi tewychai
Gwaedlan gwyr a llyr ai llanwai
Gwyach rud gorfud gorulwai
Ar doniar gwyar gonofiai."

ch feddyliadau hyn a ddygant i'm cof yr ymadrodd yn awdl *nai*,* t. d. 558, "*A Menai heb drai o drallanw gwyar.*" yr lerbyniodd y fath ganmoliaeth gan yr Esgob Percy.

madael a'r testyn yma, synniaf ei fod yn addas i mi fynegu fod yn awdl *Gwalch-*riau, y sawl a ddygant mwy nag un ystyr. Ac y mae gennyf ryw betrusder i mi hai nid ydynt iawn. Y ddau ymadrodd a'm dyrysant fwyaf yw y rhai canlynol.

"Llwrw hirion lli."

Ac

"Ar fawd fodi."

arant y cyntaf, *llwythau*, neu *feichiau* hirion yr eigion. Ond fy nadl am beidio yr ystyr hwn, fyddai fod y gair *llwrw* yn y rhif unigol, a *hirion* yn y lliosog. Am dd arall, eglurhâir ef megys yn arwyddocau *boddi* yr ymladdwyr yn Menai. wysais hyn; oblegid meddyliais pe buasai felly, y rhoddasid ef *bawdd boddi* yn *beri*, ac nid *fawdd*. Ond nid wyf yn alluog i baeru am y pethau hyn gydag nn mae yn rhaid i mi gyfaddef fod llawer o debygolrwydd mai *boddi* yw ystyr y od hynny yn cysoni a'r amgylchiadau hanfodawl. Ac y mae yn rhaid i mi sylwi ynol i hen farddoniaeth, er y gellir ddeall y rhan fwyaf o ryw awdl yn gryn dda;

*Owain Gwynedd* a adawodd amryw o blant. O'i wraig gynt[illegible] *Gwladys* merch *Llywarch ap Trahaearn ap Caradawc*, cafo[illegible] *Iorwerth Drwyndwn*, *Cynan*, *Maelgwn*, a *Gwenllian*. O'i ail wra[illegible] *Crisiant*, [*Christiana*] merch *Gronw ap Owain ap Ednywain*, cafo[illegible] *Dafydd*, *Rhodri*, *Cadwallawn*, Abbad ynys Enlli, ac *Angharad*, gwra[illegible] *Gruffydd Maelawr*. Ac heblaw y rhai hyn bu iddo, o ordderch, o amry[illegible] fenywaid, y canlynol; sef, *Cynan*, *Llewelyn*, *Meredydd*, *Edwal*, *Rhu*[illegible] *Hywel*, *Cadell*, *Madawc*, *Einiawn*, *Cynwrig*, *Phylyp;* o ba rai, *Rhu*[illegible], *Llewelyn a Chynwrig*, a fuont feirw o flaen eu tad.

*Owain Gwynedd* a gladdwyd yn Eglwys Gadeiriol Bangor, o flaen yr allor, lle y gorphwysodd mewn llonyddwch dros ugain mlynedd; canys dangoswyd ei feddrod ef i *Giraldus Cambrensis*, a *Badlwin* Archesgob Caergaint, yn 1188, ynghyd ag eiddo ei frawd *Cadwaladr*. Ond ni chafodd fwynhau hyd nod y loches honno yn barhaus. Yr oedd *Owain* wedi bod yn hir cyn ei farwolaeth dan ysgymmundod Eglwysig, gan *Thomas a Becket*, Archesgob Caergaint, o herwydd ei fod wedi priodi ei gyfnither.—yr hyn oedd yn draws i ddefodau eglwysig yr oes. A *Baldwin* a roddodd orchymyn i Esgob Bangor i symmud corff y Tywysawg allan o'r Eglwys! yr hyn a wnaeth efe yn ddioed. Ond gan na feiddiai ei wneuthur yn gyhoeddus, rhag ofn digofaint y werin, cyflawnodd ei waith, trwy dorri trwy fur yr Eglwys, a symmud y corff i maes o'i therfynau, i'r fynwent oddiallan.—Wele yma wrthrych tra theilwng.—Yr eglwyswyr estronaidd, balch, rhagrithiawl hyn, yn dyfod i'r man hwnnw i ddyhidlo gwibed, tra yr oeddynt eu hunain, gartref, yn feunyddiol yn llyncu camelod. Tywalltent eu holl lid ar y Tywysawg clodfawr hwn, am weithred hollawl annhroseddawl, gan nad oes yn ei erbyn y cysgod lleiaf o awdurdod ysgrythyrol, tra yr oeddynt ar yr un pryd yn edrych gyda'r dibrisdod mwyaf ar yr holl droseddau erchyll o drais a thrachwant â gyflawnid yn y wlad. Y llofruddio, y gormes, y tynnu llygaid, a'r brad, a'r cynllwyn, a'r carchariad anghyfiawn, a'r holl afiawnderau arswydus eraill y rhai â amlhaent trwy Loegr, yn gymmaint, os nid yn fwy nag yn Nghymru. Pa le yr oedd ei dedfrydau ysgymmunawl yn erbyn y rhai hyn? Yr oedd y rhai hyn yn erbyn Duw, ac nid oeddynt yn cyffroi eiddigedd dyn. Ond yr oedd priodi cyfnither yn bechod yn erbyn yr Eglwys, ac felly llid yr Eglwyswyr a ennynai yn erbyn y weithred. Ni sonid erioed ganddynt am yr holl blant o ordderch a oedd gan *Owain*; ond pan briododd ei gyfnither, a thrwy y weithred

etto, o achos y dull afreolaidd o'r hen lythyreniad, yn gystal a'r geiriad byr, toledig o eiddo y Beirdd, a'u trawsneidlad disymwth o wrthddrych i wrthddrych, y mae amryw ymadroddion yn banfodi y rhai a ofynant ddealltwriaeth dra threiddiol yn yr hwna gymmero arnaw eu heglurhau oll yn ddibetrus.

niweid hyny a droseddodd ddefodau llygredig, ac anysgrythyrol o eiddo ion, yna, maes o law, taranwyd felltithion ar ei ben, y rhai a'i canlyn-hyd nod ar ol gorwedd ugain mlynedd yn ei fedd. Hefyd, ni a gan-lwn yn y weithred hon y modd y darfu i estron lywodraeth Eglwysig ldo i ymwthio i Gymru, hyd nod yn hir cyn i un oresgyniaeth ıdwriaethol gymmeryd lle. Canys yr oedd Talaeth Gwynedd y pryd yn gwbl annibynol, o ran llywodraeth gwladawl; ond yr oedd Arch-b Caergaint, a'r offeiriaid Saesonaeg wedi llwyddo i effeithio yn gel trwy ddichell a chyfrwysdra, yr hyn ni allai holl gadernid Lloegr yflawni trwy rym arfau. Ac er gwarth annileadwy i'r genedl, y dieith-balch a gormesawl o eithafoedd estrondir Caint, a feiddiai fwrw allan wn ysgymundod, lwch y Tywysawg clodfawr, o'r gysegrfa, yr hon y ldiffynodd mor hyf, ac mor wrol, dros gynnifer o flynyddau.

'e adyn penrydd, digrefydd, fuasai *Owain Gwynedd*, etto, braidd yr lurdodasai hynny y cyfryw ymddygiad gwrthun, tuag at ei lwch, ar ol ıifer blwyddyn; ond nid y cyfryw oedd ei gymmeriad. Yr oedd efe yn yn y parchlonrwydd dwysaf tuag at grefydd, megys y tystia *Giraldus* ei draethiad am arbediad Eglwysi ei elynion; canys gallasai ymddial ıynt, ar ol ymadawiad Henri, heb ofn niweid, trwy wasgariad ei wyr; d yn lle hyn, llwyr attaliodd y cyfryw weithred. Ac ar ei wely angau, ngosodd yr un parchlonrwydd crefyddol, fel y tystia y Brut, yr hwn a lywed iddaw farw "wedi cymryd penyd, a chyffes, ac edifarwch, a ıymmun rhinweddeu corff Crist, ac olew, ac anghen."

1169.—1170.

Gwir etifedd *Owain Gwynedd* ydoedd ei fab henaf, *Iorwert* wraig gyntaf *Gwladus*, a'r hwn a elwir *Iorwerth Drwy* *Drwyn dorredig*, a'r hwn enw a gafodd o herwydd anaf ar ei d oddiwrth y gair *twnn* gellir casglu mai ei glwyfo a gafodd yn Ond pa beth bynnag a'i achlysurodd, yr oedd yr anaf mor drwm ogu i gymmeryd mewn llaw lywodraeth y Dywysogaeth; ac debygol iddaw giliaw yn ddiymgais iddei diriogaeth neilltuol hyn a gynhwysai *Nanconwy* ac *Ardudwy*, a gwnaeth ei a Nghastell *Dolwyddelan*.

Yn nesaf at Iorwerth Drwyndwn yn yr etifeddiaeth oe *Llewelyn*, yr hwn ar ol y pryd yma, ac yn mhen amryw fly fwynhaodd yr orsedd, ac a ddisgleiria mor ogoneddus yn mhlit ogion Cymru dan yr enw *Llewelyn ap Iorwerth:* ond ar yr yr oedd yn rhy ieuanc, ac yn rhy ymddifad o gyfnerthiad i h etifeddiaeth yn erbyn yr ymgeiswyr cedyrn, y rhai a ymgystadle Canys yr oedd dau o feibion *Owain* eisioes yn y maes ar y cyfry sef, *Hywel* a *Dafydd* y rhai a ymgystadlent gydag egni a ffy am yr oruchafiaeth. Yr oedd *Dafydd* yn fab i *Grisiant*, *Owain*, ond yr oedd *Hywel* yn fab o ordderch, a'i fam oedd Eithr *Hywel* oedd yr henaf, ac ymddengys iddaw, ar farwolaet ymafaelyd yn yr orsedd, a chadw meddiant arni, dros yn ag flynedd; a phaham nas rhoddir ef yn mhlith Tywysogion Gw gystal a'i frawd *Dafydd*, nis gwn. Nid oedd gan hwnnw fwy orsedd nag yntau, canys trawsfeddianwyr oeddynt ill dau; ac ddilys i *Hywel* fwynhau arbenicter y Dywysogaeth dros dalm Ac felly, er fy mod hyd yn hyn wedi canlyn trefn y cofrestr cyf deyrnasiad y Tywysogion, yn ol ei roddiad yn llyfr *Powel*, achlysur yma, rhyfygaf droseddu y reol honno, ac ychwanegu u rhai eisioes mewn mabwysiad.

*Hywel ap Owain Gwynedd* ydoedd yn ryfelwr gwrol a n brydydd awenyddol, ac, os cywir y barna rhai, yn gyfrin o ddi Derwyddiaeth. Ei orchestion milwraidd a fynegwyd yn eu lle, gyfansoddiadau Barddodawl hefyd a gyfeiriwyd attynt, ac r Dderwyddiaeth honnedig, nid anghofir. Ond yn mlaenaf ddyledus sylwi ar ei rwysc, megys Tywysawg yn hawliaw, ac iannu gorsedd Gwynedd.

lynegir mewn un ysgrif o'r Brut, sef *Llyfr Aberpergwm*, i *Hywel*, irwolaeth ei dad, gan mai efe oedd yr hynaf o'i feibion, gymmeryd iw y lywodraeth, a'i chadw dros ddwy flynedd; eithr iddaw ar ol y gael ei orthrechu a'i ladd mewn brwydr, gan ei frawd *Dafydd*, yr , ar hynny, a feddianodd yr orsedd. Yr hanesiad sydd fal y canlyn.

Oed Crist 1169, bu farw *Owain*, Tywysawg Gwynedd, wedi gwlad- ı ddeuddeng mlynedd ar hugain; a gwedi hynny ydd aeth ymryson ıg ei feibion, am a gai fyned yn ei le, eithr *Hywel ab Owain* a merth arnaw'r Llywodraeth, canys hynaf oedd efe;* ei fam oedd *og*, merch Arglwydd urddasawl o'r Werddon; a gwedi bod yngores- ıeth y Dywysogaeth dwy flynedd, yn heddwch, bu farw ei chwegrwn, fe a aeth i'r Werddon i oresgyn y cyfoeth a gawsai, yn hawl ei fam, raig, canys unig etifeddes oedd hi; a thra y bu efe yno, *Dafydd ap* ıin, ei frawd, a gynhullawdd genedl ^ sef oedd hi *Crisiant*, merch ei fam nwy ab Owain ab Ednywain, a chyda hynny daeth attaw lawer l ni charent *Hywel;* a phan weles efe gadernyd yn gyfnerth iddaw, merth arnaw'r Llywodraeth, a goresgyn *Gwynedd*. A *Hywel* yn ed hynny, efe a ddaeth yn ebrwydd i *Wynedd*, ac a ddodes gâd ar yn erbyn ei frawd; eithr llawer mwy nifeiriawg llu *Dafydd* nag un *vel*, a gwedi ymladd caled, gyrwyd ffo ar *Hywel* a'i wyr, ac efe a fwyd dan ei ais yn flin; eithr *Rhirid* ei frawd a dug i long, ac yna *Verddon*, lle y bu *Hywel* farw, ac efe a roddes i Ririd ei frawd ei eth yno."†

yn yw y cyfan a geir yn y Brut am farwolaeth *Hywel;* ond oddiwrth cyfansoddiadau Barddonawl, gellir casglu ychydig yn ychwaneg o ınt am dano. Y mae y Bardd, *Perif ap Cedifor*, yn rhoddi rhai iriadau ar yr achlysur, gan fynegu y lle yn mha un y lladdwyd ef, efyd, megys tyst o'r amgylchiad, yn enwi y dydd o'r wythnos. Ar ol iriaw at y flwyddyn neu ddwy o deyrnasiad *Hywel*, y Bardd a waid,

"Difiau i'n diau leas[1]
Yn y Penrhyn uch Penrhos
Ym Mon y mewn ei hynys
Ydd ym lleddir a llafn glas
Dielid mab Duw dygn alaeth Hywel
Hael echel och arfaeth

[1] Dydd Iau yn ddiau y lladdwyd.

Y mae yma gadarnhad o'r hyn a ryfygais honni o'r blaen, [t. d. 427,] sef na fu yr f hon o *Frut y Tywysogion*, sef *Llyfr Aberpergwm* ddim dan sylw *Powel* a *H. Llwyd*; , braidd y gallasent adael allan enw *Hywel* o'r gofres, canys dywedir yn eglur ei fod ı meddiant o'r lywodraeth.

Yn mhlith meibion Owain Gwynedd ceir enw *Rhirid*, Arglwydd *Clochran*, yn yr ddon. Yr oedd hefyd un o feibion *Cedifor*, a brawd maeth i Hywel o'r enw *Rhirid*.

Am ledrad frad freuolaeth[2] — [2] marwolaeth.
Ef a'i frodyr mawr wyr anaeth[3] — [3] maeth.
Llas arth yn y gyfarthfa
Llas nerth gwyr eryr aerfa[4] — [4] aer-brwydr.
Llas Hywel wyn[5] fab Ywain — [5] bendigaid.
Llas gwr mirain uch morfa

Y mae y Farwnad hon yn cynwys rhai ymadroddion, y sawl a ell ddeall megys yn gwrthddywedyd haeriad y Brut am gludiad Hy glwyfedig i'r Iwerddon, canys arwyddocant iddo gael ei ladd ar y a'i gladdu yn *Mangor*, gyda dau o feibion *Cedifor*. Ond ysgatf gellir cysoni y ddau hanesiad, trwy ddeall fod y clwyf a dderbynio angheuawl, ac iddei gorff gael ei ddwyn o'r Iwerddon i *Fangor*, gladdu gyda'i dylwyth. Y canlynol ydynt yr ymadroddion cyfei ettynt.

"Am fyned Hywel hawl diachor traws
Doeth tristyd i'm cyngor
Yn naear franar Fangor
Doe a dau fab Cedifor
Fy nghalon a gryn rhao erchlais y fran
Dechreu gwan dychrynais
Gwae fi pan ei harais
Gwaew yn Hywel a welais
Bran a gre yn y gyfarthfa
Ni ddarogan i'm ddim da
Bod mab brenhin gwyn Gwynedd
Yn gorwedd yn yr aerfa."

Am y *Perif* hwn, na *Ghedifor* ei dad, nid oes hyspysiad; ond wrth yr hyn a gaf mewn Barddoniaeth, casglaf mai *Cedifor W* oedd hwnnw, a'i fod yn dad-maeth i *Hywel.** Ac y mae yn y Arch. un Awdl i *Hywel ap Owain*, am yr hon y dywedir "Nis gw pwy a'i cant," ond am yr hon y dywaid Gwilym Owain mewn un mai gwaith *Llewelyn Fardd* ydyw, ac mewn man arall, rhydd *Einiawn ap Gwgan*; ond yr oedd y ddau hyn yn byw hanner can ml yn rhy ddiweddar i ganu marwnad *Hywel*, megys tystion o'i farwo ond ar ol craffu ar gynhwysiad yr Awdl hon, barnaf ei bod o gyfans un o feibion y *Cedifor* hwnnw, ysgatfydd *Perif;* yn yr hon y trae Bardd am angau Hywel, a'i frodyr maeth, meibion Cedifor, ac arwy ei fod ef ei hun yn un o'r teulu hwnnw; canys dywaid ei fod un o brawd, dewr a gwrol, o ba rai nid oedd ond tri y pryd hwnnw yn fy

* Os cywir y dychymmyg hwn, y mae yn debygol iddo dderbyn yr at-enw G nid o achos ei fod yn enedigol o'r *Iwerddon*, eithr gwedi bod yn trigo yn y wlad fal y cafodd amryw o'r Cymry yr at-enw *Sais* o herwydd eu hanneddiad yn megys *Einiawn Sais*, ac eraill; canys y mae yr enw *Cedifor* yn Gymraeg, ac hefyd e feibion, megys *Ithel*, *Iddon*, *Brochfael*, *Rhirid*, *Caradawc*, ac *Aearddur*, yr un peth a I tybiaf. Am *Perif*, nis gallaf nodi ei hanniad.

gael eu lladd gyda *Hywel*. Heblaw y mynegiadau hanesyddiol gynhwysa, y mae rhyw beth yn nghyfansoddiad yr awdl hon, ag ihella ei rhoddi yma yn gyfan; canys, er mewn mesur Barddon- mae rhai o'r ymadroddion mewn iaith mor ymddiddanawl, ag y gallem ddychymmyg ei bod hi yn chwech can mlynedd o

Eithr ychwanega brawf anwrthladdadwy at yr aml rai eisioes anfodiad, nad oes dim cyfnewidiad sylweddawl rhwng Cymraeg y ddyw a honno o'r 12ed ganrif; o blegyd yr hyn a wna iaith yr oes ymddangos yn ddieithr i nyni, heblaw yr hen lythreniad, ydyw y wys a dyrys o gyfansoddi, mewn arferiad gan y Beirdd; ond pan w gyfran o'r iaith yn rhydd oddiwrth ddwysder Barddonawl a er llêenyddiol, gwelir yno ddiau iaith werinol Cymru y dydd . Y ganlynol yw yr Awdl dan sylw.

| | |
|---|---|
| am yn seith triseith nyn beitei<br>yn kilyei kyn an lleith<br>s ysywaeth or seith<br>tri trin dioleith | "Tra fuom, ein saith, tri saith ni'n beiddiai;<br>Ni chiliem cyn ein lladd.<br>Nid oes ysywaith o'r saith,<br>Namyn tri yn anlladdedig o frwydr, |
| yr y buam dinam digythrut<br>igyflut eu kyflam<br>yr ffyryf ffo diadlam<br>ynt ny gymmerynt gam | Saith wyr y buom difai, disyfl,<br>A diattal yn eu cydrwysc;<br>Saithwyr diysgog, ni adlament mewn ffoad;<br>Saith gynt ni chymmerent afiawn. |
| w Hywel hwyl diotef kad<br>rd vuam gyd ac ef<br>n oll goll gyuadef<br>tegach teulu nef. | Gan y cerddodd *Hywel* helynt angheuawl<br>I nyni oll y rhai a fuom gydag ef, [brwydr<br>Y mae cyfaddef colled;<br>Ac iddo ef mae cyfeillach teccach teulu nef. |
| u kediuor kyd ehelaeth blant<br>ı y pant vch pentraeth<br>›rwysgyon breisc aruaeth<br>›riw ger ei brawd uaeth. | Meibion *Cedifor* nifeiriog blant;<br>Yn y pant uwch *Pentraeth*,[1]<br>Buont rythrawl mewn gwych ymfwriad,<br>Buont laddedig gyda'u brawd maeth. |
| rwid brad brython ag cristyawn<br>cristin ae meibyon<br>lyn y myw y mon<br>›hunelyeid brychuoelyon. | Y brwd-gymysgwyd brâd cythryflawl an-<br>Gan *Cristin*[2] a'i meibion; [nghristion,<br>Nid oes gwr yn fyw yn Môn,<br>O'r *Brochfaeliaid*[3] brychfoelion. |
| ıl o da o dala tir pressent<br>esswyluod aghywir<br>w gwae danyt enwir<br>;walch ryuel hywel hir. | Yr a ddel o dda, o ddala tir present[4]<br>Preswylfod anghywir,<br>A gwaewffon gwae *Dafydd*[5] anwir<br>Drywanu hebawg rhyfel, *Hywel* hir. |

| | |
|---|---|
| Caradawc vab kediuor | *Caradawc*, fab *Cedifor* |
| Gwalch bydyn gwerin goror | Blaenor byddin, pennaeth llu, |
| Hebawc teulu ku keinmynn | Gwron teulu, caredig addfwyn |
| Anhawd genhym dy hepcor." | Anhawdd gennym dy hebgor." |

[1] Yn yr Awdl rhagenwedig crybwyllir am yr un amgylchiad megys yn digwydd yn y *Penrhyn uwch Penrhos*, ac hefyd *uwch morfa*; dilys mai yr un lle a feddylir. [2] *Crisiant*, neu *Christiana*, ail wraig Owain Gwynedd. [3] Teulu *Brochfael*, un o feibion *Cedifor*, meddyliaf, canys enwir ef gan Perif yn mhlith y lladdedigion.

"Lladd *Brochfael* wyn a gwynaf."

Ac,

"*Brochfael* ac *Iddon* brodorion Hywel
A holynt gerddorion
Ry llas a llafnau rhyddion
Ar lles draig yn llys dragon."

[4] *Presenol*,—llinell aneglur i mi. [5] *Dafydd ap Owain Gwynedd.*

*Hywel ap Owain Gwynedd* a ddechreuodd ei rwysc filwraidd yn gynnar iawn, a phan oedd rhaid ei fod yn dra ieuanc. Canys cawn ef yn 1144 gyda'i frawd *Cynan* yn arwain byddin i'r Deheudir, ac yn gorthrechu y Fflemysiaid a'r Normaniaid, ac yn cymmeryd castell *Caerfyrddin*. [t. d. 546.] A thrachefn yn 1155, cawn bendefigion y Deheudir yn anfon am dano iddeu cynnorthwyo, yn warchaead castell *Gwys*, gan mor gelfydd yr ydoedd mewn ffurfiad o beiriannau rhyfelawl tuag at faluriaw muriau. Ac ychydig ar ol hynny, gwelwn ef a'i frawd yn cymmeryd castell *Cynfael*, eiddo ei ewythr Cadwaladr. Y mae *Cynddelw*, mewn Awdl i *Hywel ap Owain*, yn cyfeiriaw at amryw o'i orchestion, ac yn darlunio y weithred olaf, megys gwr a fuasai yn gydrychiawl ar y pryd.

"Twrwf Tonn torchawc hael trwm oet y glywel
Twr kynnael yn kwytaw
A flameu odrum yn edrinaw
Ac angert ac ongyr yr llaw."

Ac wrth ddwyn ger bron y darn hwn, ni allaf lai na sylwi ei fod yn dangos anghraifft o'r hyn a geir yn dra chyffredin yn ngwaith y Beirdd, o ddyryswch ystyr; gan nad ymddengys, yn wastad, pa eiriau ydynt gysylltiedig yn y gystrawen; er eglurhad rhoddaf y ddau ystyr canlynol.

"Trwm oedd clywed twrf llu y gwron aurdorchawg. Twr *Cynfael* oedd yn syrthiaw, a'r fflammau cribog yn adseiniaw, gyda chwyrndra; a gwaewffyn mewn llaw."

"Mal Twrf y don ydoedd eiddo y gwron aurdorchawg. Trwm oedd clywed Twr *Cynfael* yn syrthiaw, &c.

Y modd cyffredinol o ddymchwelyd tyrau a muriau cestyll, yn yr amseroedd hyn, oedd cloddio dan eu sylfeini, a gosod colofnau o goed iddeu cynnal tra fyddai y cloddwyr ar waith, a phan y tyllid yn ddigon pell, yna tynnu y colofnau ymaith â rhaffau, neu ynte, gosod tanwydd oddiamgylch iddynt, a'u llosgi; ac felly, y muriau yn ddisylfaen, a syrthient. Os byddai y castellwyr oddimewn yn amddiffyn y cestyll, byddai y gwarchaewyr yn ffurfio cronglwydydd cedyrn, ac yn eu mudaw ar olwynion at y muriau, i gadw y cloddwyr rhag ergydion y gwarchäedig. Ond yn dra mynych, yn enwedig mewn ardal estronawl, malurient y cestyll ar ol eu cymmeryd, ac a'u llosgent, fel na fyddent o les i'r gelynion. Canys er fod cestyll yr oesoedd diweddarach wedi ei hadeiladu yn hollol o gerrig, fel nad effeithiai y tan arnynt; etto yn y cestyll henaf, nid oedd ond muriau amgylchog y tyrau mawrion yn ffurfiedig o gerrig, a'r lloriau oeddynt o goed; fel y gellir gweled etto, mewn amryw anghreifftiau, megys *Tretwr*, *Brynllys*, *y Drefhir*, ac ereill, lle y mae safleoedd y trawstiau etto yn hanfodi, yn gystal a darpariadau ereill i dderbyn y lloriau coed.

Y mae yr arfer hyn o ddinystrio y cestyll, yn hytrach na'u cyfaneddu, yn eglurhau yr hanesiadau y ceir am ail ennilliad cestyll gan y Tywysogion Cymraeg, heb un cofiant am eu cymmeriad gan y Saeson. Ond y mae yn debygol nad oedd y Cymry ddim mor ddymunol i gadw y cestyll yn eu dwylaw, ag yr oeddynt iddeu cymmeryd oddiwrth eu gelynion; ac felly meddyliaf eu bod yn unig yn cadw y rhai fyddent gyfleus iddynt, megys llysoedd y Tywysogion, ac anneddau y pendefigion, ac yn maluriaw y lleill, a'u gadael, fel y dywedir, yn garneddau. Ond y Fflandrysiaid a'r Normaniaid a ddeuent, rhyw bryd neu gilydd, mewn modd llechog iddynt, ac eu hadgyweirient; ac yno, ar ol ymgryfhau ynddynt, dechreuent ymhyfau, a myned yn eon, a dechreu gormesu yr ardaloedd amgylchol, nes y byddai iddynt drachefn annog y Cymry i ddial, a rhoddi iddynt drachefn y gorchwyl o warchae, a maluriaw, a llosgi.

---

Perthynawl i Dderwyddiaeth honnedig *Hywel ap Owain Gwynedd*, y wr yr hwn a'i dug ger bron, yw y *Parch. Ed. Davies*, y myfyriwr mwyaf treiddiol o'r rhai a ysgrifenasant ar nodweddau y gyfundraeth honno: ac er y cynhwysa ei waith amryw bethau, y rhai a ymddangosant imi yn ddychymmygol, etto dychymmygiadau dysc a dawn ydynt yn

wastad yn deilwng o sylw, cyn eu gwrthod megys disail. Ai yn mhl cyfryw effeithiau dychymmyg y dylid rhesu yr honniadau perthyn Dderwyddiaeth Tywysawg Gwynedd, gadawaf i farn y rhai ydynt hyfforddedig yn y cyfryw wybodaeth na myfi. Yr unig beth a ddyı ydyw, mai oni buasai i *Davies* honni y cyfryw gyfeiriadau, ni fuasw cymmeryd yr odlau sylwedig o eiddo *Hywel ap Owain* megys amgen i gariad-ganuau cyffredinol, o'r un ansawdd ag eiddo *Dafyd Gwilym.* Y mae yn wir fod *Hywel* yn arferyd enwau, y rhai a yı ei bod o'r oes Dderwyddol; ond felly y mae *Dafydd ap Gwilym* h ac y mae twysged o gyffelybiaeth rhwng y brydrediadau. Y penr ddadleuadau *Davies*, ydynt y canlynol. Traetha ei fod yn casglu ı wrth brydyddiaeth *Hywel*, fod y Tywysawg hwnnw eisioes gwe dderbyn i'r is-gryfrinach o eiddo *Ceridwen*, a'i fod yn hiraethu graddau uchaf o'r unrhyw; a'i fod yn datgan hyn oll, mewn dull cyı awl, megys mewn cariad-gan; ond mai nid at wrthrych gweledig y cyf eithr at yr urddas Dderwyddol. Ond wrth edrych yn yr awdl gyntaf a *Davies*, y mae yn rhaid cyfaddef nad ydyw y cysefin ddim yn cynn honniad yn y lleiaf, canys nid *Ceridwen* yw y gair y cyfeiria attaw *Cegidwen*, yr hyn meddyliaf nid ydyw enw priodawl, eithr ymadrod ffurfiedig o'r gair *cêg*, ac yn arwyddocau *dynes a gwddf gwyn.* A felly, wele y cyfan o Dderwyddiaeth Ceridwenaidd yr Awdl hon yn syrt i'r llawr; ac ar ol y cwbl, at fenyw ddaearol y cyfeiria y Prydydd canlynol yw y llinellau, y rhai a gynhwysant y gair.

"Keoidwen hirwen hwyrwann ogwyt
Kyfeiliw gwenn wawr awr echwyt."

Enw Derwyddol arall, yr hwn a ddug efe yn mlaen, yw *Llyw* hon yr haera ei bod yn ferch i *Geridwen.* Ond gan fod *Llywy* yn amryw fenywod, ac nad ydyw *Ceridwen*, oll yn yr odlau hyn, nis lai na thybied mai dynes o gig a gwaed yw gwrthrych serch y Bard yr Awdl hon, yn gystal a'r llall.

"Y edryt Llywy llyw ton dylann
Llifyant oe chyfoeth a ddoeth attann
Lliw eiry llathyr oeruel ar vchel nann."

Am y cyfeiriadau ereill, nis gallaf eu gwrthbrofi; am hynny ga rhwng y darllenydd a hwy. *Davies* a haera fod *Hywel* yn cyfeirio Gaer ar fynydd-dir *Penmaenmawr*, a'r hen weddillion Derwyddol yn mhlwyf *Dwygyfylchi*, megys lleoedd yn parhau i fod hyd y hwnnw yn sefyllfaoedd cyfrinachawl arddelwyr Derwyddiaeth.

"Carafy gaer ualchweith or gyuylchi."

"Dewisle lywy loyw gydtebi, &c."

Felly gadawaf Dderwyddiaeth *Hywel ap Owain* lle y cefais; y mae yn debygol ddigon ei fod ef yn cyfeiriaw at rai gwrthrychau perthynasawl i'r gyfundraeth honno. Ond ni'm argyhoeddir trwy hynny, ei fod yn urddedig mewn Derwyddiaeth, mwy na bod prydyddion yr oes hon yn addoli duwiau Tir Groeg, a Rhufain, o herwydd eu bod yn coffa amdanynt yn eu cyfansoddiadau.

Etto, heb anghofio y parch dyledus tuag at ddysc a chyneddfau treiddiol *Davies*, dywedaf mai os celu ei wrthyrchau Derwyddawl dan y rhith yma o ymadroddi a wnai *Hywel ap Owain*, llwyddodd mor hollol, cyn belled ag y cyrhaedda fy nghanfodiad i, ag nas gallaf mewn un modd ddyfod i gydnabyddiaeth o honynt.

---

Ond tra'r ydoedd y brodyr hyn a'u gwahanawl ymbleidwyr yn cynnal eu hymdrech yn yr achos yma, yr oedd un arall, yr hwn, o herwydd ei dangnefeddach anian neu ryw dueddiant arall, a ymdynnodd oddiwrth y terfysc, ac a geisiodd iddo ei hun dawelach gyfran; a hwn oedd yr enwog *Fadawc*, yr hwn, o ran nodedigrwydd hanesawl, a gafodd sefydle, braidd is na'r gwychaf o'r lleill, trwy y gorchest a gyfrifir iddaw, o gaffael allan gyfandir *America*.

## MADAWC AP OWAIN GWYNEDD.
## 1170.

Hanes mordaith y pendefig hwn a roddir gan *Powel*, megys yr haera, ar wdurdod *Guttyn Owain*, yr hwn fel y dywedir, a ysgrifenodd rhwng 1460 a 1490, ac felly cyn mordaith *Columbus*, canys *Columbus* a hwyliodd yn 1492, ac a ddychwelodd yn 1493. Hanes *Madawc*, yn ol yr awdurdod uchod, yw y canlynol.

*Madawc*, un o feibion *Owain Gwynedd*, a adawodd y wlad mewn ymryson rhwng ei frodyr, ac a ddarparodd longau gyda gwyr a chynaliaeth, ac a geisiodd ei dynghedfen ar y moroedd, gan hwyliaw tua'r gorllewin, a gadael yr Iwerddon gymmaint tua'r gogledd ag y daeth i wlad anhyspys, lle y gwelodd lawer o bethau dieithr. Gadawodd yno y

rhan fwyaf o'i ganlynwyr, a dychwelodd i Gymru, ac a fynegodd y fath wledydd hyfryd a frwythlawn a welodd, heb drigolion; ac ar y tu arall am y fath dir anial ac anffrwythlawn yr oedd ei frodyr yn llofruddio eu gilydd; a chan grynhoi cynnifer o wyr a gwragedd âg a oeddynt yn ddymunol o fyw mewn llonyddwch, hwyliodd gyda deg llong tua'r un gororau, ac ni welwyd ef byth mwyach.

Er cadarndad o'r hanes hyn dygir yn mlaen rhai llinellau o waith *Dafydd ap Meredydd ap Rhys*, yr hwn a ddywedir iddaw ysgrifenu bymtheg mlynedd o flaen mordaith *Columbus;* a'r hwn mewn cywydd a wnaeth i ddiolch am rwyd bysgota, a ddywaid fal hyn:

"Helied Ifan, hael dyfiad,
Ar y tir têg, wedi'r tâd;
Mewn awr dda minnau ar ddwr,
O fodd hael a fydd heliwr—
Madog wych, mwyedig wedd,
Iawn genau Owain Gwynedd
Ni fynnai dir, f'enaid oedd,
Na da mawr, ond y moroedd."*

Cadarnhad arall a dugir ger bron, allan o'r Trioedd, yr hyn sydd fal y canlyn:

"Tri Difancoll Ynys Prydain.

Cyntaf *Gafran ap Aeddan* a'i wyr a aethant i'r mor yn nghyrch *Gwerddonau Llion*, ac ni chlywyd mwyach am danynt.

Ail, *Merddyn*, Bardd *Emrys Wledig* a'i naw Beirdd Cylfeirdd, a aethant i'r mor yn y Ty Gwydrin, ac ni bu son i ba le ydd aethant.

Y Trydydd, *Madawg ab Owain Gwynedd* a aeth i'r mor a thrichannyn gydag ef, mewn deg llong, ac ni wyddys i ba le ydd aethant." TR. 10.

Nid oes modd i wybod pa bryd y cyfansoddwyd y Triad hwn; gwnaethpwyd y casgliad yn mha un y ceir ef yn nechreuad yr 17eg ganrif.†

* Gwel y Greal, lle y sylwir fod y llinellau hyn wedi ei camadrodd gan awdwr *Drych y Prif oesoedd*, gyda chamhaeriad erchyll, sef fod y llinellau yn y dull y rhydd efe hwy wedi eu caffael ar garreg-fedd Madawc.

† Gofynwyd i mi unwaith ar ba awdurdod y rhoddais yr at-enw *Moetheu* i *Dom Sion Catti*, casglydd y Trioedd yma, yn Hanes Cymru t. d. 52; ag gan y dichon ereill fod yn ddymunol i wybod hynny, dywedaf mai ar awdurdod ei gyfoesydd, y *Dr. Sion Dafydd Rhys* y rhoddais, yr hwn yn ei Ramadeg Lladin a Chymraeg, argraffedig yn 1592, a ddywaid fal y canlyn:—

"MUSICORUM GENERA."

## *Rhywieu Cerdhorion.*

"Pribhardh.
Posbhardh.
Arwydhbhardh. Pwybynnac a dhywetto 'i bhod yn Arwydhbhardh, gwybydhed achoed, Breahinoedh a' Thywyssogion a' chybharwydhyd odhiwrth y tri Phribhardh Ynys Prydain id amgen, Myrdhin 'ab Morbhrynn a' Myrdhin Emrys, a' Thaliessin Benn Beirdh. Ac yn Ghbelbhydhyd Arwydhbhardhoniaeth, o rann gwybod yn berphaith 'wir Achoedh, ac Arydhon, a' Theilynghdawt, ac odidogion 'weithrédoeth 'Pendevhigion, a' Bonedhigion Cymry; odidochabh a phennabh, a' pherpheithiabh (a' hynny yn ddiamheu) y bernir *Thomas Sion*, alias *Moetheu* o Borth y Phynnon, yn ymyl Trêbh Garon: [Thomas Jones of Fowntayn Gate.] A' phan dharpho am dano, ebh a bhydh dhigon petrus y lhanwain 'alhu o hono yr hawo, 'adu yn ei ôl vn Cymar idho; na chwaith nebryw achwr, a dhichon (o rann bód morr gyphrédin ac ebh ynn yr 'wybodaeth honn) wneuthur cymeint a phwyso parth ac atto."

Cyfeirir hefyd at brofion ereill yn ngwaith y Gogynfeirdd, ond ni chefais erioed y ffawd i ddygwydd arnynt, a barnaf mai y rhagadroddedig yw y cadarnaf ar glawr. Am y cyf-brofion diweddar, am gaffhad llwyth y Madawgwys yn America, y mae cymmaint o haeriadau gwag, ac amhwyllog wedi eu gwneud a'u hailadrodd, a chymmaint o gelwyddau noeth a bwriadawl wedi eu ychwanegu atynt, a bod gofyn ar y neb a gymmero y testun hwn mewn llaw fod yn wyliadwrus iawn rhag cael ei gamarwain. Un o'r dadleuon cadarnaf yn erbyn yr hanes ydyw anhawsdra y fordaith, o herwydd fod nodwydd tynfaenawl y morwyr yn anhysbys yn yr oes honno, ac nid oeddid yn hwyliaw allan o olwg y tir. Mewn gwrthatteb dywedir, nad yw y rhan olaf o'r haeriad ddim yn gywir, canys yr oeddynt yn gwneuthur mordeithion i *Lychlyn*, ac i'r cyfandir yn gyffredinol, ac i *Ynys yr Ia*, a bod trigolion ynysoedd Mor y Deheu wedi gwneuthur y fath fordeithiau; ac mewn tywydd da, a chydag wybren eglur, nad oedd mordaith bonnedig *Madawc* ddim yn annichonadwy. Ac felly, ar ol pwysaw y gwahanawl ddadleuon yn erbyn eu gilydd, barnaf y bydd y penderfyniad yn ymddibynu yn hollol ar amseriad traethiant *Guttyn Owain*, sef pa un ai cyn neu ar ol mordaith *Columbus* yr ysgrifenwyd ef ganddaw. Bod *Madawc* yn dewis buchedd fordwyawl yn hytrach nag ymryson yn ddiobaith am feddiannau tirawl, nid yw anhebyg: ac os iawn barnir y llinellau rhagroddedig, y mae yn anwadadwy. Ond am y rhan fwyaf o'r profion y mae yn rhaid aros, nes holir y tystiolaethau yn fwy manwl.

1170.—1194.

---

*Dafydd ap Owain Gwynedd*, gwedi marwolaeth ei frawd *Hywel*, a gymmerth arnaw y lywodraeth; ac ymddengys fod ei blaid ef yn dra chadarn, canys ni chlywn am un gwrthladdiad iddaw dros amryw flynyddau; a Thalaeth Gwynedd a gafodd yspaid o lonyddwch oddiwrth neb ryw ymrysonau rhyfelawl. Ond nid felly y cyfan o Gymru; oblegid cyfododd rhyfel rhwng *Rhys ap Gruffydd*, Tywysawg Deheubarth, ac *Owain Cyfeiliawc*, Tywysawg Powys; yr achos, ni rhoddir, yn mhellach nag yr arwyddoceir fod digasedd yn hanfodi rhwng y ddau bennadur, yr hyn a draethir ar fyr, trwy ddywedyd "Kanys y genifer gweith y gallei Owein gwrthwynebu yr Arglwydd Rys y gwrthwynebei." A *Rhys* a arweiniodd lu i wlad *Owain*, ac a gymhellodd *Owain* i roddi gwystlon iddaw; ac yno *Rhys*, heb ddiffeithio y wlad, a ddychwelodd i Ystrad Tywi.

Yn yr amser yma *Henri II.* wrth glywed am lwyddiant y lluoedd Prydeinaidd yn yr Iwerddon, a benderfynodd fyned i'r ynys honno ei hun, er gafaelid yn y tiriogaethau y rhai a ennillwyd; a daeth i *Gaerdydd*, ar ei ffordd trwy Gymru. Ac yna *Rhys ap Gruffydd* a aeth attaw, o'r lle ydoedd, yn *Llwyn Danet*, [*Llwyn Dafydd* ysgatfydd*] ac a addawodd iddaw gynhorthwy o dri chant o feirch, a phedwar cant o wartheg, ac a rhoddes iddaw bedwar ar ddeg o wystlon. Yna y brenin a ddaeth tua'r Deheubarth, ac a gymmerodd dref *Caerlleon ar Wysc* oddiar ei harglwydd *Iorwerth ap Owain ap Caradawc*, ac a'i cadwodd iddaw ei hun. Ar yr hyn, yr aeth Iorwerth ac a alwodd attaw ei genedl, sef ei ddau fab, *Owain* a *Hywel*, mam y rhai oedd *Angharad*, merch *Uchtryd*, Esgob Llandaf; a'i nai, *Morgan ap Seisyll ap Dyfnwal*, mam yr hwn oedd *Dyddgu*, chwaer *Iorwerth;* ac efe a ymluyddodd yn erbyn gwyr y brenin, a diffeithiodd y wlad, ac y gymmerodd dref *Caerlleon* drachefn, oddieithr y castell.

Ond y brenin a aeth yn y blaen trwy y Deheubarth, ac a gafodd wresawiad gan *Rhys ap Gruffydd*, yr hwn a ddaeth iddei gyfarfod i *Benfro*, ac ganthaw anrheg o bedwar ugain a chwech o feirch, allan o ba rifedi ni fynnai y brenin gymmeryd namyn unarbymtheg ar hugain, a dychwelyd y lleill i *Rys*, gyda diolchgarwch mawr; ac a roddes i *Rys* y cyfan o

* *Llwyn Dafydd* sydd yn *Llandisilio Gogo* yn Ngheredigiawn; gerllaw, y mae hen gastell *Caerwedros*. Os hwn yw y lle crybwylledig, ac os oddiwrth *Dafydd ap Ieuan* y cafodd ei enw, nis gall y cofiant fod yn henach na chanol y 15fed ganrif.

*Garedigiawn*, *Ystradtywy*, *Arwystli*, ac *Elfael*. sef meddyliaf y rhannau a oeddynt yn meddiant y brenin o'r ardaloedd hynny. Dywedir mai yn y *Ty Gwyn ar Daf*, ar gyffiniau Penfro, y derbyniodd Rhys y brenin.

Yna, y brenin a aeth i'r Iwerddon, ond cyn hir daeth haint ar ei fyddin, a bu feirw llawer o'i wyr, yr hyn a berodd iddo ddychwelyd i Loegr; ac ar ol tirio yn neheubarth Cymru, cafodd dderbyniad gwresawus gan *Rys*, yr hwn a aeth i ymweled ag ef i gastell *Talacharn*, neu, yn ol ysgrif arall, a wnaeth wledd anrhydeddus iddaw yn nghastell *Aberteifi*;* ar ol yr hyn y rhoddes iddaw gynhorthwy gweddus, er cynhaliaeth ar ei daith tua Lloegr.

*Henri*, gwedi ymadael a *Rhys*, a aeth i *Gaerdydd*, ac oddiyno i'r *Cas'newydd ar Wysc*, ac anfonodd at *Iorwerth ap Owain*, yr hwn a anrheithiasai *Gaerlleon*, i ddyfod i ymddiddan ag ef am heddwch; gan addaw iddaw ddiogelwch wrth ddyfod attaw; ac *Iorwerth* a ddanfonodd ei fab *Owain*, yr hwn oedd was ieuanc grymmus, a hygar, i ymweled a'r brenin; ond ar y ffordd, cyfarfu gwyr Iarll *Bristaw* ag ef, ac a'i lladdasant; yr hyn pan wybu *Iorwerth* nid elai at y brenin; ac efe, a'i frawd *Hywel*, nid ymddiriedent i'r brenin o hynny allan, eithr ymarfogi yn ei erbyn, a chan gynnull eu lluoedd, ymosodasant ar diroedd y brenin, ac diffeithiasant yn erchyll hyd at *Gaerloew*, ac oddiyno i *Henffordd;* ac gwedi llosgi ac yspeilio y dref honno, dychwelasant i Gymru ac aethant yn erbyn *Caerlleon ar Wysc*, yr hon dref a gymmerasant, yn nghyd a'r castell, ac a gadarnhasant y lle, gan ddodi castellwyr yn y castell i'w gadw. "Ac yn nhyfle yr amser hynny," medd un ysgrif o'r Brut, "Y dug *Sitsyllt ap Dyfnwal* gastell *Abergefeni*, a *Seisyllt ab Ririd* a ddug gastell *Cerrig Hywel*, canys y brenin a bienffai'r cestyll hynny; a lladdwyd y castellwyr, a *Iorwerth* a ddodes ynddynt wyr ei genedl yn gastellwyr ffyddlonion; a *Hywel ab Iorwerth* a ddug holl *Went Is Coed* yn ewyllys *Iorwerth*, ac a ddug yr hynaf o ddengwr ar hugain o uchelwyr y wlad yn wystlon." Ysgrif arall a ddywaid i *Seisyllt ap Dyfnwal* gael ei ddala trwy dwyll gan wyr y brenin, a'i garcharu yn nghastell Abergefeni; pa fodd i gyssoni y ddau honniad, nis gwn, oddieithr i'r castell gael ei ddwyn oddiarnaw drachefn; a hyn nid ydyw anhebygol, o herwydd yr oedd y castell hwnnw ychydig ar ol yr amser yma yn meddiant y Saeson; ac ysgatfydd, mai at ennilliad y castell ychydig amser ar ol hyn gan *Seisyllt ap Eudaf*, y cyfeirir yn y geiriau uchod.

Ymddengys fod y cynhyrfiadau hyn yn *Ngwent* gwedi peri i'r brenin weled yr anhawsdra o gynnal ei awdurdod yn y Deheubarth trwy ei rym

* Y mae yn ddilys gennyf fod yma gamgymmysc hanesiad yn achlysuredig gan y wledd a wnaeth Rhys yn nghastell *Aberteifi*, wedi yr amser yma.

ei hun, a'r angenrheidrwydd o geisio cydweithrediad y Cymry eu h ac i'r diben o ennill y cyfnerth hyn, gwnaeth *Rhys ap Gruff* *Arglwydd Brif Iustus*, neu *Brif Ynad y Deheubarth*, ac yno h i Normandi; a barnaf, megys yr arwyddocceais o'r blaen, mai o hyn y cafodd y Tywysawg hwnnw yr enw o *Yr Arglwydd Rhys*. derfynau y deallid wrth y gair *Deheubarth*, nid hysbysir; ond barn ar diriogaethau priodol y brenin y dodwyd ef yn y swydd honno; rhan Saesonaeg o Benfro, ac ardaloedd yr Arglwyddi cyffindirol, ac i un rhan o etifeddiaeth *Rhys* ei hunan; canys y mae yn ddilys fod yn mwynhau awdurdod anibynol ar yr ardaloedd y rhai y pryd hy ffurfient Dalaeth y *Deheubarth*. Diammau fod y cyfryw swydd y rhydeddus i'r Tywysawg, mewn un ystyr; canys profai ei dd teyrnawl, ac hefyd yr hyder a osodai y brenin yn ei alluogrwydd cyn fawl, a rhyfelawl. Y maent hefyd, mewn rhan, yn anrhydeddus i g y Cymry; canys profant na ellid eu cadw mewn llonyddwch, odd trwy gyfrwng llywiad eu gwaedoliaeth eu hunain. Ond y maent a pryd yn cyffroi synniadau o'r math mwyaf iselawl; o herwydd g ynddynt effeithiau niweidiol ymraniad a bradwriaeth, Tywysawg d chalonog yn ymddarostwng i dderbyn swydd estronawl, o fewn i'r l allasai fod ei Dywysogaeth ei hun, er cynnal awdurdod pennadur d

Ond heblaw y cyfeillach gwladwriaethawl hyn, y mae yn ddil teimladau o garedigrwydd gwedi tyfu i fynu rhwng y ddau lywiawdr a chyn nemmor o amser cafodd *Rhys* gyfleusdra i ddangos ei bar rwydd tuag at y brenin, trwy gyflawnu iddaw wasanaeth tra gwert mewn awr o angenrheidrwydd. Canys y brenin, i'r dyben i sefyd orsedd iddei fab henaf, a fynodd ei goroni ef yn frenin Lloegr, yn ei fywyd ei hun; a hwnnw, ar ol y derchafiad hyn, a gyfododd gwrthryfel yn erbyn ei dad, gan dderbyn cynhorthwy oddiwrth ei frawd, ynghyda brenin Ffrainc, a'r Alban, ac amryw Arglwyddi cedy y cyfandir, yn gystal ag yn Lloegr. Yr oedd *Henri*, yn nghyda'i f gwrthryfelgar, y pryd hyn yn Ffrainc; ac efe a gynhyllodd fyddin o y sawl a'i cynhorthwyent ef yno, ac hefyd yn Lloegr; a *Rhys ap Gru* pan wybu am ei anghen, a anfonodd attaw ei fab *Hywel* gyda llu d dewisawl, a *Henri* a dderbyniodd y cyfnerthiad, gyda llawenydd a d garwch mawr. Ac yn hyn nid oes achos i amhau fod pob un o'r bennadur yn ymddwyn tuag at y llall gyda gwir garedigrwydd, ddiledrith; canys er yn elyn ffyrnig a dialgar, etto, yr oedd *Henri* y difrifol yn ei barch at ei gyfeillion.

O gylch yr amser yma, sef 1173, y dechreuodd ymryson rhwng *Da ap Owain*, Tywysawg Gwynedd, a rhai o'i frodyr ac un o honynt, *I gwn*, a gadwai ynys *Fon* oddiwrthaw. Eithr *Dafydd* a gynhyllo

srbyn, ac a'i gorthrechodd ef, a gorfu ar ei bleidwyr ffoi o'r wlad; aethant i'r Iwerddon, a rhai i *Forganwg*, yn enwedig *Iorwerth*, *Dafydd*, yr hwn a aeth i Gaerlleon ar Wysc, at *Iorwerth ap ap Caradawc*, ac a gafodd noddfa ganthaw, a chyfryngiad i ymdi â *Dafydd*. O gylch yr amser hyn y bu farw *Cadwaladr*, )wain Gwynedd, ac hefyd *Cynan ap Owain*, yr hwn a fuasai gynt ch yn ei rwysc rhyfelawl gyda'i frawd Hywel.

se ymddygiad *Henri* tuag at *Rhys ap Gruffydd* yn dangos ei fod dyfod i'r wybodaeth na thyciai ddim geisio goresgyn y Cymry m arfau, ac mai gwell oedd gwneud cyfeillion a'r Tywysogion trwy rwydd, na'u cadw yn elynion trwy wrthladdiad, mewn amseroedd bydus iddaw, a'r rhai hanfodedig; ac felly, gwelwn ef yn canlyn refn tuag at ereill, a hynny gyda'r un effeithiau. Canys y brenin idd ei chwaer *Emma* yn wraig i *Ddafydd ap Owain*, a thrwy lwyddodd, nid yn unig i ostegu ei elyniaeth, ond hefyd i ennill ei sth megys câr a chyfaill; ac yn ganlynol, pan dychwelodd y brenin ic i ddarostwng ei feibion gwrthryfelgar, Dafydd a anfonodd iddei thwy fyddin gref o Gymry, y rhai a fuont yn dra gwasanaethgar; ywedir i'r brenin eu danfon yn groes i'r afon *Seine*, i dorri ymaith eth ag oedd yn dyfod i wersyll y gelynion, o herwydd yr hyn y renin Ffrainc i gynadleddiad, ac yn ebrwydd ar ol hynny sefydlddwch, a meibion *Henri* a ymddarostyngasant iddaw.

l trefnu moddion i attal amcanion ei feibion, yn Ffrainc, braidd y lhaodd *Henri* ychydig o lwyddiant yno, cyn cael ei alw yn ol i wrthladd yr unrhyw gyffrôad gwrthryfelgar gartref, yn yr hyn y bu oliaethus hefyd, gan gymmeryd yn garcharor frenin yr Alban, yn g amryw ereill o'i elynion.

y cyfathrach hyn a effeithiodd i weithredu yn y Tywysawg *Dafydd* vain gynhyddiad o'r ysbryd gormesawl, yr hyn a hanfodai ynddo ıreuad; a chan deimlo ei hun gwedi ymgadarnhau trwy ei fod yn n nghyfraith i frenin Lloegr, ymhyfaodd yn ei ymddygiadau gorths tuag at ei geraint, ac cymmerodd ei frawd *Rhodri* ac a'i carcharherwydd ei fod yn ceisio meddiant ar ran o'i iawn etifeddiaeth.

r yr ammodau hyn â brenin Lloegr, a thrwy rym arfau gartref, yr tair Talaeth o Ddeheubarth, a Gwynedd, a Phowys, yn mwynhau :h, ond yr oedd ardal Gwent etto yn ddarostyngedig i amrafaelion vl. Canys *Hywel ap Iorwerth*, o *Gaerlleon ar Wysc*, a ddal·wy dwyll, ei ewythr *Owain Pencarn*, ac a dynnodd ei lygaid, fel ıi geisio y lywodraeth; ond y weithred ysgeler hon a dderbyniodd aeth gyflym, canys o fewn i'r wythnos, daeth byddin o Normaniaid n yn ddisymmwth arnaw, ac a ennillasant dref *Caerlleon*, gan yrru

ymaith *Hywel* a'i dad. Ond cofianir nad oedd ei dad ddim yn gydwybodus o'r weithred ddieflig a gyflawnasai ei fab.*

Ar ol darostwng ei ddeiliaid gwrthryfelgar yn Lloegr a Ffrainc, yn gystal a'i cydbleidwyr o'r Alban, ac hefyd sefydlu cyfeillgarwch a'r Tywysogion Taleithiawl, hefyd sefydlu heddwch â Thywysogion Taleithiawl Cymru, *Henri*, yn awr a ddymunai ymheddychu a'r pendefigion Cymraeg, y rhai yn y Deheudir a gynhalient etto elyniaeth tuag attaw; ac felly, yr *Arglwydd Rhys* a gyfryngodd rhyngddynt i'r dyben o ddwyn hynny i ben, ac a ddaeth i lys y brenin yn *Nghaerloew*, ac a ddug gydag ef y cyfryw Arglwyddi ag a oeddynt mewn gelyniaeth â'r brenin, sef, *Cadwallawn ap Madawc*, o *Faelienydd*, yr hwn oedd gefnderw iddaw; ac *Einiawn Clud* o *Elfael*, ac *Einiawn ap Rhys* o *Werthryniawn*, y rhai oeddynt ill dau wedi priodi dwy o ferched yr *Arglwydd Rhys*; *Morgan ap Caradawc ap Iestyn* o *Forganwg*, *Gruffydd ap Ivor ap Meyrig*, o *Senghenydd*, y rhai oeddynt wedi priodi ei chwioryddd; ac *Iorwerth ap Owain* o *Gaerlleon ar Wysc*; y rhai oll a ymostyngasant i'r brenin; a *Iorwerth* a gafodd feddiant ar Gaerlleon drachefn, a'r cyfan o honynt a ddychwelasant adref yn llawen. Diau fod *Rhys* trwy hyn yn chwanegu at ei anrhydedd ei hun, ac yn profi ei fawr awdurdod yn mhlith ei genedl. Ond ar yr un pryd ni allwn lai na galaru wrth weled y fath arferiad o'i alluogrwydd; canys nid oedd y cyfryw arddeliad o lywodraeth y brenin ond sefydliad o hawl iddaw ar ei diriogaethau, ac yn gyfraniad tuag at oresgyniad y wlad.

Yn fuan ar ol hyn, sef yn 1176, cyflawnwyd cyflafn tra erchyll gan un o'r Arglwyddi Saesonaeg, sef *Gwilym Brews*, [*William de Breos*] Arglwydd *Brecheiniog*. Yr oedd hwn, trwy ryw ammod gwedi dyfod i feddiant o gastell *Y Fenni*, ac efe a wahoddodd i wledd yno *Sitsyllt ap Dyfnwal*, a *Gruffydd* ei fab, a nifer fawr o bendefigion Gwent;† ac yno, i'r dyben o ddechreu cynnen, ceisiodd ddodi arnynt gymmeryd llw na ddygent gyda hwy ar eu teithiau, na bwa, na chleddyf; yr hynpan ballasant ei wneud, perodd i lu o wyr arfog y rhai a oeddynt mewn parodrwydd, at yr achos i ymosod arnynt yn ddisymmwth, y rhai a'u lladdasant oll, hyd gymmaint a thriugain a deg o ddynion. Ac oddiyno aethant i lys *Sitsyllt*, a dalasant *Gwladus*, ei wraig, a lladdasant ei fab Cadwaladr.

* Un ysgrif o'r Brut a ddywaid mai *William Brews* a wnaeth y weithred honno "a dodi hynny ar Iorwerth ap Owain," yn annghyfiawn.

† Eodem anno, [1176,] *Willielmus de Brausia* multitudine Wallensium in castello *Bergamini* callide convocata, &c. Matth. Paris. Felly y rhoddir y gair yn y gwaith hwn, ond y mae *Giraldus* yn ei ysgrifenu ef *Abergevenni*. Y mae y dull Cymraeg yr awrhon o'r enw yma, sef *Y Fenni*, yn dra hen, megys y gwelir yn ngwaith *Lewis Glyn Cothi* o gylch 1454,—"Y seren o y Fenni."

Ac er cyfiawnhau ei hun yn y weithred hon, dywedai *De Breos* iddaw wneuthur hyn er dial am angau ei ewythr *Henri de Hereford*, yr hwn a laddesid gan y Cymry ychydig cyn hyn. Y mae *Giraldus Cambrensis*, wrth gyfeiriaw at y gyflafan yma, yn dywedyd mai *Henri II.* oedd ei awdwr, ac mai *Ranwlph de Poer*, rhaglaw *Henfordd*, oedd yr offeryn o'i gyflawni, ac yn arwyddocau nad oedd *De Breos* ddim mor euog a hwy, o ran dechreuad y bradwriaeth.

Ond y weithred echryslawn yma nid aeth yn annialedig, er i'r dial oedi dros dalm o amser. Canys, *Giraldus* a draetha, ddarfod yn mhen saith mlynedd, i feibion ac wyron y llofruddedigion ar ol dyfod i oedran gwyr, ddyfod yn y nos at y *Fenni* gyda llu o'u cyfeillion, ac ymguddio yn ffosydd coediog y castell. Ac un o honynt, *Seisyll ap Eudaf*, y diwrnod o'r blaen, a ddywaid wrth geidwad y castell, dan chwerthin, ac megys mewn cellwair, "Yma y deuwn ni i mewn heno," gan gyfeirio at congl o'r mur yr hwn a ymddangosai yn isel. A'r ceidwad yn ddrwgdybio am wirionedd ei fygythiad, a ymarfogodd gyda'i deulu, ac a gadwodd wyliadwriaeth trwy'r nos, hyd y boreu; ac yno, gan eu bod yn flin a lluddedig, ac yn hyderus trwy ddyfodiad y dydd, ac yn meddwl eu hunain mewn diogelwch, aethant oll i gysgu. Ac yn y man, y Cymry a osodasant ysgolion at y muriau ac a aethant i'r castell, ac a gymmerasaut yn garcharorion y ceidwad a'i wraig, yn nghyda llawer eraill, ac a ennillasant y castell, ac a'i llosgasant oll, oddieithr y twr pennaf, i'r hwn y ciliasai ryw ychydig o'r anneddwyr.

*Giraldus* hefyd a hyspysa nad aeth *Ranwlph de Poer* ddim yn ddigosp. Oherwydd ychydig ar ol hyn, pan oedd yn adeiladu castell *Lladingat*, [*Dingatstow*] gerllaw *Trefynwy*, a chydag ef fyddin o Henffordd, daeth un noswaith lu o wyr ieuainc *Gwent* a'r ardaloedd cynesawl, eppil y llofruddedigion rhagenwedig, ynawr gwedi tyfu i fynu, ac ar dorriad y wawr ymosodasant arnaw ef a'i wyr. Ac er eu bod hwy yn arfogion, ac yn wybodus o'u dyfodiad, a hefyd yn barod yn eu rhesau iddeu derbyn, etto, gorthrechwyd hwy yn hollol; a gan eu gyrru i mewn iddeu ffosydd eu hunain, lladdwyd yno naw o oreuon swydd Henffordd, yn nghyd a nifer fawr o eraill; a *Rhanwlph de Poer* ei hun a laddwyd, trwy doriad gwythenau ei wddf âg ergyd cleddyf.

Y mae *Giraldus Cambrensis*, ar ol traethu am yr amgylchiadau hyn, yn rhoddi ychydig sylwadau ar drigolion *Gwent*, ac yn dywedyd ei fod yn weddianawl o sylw ganthaw eu bod hwy yn fwy cynnefin â brwydrau, ac yn fwy canmoladwy am weithredoedd o ddewrder, ac hefyd yn fwy celfydd megys saethyddion, na neb o drigolion Cymru.* Ac er prawf o'r

* "Hoc autem mibi notabile videtur, quod gens hæc, quæ Venta gens vocatur, et Martiis conflictibus usitatissima, et strenuitatis opera laudatissima, et arte sagittandi præ ceteris Cambriæ finibus instructissima reperitur, &c."

haeriad olaf, dywaid fod yn amser yr ymosodiad uchod ar y castell rh
wedig, [castell y *Fenni*, meddylir,] fel ag yr oedd dau filwr yn ffo
bont i gyrhaeddyd tŵr, yr hwn oedd ar grug o bridd, i'r Cymry sae
eu hol, ac ergydio eu saethau gyda'r fath nerth, ag iddynt dreiddi
ddrws derw y tŵr, yr hwn oedd yn agos yn llêd llaw o drwch;
saethau gael eu cadw, a'u pennau yn y drws, er coffadwriaeth parha
y fath ergydion nerthawl.

Digwyddodd hefyd yn amser *William de Breos* yn ol tystiolaeth
hwnnw ei hun, medd *Giraldus*, i un o'i filwyr, mewn brwydr â'r C
gael ei frathu a saeth gan un o honynt, trwy ganol y glun, ag yn
wisgedig mewn pais llurugol, ac hefyd ysgeirwisg haiarnaidd, ac i'r
fyned trwy y cyfrwy, ac hefyd clwyfaw yn angheuawl y march a
dano.

Milwr arall yn wisgedig mewn yr un fath arfogaeth ddaubl
dderbyniodd saeth trwy ei glun yn yr un modd, yr hon a drywano
nod i'r cyfrwy; ac fel y trodd y milwr ei farch o amgylch, yr un sa
a ollyngodd saeth arall, ac a'i tarawodd trwy y glun arall, yn yr u
ac efe a lynwyd yn gadarn wrth ei farch. "A pha beth ychwaneg,"
Giraldus, "a ellid ei ddisgwyl oddiwrth beiriant mangnelawl?"* A
medd yr un awdwr, nid ydynt yn arferyd bwau o gorn, neu o goed
nac o yw, eithr gwnant hwy o goed llwyf, nid yn hardd nag yn llat
eithr yn eirwon, ac hyd nod afluniaidd, ond etto yn sythion, a ne
eithr nid yn ffurfiedig tuag at daflu yn mhell, cymmaint ag at
ergydion trwm, yn agos ettynt.

Y cythryblau rhagenwedig yn Ngwent yn nghyd a gorthrec
lladdiad cymmaint o'r Saeson, a gyffrodd ddigter Henri yn er
Cymry. Ac efe a ddaeth hyd at *Gaerwrangon*, gan fwriadu wn
cadgyrchiad i Gymru; ond yr *Arglwydd Rhys* a aeth iddei
fod, ac a lwyddodd iddei dawelu, gan addaw anfon ei fab a'i
er gwystlon. Ond pan aeth i geisiaw eu hanfon hwy, y gwyr ieuai
gofio am driniad y gwystlon eraill, a ballasant a myned, ac felly y ter
y peth. Diau fod *Henri* yn dwyn ar gof yn dda, canlyniadau anff
holl gadgyrchiadau Cymruaidd rhagflaenawl, a bu dda ganthaw
a ryw rith o achlysur i ymattal yn ei benderfyniad y pryd hwnnw.
iant am yr amgylchiadau hyn a roddir yn *Llyfr Aberpergwm*
canlyn:—

"Oed Crist 1179, y llas *Morgan ap Gruffydd ap Ifor Bach ap Cydrych* gan y Sa
*Nghaerloyw.* Gwr oedd ef a fu gydag Iorwerth ab Owain, yn diffeithiaw'r wlad a
*Caerloyw*, lle yr ymgampiai yn wychaf o neb; ac o achaws hynny y lladdwyd,

* "Quod ergo à balista tormentum majus expectes?"

heddwch yr amser hynny a nawdd y Brenin i bawb a ddelynt yn heddwch o Gymry i Loegr; a'r Cymry a garaint *Forgan*, a aethant le olywaint y byddai *Rhamwlf* a'i wyr ar eu ffordd tuag *Aberhodni** ac am ei benn ef, a'i ladd, efe a'i wyr, canys efe a fynnawdd ladd *Morgan ab Gruffydd ab Ifor Bach*. A'r Brenin a fynnai fyned yn erbyn y Gwenhwyson a'u barglwyddi, ond *Rhys ab Gruffydd* a ddangoses y modd y bu i'r Brenin, ac yna cafwyd heddwch."

Yr oedd *Yr Arglwydd Rhys* ynawr yn mwynhau awdurdod tra helaeth, ac yn cynnal llys fel Tywysawg cadarn ac annibynawl; aç yn mhlith arwyddion ereill o'i fawredd teyrnawl, cawn y wledd anrhydeddus a wnaeth yn nghastell Aberteifi, am yr hon y crybwylliwyd eisioes. Y wledd hon a wnaethpwyd o gylch y flwyddyn 1177, a thraethir am dani yn y Brut fal y canlyn:—"Ac yna y cynhaliodd yr Arglwydd Rhys wledd arbennig yn ngastell Aberteifi, ac a gosodes ddau ryw ymryson; un rhwng y beirdd a'r prydyddion, a'r llall rhwng y telynorion, a chrythorion, a phibyddion, ac amrafaelion gerdd arwest; a dwy gadair a osodes i fuddugolion yr ymrysonau, a'r rhai hynny a gyfoethoges efe a dirfawrion roddion. Ac yna y caffas gwas ieuanc o'i lys ei hunain y fuddugoliaeth o arwest, a gwir Gwynedd a gafas y fuddugoliaeth o gerdd dafawd; a phawb o'r cerddorion ereill a gawsant y gan yr Arglwydd Rhys gymmaint ag a archasant, hyd na wrthladdwyd neb. A'r wledd honno a gyhoedded flwyddyn cyn ei gwneuthur, ar hyd Cymru, a Lloegr, a Phrydyn, [*yr Alban*,] ac Iwerddon, a llawer o wladoedd ereill.

Tra'r oedd y digwyddiadau hyn yn cymmeryd lle yn y Deheudir, nid oedd y Gogledd ddim heb ei gynhyrfiau; canys *Rhodri*, mab Owain Gwynedd, yr hwn a garcharwyd gan ei frawd Dafydd, a dorrodd allan o garchar, a dihangodd i Ynys Fon, lle y derbyniwyd ef fel Tywysawg. A *Chadwaladr ap Owain* a ennilles *Nant Conwy*, a *Rhufoniawc*; a *Maelgwn ab Owain* a ddaeth yn ol o'r Iwerddon, a chan na cherid *Dafydd* o achaws ei yspryd gormesawl, gorfu arnaw ffoi dros *Gonwy*, a gadael yr ardaloedd hynny iddei frodyr dros ennyd.

O gylch yr amser hyn bu farw *Cadell* brawd *Yr Arglwydd Rhys*, ar ol hir nychdod; y gwr a fuasai yn rhyfela mor wych yn erbyn y Saeson, ac a glwfwyd mor drwm, ac a aeth ar bererindod; claddwyd ef yn anrhydeddus yn *Ystrad Fflur*.

O gylch yr un amser hefyd cynllwynes y Normaniaid yn erbyn *Einiawn Clud* o *Elfael*, yr hwn oedd yn ddaw i'r *Arglwydd Rhys*, ac a'i lladdasant ef, ac hefyd *Morgan ap Meredydd*; ac yna yr aeth *Rhys* yn eu herbyn, ac a ddiffeithiodd eu tiroedd yn *Maelienydd*, ac a adeiladodd gastell *Rhaiadr Gwy*; a meibion *Cynan ap Owain* a ddaethant yn erbyn [illegible], eithr efe a orfu arnynt, ac a'u gyrrodd ar ffo. Hefyd, yn yr amseroedd

* Canfyddir yma ychydig o amrywiaeth rhwng yr hanesion; ond y mae y sylwedd yn ystadw yn gyffredinol, megys mewn mannau ereill.

hyn, cawn gofiant am amryw lofruddiadau, eithr mewn mor fyr eiriau, ag na ellir casglu oddiwrthynt ddim yn ychwaneg na'r dichweiniau eu hunain, ynghyd ag annianawd afreolaidd yr oes. Yn mhlith y cyfryw rhoddir angau *Cadwaladr*, mab yr *Arglwydd Rhys*, yr hwn a lofruddiwyd yn Nyfed, ac a gladdwyd yn y Ty Gwyn ar Dâf; ac *Owain Fychan*, mab *Madawc ap Meredydd*, yr hwn a laddwyd yn nghastell *Carreghofa*, gan *Wenwynwyn* a *Chadwallawn*, meibion *Owain Cyfeiliawc*: coffeir hefyd am farwolaeth *Hywel ap Ieuaf*, Arglwydd *Arwystli*, yn 1186, yr hwn a gladdwyd yn *Ystrad Fflur*. Dywedir hefyd yn y Brut y bu yn 1184 farw *Madawc ap Iddon*, brenin *Gwent*, "achaws dyrnawd a gafas gan *Domas* ei frawd yn ei ddiawd. Gwr oedd *Fadawc* a wyddai laweroedd o gelfyddodau a gwybodau, ac ni chaid ei gystal yn ei amser, a goreu o Brydydd a Damhegydd ar a wyddid am danynt yng Nghymru." Wele yma, Brydydd arall o'r Deheudir, o waith yr hwn nid oes yr un syll ar glawr; pa fodd y diflanodd y cwbl, nis gwn. Y mae yn rhaid cyfaddef na chadwodd gwyr y Deheudir waith eu hen Feirdd, fal y cadwasant wyr y Gogledd eiddo eu rhai hwy.

Gwelsom fod y Cymry yn yr oes hon yn anfon lluoedd o filwyr i'r Iwerddon, ac i Ffrainc, yn awr cawn hwy yn anfon yr un fath finteioedd arfawg i le llawer mwy pellenig, sef i *Gaersalem*.

## RHYFELOEDD Y GROES.

### 1187.

Achlysur *Rhyfeloedd y Groes*, ydoedd rhyddhau y pererinion crist'nogaidd odditan yr ormes a ddioddefent gan y Mahometaniaid, wrth ymweled a'r *Beddrod Sanctaidd* yn *Ierusalem*. Pererin o'r enw *Petr y Meudwy*, o gylch 1096, oedd yr offeryn cyntaf i gyffroi y cristionogion i'r gorchwyl hwnnw, ac a lwyddodd i beri i drichan mil o wyr, o gyfandir Ewropa fyned tua gwlad *Palestina*. [*Canaan*.] *Ac* yn 1099 cymmerwyd amryw ddinasoedd yn y wlad honno, a *Godfrey de Bouillon*, blaenor y Cristionogion a wnaethpwyd yn Frenin *Ierusalem*. O'r amser hwnnw hyd 1270, parhawyd i gynnal y rhyfeloeedd hyn, a bu saith gadgyrchiad arbennig; ac un o honnynt a estynodd ei effeithiau i Gymru. Canys yn 1188 daeth *Baldwin*, Archesgob *Caergaint*, yn nghyda *Giraldus Cambrensis*, Archdiacon *Aberhonddu*, i Gymru, i bregethu yr angenrheidrwydd o anfon cynhorthwy i'r byddinoedd Cristionogol, tuag at gynnal y gwrthladdiad yn erbyn y Mahometaniaid; a llwyddasant yn fawr yn eu gorchwyl, gan gyffroi niferoedd o'r Cymry, yn gystal a'r

iaid a'r Fflemysiaid, i ymuno yn y gwaith hwnnw. A *Giraldus* ;nodd hanes o'u teithiad trwy Gymru, yr hwn sydd etto ar glawr, ir *Itinerarium Cambriæ*, at yr hwn y cyfeiriwyd gennyf amryw l.

yr hanes yma deallwn i'r Archesgob a'i gyfaill, *Ranwlph de le*, Prif Ynad Lloegr, ddyfod i *Henfordd*, ac oddiyno i *Radnor*, *yfedd*,] lle y cyfarfuwyd a hwynt gan yr *Arglwydd Rhys;* ac yno rd pregeth gan yr Archesgob, yr hon a eglurhawyd yn y Gymraeg ieithydd. Ar ol yr hyn, y daeth llawer yn mlaen i ymresu fel y groes, yn mhlith pa rai yr oedd *Einiawn*, mab *Einiawn Clud*, wg *Elfael*, [*Æneas Æneæ Claudii filius*, *Elveniæ Princeps.*] oedd gwedi priodi merch *Rhys;* ac yr oedd *Rhys* ei hun, fel y Giraldus, wedi llwyr benderfynu myned ymaith ar yr un neges; a 'mtheg diwrnod bu yn ddiwyd iawn yn gwneuthur parotoadau at eithr ei wraig a'i hudodd i ymwrthod a'i fwriad; yr hon a dderyw ychydig o geryddiant gan yr Eglwyswr am ei gorchwyl. ) aethant i gastell *Crucer*, yn nghylch dwy filltir yn y blaen, ac resodd *Maelgwn*, mab *Cadwallawn*, Tywysawg *Maelienydd*, yn byddinoedd y groes.

le hwn aethant i *Haya*, [*y Gelli*,] ac oddiyno i *Glesbyria*, ,] ac oddiyno i lys *Landeu*, [*Llanddew*,] gerllaw *Aberhonddu*, )edd aneddfa Giraldus Cambrensis ei hun; ac oddiyno yn ol *Lanhodeni*, [*Llanddewi Nant Honddu*, *neu Lantoni*,] a thrwy '*rono* i *Abergeveni*, ac i *Osca*, [*Bryn Byga*,] lle y daeth llawer n i gymmeryd y groes, trwy bregethiad yr Archesgob, a chyfieithbregeth i'r Gymraeg, gan *Alexander*, Archdiacon Bangor. Oddi;hant i *Gaerlleon ar Wysc*, a *Chaerdydd*. Y boreu dranoeth wyd yn *Llandaf*, y Saeson yn sefyll ar un tu, a'r Cymry ar y llall; r a gymmerasant yr arwydd.* Ac ar ol hyn, yr Archesgob a d wasanaeth yr Offeren, yn Eglwys gadeiriol Llandaf.

hyn cychwynasant a theithiasant ar hyd y gororau morawl, trwy *we* a *Chaerfyrddin* i *Hwlffordd*, lle y cawsant lwyddiant mawr; yno aethant i *Dy Ddewi*, a'r Archesgob a weiniodd y gwasanaeth wys gadeiriol Ty Ddewi.

yno cychwynasant tua'r Gogledd, gan gadw yn agos ar yr oror

* edir fod yr ymadrodd *derbyn y Groes*, a *chymmeryd yr arwydd*, &c. yn deilliaw o'r ld yn mhlith y rhai a ymresent fel milwyr yn y rhyfeloedd hyn, i wisgaw croes yr ysgwydd ddehau, yr hon a ffurfiwyd o ryw liain, ac yn cael ei gwiniaw ar eu ı, a'u gwisgoedd eraill. Ysgatfydd mai at yr arfer hyn y cyfeiria *Einiawn ap* ai yn y geiriau

"Ym dwyn Croes yr Crist ar fy ysgwydd."

forawl, ac a ddaethant i *Aberteifi*, lle y derbyniwyd hwy yn anrhydeddu yn y castell, gan yr *Arglwydd Rhys*, yr hwn hefyd a'u hebryngodd trwy *Garedigiawn* hyd gyffiniau Gwynedd, at yr afon *Dyfi*. Yn *Tywyn* daeth *Gruffydd ap Cynan ap Owain Gwynedd* iddeu cyfarfod. Yna teithiasant tua'r Gogledd, a thros y *Traeth Mawr* i *Nefyn*, lle y pregethodd yr Archesgob gyda llwyddiant mawr; ac oddinyno aethant trwy *Gaernarfon* i *Fangor*, a'r Archesgob a weiniodd yr offeren yn yr Eglwys gadeiriol yno.

O *Fangor* aethant tros y Fenai i Ynys Fon, a *Rhodri ap Owain Gwynedd* a ddaeth iddeu cyfarfod, yn nghydag yn agos holl drigolion yr ynys, a llawer o fannau eraill. Yna y pregethodd yr Archesgob, a *Seisyll*, Abbad *Ystrad Fflur*, yn cyfieithu, a llawer a gymmerasant y groes. Ond yr oedd rhai gwyr ieuainc dewisawl, o deulu *Rhodri*, yn eistedd ar graig gyferbynol, y rhai ni ellid trwy un modd eu denu i uno â hwy. Wrth ddychwelyd oddiyma trwy Fangor, y cyflawnodd yr Archesgob y weithred gristionogol, a fynegwyd eisoes, o orchymyn bwrw corff *Owain Gwynedd* allan o'i feddrod.

O *Fangor* aethant ar hyd yr oror forawl i *Ruddlan*, ac oddiyno i *Lanelwy*; ac ar ol i'r Archesgob weini yr offeren yn yr Eglwys gadeiriol, aethant ymaith tua Lloegr, gan gymmeryd *Caerlleon Gawr*, a'r *Amwythig*, yn eu taith.

Yn y teithiad cylchawl yma llwyddasant i ennill yn nghylch tair mil o filwyr i ymresu yn myddinoedd y groes, oll yn ddynion medrus â gwaewffyn, ac â saethau: a'r unig un o Dywysogion Cymru, yr hwn ni ddaeth i gyfarfod a'r Archesgob, oedd *Owain Cyfeiliawc*, "ac am hynny," medd Giraldus, "nyni a'i esgymmunasom ef."

Canfyddwn yma etto, ysbryd balch, erlidgar, melldigedig, yr Archesgob Saesonaeg hwn; ychydig o ddiwrnodau cyn hyn, perodd fwrw corff y clodwiw *Owain Gwynedd* allan o'i feddrod, yn yr hyn y gorweddasai ugain mlynedd, ac yn awr ysgymmuna Dywysawg ardderchawg arall, o herwydd na ddaeth iddei gyfarfod i ymgrymmu iddei fawredd, ac ufuddhau iddei orchymmyn; ni fenai ei ddial ar y Tywysawg marw, ac am *Owain Cyfeiliawc*, ysgatfydd na ofalai lawer mwy am ei ddigofaint anghristionogol, nag y gwnelai y llall. Yr oedd *Owain Cyfeiliawc* yn rhy gyfrwys i annog ei ddeiliaid a'i filwyr i ymadael ag amddiffyniad eu gwlad enedigol, er myned i un ddieithr i ymladd am ni wyddent beth, a than flaenoriaid ni wyddent pwy. Yr oedd *Owain Cyfeiliawc* hefyd yn ddyn o gynheddfau gloywon, ac o wybodaeth helaeth, a diau y gwyddai yn dda nad oedd cynhaliad y rhyfeloedd hyn yn *Mhalestina*, ddim yn hollol y fath ac y ddatganid gan y pregethwyr yma; canys gwelwyd yno, nid yn wastad ymdrechiad yn erbyn gelynion annghrediniol, eithr ymrysonau y

ristionogion eu hunain, ac ymgais am oruchafiaeth gyda chyndigedd, a phob ryw ddrwg nwydau cyfanian.
law hyn oll, ni ellir amheu yn y lleiaf, fod *Owain Cyfeiliawc* yn dda nad oedd gan Archesgob Caergaint trwy iawnder un awbynnag yn Nghymru, a bod y gwr yr hwn yn awr a gymmerai fryw reolaeth, yn drawsfeddianydd, ac yn dala ei hawl trwy mes. Nid oedd *Owain Cyfeiliawc* yn ddyn annghrefyddawl, ith yn ddirmygwr o ddefodau Eglwysig; ond yr oedd efe yn ddeallus; a'i fod yn wybodus o afiawn Archesgob Caergaint yn durdod yn Nghymru, sydd dra amlwg; canys ar ol hynny, ei *vynwyn*, ynghyda Thywysogion eraill, a anfonodd achwyniad n ormesiadau yr Archesgob hwnnw, fel y dangosir drachefn.
lioldeb rhyfeloedd y groes, pan ar y goreu, nid yw pawb yn eu barn; rhai a haerant eu bod yn eithaf aughenrheidiol a ac ereill a ddywedant eu bod yn hollol ddiles. Ond y mae yn l yr olaf yn fwy cyfeiliornus na'r lleill; canys er fod llawer o l, a gau frwdfrydedd yn gymmysc a'r cyffroadau hyn, etto y ygol eu bod yn effeithiol i attal llawer ar rwysc y Mahometanorllewin; ac heb y cyfryw gynhyrfiad cyffredinol yn mhlith a, ni wyddus pa mor belled y cyrhaeddasai arfau y barbariaid nd gan ys pa fodd y defnyddiwyd yr arfogiadau rhagflaenawl, peth yn amlwg, sef mai brwdfrydedd crefyddol a gyffroai y yffredinol i fyned i'r rhyfeloedd yma, a hyn yn nghymmysg a am glod milwraidd a gyffroai y pendefigion. Am hanfodiad y edd crefyddol yn Nghymru yn yr amser hwn, cawn brawf yn *idr Sais*, Bardd o'r oes honno.

"Am fedd Krist creaudyr nef ys aghen
Yr aghreiff aghret yn y gylchyn
Tros elwyt ynvyt yn erwan
Treis sersin gan Sylatin."

:ist, Creawdwr Nef, y mae gofid; y ceryddawl digrêd yn ei gylchynu. Tros ma yn orwyllt, y gormesawl *Saraceniaid* gyda *Saladin.* [*y Sultan.*]

yr *Arglwydd Rhys* yn dra chadarn megys Tywysawg, etto fod y brenin *Henri* yn cadw meddiant amryw gestyll trwy y ardal Saesonaeg yn Nyfed, a'r cyffiniau, ac hefyd yn meddiannu d a berthynent i goron Lloegr yno, y rhai gan mwyaf a bob- y Fflemysiaid; a *Rhys*, trwy ammod, ac o herwydd cyfeill- Brenin, ni aflonyddai y cyfryw. Ond yn awr, gwedi marw l oedd mwyach gan *Rys* un rhwymiant iddei gadw mewn r Saeson; ac felly, dechreuodd ymafaelyd ar y meddiannau

y rhai oeddynt wedi eu gadael yn hir i aros mewn llonyddwch yn eu dwylaw hwy. Yr oedd ei fab *Maelgwn* eisioes gwedi ymosod ar gastell *Dinbych y Pysgod*, ac wedi ei ennill, yn gystal a'r dref, yr hon a losgodd. Ac yn fuan ar ol hynny, sef yn 1189, yr *Arglwydd Rhys* a ymosododd ar gestyll *Saint Clâr*, *Abercorran*, *Talacharn*, a *Llanstephan*, ac ennillodd hwy oll, ac ar ol diffeithio ardaloedd *Penfro*, a *Rhôs*, gwarchaeodd gastell *Caerfyrddin*, eithr methodd ei ennill ar y pryd hwn. Yna efe a ennillodd gastell *Cydweli*, ac a'i adgyweiriodd yn hardd ac yn gadarn; ac ennillodd hefyd gastell *Dinefawr;* ac yno ennillodd gastell *Llanwhaden*, ac a ddug yr holl wlad dan ei lywodraeth. Ond nid oedd y llwyddiant hwn heb gymmysc o flinder; canys yn nghylch yr amser yma collodd *Rhys* ei fab *Owain*; ac hefyd ei ferch *Gwenllian*, yr hon oedd yn rhian deccaf yn y gwledydd: ac yn nghyda hyn, cyfododd ei fab *Maelgwn* mewn gwrthryfel yn ei herbyn, a *Rys* a'i daliodd, ac a'i carcharodd. Un ysgrifa ddywaid mai o achaws gwallgofrwydd ar *Maelgwn* y bu hyn; eithr nid ymddengys hynny yn ei ymddygiad megys blaenor.

Cyn hir ddihangodd *Maelgwn* o garchar, ac a gymmerodd gastell *Ystrad Meurig:* a'i frawd, *Hywel ap Rhys*, yr hwn a elwyd hefyd *Hywel Sais*, am ei fod wedi gwasanaethu yn y byddinoedd Saesonaeg, a ennilloedd gastell *Gwys*, ac a gymmerodd yn garcharorion yno *Philip de Gwys* a'i wraig.

Yn yr amser yma, sef 1189, bu farw y brenin Henri II, yr hwn a fu dros fwy na deng mlynedd ar hugain yn elyn ffyrnig a pharhaus i'r Cymry, heb arbed un achlysur iddeu blino, a cheisio eu darostwng: ond yn lle llwyddaw yn hynny, gadawodd hwy yn fwy annibynnol nag a'u cafodd, pan ddaeth i'r orsedd. Heblaw amrywiol ymwelediadau â'r wlad, ac a'u gororau, er trafodiad pethau gwladwriaethawl, gwnaeth dri chadgyrchiad tra thrwm a lliosawg i Gymru, ac fel y dywaid Giraldus, "a llaw gadarn," [*manu forti,*] ond dychwelodd yn ddifudd. Y cadgyrchiad cyntaf oedd yr un i Wynedd, pan gorthrechwyd ef gan *Owain Gwynedd*. Yr ail oedd i Ddeheubarth, yn yr hyn yr aeth ar hyd oror forawl *Morgannwg* a *Gwyr*, i *Gaerfyrddin*, ac hyd at *Bencadair*, lle y llwyddodd i gael oddiwrth *Rhys* wystlon a llŵ, ond ar ba delerau ni thraethir; ac ymddengys fod *Rhys* ei hunan hefyd wedi gosod ei hun yn ngallu y brenin; ond ni chafodd y brenin un oruchafiaeth, canys yr awdwr a eilw y cadgyrchiad yn' un difudd i'r brenin. [*minime profecit.*]* Y drydedd oedd

* Wrth grybwyll am hyn *Giraldus* a adrodda chwedl dra ddigrif am y modd y cafodd y brenin yntau ei dwyllo gan un o'r Cymry. "Nid yn mhell oddiwrth *Caerfyrddin*," medd *Giraldus*, "ar y tu gogleddol, sef wrth *Pencadair*, pan cafodd *Rhys mab Grufydd* yn ei dyddiau ni ei yrru i ymddarostyngiad, yn fwy trwy frâd na dewrder, a'i ddwyn i Loegr, Henri yr ail, brenin y Saeson, a aufonodd filwr hannedig o *Lydaw*, yn nghallineb yr hw

gyrchiad i *Ddyffryn Ceiriawg*, lle y gorthrechwyd ef gan y Tywys-cyngreiriol.

ler nad effeithiodd *Henri* i oresgyn Cymru trwy rym arfau ac yn ei r gwladwriaethawl, etto yn ei deyrnasiad ef llwyddiwyd i wneuthur ridiadau mawrion mewn pethau eglwysig, ac i orphenu y gwaith ag wedi bod mewn cyflawniad dros oesoedd, sef darostyngiad yr hen s Frytanaidd dan awdurdod estroniaid.

### EGLWYS CYMRU.

goswyd yn yr hanes hwn fod yr Eglwys Gymraeg yn y 6ed a'r ganrif, yn hollol annibynol. Ni wnaent yr Offeiriaid Cymraeg nt a chydfwyta â'r Offeiriaid Saesonaeg, y rhai oeddynt o Eglwys in. Dichon nad oedd y gelyniaeth hyn ddim yn tarddu oddiwrth gasedd at Eglwys Rhufain, eithr at y Saeson, y rhai a berthynent canys nid oedd Eglwys Rhufain gynt gwedi blino y Cymry, nac ymyrrid â hwy mewn un modd, ac nid oedd gwahaniaeth rhwng riaeth Eglwys Rhufain ag eiddo'r Cymry. Ond yn y 9fed ganrif n y gelyniaeth rhwng Eglwyswyr Cymry a Lloegr gwedi diflanu i'r iddau a bod Eglwyswr o *Dy Ddewi*, sef *Asser Menevensis*, yn cael eud yn Esgob yn Lloegr; ac yn y 10fed ganrif gwelwn y fath ideb rhwng Eglwys Cymry a Rhufain, a bod brenin Cymru oll, sef *l Dda* yn myned i Rufain i ymgynghori â'r Pab perthynol i d cyfreithiau. Ychydig ar ol hyn, cawn Eglwyswyr Saesonaeg yn nio i Gorau Cymru, ac yn cynhyrfu brâd a chynllwyn.

l yn niwedd yr 11eg, gwelwn amgylchiad yn dichweiniaw, yr hwn a l hyfforddiad mawr i Eglwys Rhufain yn Nghymru, neu yn hytrach esgob Caergaint, yr hwn a hawliai arbenicter Eglwysig yn Lloegr: drwy oresgyniad Morganwg gan y Normaniaid, rhoddwyd annogaeth

tal a'i ffyddlondeb, yr ymddiriedai, dan dywysiad Deon y *Cantref Mawr*, enw yr dd *Gwaidan*, i edrych a chwiliaw cyflwr castell *Dinefawr*, sefyllfa y lle, ac amddi-y wlad. A'r offeiriad wedi ei rybyddio am ddwyn y milwr ar hyd y ffordd oreu a at y castell, yn lle hynny a'i arweiniodd ef o amgylch o wir fwriad trwy y lleoedd anhawdd, ac anhyfoddadwy; a pha le bynnag yr elent trwy goedydd glaswelltog, er iddei gydymaith, yr offeiriad a fwytai y glaswellt, gan haeru fod y trigolion, o d eu hangen, yn arferyd a byw ar laswellt a gwreiddiau. Pan ddychwelodd y at y brenin, adroddodd iddaw y cwbl teilwng o adroddiad o'r hyn a welodd, ac a d; sef, fod y tir yn annghyfannedd, yn ddrwg, ac yn annheithadwy; yn cynwys dim th i neb rhyw ddynion, oddeithr i rai bwystfilaidd ei hunain, ac yn byw yn ol dull aid. Yna y brenin, gwedi rhwymo *Rhys* trwy lw, a rhoddiad gwystlon, a'i anfonodd iddei wlad."

i gydbleidwyr yr estroniaid hynny ymsefydlu yn *Llandaf*, yn Esgobaeth yr oedd y Normaniaid yn adeiladau Eglwysydd a logydd, ac yn eu llanw gan mwyaf a dieithriaid. Hefyd yn n ganrif nesaf, trwy lwyddiant Henri I. yn Nghymru, a'i oresgyni Nyfed, daeth Eglwyswyr dieithr i feddiannu sefyllfaoedd goruchel *Ddewi*; a than nawdd yr un brenin, Archesgob Caergaint a b fraint o enwi Esgob Ty Ddewi, ac ni oddefai ei alw mwyach yn Ar ac felly yn cymmeryd meddiant ar yr arbenicter Eglwysig iddaw

Trwy ba gamrau y daeth yr ormes estronaidd i mewn i W Phowys, nis gallaf olrain; eithr y mae yn debygol mai yn ddista radaidd y daeth, heb gyffroi drwg-dybiad yn y wlad. Ond y ddilys ei bod hi tua chanol y 12fed ganrif yn cymmeryd arni llywodraeth yno, mor belled ag hyd nod datgan dedryd ysgym yn erbyn y Tywysogion. Pa bryd y dechreuodd Eglwys Rhufa iannu llywodraeth yn mhlith y Cymry, ni chefais hyspysrwyd y mae yn amlwg eu bod hwy yn y 12fed ganrif yn arddel awd Pab, eithr nid arddelent eiddo Archesgob Caergaint, gan haeru Gymru Archesgobaeth iddi ei hun, sef *Ty Ddewi*, ac ni chyfadde arni, eithr y Pab ei hun. Ac er yr haeriadau hyn, etto g Eglwyswyr Lloegraidd i ddyfod i feddiannu eu Corau, ac i ar aethu yno mewn modd tra gormesawl.

Yn y cyflwr gwael hwn, o hanner darostyngiad, y parhaodd Cymru hyd y flwyddyn 1188, pan rhoddwyd yr ergyd angheu gan yr *Archesgob Baldwin*, yn ei daith rhagfynegol, yr hon a bregethu rhyfel y groes. Canys wrth weini gwasanaeth yr offer bedair Eglwys gadeiriol, hawliodd ei arbenicter megys prif E ynddynt oll; ac y mae yn amlwg fod y gwrthrych hwn yn flaenora fwriad, wrth y modd y teithiodd yn gymwys o un i'r llall, gan gy y ffyrdd byraf, ar hyd gororau y mor. Ond nid oedd y trefniad yr yn rhoddi boddlonrwydd i'r Cymry; ac yn mhen deng mlyne hynny, pan fu farw Esgob Ty Ddewi, cafodd canonwyr yr E honno eu gwysaw gan Archesgob Caergaint i ethol Esgob ne hwynthwy a etholasant *Giraldus Cambrensis*; ond gwrthodwyd Archesgob, a chan y brenin *Ieuan*, o herwydd ei fod yn Gymro, a osod Sais yn ei le. Yna, *Giraldus* a aeth i Rufain, ddwy waith, a *Innocentius III.* i osod ei ddadl ger ei fron, a dychwelodd yn d iant. Ac ar hynny, cyffrowyd Tywysogion Cymru iddei gyfnerth ymgais; a hwy a anfonasant erfyniad at y Pab trwy ddwylaw G yr hwn a wnaeth y drydedd daith i Rufain, ar yr achos. A'r erf hwn a geir yn ei waith, sydd yn dra nodedig, o herwydd yr achwyniadau a gynhwysa, a'r cyhuddiadau yn erbyn llys Caergai

wl a ydynt mor gymhwysedig at amgylchiadau hanfodedig y dydd w, ag y gellid meddwl i'r rhannau hynny o'r erfyniad gael eu hysa ddoe. Y canlynol yw ei sylwedd.

t y Gwir Barchedig Dad a'r Arglwydd *Innocentius* trwy rad Duw y Esgob, *Llewelyn*, Tywysawg Gwynedd,* *Gwenwynwyn*,† a *Mad-* Tywysogion Powys, *Gruffydd*, *Maelgwn*, *Rhys*, a *Meredydd*, meib-*hys*, Tywysawg Deheubarth, yn anfon annerch, ac iawn ufudd-dod ob peth. Bydded hysbys i'ch Tadoldeb, y fath galedi a pherygl coll-th eneidiau, y dioddefodd Eglwys Cymru, er pan, trwy drais bren- ac nid trwy awdurdod yr Esgobaeth Apostolaidd, [Rhufain,] yr aeth ostyngedig i lywodraeth Lloegr, a'r Archesgob Caergaint.

n gyntaf ynte: *Archesgobion Caergaint, megys peth rheolaidd ynt hwy, a anfonant attom Esgobion Saesonaeg, yn anwybodus odau ac iaith ein gwlad; a'r rhai ni allant na phregethu gair i'r bobl, na derbyn eu cyfaddefiadau, oddieithr trwy gyfrwng hwyr.*"

ar ol crybwyll am y modd dirgel a dichellgar yr etholent y cyfryw, nega'r Tywysogion ddywedyd,—"Yr Esgobion hyn a anfonir attom gr yn y modd yma, gan na charant na nyni, na'n gwlad, eithr yn h ymlidiant, ac erlidiant ni gyda digasedd cyntefig a gwreiddiol; ynt yn ceisio lles eneidiau; eu hymgais ydyw arglwyddiaethu arnom, ein buddhau. Am ba achos, anfynych y llafuriant yn ein plith yn dd gweinidogol, eithr pob peth a allant afaelyd ynddaw, neu ennill rthym, pa un ai trwy iawnder neu afiawnder, dugant ef i Loegr, lle traffant, ac y difant y cyfan o'r elw a gant oddiwrthym ni, yn achlogydd, a'r tiroedd a roddwyd iddynt gan frenin Lloegr. Ac o, fel y Parthiaid, y rhai a ergydient ei saethau wrth ffoi, ac o bell, unant ni cyn fynyched ag a erchir iddynt wneuthur hynny."

, traethant am y modd y gwerthent ac y camddefnyddient yr ion hyn y tiroedd a roisid gynt gan eu hynafiaid i Eglwysydd , yr hyn a yrrai y Tywysogion i afaelyd mewn rhai o'r cyfryw d eu hunain, a'u cadw. Ac heblaw hyn, pan byddai rhyfela rhyng-a'r Saeson, a hwynthwy a'u cydwladwyr, yn unig yn ymladd dros ad a'u rhydd-did, Archesgob Caergaint a gyhoeddai ddedryd ysgym-d yn eu herbyn, ac a gymhellai'r Esgobion hyn iddei ddatgan, y rhai t yn wastad yn eithaf parawd i ufuddhau iddaw, ar y cyfryw n. "Ac felly y digwydd," medd y Tywysogion uchod, "mor ag y cynhaliom ryfel er amddiffyniad ein gwlad yn erbyn cenedl

* *Llewelyn ap Iorwerth.* † *Gwenwynwyn*, mab *Owain Cyfeiliawc.* ‡ *Madawc ap Gruffydd Maelor.*

o elynion, pwy bynnag a syrthia mewn brwydr ar ein hochr ni, a syrth dan ddedryd o ysgymmundod."

Ac yna yr erfynwyr a ddeisyfant ryddhad oddiwrth yr ormes dan yr hon yr hanfodent yn amser tri Esgob diweddaf *Ty Ddewi*, gan yr Eglwys Saesonaeg, o achaws anghyfiawn ddarostyngiad *Ty Ddewi* i Esgobaeth *Caergaint*. O herwydd cyn amser y tri Esgob hyn, "Eglwys *Ty Ddewi* ydoedd sedd Archesgob Cymru oll;" ac yn unig yn ddarostynedig megys Archesgobaeth i'r fam Eglwys, *Rhufain*.

*Giraldus* a gychwynodd tua Rhufain y drydedd waith, gan ddwyn yr erfyniad hwn ganthaw; a'r Pab, ar ol ei gadw ef yno amryw fisoedd, a thynnu cymmaint o arian ag a allai oddiwrth y ddwy blaid, a'i anfonodd ef yn ol gyda gweithred ddedrydawl, yn mha un y diddymodd etholiad *Giraldus*, ac hefyd eiddo ei gydymgeisydd, yr hwn a ddodwyd gan yr Archesgob; ac felly gadawodd y ddadl yn agos yn yr un man ag y cafodd hi. Ac o'r pryd hwnnw allan, trwy ddyfal barhad yr Eglwyswyr Saesonaeg yn ymwasgu i mewn, a llwfreidd-dra y Cymry yn eu goddef felly, llwyddodd y blaenaf, i ymsefydlu yn y wlad mor ddisyfl, ac yn mhen ychydig, ni chyffrowyd un ddadl yn erbyn eu hawl. Y mae yn wir y darfuwyd yn y diwygiad ysgwyd ymaith iau *Rhufain*, ond Archesgob Caergaint ni ollyngodd byth o'i afael ar Eglwys Cymru, ond yn hytrach cadarnhawyd ei hawl trwy weithredoedd llywodraethawl; a'r hyn a gyfrifwyd gynt yn anrhaith brenhinol yn awr a wnaethpwyd yn raith, gan droi afiawn yn iawnder, a gormes yn dadol ymgeledd.*

---

Yn awr dychwelwn at y lle y gadawsom yr hanes wladwriaethawl, ar farwolaeth Henri II. sef y flwyddyn 1189. Cyfeiriwyd eisioes at y modd y cafodd yr amgylchiad hwnnw yr effaith i ryddhau *Rhys* oddiwrth ei

* Ar un amser, pan oedd y Tywysawg, *Gwenwynwyn*, mewn cynghorfa gyda phendefigion a gwyrda y wlad, coffhawyd am lafuriadau Giraldus Cambrensis, a *Gwenwynwyn* a ddywedodd, "Arfera ein Cymru ni gynnal ryfeloedd mawr a mynych â Lloegr; eithr erioed ni chynhaliodd hi un mor ddirfawr, a dwys, a'r un yn ein dyddiau ni, gan Esgob Ty Ddewi, yr hwn, er mwyn anrhydedd Cymru, ni pheidiodd a blino y Brenin, a'r Archesgob, yn nghyda holl offeiriaid, a phobl Lloegr, trwy ymdrechiadau beunyddiol, a dibaid. Am danom ni, os parha ein rhyfeloedd dros yr haf, yr ydym yn y gauaf yn dychwelyd i heddwch, ac arferant barhau dros flwyddyn, ar y mwyaf, neu hyd nod hanner blwydddyn; ond rhyfel gwr hwn a barhaodd eisioes, yn ddilaesiad, dros mwy na phum mlynedd."

addunedau a'i rwymau i lywodraeth Lloegr, a'r modd yr ymarfogodd i ysgwyd ymaith bob baich estronawl.* Ac yr oedd amgylchiadau y Saeson ar y pryd hwn yn cydweithio tuag at hyfforddi y Cymry yn y cyfryw fwriadau. Canys Henry II. a ganlynwyd yn y deyrnsedd gan ei fab *Richard I.* a hwnnw a benderfynodd ymadael a'r wlad, a myned i wlad *Palestina*, gyda rhyfelwyr y groes; ac felly gadawyd y Cymry dros yspaid echan mewn llonyddwch. Ond yn lle arferyd y cyfleusdra hwnnw er adarnhau eu hannibynrwydd, gwelwn hwy yn nghyd â'u hen arferion o mryson cartrefol. Dangoswyd eisioes fod *Hywel Sais* wedi cymmeryd astell *Gwys*; a chan fod ganthaw fwy o gestyll nag a allai eu hamddiffyn, enderfynodd ddymchwelyd gastell *Llanwhaden*, a phan glybu y Fflanlrysiaid hynny, ymgynnullasant eu holl nerthoedd, ac a ddaethant yno ar diwrnod y penderfynwyd ei ddinystriaw, ac a ymosodasant yn ffyrnig ar *Hywel* a *Madawc*, ac a laddasant lawer o'u gwyr, ac a yrrasant y lleill ar fo. Ond ychydig ar ol hynny, y Cymry a gynnullasant fyddin ac a ddaethant yn erbyn y lle, ac a'i cymmerasant ef, ac a'i dinystriasant yn ddirwystr. Ond yr orchest wrol hon a ganlynwyd gan weithred o'r math mwyaf atgas yn eu herbyn, a hynny nid gan eu gelynion. Canys eu brawd, *Anarawd*, trwy frâd, a gymmerodd y ddau yma, sef *Hywel* a *Madawc* yn garcharorion, ac a dynnodd eu llygaid; eithr *Maelgwn ap Rhys* a rhoddodd i *Anarawd* gastell *Ystradmeirig* am ei garcharorion, y rhai a ollyngodd efe yn rhydd. A'r ysgelerwaith uchod a ganlynwyd gan un arall o atgasrwydd mawr. Yr oedd *Rhys* newydd adgyweiriaw castell *Rhaiadr Gwy*, a'i feibion ei hun, *Maelgwn*, ac *Anarawd*, a ddaliasant eu tad yn garcharor, gan ofni y buasai efe yn dial arnynt am eu troseddau; ond trwy gyfrwng ei fab tywyll, *Hywel Sais*, efe a ddiangodd o garchar *Maelgwn*, ac a gymmerth gastell *Dinefawr* oddiwrthaw, ac a'i torrodd. Ac yno, meibion *Cadwallawn ap Meredydd*, o *Faelienydd*, a gymmerasant gastell *Rhaiadr Gwy*, ac a'i cadarnhasant iddynt eu hunain.

Yn awr trown ein golwg tuag at *Wynedd*; ac yno cawn yr un fath gythrwfl cartrefawl. Canys *Rhodri ap Owain Gwynedd*, wedi caffael cyfnerth gan *Gwrthrych*, [*Gothric*,] brenin *Manaw*, a oresgynodd iddaw ei hun ynys *Mon*; ond cyn diwedd y flwyddyn, meibion ei frawd, *Cynan*, a ddaethant, ac a'i ymlidiasant ef allan o'r ynys, ac a'i cadwasant iddynt eu hunain. Ac o gylch yr un amser, sef yn 1194, *Llewelyn*, mab *Iorwerth Drwyndwn*, wedi cynhyddu mewn oedran, ac yn dwyn ar gof mai

* Yn ol haeriad *Brady*, fel yr ailadroddir ef gan *Warrington*, daeth *Rhys ap Gruffydd* i Loegr mor belled a *Rhydychen*, dan arweiniad Iarll *Moreton*, yn y flwyddyn gyntaf o deyrnasiad y Brenin *Richard I.*; ac o achos na ddeuai y Brenin ei hun iddei gyfarfod, yn y modd y gwnaethasai ei dad, sorrodd *Rhys* yn fawr, a dychwelodd adref.

efe oedd iawn etifedd gorsedd Gwynedd, a gynhullodd ei gyfeillion o dylwyth ei fam, yr hon oedd *Marred*, merch *Madawc ap Meredydd*, Tywysawg *Powys*: ac hefyd ei gefnderwyr, dau fab *Cynan ap Owain*, ac a wnaeth gadgyrchiad i Wynedd, a'r trigolion yn unfryd a ymostyngasant iddaw, ac a'i derbyniasant megys eu Tywysawg, am na charent mo *Ddafydd*. Ac yna, *Llewelyn* a oresgynodd holl feddiannau *Dafydd*, oddieithr tri chastell, y rhai y cadwodd *Dafydd* trwy gyfnerth y Saeson, y rhai a ymbleidient âg ef, am fod *Emma* ei wraig yn fodryb i Frenin Lloegr.

Tua diwedd teyrnasiad *Dafydd ap Owain*, bu farw amryw bendefigion a dynion cyfrifawl yn Nghymru, ac hefyd yn Lloegr; yn mhlith pa rai y nodir *Gruffydd Maelawr*, Arglwydd *Maelawr*, [sef *Bromfield*,] yr hwn oedd yn dra enwawg yn ei haelioni. Cafodd ei gladdu yn *Meifod*; yr oedd gwedi priodi *Angharad*, merch *Owain Gwynedd*, o'r hon y bu iddaw fab, o'r enw *Madawc*, yr hwn a gafodd y rhan o'r wlad a elwyd *Powys Fadawc*. Yr oedd *Gruffydd* yn un o'r Tywysogion, y rhai a orthrechasant *Henri II.* yn mrwydr *Crogen*: bu farw yn 1191.

## LLEWELYN AP IORWERTH.

### 1194—1240.

Gwelsom eisioes amryw Dywysogion yn mhlith y Cymry yn meddiannu doniau a dewrder o'r graddau godidoccaf, a rhai hefyd yn mwynhau llwyddiant nid bychan yn eu helynt teyrnawl; ac at y rhifedi hyn y gallwn ychwanegu y gwron ardderchawg yn awr dan sylw, fel meddianydd gorsedd Gwynedd. Canys er y canfyddir yn ei ymddygiad rai troion nid yn hollol gysson ac anrhydedd pennadur annibynawl, etto y mae yn rhaid dywedyd fod *Llewelyn ap Iorwerth* yn Dywysawg clodfawr a gwladgar; ac ysgatfydd, pe gellid gweled cyflwr tufewnawl y wlad, a'r holl anhawsderau y rhai a'i gwrthwynebent, y cyfaddefem fod ei orchwylon gwladwriaethawl wedi eu trefnyd gyda chymmaint o fedrysrwydd ag y gwelir yn gyffredinol yn mhlith llywodraethwyr gwledydd.

Dros dalm o amser ar ol escyniad *Llewelyn ap Iorwerth* i orsedd Gwynedd, ni chlywn am neb ryw gynhyrfiadau yn y Dalaeth honno; ond nid felly y ddwy Dalaeth arall, o Ddeheubarth a Phowys: canys yr oedd yno gynwrf parhaus, naill ai rhwng y Cymry a'r Saeson, yn ol yr hen elyniaeth gynhedlawl, neu ynte rhwng yr amrywiol bleidiau Cymraeg a'u gilydd, mewn cynhenau cartrefol, yn ol eu cyffredin arferau. Y peth cyntaf a glywn am dano yn nghylch yr amser yma yw, fod i *Rosser Mortimer* ddyfod a byddin gref i Faelienydd, ac ennill castell *Cymaron* oddiar ddau fab *Cadwallawn ap Madawc*, a goresgyn yr ardal honno.

Ac o gylch yr un amser, *Rhys* a *Maredydd*, meibion yr *Arglwydd Rhys*, a gynhullasant lu o wyr penrhyddion, ac a ymosodasant ar gastell *Dinefawr*, ac a'i ennillasant oddiar gastellwyr eu tad; ac oddiyno aethant i'r *Cantref Bychan*, lle y derbyniwyd hwy yn wresawgar gan y trigolion, y rhai a draddodasant iddynt y castell. Pan wybu eu tad hyn sorrodd yn fawr, ac a ymosododd iddeu dala; a thrwy fradychiad eu gwyr eu hunain, y rhai a ofnent ddigio y Tywysawg yn mhellach, cymmerwyd hwy ganddynt, a dugwyd hwy at eu tad, yr hwn a'u cadwodd yn garcharorion.

Ar ol hyn, yr *Arglwydd Rhys*, o herwydd ryw annogiad, am yr hyn nid oes coffadwriaeth, a gynhullodd ddirfawr lu, ac a warchaeodd dref a chastell *Caerfyrddin*; ac yn mhen ychydig amser, ennillodd y ddau, a chan eu anrheithiaw, dychwelodd gydag yspail fawr. Oddiyno cychwynodd *Rhys* a llu nifeiriog gydag ef, o'i wyr ei hun, ac o eiddo Arglwyddi eraill a oeddynt gyfun âg ef, ac aeth yn erbyn castell *Colwyn*, a'i gymmell

i ymroddi; ac wedi ei ennill, efe a'i llosgodd.* Ac yn ebrwydd oddiyno cychwynodd hyd *Maeshyfaidd*, ac a ymosododd ar y castell, ac a'i cymmerodd, ac a'i llosgodd. Ac yno y cynhullodd *Rosser Moritmer*, a *Hugh de Saye*, fyddin liosog, yn y dyffryn gerllaw, o wyr yn eithaf arfawg i ryfel, ac a ddaethant yn erbyn *Rhys;* ac yntau, pan welodd hynny, a ymosododd arnynt gyda gwrolder tra gwych, ac a'u maeddodd yn hollol, gan eu gyrru ar ffo, a'u hymlid, a'u saethu, a'u cyfan ddymchwelyd.

O'r lle yma, aeth yn erbyn castell *Paen*, yn *Elfael*, ac a ymosododd arnaw a blifiau,† a mangnelau, ac a'i gymhellodd i ymroddi. Ac yno gwnaethpwyd gytundeb rhwng *Rhys* a *Gwilym Brews*, [*de Breos*,] perchen y castell; a *Rhys* a'i rhoddodd yn ol iddaw, heb ei losgi.

Yr oedd yr un fath ymdrin rhwng y ddwy genedl yn digwydd yn y Gogledd-dir. Canys *Hubert*, Archesgob Caergaint, yr hwn yr oedd y Brenin *Richard* wedi ei osod yn Rhaglaw, neu Brif Ynad, ar Loegr, a ddaeth a llu cadarn yn erbyn castell *Trallwng Llewelyn*, [Welsh Pool,] sef y *Castell Coch*, yr hwn oedd yn meddiant *Gwenwynwyn*, mab *Owain Cyfeiliawc*, ac a warchaeodd y castell, ac a ymosododd arnaw; eithr y castellwyr a'i hamddiffynasant ya dra gwrol; ond y gwarchaewyr, ar ol arferyd "amrafaelion beiriannau a dychmygion ymladdau" heb lwyddaw, yn y diwedd a ddechreuent gloddio danaw, "a gwneuthur ffosydd dirgeledig o dan y ddaear;" a felly y cymhellasant y castellwyr i ymroddi. A hwynthwy a ymadawsant a'r castell oll, a'u gwisgoedd a'u harfau ganthynt.

Ond ni bu y fuddugoliaeth yma o fawr werth, na'r anrhydedd o hir barhad; canys, cyn diwedd y flwyddyn honno, *Gwenwynwyn* a gynhullodd ei wyr, ac a ddaeth yn erbyn yr un castell; ac a'u cymhellodd i ymroddi iddaw, trwy ammod y byddai i'r castellwyr gael y rhydd-did i fyned ymaith yn rhydd, a'u dillad a'u harfau ganddynt.

Y flwyddyn rhagwyneb, sef 1196, a'n dug at ddichweiniad tra phwysfawr yn hanes un o Dalaethau Cymru, a'r hyn hefyd ni fu yn ddieffaith ar y cyfan o'r wlad; a hynny yw marwolaeth y clodfawr *Rhys ap Gruffydd*, sef yr *Arglwydd Rhys*, yr hyn, fel y traetha y Brut, a gymmerodd le ar y 4edd o galendau Mai, [sef Ebrill 28.;] a'r hyn, yn ol yr hanes, a achlysyrwyd gan haint dra angheuol, yr hwn a ymledai tros Brydain a Ffrainc, ac a berodd marwolaeth aneirif o'r bobl cyffredin, yn gystal a llaweroedd

* Y mae *Powel* yn dywedyd mai *Clun* oedd y lle, sef *Colunwy*, yr hwn sydd yn swydd *Amwythig;* ac y mae rhai ysgrifau o'r Brut yn rhoddi yr un enw, *Colunwy*. Ond y mae yn ddilys genyf mai castell *Colwyn*, yn swydd *Faeshyfaidd*, yw y lle, yn ol yr ysgrif a ganlynaf yma.

† Peiriaint i daflu cerrig mawrion.

ıdefigion a thywysogion. Pa beth oedd oedran *Rhys*, nid hyspysir; ;an y bu ei dad farw yn 1137; ac ei hun yn 1150 yn arwain byddinoedd l, y mae yn eglur ei fod ar ei farwolaeth wedi cyrhaedydd oedran da, heb fyned heibio iddei egni, a'i nerth corfforawl, fel y dengys ei rrchiadau, ychydig cyn ei farwolaeth. O ran dewrder cynhenid *Rhys*, ; ei holl fuchedd yn tystiolaethu. Am ei ddoniau llywodraethawl, nid prawf yn mhellach na'r gosodiau yn ei ddwylaw, gan Henri II. o wiaeth ei diriogaethau Cymraeg. Ac am ei wareidd-dra, a'i ymddug-oneddigaidd, cawn un traethiad, oddiwrth yr hyn y gallwn gasglu ei ran ei gymmeriad yn hynny, yn gyfartal a'r coethaf eu moesgarwch defigion yr oes. Giraldus Cambrensis a gofianna, fod *Rhys* ar un rwy wys y brenin Henri, wedi cyrchu i *Henffordd*, i gynnal cynnad-ıd gyda *Baldwin*, Archesgob Caergaint, a *Ranwlph de Glanville*, Ynad Lloegr; a phan oedd yn eistedd wrth giniaw, yn nhy *William ere*, Esgob Henffordd, gyda *Walter*, mab *Robert*, pendefig anrhy-ıs, y ddau yn hannedig o dylwyth *Clâr*; yr Archdiacon Giraldus a dd at y bwrdd, a chan sefyll ger eu bron, a chan gyfarch *Rhys*, a aid mewn digrifwch, "Gellwch ymlonni, *Rhys*, o herwydd eich bod wr yn eistedd rhwng dau o dylwyth *Clâr*, a meddiant pa rhai yr ı yn perchennogi." Canys y pryd hyn yr oedd efe yn berchennog ar ın o *Geredigiawn*, yr hyn yr oedd efe wedi ei adennill oddiar *Rosser, Clâr*. Yna *Rhys*, yr hwn oedd ddyn o gynheddfau rhagorol, ac yn harawd mewn attebiad, yn ddiattreg a attebodd, "Gwir yw, yn ddiau, od ni dros dalm hir o amser wedi ein difeddiannu o'n etifeddiaeth y *Clariaid;* ond gan mai ein tynged ni oedd bod yn golledwyr, ›m, ar y lleiaf, y boddlonrwydd o gael ein difeddianu o honi gan wyr rchawg, ac anrhydeddus, ac nid trwy ddwylaw dynion gwael, a w." A'r Esgob yn dymuno talu yn ol y cymmediw i *Rhys*, a ddyw-"A ninnau hefyd gan y tynghedfenwyd bod i ni golli meddiant ar y ;aethau hynny, boddlonir ni yn fawr fod y fath Dywysawg clodfawr a ıwn a *Rhys* y pryd hyn yn Arglwydd arnynt."

mae ar glawr ddau neu dri o gyfansoddiadau, er arwyrain i'r *Arglwydd* ı. Ond pan ystyriom ei hir deyrnasiad, a'i enwogrwydd, ac yn en-g ei noddiant o'r Beirdd, ni allwn ammau fod llawer o farddoniaeth ynol iddaw wedi myned ar goll. O'r rhai mewn hanfodiad, y mae ın *Gynddelw*, a elwir *Dadolwch Rhys ap Gruffydd*, yn yr hwn y ia y Bardd at ei garedigrwydd tuag at y cerddorion; ac ysgatfydd ganthaw mewn golwg haelioni *Rhys* yn y wledd fawr yn nghastell *teifi*. Rhoddaf yma y rhan gyntaf o'r awdl hon, yn yr un llythyreniad ceir hi yn y Myv. Arch.; gan osod hefyd eglurhad o ran o honi ı iaith sathredig.

"Asswynaf nawdd Duw diambeu dy ddawn
Ath ddoniawg wyf finneu
Ar dy wyr eryr aerau
Ar dy wlad wledig deheu.

Tydi o ddoniau diamheuol, a finnau yn derbyn rhoddion gennyt, archaf nawdd Duw ar dy wyr, O eryr brwydrau, ac ar dy wlad, tydi dywysawg medrus.

"Asswynaf archaf arch vawr y berif
A beris nef a llawr
Nawdd rac dy var car cerddawr
Ar dy byrth ar dy borthawr.

Dymunaf ac archaf erfyniad mawr i'r Creawdwr a ffurfiodd nef a daear, nawdd rhag dy ddigofaint, tydi gyfaill prydydd, ar dy byrth ar dy borthawr.

"Asswynaf archaf eirchiad ym gelwir
Nawdd cywir cyngwastad
Ar dy ddryseu aur drwsiad
Ar dy ddrysawr gwawr gwenwlad.

Dymunaf ac archaf, canys gofynwr y'm gelwir, nawdd cywir parhaus, ar dy ddrysau, addurnedig âg aur, ar dy ddrysawr, tydi lewyrch y wlad hyfryd.

"Asswynaf awch nawdd na chelwch awch
Can perthyn attregwch [porth
Gostegwyr llys gostegwch
Gosteg beirdd bardd a glywch.

Archaf eich nawdd, na chuddiwch eich cymmorth, gan mai gweddus arafwch, swyddwyr y llys gwnewch ddistawrwydd. Gosteg, Feirdd, Bardd a glywch.

"Asswynaf nawdd hawdd haelion Deheubarth
Deheuborth cerddorion
Ath dwrf oth darianogion
Ath dorf ath deyrnfeibion.

Archaf nawdd hawdd wronion Deheubarth, tydi gelfydd cynhaliwr cerddorion, a'th gynnwrf o'th ysgwydogion, a'th dyrfa, a'th feibion brenhinawl.

"Asswynaf nawdd hawdd haeloned worsaf
Nith orseif teyrnedd
Ar dy dorf corf cywrysedd
Ar dy deulu teilwng medd.

Archaf nawdd hawdd, haelionus geidwad, ni'th wrthrsafant frenhinoedd, ar dy lu, tydi gynllun ymladdfa, ac ar dy deulu, tydi deilwng o feddiant.

"Meddgwyn eu gwirawd meddgyrn au gw
Au gwarcheidw yn eurdyrn
A gloyw y fed yn edyrn
A glyw dewr a glew deyrn.

Medd gloyw yw eu diod, medd lestri,——— } *aneglur i mi.*

"Teyrnweilch Prydein prydaf awch prif-
Awch prifglod a ddygaf [gerdd
Awch bardd awch beirniad fyddaf.
Awch porth perthyn yw attaf."

} *Iaith rwyddach, heb achos eglurhad. Nid peth cyffredin yn ngwaith Cynddelw.*

&c. &c.

Gellir canfod gwhaniaeth nodedig rhwng anianawd yr awdl hon, a'r rhai o eiddo *Perif*, a *Llywarch Llew Cûd*, a roddwyd eisioes; ac gan fod y tair yn yr un mesur, y mae yn hawdd eu cymharu. Odlau y ddau Fardd rhagenwedig ydynt gan mwyaf yn eglur yn y iaith a'r cyfansawdd; ond y mae eiddo *Cynddelw* yn aneglur, ac yn ddwys, fel gwaith y bardd hwnnw yn gyffredinol; yr hwn a ymddengys fel pe ymdrechai i dywyllu ei ystyr trwy orchudd o ymadroddion i maes o arferiad cyffredin, yn nghyda thrawsneidiad disymmwth a dibaid o wrthddrych i wrthddrych, heb un arweiniad amlygadwy. Pe na fuasai gennym o waith y Gogynfeirdd ond eiddo Cynddelw yn unig, buasem yn ffurfio tŷb tra annghywir am Gymraeg y canol oesoedd.

ȝan *Seisyll Bryffwrch* awdl i'r *Arglwydd Rhys*, yr hwn a
› o Ieirll Saesonaeg, a pha rai y bu *Rhys* yn ymdrin; ond nid
wr o deilyngdod prydyddawl.

"Rhag pumieirll taer
Oedd ef yn caer
Yn Gadfarchawg
Un Iarll *Cerwyw*
Rhag ein aerllyw
Eurllaw roddawg
Ail Iarll *Brysteu**
Rhac post caden
Oedd cadwynawg."

›eddynt Ieirll *Gwent*, Iarll *Padrig*,† a Iarll *Clâr*.

marwolaeth yr *Arglwydd Rhys* yn draethedig gan amryw
Loegraidd; ac yn ngwaith *Ranwlph* o *Gaer*, ceir ailadroddiad
ldiad marwnadawl ar yr achlysur, yr hwn sydd mor debyg i'r
yn y Brut, a'i wneud yn ddilys i mi fod y ddau wedi eu cym-
liwrth ryw gyfansoddiad o waith Cymro: eithr pa un ai yn y
u y Gymraeg oedd y cysefin, ni ryfygaf haeru. Dichon fod
Gymraeg yn sail iddaw. Y galarnad yn y Brut a ddechreua
n:—

: hwnw a hannodd o foneddicaf lin brenhinoedd. Efe a oedd
ylder cenedl, a grymusder ei feddwl a gyffelybodd wrth ei
ynghorwr ei ddyledogion; ymladdgar yn erbyn cedyrn; diogel-
›styngedogion; ymladdwr ar gaerydd; cyffrowr yn rhyfeloedd;
yn y byddinoedd, a'u rheolwr; cwympwr y torfoedd; ac megys
lew yn rhuthraw, felly y dywalai ei greulonder yn ei elynion.
m ogoniant yr ymladdau; tarian y marchogion; ymddiffyn y
wch arfau; braich y cadernid; llaw yr haelon; llygad y dos-
ıtywynnwr yr addfwynder; uchelder mawrfrydrwydd, &c.

i *Rys ap Gruffydd* gael ei gladdu yn Eglwys Gadeiriawl *Ty*
y dangosir bedd-eilun, yr hwn a haerir gan rai y perthyn iddei
; eithr ereill a'i amheuant, gan ddywedyd fod dull yr arfau yn
ıdar i oes *Rhys ap Gruffydd*.

ıys ap Gruffydd* amryw o blant; sef, *Gruffydd*, *Cadwallawn*,
*Meredydd*, a *Rhys Gryg*. Ei ferch *Gwenllian* a briododd
*Fychan*, oddiwrth yr hwn y deilliodd tylwyth y *Tudoriaid*,
l Lloegr.

ırwolaeth *Rhys*, cymmerodd ei fab *Gruffydd* afael ar yr orsedd,
'odd dros ennyd mewn llonyddwch. Ond ei frawd *Maelgwn*, yr

r yma fod enw y dref hon yn seinedig gan y Cymry yn y 12fed ganrif yn yr un
d heddyw.

† Pwy ydoedd hwn, nid yw amlwg.

hwn oedd wedi ei ddietifeddu gan ei dad, a ymgreiriodd â *Gwenwynwyn*, mab *Owain Cyfeiliawc*, a hwynthwy a gynhullasant fyddin, ac a ddaethant yn ddisymmwth yn erbyn *Gruffydd*, yn *Aberystwyth;* ac wedi lladd llawer o'i wyr, cymmerasant ef yn garcharor, ac a oresgynasant y cyfan o *Geredigiawn*, yn nghydâ'r cestyll. Yna *Rhys* a anfonodd *Gruffydd* ei frawd yn garcharor at *Wenwynwyn*, a hwnnw a'i anfonodd at y Saeson. A *Gwenwynwyn* a gynhullodd lu, ac a aeth yn erbyn *Arwystli*, ac a'i goresgynodd iddaw ei hun.

O gylch yr amser hyn, *Dafydd ap Owain Gwynedd*, wedi cynnull llu nifeiriog, yn gystal o Gymry ag o Saeson, a ddaeth yn erbyn *Llewelyn ap Iorwerth*, gan geisio adennill Dywysogaeth Gwynedd; ond *Llewelyn* a'i cyfarfu mewn brwydr, a chan orthrechu ei fyddin, a'i cymmerodd yntef yn garcharor; ac felly mwynhaodd ei etifeddiaeth mewn llonyddwch.

Yn niwedd y flwyddyn hon, 1197, bu farw y clodwiw *Owain Cyfeiliawc*, Tywysawg *Powys*, am orchestion yr hwn y crybwylliwyd eisioes. Yr oedd y Tywysawg hwn, fel ei gydoesydd *Rhys ap Gruffydd*, nid yn unig yn rhagori mewn doniau a dewrder, ond yr oedd hefyd yn dangos gwareidd-dra moesau, ac ymarweddiad boneddigaidd teilwng o'i uchel darddiad, a'i sefyllfa anrhydeddus. *Giraldus Cambrensis*, er iddo gyduno yn ei ysgymmuniad am ei anserchlonrwydd tuag at yr Archesgob *Baldwin*, etto, ni all attal oddiwrtho yr hyn sydd ddyledus iddo, perthynol iddei deilyngdod cynheddfawl.

Er y buasai yn fwy anrhydeddus, o ran gwladgarwch, gweled neb rhyw Dywysawg Cymruaidd yn wastad yn cynnal gwrthladdiad i frenin Lloegr yn hytrach nag yn mwynhau ei gyfeillgarwch, gan mai gelynion dilaesiad i freintiau y Cymry oedd y brenhinoedd Seisonaeg; etto, gan mai tynged *Owain Cyfeiliawc* ydoedd dyfod i flaenori mewn llys, yn yr hwn yr oedd caredigrwydd tuag at bennaduriaid Lloegr gwedi hanfodi dros rai genhedlaethau, weithian, nid oedd ddichonadwy iddo yn hollol ymwrthod â'r cyfryw deimladau, ac arferion. Ac er prawf o foesgarwch, a boneddigeiddrwydd, nid tystiolaeth fechan ydyw ei gymmeradwyaeth yn llys Lloegr; yn enwedig pan gofiom fod Henri II. yn bennadur tra enwog o ran doniau, a dysgeidiaeth, ac hefyd yn uchel ei yspryd, ac nid yn debygol i oddef cyfeillgarwch mewn un o isradd, weithach annghfartalwch mewn gwareidd-dra. A *Giraldus Cambrensis*, wrth grybwyll am *Owain*, a gyfeiria at hyn o beth. Canys dywaid am dano, "Yr Owain yma a ragorai ar y lleill o Dywysogion Cymru, mewn hyawdlaidd ymadrodd, ac hefyd mewn disgleirdeb cynheddfawl. Ac gan ei fod yn parhau yn ffyddlawn yn ei lyniad wrth Henri II. brenin Lloegr, pan oedd y lleill oll o bendefigion yr un genedl yn agos yn wastadol yn wrthwynebol iddo, ffurfiodd gyfeillgarwch mawr â'r brenin hwnnw. Ac un waith pan oedd efe yn eistedd wrth y bwrdd gydâ'r

*Amwythig*, anfonodd y brenin atto, fel yr arferai, er arwydd un o'i dorthau ei hun; ac yntef yn uniongyrch a dorrodd y dd y brenin, yn ddarnau, megys bara elysen; ac yn ol y dull cyntaf, dododd y bara yn mhell oddiwrtho, ac yna, cymmeridiau atto, bob yn un, ac a'u bwytaodd oll. Achlysur yr nodd y brenin, *Owain*, gan atteb gyda rith o wêniant, a Canlyn cynllyn fy arglwydd yr ydwyf yn hyn;' a thrwy modd cyfrwys a phigog, yn dangos i'r brenin ei arfer o gadw Eglwysig yn hir yn ei law, ac hefyd yn nodi ei gybydd-dod." *Gynddelw* awdl hir o arwyrain i *Owain Cyfeiliawc*, eithr ei geiriad, a'i dull trawlammaidd o gyfansoddiad, y mae fel o waith y bardd hwnnw, mor ddyrus, a phlethedig, ag y oedd hyd nod yn y dydd y cyfansoddwyd, yn hollol eglur fyfyriad; ac felly, nid rhyfedd, os ydyw mewn rhai mannau ydd heddyw, ar ol chwech cant o flynyddau. Er boddhâd munant gweled ei hanian, rhoddaf yma ran o'i dechreuad.

"Dysgogan derwyton dewr wlad y esgar
Y wysgwyd weiniuyad
Dysgweinid kyrt kydneid kydnad
Kyd uolyant gwr gormant gormeiasyad
Dysgweyd keinyeid kyua enad eu rwyf
Eu rwytuot yn'amhad
Dybrydeich brwydyr daer aer aerurad
Dybriw dreic dragon beleidrad
Dybrys alaf deifyr y drefad Bowys
Y beues y bendad, &c."

rolaeth *Owain Cyfeiliawc*, daeth ei fab *Gwenwynwyn** i rsedd.

r amser yma, bu farw *Owain ap Gruffydd Maelawr*, a *Hywel ap Iefaf*, a *Maelgwn ap Cadwallawn*, *o Faelien*-d o gylch yr un amser, cyflawnwyd gweithred dra ysgeler, a *Gwilym Brews*, Arglwydd Seisonaeg *Brecheiniawg*, am rhoddi un achos, oddieithr anianawd ddieflig atgas. *Tra-in*, Arglwydd *Llangors*, trwy ammod, a ddaeth i gyfarfod a *ws;* a hwnnw a'i daliodd yn fradychus, ac ar ol ei ddwyn *i*, perodd ei lusgo ar ol march, trwy y dref honno; ac wedi i ben, a chrogi ei gorff i fynu ar grogpren, dros dri diwrnod.

nw hwn mor debyg ei sain i'r gair *gwenwyn*, ag y gellid meddwl ei fod yn . Ond y mae yn ddilys genuyf nad oes un perthynas rhyngddynt; eithr *Dedwydd*, neu *Bendigaid*, yw ei gwreiddyn, fel y gwelir ef yn y gair

† *Owain o'r Brithtir*, y. a.

Y *Gwilym Brews* hwn oedd yr un adyn, yr hwn a berodd lofruddiad y pendefiion Cymraeg yn nghastell y Fenni. Dyn melltigedig, a hollol ddiegwyddor ydoedd ef; eithr ei ddrwgweithredoedd ni ddihangasant oddiwrth gospedigaeth: canys ar ol blino y brenin *Ieuan* yn hir, ac ymddwyn yn dwyllodrus tuag atto, y pennadur hwnnw a orchymynodd ei ddala; ac yntau, er arbed ei einioes, a ffodd i Ffrainc, lle y cymmerodd arnaw wisc cardottyn, ac y bu farw yno, o gylch y flwyddyn 1212. Ar ol ei ymadawiad i Ffrainc, ei wraig a gynhaliodd yr un ymddygiad twyllodrus tuag at y brenin; ac efe a orchymynodd ei dwyn hi, ac hefyd un o'i meibion, yn garcharorion i gastell *Windsor*, lle y cawsant ei newyni i farwolaeth. Enw y wraig hon oedd *Matilda de Sant Valeri*, merch *Reginald de Sant Valeri*, a weithiau gelwir hi *Mawd de Valeri*: menyw ydoedd o gynheddfau cryf, ac o egni tra nodedig, ond braidd yn well ei hegwyddor na'i gwr. Cofiannir am dani hyd y dydd heddyw yn amryw fanau o Gymru dan yr enw *Mallt Malbri*, yr hyn a roddir i amryw gestyll; ac yn Saesonaeg *Mol Walby;* ac gan y gelwir hi hefyd *Maud de Haia*, y mae yn debygol ei bod weithiau yn anneddu yn y *Gelli*.

Y gyflafn atgas yma o eiddo Gwilym Brews, ni allasai fyned heibio heb gyffroi teimladau o ddigter tuag atto yn mhlith y Cymry; ac felly, y flwyddyn ganlynol, sef 1198, *Gwenwynwyn*, Tywysawg *Powys*, a gynhullodd lu nifeiriol, a chan fwriadu helaethu terfynau Cymru iddeu cysefin sefyllfa, efe a ddaeth yn erbyn castell *Payn*,* yn *Elfael*, eiddo *Gwilym de Brews*, gan gyhoeddi y byddai iddaw, ar ol ennill y castell, ddiffeithiaw yr holl wlad, er dial am lofruddiad ei gefnderw, *Trahaiarn Fychan*. Ond gan nad oedd ganthaw beiriaint cymmwys tuag at ennill y lle, bu dair wythnos yn ei warchae; ac yn ystod yr amser hwnnw, y gwarchaedig a anfonasant i Loegr am gynhorthwy; a'r brenin a anfonodd attynt *Geoffrey Fitz Petr*, Brif Ynad Lloegr, gyda byddin gref, yr hwn a ddaeth yno, ac a geisiodd ymgymmodi â *Gwenwynwyn;* eithr efe ni wrandawai ar unrhyw gynnygion. Ac yno, yr Arglwyddi Saesonaeg a ryddhasant o garchar *Gruffydd ap Rhys*, yr hwn yr oedd *Gwenwynwyn* wedi ei draddodi iddynt yn garcharor; ac yntau yn llawen o gael cyfle i dalu'r pwyth iddei hen elyn, a gynhullodd fyddin liosawg; ac wedi uno o'i wyr â'r Arglwyddi Saesonaeg, daeth y lluoedd cyngreiriawl yn erbyn *Gwenwynwyn*, a bu brwydr waedlyd, yn mha un y gorthrechwyd *Gwenwynwyn*, a gorfu arnaw ffoi, wedi lladd llawer o'i wyr, yn mhlith pa rai yr oedd *Anarawd ap Einiawn*, *Owain ap Cadwallawn*, *Richard ap Iestyn*, a *Rhopert ap Hywel;* a chymmeryd yn garcharor *Meredydd ap Cynan*, ac amryw ereill. Y mae Matth. Paris. yn dywedyd i *Wenwyn-*

* Neu *Gastell Mallt*, yn ol Matth. Paris. "Quos Rex Walliæ obsederat in Castello Matildis."

, neu *Frenin Cymru*, fel y geilw efe ef,* golli tair mil a deg a thri-
ı o laddedigion, heblaw y carcharorion, a'r clwyfedig, tra na chollodd
son ond un gwr, yr hwn a laddwyd yn ddifwriad, â saeth, gan un o'i
llion. Ond y mae y rhan olaf o'r hanes mor chwedleuawl, ac mor
yg i wirionedd, ag na allaf ei hystyried ond megys chwedl anwir
ddwyd gan ryw filwr digrif ac ymffrostiol wrth yr hen fonach, gan
d ei ragfarn yn erbyn y Cymry, a'i barodrwydd i gofiannu eu haf-
liant, ar bob achlysur. Canys pe buasant yn wastadawl mor an-
s mewn brwydr ag y mynega yr hanesydd hwn, ni fuasai brenhinoedd
r ddim cynnifer oesoedd cyn gallael eu darostwng. Ond yn mhlith
bl, Matth. Paris. a geidw o'r golwg un amgylchiad nid hollol an-
sfawr; sef yw, mai Cymry yn erbyn Cymry a ymladdent, i raddau
, yn y frwydr hon.

ol y fuddugoliaeth hyn, *Gruffydd ap Rhys* a aeth yn ei rwysc ac a
ynodd ei holl gyfoeth oddiwrth ei frawd *Maelgwn*, oddieithr dau
l, sef *Aberteifi*, ac *Ystradmeurig*. Ac yno, *Maelgwn* a ammododd
lw, os rhoddai *Gruffydd* iddaw wystlon, er diogelwch iddaw ei hun,
ddai efe gastell *Aberteifi* i fynu iddei ddwylaw; i'r hyn y cydsyniodd
*ydd;* ond cyn gynted ag y derbyniódd *Maelgwn* y gwystlon, cad-
odd y castell iddaw ei hun, ac anfonodd y gwystlon at *Wenwynwyn*,
cadw yn garcharorion. Eithr cyn hir, llwyddasant i ddianc oddi-
A *Maelgwn* a aeth yn erbyn castell *Dinerth*,† ac a'i cymmerodd,
laddodd y cyfan o wyr *Gruffydd*, y rhai oeddynt ynddo. Ond
*ydd* a gymmerodd gastell *Cilgerran*, ac a'i cadarnhaodd. Hyn a
y flwyddyn 1199; a'r flwyddyn rhagwyneb, *Maelgwn* a werthodd
eson gastell *Aberteifi*, allwedd y Deheubarth, am ychydig arian, er
chynfigen tuag at ei frawd.

gylch yr un amser, sef yn 1200, bu farw *Gruffydd ap Cynan ap*

* Rex Walliæ

mae yn ddyledus sylwi yma fod yn t. d. 548 wall wedi ddigwydd trwy gamosodiad
r hwn a ofyn am adgyweiriad. Dylasai yr enw, *Castell Rhodwydd*, fod yn y linell
enol, ar ol y gair *Iâl*, ac yn ei le buasai y gair *Dinerth* yn gymmwysach. Ac er eglur-
peth, ac hefyd gyflawni y rhan hon o'r hanes, rhoddaf yma y sylwadau canlynol ar y
hyn.

*ell Iâl*, neu *Gastell Rhodwydd*, sydd rhwng *Llangollen* a *Rhythin;* adeiladwyd ef gan
*Gwynedd*, o gylch 1148. Gelwir ef yn awr *Tommen y Rhodwydd*. Nid oes dim o'r
laeth yn aros; yr unig weddillion ydynt y ffosydd, a'r cloddiau, a'r twmpathau, neu
*enau* pridd, ar y rhai yr oedd y tyrau; a dylid sylwi yma fod y gair *tommen* unwaith
yddocau yr un peth a'r Lladin, *tumulus*, ac yn gyfeiriedig at dwmpathau cestyll, a
au beddau. Ceir y gair y dydd heddyw yn y Deheudir, yn enw y mynydd *Tombar-*
y mae un o'r fath dwmpathau; ac yn yr enw *Tredommen;* ac hefyd yn enw y mynydd
n *Maeshyfaidd*, yr hwn a welir o bell ffordd.

*ell Llanrhystyd* oedd yn Swydd *Geredigiawn;* arwyddoceir weithiau mai yr un oedd
ell *Dinerth;* ond ni chefais ddigon o hyspysrwydd am dano, naill na i haeru na
hynny.

*Owain Gwynedd*, i'r hwn y canwyd marwnad, yn gystal ac odlau ereill, gan *Llywarch ap Llewelyn*, neu *Brydydd y Moch*. Y mae un o'r odlau hyn yn agor gyda llawer o egni barddonawl, yr hyn hefyd sydd ganfodadwy mewn amryw rannau ereill, o waith yr un awdwr.

"Rac rwy dygannwy dygynwyre glyw
O uon hyd uynyw llyw llu agde
Dy ryd y doryf dy re orwydawr [vore
Hyd y llewych llawr gwawr gwymp
Dychymysc airffysc yn aryfle aesdur
Ae gledyf flamdur ag glot dyre
Mab medel vtkyrn heyrn dy he
Gruffydd teyrnud tad elisse
Mab oor dor dewred ef dwyre prifgat
Megys e hendat oe rat rodre
Molawt yw ygnif mal ym danure
Edeinueirch a seirch serygyl kynnwe
Moladwy y ryd rod y bore
Moidyd essillyd ny syll eurde
Moleis y rwyf kemeis kamre ysgaylan
Yn amwyn garthan gyrch y dande."

O flaen pennaeth *Dyganwy* y cyfyd wronin o Fôn hyd Fynyw, y blaenor y llu treiddiol, ei dorf a'i gyflym feirch cyn belled ag y goleuir y ddaear gan wawr ddisglaer foreu. Dygymmysg frwydr-frys yn arf-le tarian-ddur, a'i gleddyf flam-ddur, a'i glod rhwysg-fawr, mab medel udcyrn, a heyrn arfau dihafarch, *Gruffydd* brenhinol flaenor gwlad *Elisse*. Mab llu tarian dewredd ef gyfodai brif-gâd, megys ei dad-cu o'i rad rwysgedd, molawd yw mewn brwydr...... hedegog feirch a meirch-wisgoedd seren-nog cynwanad, moladwy eu rhediad rhwysc y boreuddydd, eppil egniol yn ddrych aur-orchuddiol, molais wron y gampfa, a'r camre ewin-poer yn ymddiffyn y gaer, o gyrchiad tanbaid.

Yn y flwyddyn ar ol hyn, sef 1201, *Meredydd*, un arall o feibion *Cynan ap Owain*, a gynllwynodd yn erbyn *Llewelyn ap Iorwerth*, ac yntau a aeth yn ei erbyn, ac a oresgynodd gantref *Lleyn*. Ac ychydig ar ol hynny, gwrthladdwyd *Meredydd* gan *Hywel ap Gruffydd*, ei nai, ac yspeiliwyd ef o'r cyfan o'i eiddo, oddieithr ei farch. Y mae gan y *Prydydd Moch* Farwnad i *Meredydd ap Cynan*, yr hon a ddechreua fel y canlyn:—

"Maredut llofrut lloegrwys—diarchar
Diorchrawn orthywys
Y mer[1] nef nota vt[2] glwys
Ym parawd ym paradwys.

*Meredydd*, lladdwr Lloegrwys, y diofn
Bentyrawl flaenorwr;
Y Ner nef nodda'r pendefig glwys
Yn barawd yn Mharadwys.

"Parawd ysbytawd y esbyd prydein
Vt pryduawr y wrhyd
Maredut marw yw heuyd
Mal modur arthur arthgryd.

Parawd letteuad i westwr Prydain,
Blaenor prydfawr ei wrhydri
*Meredydd* marw yw hefyd [iol.
Mal ardderchog *Arthur*, yr Arth dychryn-

"Greidyawl arwynyawl arwynebet glyw
Gloew eryr teyrnet
Clwyf dygyn dehen a goglet
Clywed y uyned y uet

Y tanbaid wyneb-ddigllon lywydd,
Gloyw eryr brenhinoedd;
Clwyf erchyll i Ddehau a Gogledd,
Clywed ei fyned i fedd.

"Betrawd an daerawd pob deurut prydus
Pryderwn yn achlut
Daer vn kyuar an cut
Deon derw maredu maredut."

Y beddrawd a wnaeth pob grudd yn drist,
Doluriwn yn lluddedig

[1] Gwell genyf feddwl mai gair Cymraeg yw hwn, na'r Ffrangaeg *mere*, [*mam*] sef Fair Forwyn. Ac os nid *ner* ydyw, nis gwn beth ydyw. [2] *Udd—Tywysawg*.

y flwyddyn hon, lladdwyd *Meredydd ap Rhys*, yn *Ngharnwillion*, 'rad; ac yna, ei frawd *Gruffydd* a afaelodd ar ei gastell yn *Llanym-i*, ac ar ei gyfoeth oll. Dywedir am *Ruffydd ap Rhys* mai pendefig heddfau godidog ydoedd, ac un yn debygol i ddwyn y Deheubarth i dda, yn ol cynllun ei dad; eithr ni chafodd amser i hyn, canys bu n y flwyddyn 1202, er mawr alar iddei wlad: claddwyd ef yn leddus yn *Ystradfflur*. Gadawodd fab o'r enw *Rhys*, o *Fallt*, *Gwilym de Brews*.

amser yma, *Llewelyn ap Iorwerth*, gan adgofio goruchafiaeth edd, a darostyngiad defodol y Talaethau ereill i honno; ac y dylai ysogion ereill ddala tano ef, ac nid tan frenin Lloegr, fel ag y ai rai o honynt, neu o'hwaith lywodraethu yn annibynol o fewn tiriogaethau eu hunain, fel y gwnai eraill, a alwodd yn nghyd gyng-l o'r Tywysogion a'r Arglwyddi, y rhai gan mwyaf a ddaethant, ac merasant lw gwyriogaethawl. Eithr *Gwenwynwyn*, Tywysawg ı, ni ddeuai, ac ni wnai wyriogaeth. A phan ddangosodd *Llewelyn* ıfydd-dod hyn i'r lleill, hwynthwy oll a gyttunasant y dylai *Gwen-yn* cael ei gymhell trwy nerth i wneuthur ei ddyledswydd, neu ynte i diriogaethau. Ond un o'r pendefigon, o'r enw *Elisse ap Madawc*, yttunai i niweidiaw *Gwenwynwyn*, mewn un modd, ac ymadawodd ngor. Yna, *Llewelyn* a gychwynodd gyda'i lu i Bowys; ond cyn od mewn brwydr, trwy gyfrwng yr Eglwyswyr, ammodwyd rhwng *lyn* a *Gwenwynwyn*, a'r olaf a gyttunodd i ymddarostwng i *lyn*, yr hyn a gadarnhawyd trwy lw, a gweithred ysgrifawl. Yna, *lyn*, gan gofio ymddygiad *Elisse*, a afaelodd ar ei diroedd, a gorfu ffoi; ond ar ol hynny, ymddarostyngodd i *Lewelyn*, a derbyniodd ldiant gastell *Crogen*, a saith cantref. Ac or ol hyn, *Llewelyn* a welodd i Wynedd, gan gadarnhau castell y *Bala*, ar ei daith.

ellir canfod yn yr amgylchiadau hyn addasrwydd cynhenid *Llewelyn rwerth* iddei sefyllfa fel Tywysawg, canys gwelai angenrheidrwydd iad tuag at ddwyn ymlaen bob gorchwyl gwladgarawl; ac hefyd nogai ddoniau gofynol tuag at ffurfio y cyfryw cyduniad yn mhlith lwladwyr. Ac yna wrth gymharu cyflwr Gwynedd âc eiddo y dalaeth arall, ymddengys mewn modd tra nodedig y rhagoroldeb d a chydweithrediad, ac hefyd o unbenaeth llywodraethawl o fewn Talaeth. Canys yr oedd Powys wedi colli ei nerthoedd, i raddau trwy yr amrywiol ranniadau a wnaethpwyd yn y tiriogaethau, a y sefydliad a gafodd y Saeson o fewn i'r wlad. Ac yr oedd y Deheu-ar yr un pryd gan drachwant amrywiol ymgeiswyr wedi syrthio ı ranniadau, a'i bod megys Talaeth yn barod i ymddattod. Tra fu r *Arglwydd Rhys*, ei ddoniau llywodraethawl a oeddynt ddigonol

i gadw undeb cyffredinol yn mhlith y pendefigion terfysglyd, y rhai a hawl-ient awdurdod o fewn i'r wlad; ond ar ol ei ddydd ef, er fod dewrder a doniau rhyfelawl yn hanfodi i'r un rhyw raddau ag o'r blaen, etto yr oedd dawn penllywyddu yn eisiau yn eu plith, a thrwy yr eisiau hynny yr holl wlad a oedd yn llawn cythrwfl.

Dangoswyd eisioes fod *Gruffydd ap Yr Arglwydd Rhys* wedi gadael mab o'r enw *Rhys;* ond gan y gwelir ynawr rai pendefigion ereill o'r un enw ar y maes, yr hyn i'r darllenydd a bar nid ychydig o ddyryswch, barnaf yn angenrheidiol, er hyfforddiad, roddi yma dafleniad byr eglur-haol, perthynol i'r cyfryw.

RHYS AP GRUFFYDD AP RHYS AP TEWDWR.

Gelwir ef hefyd *Yr Arglwydd Rhys.*

RHYS GRYG, MAB YR ARGLWYDD RHYS.

Gelwir ef weithiau *Rhys Fychan.*

RHYS IEUANC, MAB GRUFFYDD AP YR ARGLWYDD RHYS.

Gelwir yntef weithiau *Rhys Fychan.*

RHYS MECHYLL, MAB RHYS GRYG.

RHYS FYCHAN, MAB RHYS MECHYLL.

Ac er mwy cyflawn ddealldwriaeth o'r perthynasau, dichon y bydd yr achlen ganlynol o les.



Yr oedd *Rhys Ieuanc* yn awr, trwy iawnder etifeddiaeth, yn wir erchennog gorsedd y Deheubarth; a'r gorchest gyntaf o'i eiddo mewn ofiant, ydyw y weithred o gymmeryd castell *Llanymddyfri*, yr hyn a naeth o gylch y flwyddyn 1203.

Yn y flwyddyn rhagwyneb, aeth yn erbyn castell *Llangadoc*, ac a'i nillodd, ac a'i cadarnhaodd iddo ei hun. Ond yn ebrwydd daeth *Maelwn*, gyda'i gyfaill *Gwenwynwyn*, a byddin gref, ac a ymosododd ar stell *Llanymddyfri*, ac a'i ennillodd; ac oddiyno aethant i *Langadoc*, ennill y castell hwnnw hefyd; ac yna aeth *Maelgwn* i *Ddinerth*, ac a wblhaodd y castell yr hwn yr oedd efe wedi ei ddechreu yno.

Yr oedd *Maelgwn* yn awr yn meddiannu yr oruchafiaeth yn y Deheuarth; ond ni pharaodd iddei gadw yn ddiwrthladd. Canys *Rhys euanc* a'i frodyr a ennillasant oddiarno gestyll *Llanymddyfri*, a *Dinefwr;* a *Gwilym*, Iarll Penfro, yr hwn a elwir *Gwilym Marshall*, a nnillodd gastell *Cilgeran*; ond yr oedd *Maelgwn* yn ymegnio i gadw ei i gyfoeth trwy bob moddion. Canys o gylch yr amser yma, *Hywel ap Rhys*, yr hwn oedd dywyll, a gafodd ei ladd gan wyr *Maelgwn* ei frawd.* Ac nid yn hir ar ol hynny, *Maelgwn* a berodd llofruddio *Cedifor ap Griffri*, yr hwn oedd wedi priodi *Susanna*, merch *Hywel ap Rhys*, a hymmerodd ei bedwar mab ac a'i dihenyddiodd. Ac yn ebrwydd ar ol yn, sef 1205, adeiladodd *Maelgwn* castell *Abereinion*.

Tra'r oedd yr ymranniadau hyn yn cymmeryd lle yn y Deheubarth, yr edd y Tywysawg *Llewelyn ap Iorwerth* yn cynnal ei unbennaeth yn y Gogledd gyda llawer o lwyddiant, ac yn ymgryfhau yn fawr.

Dangoswyd eisioes y modd yr oedd yr Arglwyddi Normanaidd yn ymdrechu i ffurfio cyfathrach â'r pendefigion Cymraeg, trwy briodi merched y pendefigion, a rhoddi eu merched eu hunain yn wragedd i'r Cymry; ac yn ddiweddarach gwelwn yr arfer gyfathrachawl hyn yn cael ei fabwysaw hyd nod gan Frenhinoedd Lloegr. *Henri II.* a roddodd ei chwaer i *Ddafydd ap Owain*, ac yn awr gwelwn y brenin *Ieuan* yn rhoddi ei ferch *Lewelyn ap Iorwerth.* Hon oedd *Joan*, mam yr hon oedd *Agatha*, merch *Rhobert Ferrers*, Iarll *Derby*. Ac cyn hir digwyddodd amgylchiad, yr hwn a ychwanegodd at awdurdod *Llewelyn*, nid amgen llwyr orthrechiad a marwolaeth *Dafydd ap Owain*, ei hen elyn, yr hwn a fuasai ynt yn Dywysawg Gwynedd. Yr oedd *Dafydd* wedi cael ei ryddhad gan *Lewelyn*; a'r defnydd a wnaeth o hynny, ydoedd myned i Loegr a chynhoi byddin o wyr i geisio adennill ei dywysogaeth. Eithr *Llewelyn* a'i cyfarfu ar ei gyrchiad i Gymru, ac a'i gorthrechodd mewn brwydr; ac yntau a ddychwelodd i Loegr, ac a fu farw yno.

* Claddwyd ef yn Ystradflur, gyda'i frawd *Gruffydd.*

Nid oes ond ychydig o ddefyddion hanesiol i ffurfio barn am gymmeriad *Dafydd ap Owain:* na phaham, ar ol ymsefydlu ar ei orseddd, a'i chadw dros gynnifer o flynyddau, y gorfu arno ffoi rhag *Llewelyn ap Iorwerth*, heb fyth wedi hynny allael ei wrthladd gydag un fath o lwyddiant. Nid eisiau dewrder ydoedd, canys y mae cofiaint am ei barodrwydd i ymddangos mewn brwydr ar amryw achosion. Rhai a feddyliant fod ei berthynas trwy briodas, i frenin Lloegr, gwedi ei goeg-dderchafu, fel y collodd barch ei gydwladwyr; ac hefyd, fod ei gyfathrach Saesonaeg wedi ei arwain i ymgyfeillachu gormod â dieithriaid. Ond am hyn oll, nid oes eithr dychymmyg; a'r unig beth a ellir ei sicrhau ydyw, fod *Dafydd ap Owain* wedi colli ewyllys da ei ddeiliaid, a *Llewelyn ap Iorwerth* wedi ei ennill; ac yn meddiannu dawn, iddei gadw.

Y mae dau neu dri o odlau i *Ddafydd ap Owain* ar glawr; rhai o'r sawl a gynhwysant ambell i linell awenyddawl; ond yn gyffredinol nid ymddangosant i mi yn ddigon nodedig iddeu hailadrodd yma.

Ond nid gorthrechiad *Dafydd* yn unig a gyfranodd i helaethu gallu *Llewelyn*; canys yn y flwyddyn 1208, *Gwenwynwyn*, Tywysawg *Powys*, wedi myned i'r *Amwythig*, i ymddiddan â chyngor brenin Lloegr, a gafodd ei ddala yn garcharor yno, trwy orchymyn y brenin. Ac ar hyn, aeth *Llewelyn* ac a oresgynodd ei holl gyfoeth ef, gyda'r trefydd a'r cestyll, ac a'i cadwodd iddo ei hun. Yna, *Maelgwn ap Rhys*, gan ddeall fod *Llewelyn* yn bwriadu gwneuthur cadgyrchiad i'r Deheubarth, a dorrodd gestyll *Aberystwyth*, ac *Ystradmeurig*, a *Dinerth* rhag ofn na fyddai alluog iddeu cadw yn erbyn *Llewelyn*. Ond y Tywysawg hwnnw a aeth yn y blaen i *Aberystwyth*, ac a adeiladodd y castell drachefn, ac a'i cadarnhaodd. Ac wedi hynny, cymmerodd gantref *Penwedic* iddaw ei hun; a rhoddod "y dryll arall o Geredigiawn uch aeron i feibion *Gruffydd ap Rhys*, ei neiaint;" hynny oeddynt *Rhys Ieuanc* a'i frodyr, a dychwelodd i Wynedd gydag anrhydedd.

Yr oedd awdurdod *Rhys Ieuanc* gwir etifedd y Deheubarth, yn awr yn ymddangos fel pe buasai ar gynnydd; ond cyn hir gwelwyd yr amrafaelion cartrefol arferol yn cyfodi i rwystro y dedwyddwch hwnnw; canys *Rhys Gryg* a ddaeth yn erbyn castell *Llangadoc;* ac ar ol ei warchae, efe a'i cymmerodd; a thrwy hynny torri ei ammod â meibion *Gruffydd*, mewn modd anniolchgar, gan anghofio y gwasanaeth a dderbyniodd ganddynt. Ond cyn hir, y ddau frawd, *Rhys Ieuanc* ac *Owain*, a ddaethant at y castell, ac a'i cymmerasant drachefn, gan ladd, neu ddwyn yn garcharorion, y cyfan o'r castellwyr, a llosgi y castell.

Yr oedd y llwyddiant yma o eiddo *Llewelyn* a'i neiaint, *Rhys Ieuanc* a'i frodyr, yn cynhyrfu eiddigedd eu gwrthwynebwyr yn mhlith y Saeson, yn gystal a'r Cymru, yr hyn a ymddangosodd yn gyntaf yn weithred Iarll

*Caer*, yr hwn a ddaeth ac a adgyweiriodd gastell *Dyganwy*, ar ol ei dorri gan y Tywysawg *Llewelyn;* ac aeth hefyd ac a adgyweirioddd gastell *Treffynnon;* a hyn a gyffrodd ddigter *Llewelyn*, ac efe a ruthrodd ar diroedd y Iarll, gyda ffyrnigrwydd mawr, ac a'u diffeithiodd yn erchyll. A'r un eiddigaedd a gynhyrfodd *Rhys Gryg* yn y Deheubarth; canys wrth weled rhwysc *Llewelyn*, a'i garedigrwydd tuag at ei neiaint, efe a aeth at y brenin ac a geisiodd ganthaw gynhorthwy, yr hyn a gafodd yn llawen; ac efe a aeth yn erbyn castell *Llanymddyfri*, ac a'i gwarchaeodd; a'r castellwyr, gan weled na allent ei gadw, a'i rhoisant i fynu, dan ammod iddynt ymadael mewn diogelwch, gyda'u meddiannau.

O gylch yr un amser, sef 1210, y brenin, gan ofni cynnydd cadernid *Llewelyn*, a ollyngodd o garchar y Tywysawg *Gwenwynwyn*, ac hefyd a roddodd iddaw gynhorthwy o wyr, gyda'r rhai yr aeth efe ac a adennillodd ei Dywysogaeth.

Y digwyddiadau hyn nid oeddynt yn ddieffaith ar *Faelgwn ap Rhys;* ac yntau a aeth at y brenin, ac a dderbyniodd ganthaw lu o wyr, o Normaniaid a Saeson, at y rhai yr ychwanegodd ei wyr ei hun, a chan dorri ei lw a'i ammod, aeth yn erbyn ei neiaint, *Rhys Ieuanc* ac *Owain*, ac a ddechreuodd ddiffeithiaw eu tiroedd. Ac ar ol dyfod i *Benwedig*, ymwersyllodd yn *Nghilcenyn;* lle yr arhosodd dros y nos, gan fwriadu drannoeth ganlyn yn mlaen ei gadgyrchiad. Ac yn y cyfamser, *Rhys Ieuanc* ac *Owain* a gynhullasant o gylch tri chant o wyr dewisedig, ac a ddaethant yn ddirgel, ac a wersyllasant gerllaw. Ac yn nyfnder y nos, pan ddeallasant oddiwrth eu cenhadon chwiliawl, fod pob peth yn llonydd yn ngwersyll *Maelgwn*, ac nad oedd ei wyr yn disgwyl am un ymosodiad, *Rhys Ieuanc* a'i frawd a ddaethant gyda'u llu yn ddistaw i wersyll *Maelgwn*, ac a ruthrasant ar y gwyr, ac a wnaethant alanastra enbydus, a'r rhai a allent gael cyfle, o herwydd na wyddent achos y terfysc, a ffoisant ymaith, a *Maelgwn* ei hun gyda hwy, a braidd yr arbedodd ei einioes; ond hynny a wnaeth trwy ddewrder ei wyr, y rhai a'i hamddiffynasant ef yn wych, nes gallodd ddianc.

Yn yr ymosodiad yma lladdwyd llawer o wyr *Maelgwn*, yn mhlith pa rai yr oedd *Einiawn ap Caradawc;* a'i nai, *Cynan ap Hywel*, a'i brif gynghorwr, *Gruffydd ap Cadwgan*, a gymmerwyd yn garcharorion, yn nghyd ag amryw ereill.

Yn yr amser yma y cadarnhaodd *Gilbert*, Iarll *Caerloiw*, gastell *Buallt*, lle ychydig cyn hynny y lladdesid llawer o'i wyr gan y Cymry. A'r flwyddyn ganlynol y dugpwyd amryw achwynion at y brenin *Ieuan*, gan wyr y cyffindiroedd, yn erbyn y Tywysawg *Llewelyn ap Iorwerth*, sef ei fod wedi ymosod ar eu meddiannau, ac yn eu diffeithio, gan ladd a llosgi y ffordd y cerddai. Ar yr hyn, y casglodd y brenin fyddin liosog trwy

boll Loegr, ac a alwodd atto gynnifer o'r Tywysogion ac Arglwyddi Cymraeg ag a arddelent ei oruchafiaeth, sef, *Gwenwynwyn*, Tywysawg Powys, ac *Hywel ap Gruffydd ap Cynan ap Owain Gwynedd*, yr hwn yr oedd *Llewelyn* wedi ei alltudio; a *Madawc ap Gruffydd Maelawr*, a *Meredydd ap Rhotpert*, o *Gedewin;* a *Maelgwn* a *Rhys Gryg*, meibion yr *Arglwydd Rhys:* ac â'r fyddin yma efe a ddaeth hyd dref *Caer*, ac oddiyno tua Gwynedd, gan benderfynu llwyr ddifetha y cwbl o fewn i'r wlad honno. Yna y Tywysawg gan wybod y darpariapau hyn, a bod cynnifer o'i gydwladwyr wedi cyngreiriaw yn ei erbyn, a orchymynodd i drigolion y *Perfeddwlad* [ardaloedd swydd *Dinbych* a *Fflint*,] i symmud eu daoedd i ardal *Eryri*. A'r brenin a ddaeth yn mlaen trwy *Ruddlan*, ac ar hyd oror y mor hyd at *Dyganwy*, lle y gwersyllodd. Ond cyn hir cafodd ei sefyllfa yno yn dra anghysyrus; canys *Llewelyn* a'i gwarchaeodd mor gyfyng, ag na allai gael dim cynhaliaeth iddei wyr; ni allai dim ymborth gael ei ddwyn attaw o Loegr, ac ni feiddiai ei wyr ymadael a'r gwersyll i edrych am dano yn y wlad, gan fod gwyr Gwynedd ar bob tu iddynt yn barod i ymosod arnynt cyn gynted ag yr ymddangosent. Ac mor fyr oedd y cynhaliaeth, a bod ŵy yn cael ei werthu am geiniawg a dimmai, arian mawr yn yr amser hwnnw, "a gweled yn foethus oedd ganthynt gael cig y meirch" i'w fwyta.

Ar ol goddef y caledi hyn dros amser, y brenin a ddychwelodd i Loegr, gyda gwaradwydd a siomedigaeth, ac mewn dicter mawr, a chan adael llawer o feirw ar ol. Ond yr aflwydd hyn a weithredodd ar y brenin iddei gynhyrfu i adnewyddu ei ymgais i ddial ar *Llewelyn*. Ac felly, yn y flwyddyn ganlynol daeth drachefn â byddin dra liosawg, a'r un pendefigion Gymraeg gydag ef, ac a groesodd yr afon *Conwy;* ac oddiyno anfonodd dosparth o'i flaen i *Fangor*, i losgi y lle; yr hyn a wnaethant, ac a gymmerasant yn garcharor *Rhotpert* yr Esgob, y rhwn a ryddhawyd am ddau cant o hebogiaid. A'r Tywysawg yn gweled cymmaint o gadernid yn ei erbyn, a chynnifer o'r pendefigion Cymraeg yn eu plith, trwy gyngor ei wyrda a anfonodd ei wraig *Joan*, merch y brenin, i ymddiddan âg ef am heddwch; a'r canlyniad oedd, i'r Tywysawg ddyfod at y brenin, ac ymheddychu o honynt, ar y telerau fod i'r Tywysawg rhoddi gwystlon i'r brenin, yn nghydag ugain mil o wartheg, a deugain march; hefyd fod y brenin i gael meddiant ar y *Perfeddwlad;* ac yna y dychwelodd y brenin i Loegr yn fuddugoliaethus.

Yn y weithred hyn o eiddo *Llewelyn*, yn ymostwng i'r fath ammodau, nid hawdd dywedyd pa mor belled yr oedd anghenreidrwydd yn galw am dani. Diau fod cyfyngder mawr yn hanfodi, lle yr oedd cynnifer o'i gydwladwyr yn uno â'r brenin yn ei erbyn. Ond fe welwyd gwyr Gwynedd cyn hynny yn sefyll yn erbyn yr un fath ymosodiadau heb roddi i

maint o'u tiriogaethau; ac ni allaf lai na dychymmyg fod y ;, ar y pryd yma, yn cael ei arwain fwy gan gyngor ei wraig na'i ıan. O herwydd y mae amgylchiad yr hwn a adroddir drachefn yn d serch honno yn fawr tuag at ei thad, at yr hyn y gellir ychwanıi hi ddim teimlo cymmaint o gariad cynhenid tuag at Gymru a ,oegr; ac felly y mae yn debygol ei bod yn dewis sefylu heddwch :h na chanlyn rhyfel rhwng y ddwy genedl, heb ofalu pa un a anrhydeddus i'r Cymry ai peidio. Tywysoges Cymraeg ydoedd au, ond etto, *Seisnes* oedd hi.

l y rhan fwyaf o Dywysogion a Phendefigion Cymru yn awr naill u darostwng neu wedi eu gostegu, ond yr oedd *Rhys Ieuanc*, *Owain*, etto yn cynnal eu hanibynolrwydd. A'r brenin a anfon*cwn*, Synyscal *Caerdydd*, [*Falcasius de Breant*,] a llu o wyr *faelgwn* a *Rhys Fychan*, ac i wneuthur cadgyrchiad yn erbyn *uanc* ac *Owain*. A'r byddinoedd cyngreiriol a ddaethant i ; ac yna, y ddau frawd, gan weled na allent wrthladd y fath a geisiasant ammodau heddwch, a thrwydded i lys y brenin; yr iatawyd iddynt. Ac yno derbyniwyd hwy yn anrhydeddus, a ıt wyriogaeth i'r brenin, gan roddi i fynu iddaw y wlad rhwng *Aeron*. A *Ffawcwn* a gadarnhaodd gastell *Aberystwyth*, ac a vyr i'r brenin ynddaw.

'n hir, *Maelgwn*, a'i frawd *Rhys Gryg*, a edifarhasant am yr a wnaethant â'r brenin; ac a aethant yn erbyn castell *Aberys-* : a'i cymmerasant, ac a'i dinystriasant. A phan welodd eu *Rhys Ieuanc* ac *Owain*, eu bod hwy wedi torri yr heddwch yn fodd, hwy a wnaethant gadgyrchiad i wlad *Maelgwn*, ac wedi er o'i wyr, dychwelasant gydag yspail fawr.

d y Tywysawg *Llewelyn*, erbyn hyn, yn dechreu teimlo y cano'r ammodau anffodus a wnaeth â'r brenin; canys yr oedd y a adawsai y brenin yn y cestyll y rhai a ammodwyd iddaw, yn mor ormesawl ag na ellid eu goddef yn hwy. Ac felly, *Llewwodd* attaw *Wenwynwyn*, Tywysawg *Powys*, a *Maelgwn ap* *Deheubarth*, *Madawc ap Gruffydd Maelawr*, o *Faelawr*; a *l ap Rhotpert*, o *Gedewen*; ac a osododd ger eu bron gyflwr y ddangos mai trwy eu bai a'i cyndynrwydd eu hunain yr oeddent dwyn dan awdurdod estroniaid, ac os byddai iddynt ymuno ac , y gallent etto adennill eu rhydd-did cysefin; yr hyn a addawuthur. Ac wedi tyngu bod yn ffyddlawn i'r Tywysawg, cynhulllin gref, ac a aethant ac ac a ennillasant yr holl gestyll Saesonaeg *feddwlad*, oddieithr *Rhuddlan*, *a Dyganwy*. Ac yna, aethant ac a warchaeasant y castell a wnaethasai *Robert Vepont** yn

* De Veteri Ponte.

*Mathrafal:* a phan glybu y brenin am hyn, daeth a dirfawr lu iddei amddiffyn; ond yn lle hynny, llosgi a thorri y castell a wnaeth ei hun, ac yno dychwelodd i Loegr, gan fod ganthaw y pryd hwnnw ymryson taer â'i bendefigion ei hun. Ond yr oedd y Cymry yn parhau i ddiffeithio y y cyffindiroedd mewn modd tra dinystriol, ac yn dwyn anrheithiau mawrion ymaith. Ac yna y brenin a gynhullodd lu anfeidrol o farchogion a gwyr traed, gan fwriadu llwyr ddinystrio y cyfan o genedl y Cymry, ac a ddaeth hyd *Nottingham*. A thra'r oedd yn y dref honno, perodd grogi y gwystlon a oeddynt yn ei ddwylaw, sef *Hywel ap Cadwgan*, a *Madawc ap Maelgwn*, ac eraill, yn wyth ar hugain o rifedi; a *Robert Vepont* hefyd, yn yr *Amwythig*, a grogodd *Rhys ap Maelgwn*, yr hwn nid oedd etto yn gwbl saith mlwydd oed.

Tra'r oedd y brenin yn *Nottingham*, derbyniodd lythyron oddiwrth frenin yr Alban, yn mynegi iddaw fod bradwriaeth yn hanfodi yn ei erbyn. Ac yn fuan ar ol hyn daeth cennad arall oddiwrth ei ferch, gwraig y Tywysawg *Llewelyn*, a llythyron yn cynwys yr un fath rybyddiad, ac yn dywedyd fod ei bendefigion wedi cyngreiriaw gyda brenin Ffrainc yn ei erbyn, ac yn enwi rhai y sawl oeddynt wedi myned yn ddirgel i Ffrainc. Y brenin a ddirmygodd y llythyron hyn, ac a aeth rhagddaw tua Chymru. Ond pan ddaeth hyd ddinas *Caer*, derbyniodd etto yr un fath lythyron a rhybyddion, ac yn mynegi os byddai iddaw ganlyn y rhyfel hwnnw, y cai, naill ai ladd gan ei bendefigion ei hun, neu ynte ei draddodi iddei elynion. Y mynegiad hwn a berodd iddaw y fath ddychryndod, ag y darfu wasgaru ei wyr iddeu cartrefi, a dychwelyd ei hun i Lundain.* Y mae y weithred garedig yma o eiddo y Dywysoges Gymraeg tuag at ei thad, yn dangos ei bod hi yn meithrin y fath deimladau tuag atto ag a'n hawdurdoda ni i gredu fod ganthi law mewn amryw bethau gwladwriaethawl eraill; ac mai trwy ei chyfrwng hi yr hudwyd y Tywysawg i gyflawni y weithred ddianrhydeddus o roddi fynu y *Perfeddwlad* i'r brenin, am yr hyn y crybwyllwyd eisioes.

Tra'r oedd *Llewelyn* a'i gydwladwyr yn y modd uchod yn canlyn eu rhwysc buddugoliaethus, dichweiniodd amgylchiad dra phrydlawn iddynt, yr hwn a hyfforddodd ei llwyddiant yn fawr. Yr oedd y brenin *Ieuan*, yn mhlith ei weithredoedd cyndyn ac anffodus eraill, wedi syrthio i ymryson â'r Eglwys, ac wedi tynu ar ei ben ei digofaint dychrynllyd o esgymmundod. Ac i'r dyben i ganlyn y dialedd yn effeithiol, y Pab *Innocentius*, yn y flwyddyn 1213, a ryddhaodd y Tywysawg *Llewelyn*, yn nghyd a

* Y mae ynwyf ryw amheuaeth mai ar y pryd hwn y dinystriodd y brenin gastell *Mathrafal*, canys nis gallaf gael allan awdurdod am iddaw wneuthur dau gadgyrchiad tua Chymru yn yr amser yma, oddieithr fod yr amgylchiadau, wrth gydmaru gwaith *Powel* â *Matth. Paris.* yn ymddangos megys yn wahanol.

yn a *Maelgwn*, oddiwrth y llwon a wnaethasant i'r brenin, l iddynt orchymmyn ei flino ef, a'i ymlid, hyd eithaf eu s gelyn i'r Eglwys; a hynny dan addewid o faddeuant o'u os cyflawnent y gorchwyl yn ffyddlon; a than fygythiad o pallent: a diau nad oedd eisiau o'r fath annogiad, canys yr ioes yn ddigon calonog yn y gwaith. Ond etto ymddengys fel i'r cyfryw arch ychwanegu at eu hegni; canys yn fuan ar ol erasant yn ol y *Perfeddwlad* oddiwrth y brenin, a rhoddwyd i i'r Tywysawg *Llewelyn;* ac yn y diwedd y Tywysawg a astell *Dyganwy*, a chastell *Rhuddlan;* ac felly ni adawodd i'r lroedfedd o dir o fewn i Dalaeth Gwynedd.

; ar ol hyn, y brenin *Ieuan*, gan deimlo soriant y Pab yn rhy oddef, a ufuddhaodd iddei awdurdod, ac a gafodd ollyng-ei ysgymmundod, ac a ail sefydlwyd yn ei freintiau. Ac yn y anlynol, [1214] *Rhys Ieuanc*, gan weled na chafai ei gyfran o lad, eithr fod ei ewythrau yn cadw y cwbl oddiwrthaw, a aeth aodd wrth y brenin; ac yna yr anfones y brenin at *Ffawcon*, *aerdydd*, yr hwn oedd Rhaglaw y cyffindiroedd, ac at Synyscal i erchi iddynt beri i *Rhys Gryg* roddi i fynu i *Rhys Ieuanc nymddyfri*, a'r wlad honno, ac onite, eu cymmeryd oddiarnaw rfau. Ond pan ddygpwyd y genadwri at *Rhys Gryg*, atteb-dai efe i fynu i *Rhys Ieuanc* un erw o'i dir. Ar hyn, *Rhys* diodd yn fawr, ac a gynhullodd lu nifeiriol yn *Mrecheiniawc*, i *Ystrad Tywy*, ac a bebyllodd yn y lle a elwyd *Trallwng* yno y daeth atto *Owain* ei frawd, a *Ffawcon*, Synyscal *Caer-lluoedd*. A thranoeth cyrchu a orugant [wnaethant] gyfoeth y, a chyweiriaw eu byddinoedd, a dodi *Rhys Ieuanc* a'i fyddin ; a *Ffawcon* a'i fyddin yn y canol; ac *Owain ap Gruffydd* n ol. Ac ni bu bell hyd y cyfarfu *Rhys* â hwynt. Ac yn y fyddin gyntaf y gorfuwyd ar *Rhys Gryg* a'i wyr, ac y ciliodd lladd llawer o'i wyr, a dala eraill."

, ydd aeth *Rhys Ieuanc* ar fedr ymladd â chastell *Dinefawr*. [er hynny] *Rhys Gryg* a'i rhagflaenodd, ac a gadarnhaodd y yr ac arfau; a gwedi llosgi *Llandeilo*, cilio ymaith a wnaeth y. Ac eisioes *Rhys Ieuanc* a warchaeodd y castell; a thranoeth anau a dychymmygion i ymladd â'r castell, a gwneuthur ysgol-muroedd, i wyr i ddringaw dros y muroedd; ac felly y gores y castell oll, eithr un tŵr; ac yn hwnnw idd ymgymerth y wrth ymladd, ac amddiffyn, ac ergydiau, ac â pheiriannau eraill. an yd oedd saethyddion, ac arblastwyr,* a mwynwyr, a march-

* Gwyr yn saethu â bwa croes.

ogion yn ymladd âg hwynt. Ac felly y cymhellodd arnynt cyn
talu y castell; a rhoddi tri gwystl a wnaethant, drwy ammod cae
a'u harfau, a'u haelodau, yn iach; ac felly y gwnaethpwyd."

"Ac wedi cael y castell, y ciliodd *Rhys Gryg*, a'i wraig, a'i
deulu, at *Faelgwn* ei frawd, wedi cadarnhau castell *Llany*
wyr, ac arfau, ac angenrheidiau eraill."

"Ac eilwaith yd aeth *Rhys Ieuanc* i *Frecheiniawc;* ac yn
dirfawr lu a orug o Gymry, a Ffreinc, a chyrchu *Llanymddyfi*
pebyllu o naddynt, ef a roddes y castellwyr y castell iddaw, tr
cael eu heneidiau, a'u haelodau yn iach."

Yn fuan ar ol hyn, dalwyd *Rhys Gryg* yn *Nghaerfyrddin*,
ef yn nghharchar y brenin.

Yn yr amser yma, daeth i ben amgylchiad, yr hwn a fu, ar
foddion o hyfforddi y Cymry yn eu hymdrechiadau gwladaw
yn y canlyniad, o elw mawr i'r ynys oll, perthynol i rhydd-did c
A hynny oedd ennilliad y fraint ysgrif, a elwir *Magna Ch*
Barwniaid Lloegraidd, oddiar y brenin *Ieuan;* a thuag at yr
rannodd y Cymry yn fawr, trwy eu cydweithrediad â'r Barwnia

MAGNA CHARTA.

1215.

Pan sylwir ar y weithred nodedig a gwerthfawr hon, y mae
edrych arni megys rhyw beth yn perthyn i'r Saeson yn unig, h
y Cymry un gyfran yn ei hennilliad, na'i ffrwythau. Ond can
hyn; canys y Cymry a fuont yn dra egniol yn yr ymdrechi
hennill; ac yr oedd llawer o honynt, y pryd hwn, yn teimlo a
rwydd y cyfryw ddiwygiad gwladwriaethawl: canys yr oe
ardaloedd weithian, trwy ddarostyngiad i'r Arglwyddi cyffindi
brenin ei hun, yn byw dan reolaeth y cyfreithiau Lloegraidd.
pan synnir ar y fraint ysgrif honno, yr hon a ystyrir megys syll
did gwladawl, nid anmherthynasawl ydyw troi ein sylw, dros
gyfran a fu i'n cydwladwyr yn yr ymdrech a gymmerodd le yn
iad. Ac yn y golygiad hwn, os craff sylwn ar yr amgylchiada
bwysaw eu gwahanawl deilyngdod, cawn weled, ysgatfydd er s
nad oedd gan y Saeson, fel cenedl, nemmor o law yn y weith
deddus o ennill y *Magna Charta*; ond mai yr *Arglwyddi N*
a'i mynnasant. Ac yn mhellach na hyn, nad oedd yn ei c

breiniol nemmor o ddim yn perthyn i'r werin Saesonaeg, ac na chyfrif o honynt ond megys caethion, neu ddeiliaid rhwym; a'r holl ragorfreintiau godidog a ymffrostir am danynt yn y *Magna Charta*, a berthynant i'r *Arglwyddi Normanaidd*, a'r gwyr breiniog, yn unig, ac nid i'r Saeson gwerinol. Nid oedd y pendefigion balch a gormesawl hyn yn dymuno rhydd-did eu deiliaid, cymmaint a myned i ryfela am danynt. Eu breintiau eu hunain oedd ganddynt mewn golwg; ac er yn rhwysc oesoedd, fel y cynhyddodd gwybodaeth cyffredinol yn y wlad, y darfu i'r breintiau hyn ddisgyn, bob yn ychydig, oddiwrth y pendefigion i'r graddau gwerinol; etto, nid er mwyn sefydlu rhydd-did y werin, y ffurfiwyd y *Magna Charta*. Y ban cyntaf o'r ysgrif hon, a ofala am freintiau yr Eglwys; a'r nesaf, at eiddo yr Arglwyddi a'r pendefigion. Yna, darperir am y *dynion rhyddion*, [*liberi homines*,] a dywedir na chaiff un *dyn rhydd* [*liber homo*] ei garcharu, oddieithr trwy farn cyfreithlawn ei gyfartalion, neu trwy gyfraith y tir. Ond pwy fath un o ran cyflwr, oedd y *dyn rhydd*, ni fynegir; rhai a feddyliant mai *rhydd-ddeiliad* ydoedd; ond gan ys pa beth oedd ei sefyllfa, y mae yn ddiamheuol ei fod ef eisioes yn meddiannu rhai breintiau priodol, ac o uwch radd na'r werin.

Am y bobl werinol eu hunain, sef y *villani*, y rhai a ffurfient y rhan luosocaf o boblogaeth y wlad, yr unig sylw a gymmerir o honynt yw, yn y darpariad, fod i'r cyfryw gael eu dirwyo yn ol maintioli eu trosedd, a hynny trwy lw gwyr uniawn o'r gymmydogaeth; ac hefyd y gellid, os gwelid yn addas, beidiaw dirwyaw un o'r cyfryw *villani*, mor belled a chymmeryd oddiwrthaw ei offer amaethyddol: a thyma'r cyfan a wnaethpwyd erddynt. Diau fod yr Arglwyddi Normanaidd wrth eu hannog hwy i gyfodi ar eu plaid yn erbyn y brenin, yn gosod o'u blaen ryw lesad anfeidrol i ddeilliaw iddynt; a hwynthwy yn credu hynny, ac yn bloeddio "*Magna Charta*", nerth eu pennau, neu pa enw bynnag y rhoddid iddi yn yr amser hwnnw; ond wedi'r cyfan yr un peth oedd eu sefyllfa, o ran weithred honno. Yn gaethion y cafodd hi hwy, ac yn gaethion y gadawodd.

O ran y Cymry, a'r achos oedd ganddynt i ymdrin â'r weithred hon, canfyddwn oddiwrth rai o'i bannau, eu bod hwy, nid yn unig yn disgwyl oddiwrthi yr un buddioldeb a'r Saeson, ond hefyd ychydig yn ychwaneg; canys trwyddi hi, sicrhawyd iddynt adferiad o hen freintiau, o ba rai y mae yn debygol yr oeddynt wedi cael eu difeddianu. Canys perthynol iddynt hwy y brenin *Ieuan* a ammodai fal y canlyn:—

"Os darfu i ni ddifeddiannu y Cymry o neb ryw diroedd, neu freintiau, neu bethau eraill, heb gyfreithiawl farn eu cydraddwyr, cant yn ddioed eu dychwelyd iddynt. Ac os cyfyd un ddadl ar y pen hwn, caiff ei benderfynu yn y cyffindiroedd, trwy farn eu cydraddwyr, am dyddynau yn

Lloegr, yn ol cyfreithiau Lloegr, ac am dyddynau yn Nghymru, yn ol cyfreithiau Cymru. Yr un peth y bydd i'r Cymry wneud tuag attom ni, a thuag at ein deiliaid.

"Am yr holl bethau, o'r sawl y cafodd neb ryw Gymro ei ddifeddiannu, heb farn ei gydraddwyr, gan y brenin *Henri*, ein tad, neu gan ein brawd, y brenin *Richard*, a'r sawl bethau y sydd yn ein dwylaw ni, neu yn meddiant eraill dan ein awdurdod, bydd i ni gael oediad hyd yr amser cyffredinol yn ganiataol o achos rhyfeloedd y Groes; oddieithr y pethau hynny ag ydynt eisioes mewn dadl, neu am y sawl y gwnaethpwyd holiad gennym, cyn cymmeryd arnom rhyfel y Groes. Ond pan ddychwelom, os arhosom gartref, ac na chyflawnom ein pererindod, gwnawn gyflawn iawnder iddynt yn ddioed, yn ol cyfreithiau y Cymry, a'r telerau rhagadroddedig.

"Bydd i ni, yn ddioed, anfon adref fab *Llewelyn*, a'r holl wystlon Cymraeg, a'u rhyddhau oddiwrth yr ammodau o wnaethant â nyni, er cynnaliad heddwch."

Pa beth oedd achaws annogol cysefin yr ymgais i ennill y *Magna Charta*, a'i cynhyddiad galluogrwydd y brenin a'r gormesiadau teyrnawl, neu ychwanegiad annibynolrwydd yr Arglwyddi, neu ynte helaethiad goleuni yn yr oes honno, neu ysgatfydd cydweithiad yr achosion hyn, i gyd ni allaf gymmeryd arnaf fynegi; ond y mae yn amlwg mai yr achlysur cynhyrfawl, ar y pryd, oedd ymddygiad gormesawl y brenin *Ieuan*, yr hwn oedd orthrymydd cyndyn, atgas, a hollol ddiegwyddor. Yr oedd, trwy ei gamreolaeth, gwedi peri'r fath anfoddlonrwydd, ag y darfu i'r Arglwyddi Lloegraidd, yn agos oll, ymgyngreirio i geisiaw gwell trefniadaeth yn y lywodraeth. Ac er cadarnhau eu dwylaw, ceisasant gydweithrediad y Tywysogion a'r pendefigion Cymraeg, yr hyn a gawsant yn foddlongar. Ac yna, y brenin yn drwgdybio, a anfonodd at *Llewelyn* i ddyfod i ymgyfarfod â'i ddirprwywyr ef, i'r dyben i ymgynghori ar rai achosion pwysfawr; a'r rhai hyn yn ddiammau a berthynent i'r cynhyrfiad hanfodedig. Ond *Llewelyn* a adnabyddai y brenin yn well na chymmeryd ei gamarwain felly; a glynodd wrth y cyngrair, â pha un yr oedd gwedi ymuno.

Yna'r Arglwyddi, wedi ymgadarnhau, a dynnasant allan ysgrif, yn mha un y dangosant eu ceisiadau; a'r rhai a haerent oeddynt arferiad o'r breintiau a fwynhaent trwy gyfreithiau *Henri I.* ac *Edward* y *Confessor*: ac felly aethant at y brenin, i geisio eu nheges. Ond pan cynnygwyd yr ysgrif iddei sylw, a phan welodd y modd yr oeddynt yn bwriadu trychio ei awdurdod, torrodd allan gyda digllonedd, a chwerthiniad gwawdiol, ac a ddywedodd, "Paham, gyda'r ceisiadau afiawn hyn, na ofynent y Barwniaid y deyrnas hefyd?" Ac haerodd gyda llw na chaniatai byth o'r cyfryw ofyniadau; ac yno ymranasant. Ond yr Arglwyddi ni ollyngasant yn angof

eu gwrthddrych; ac ar ol ychydig negeseiaeth o'i blegid, ymgasglasant eu lluoedd, yn rifedi dirfawr, a dangosasant y fath benderfyniad i gyflawni eu hamcan, ag y darfu i'r brenin gael ei ddychrynu yn fawr, a chafodd weled mai trech gwlad nag Arglwydd. Ac ar ol ei holl ymffrost, cyttunodd iddeu cyfarfod mewn lle a elwir *Runny Mead*, yn agos i *Staines*, gerllaw yr afon *Tafwys*, lle y tanysgrifiodd y weithred honno a elwir y *Magna Charta*,* ac hefyd weithred arall, yr hon a elwir *Ysgrif* y *Fforestiau*.

Gwedi i'r brenin gyflawni hyn, dechreuodd rhai ei watwar, a dywedyd nad oedd efe mwyach ond brenin heb frenhiniaeth; a'i alw ef yn *olwyn onglawg*, ac yn *bummed olwyn men*, *&c.* a'i wawdio mewn rhigymiad, a dywedyd "*Fuisti rex, nunc fæx*,"——*Oeddyt Frenin, ynawr wyt frattyn &c.* A phan glywodd am y gwatwarion hyn, aeth yn gynddeiriog wyllt, gan lid; ysgyrnygai ei ddanedd, a gwrthdroai ei lygaid mewn modd echryslawn, a chnôai ffyn, a darnau o goed, fal ynfyd. Ac yna, cynhullodd attaw yr ychydig bendefigion ag a lynent wrthaw, yn nghyd â'r milwyr estronawl y rhai oeddynt yn ei wasanaeth, ac anfonodd i'r cyfandir, a chyflogodd lu nifeiriol, o bob gwlad ag a allai, ac a ymosododd ar feddiannau ei ddeiliaid Saesonaeg, a chan gyfeiriaw ei rwysc tua'r Gogledd, perodd ddiffeithiaw y wlad mewn modd dychrynllyd, trwy ladd a llosgi heb arbed, gan ddinystriaw y melinau, a'r perllanau, a'r pysgodlynodd; a'r milwyr estron bwystfilaidd yn arteithiaw y trigolion gyda chreulonder mawr i beri iddynt ddangos lle yr oedd eu harian; ac mor echryslawn oedd rhwysc y diffeithwyr hyn, a bod yr amser hwnnw yn cael ei gyffelybu i amser Gwilym y Goresgynydd.

Yn y cyfamser, yr oedd *Alexander*, brenin yr *Alban*, yr hwn oedd mewn cyngrair â'r Arglwyddi, wedi gwneuthur cadgyrchiad i Loegr, iddeu cynorthwyaw; a *Ieuan* a ymosododd arnaw gyda ffyrnigrwydd erchyll; a chan na chafoddd y cydweithiad ar ran y Saeson, yr hyn oedd yn ddyledus ac yn rheidiol iddaw, gorfu arnaw ddychwelyd adref; ac yna *Ieuan* a'i hymlidiai yn orwyllt; a chan fod hwnnw yn bengoch, ac ond llanc ieuanc, *Ieuan* a ddywedai, yn ei ddull gwael ac anfoneddigaidd, "Dyma'r modd y cyffrown y llwynogyn coch allan o'i lochesau." Ac felly, canlynodd ef i *Edinburgh;* ond yno ymddengys iddaw gyfarfod a gwrthladdiad, canys trodd yn ei ol; ac wedi llosgi amryw drefydd, dychwelodd i Loegr, lle yr oedd, erbyn hyn, gwedi goresgyn yr holl wlad, oddieithr ryw ychydig o gestyll.

Ac ynawr, yn yr amser hwn o gyfyn-gyngor bu cydweithiad y Cymry yn dra gwerthfawr, canys bu yn brydlawn, ac yn egniol. Y Tywysawg, *Llewelyn*, yn uniongyrch a arweiniodd ei fyddin tua Lloegr, a daeth i'r

* Gan fod y brenin yn ammodi am gyflawni rhai o'r teleran ar ol ei ddychweliad adref rhyfel y Groes, barnaf fod ganthaw rhyw gyfran ei hun yn ffurfiad y weithred hon.

*Amwythig;* a rhoddwyd i fynu iddaw y dref a'r castell, yn ddiwrthladd. Ac yna, *Giles de Breos*, Esgob *Henffordd*, a anfonodd ei frawd, *Reynallt de Breos*, yr hwn a briododd ferch *Llewelyn*, i *Frecheiniawc*, a gwyrda y wlad honno a'i derbyniasent ef yn roesawgar, ac yn anrhydeddus; a chyn pen tridiau yr oedd efe mewn meddiant o gastell *Pencelli*, ac *Abergafenni*, y *Castell Gwyn*, *Castell Grosmwnt*, a *Scynffridd.** Ac yna, yr aeth yr Esgob ei hun i *Frecheiniawc*, ac a gafodd feddiant ar gestyll *Aberhonddu*, *Maeshyfaidd*, *Y Gelli*, *Blaenllyfni*, a *Buellt*, yn ddiwrthwyneb; ac efe a adawes gastell *Paen*, a chastell *Colwyn*, yn nghyd âg ardal *Elfael*, i *Wallter*, mab *Einiawn Clud*.

Tra'r oedd y gorchestwaith hyn mewn cyflawniad ar y gororau dwyreiniol tuag at gynhaliaeth y *Magna Charta*, nid oedd gorllewin Cymru ddim yn segur ar yr achos gwladgar hwnnw; o herwydd cafodd y cynhyrfiad yma yr effaith o beri ymheddychiad rhwng *Rhys Ieuanc* â *Maelgwn* ei ewythr; a hwynthwy a aethant i Ddyfed, ac a oresgynasant yr holl ardal, oddieithr *Cemais*, a honno a anrheithiasant; a llosgasant gastell *Arberth*, a *Maenclochog*.

Yna, *Maelgwn* ac *Owain ap Gruffydd* a aethant i Wynedd, at *Llewelyn*, ac a wnaethant wyriogaeth iddaw. A *Rhys Ieuanc* a gynhullodd fyddin, ac a aeth ac a oresgynodd *Gydweli* a *Charnwyllion*, ac a losges y castell; ac oddiyno yr aeth i fro Gwyr, ac a oresgynodd gastell *Llychwr*.

Oddiyno aeth yn erbyn castell *Hugh de Myles*, yn *Nhalybont;* a'r castellwyr a arfaethasant ei gadw yn ei erbyn, ond *Rhys* a'i cymmerodd trwy rym arfau.

Tranoeth y cyrchodd tua *Sein Henydd*;† a rhag ei ofn ef y llosges y castellwyr y dref.

Ac oddiyno y cyrchodd tua chastell *Ystumllwynarth*, ac a bebylliodd yn ei gylch y nos honno; a thrannoeth y cafas, ac a'i llosges ef a'r dref. Ac felly, yn mhen tridiau, yr oedd wedi goresgyn holl gestyll Gwyr; a dychwelyd yn fuddugoliaethus. Ar y pryd yma, y brenin yn meddwl y gallai fod o fwy o elw iddaw ei ryddhau na'i gadw yn ngharchar, a ollyngodd yn rhydd *Rhys Gryg*, gan gymmeryd yn wystlon, ei fab, a dau arall gydag ef.

Yn fuan ar ol hyn, daeth y Tywysawg *Llewelyn* a dirfawr lu i'r Deheubarth, ac a ymosododd ar gastell *Caerfyrddin;* a chyn pen y pummed dydd, efe a'i ennillodd, ac a'i torrodd i'r llawr. Ac oddiyno aeth a thor-

* *Ynys Cynwreid* yw yr enw yn y Brut, a *Powel* a'i cyfieitha i *Ynys Cynfrig;* ond y mae yn ddilys gennyf mai yr uchod yw y lle.

† Y mae yn ddilys gennyf mai nid *Sengkenydd*, sef *Caerffili* yw y lle hwn, fal y dealllir yn gyffredinol, eithr *Llangenydd yn Ngwyr*. Yr oedd *Caerffili* yn rhy bell, heb son am achosion eraill.

rodd gestyll *Llanstephan*, a *Thalacharn* a *Saint Cler*. Oddiyno aeth i *Geredigiawn*, ac a ennillodd y *Castell Newydd yn Emlyn*; a gwyr *Cemaes* a wnaethant wyriogaeth iddaw, a rhoisant i fynu iddaw gastell *Trefdraeth*, [*Newport*,] yr hwn a dorrodd.

A phan welodd castellwyr *Aberteifi* nad oeddynt alluog i gadw y castell hwnnw yn erbyn y Tywysawg, rhoisant ef i fynu iddaw, yn ddiwrthladd. A thrannoeth y derbyniodd gastell *Cilgeran*, yn yr un modd. Ac yna, dychwelodd y Tywysawg a'i gydryfelwyr yn ol i Wynedd, gyda dirfawr anrhydedd, a buddugoliaeth. "A" medd y Brut, "llyma enwau y Tywysogion a fuont yn yr hynt honno o Wynedd. *Llewelyn ap Iorwerth*, Tywysawg *Gwynedd*, a *Hywel ap Gruffydd ap Cynan*, a *Llewelyn ap Meredydd ap Cynan*: ac o *Bowys*, *Gwenwynwyn ap Owain Cyfeiliawc*, a *Meredydd ap Rhotpert*, o *Gedewain*, a theulu *Madawc ap Gruffydd Maelawr*, a dau fab *Maelgwn ap Cadwallawn*. A llyma enwau y cestyll a oresgynwyd ar yr hynt honno. Nid amgen, castell *Sein Henyd*, *Cedweli*, *Caerfyrddin*, *Llanystyffan*, *Seint Cler*, *Talacharn*, *Trefdraeth*, *Aberteifi*, a *Chilgeran*. Ac ar yr hynt honno y bu araf heddwch, a thegwch hinon, y gauaf, hyd na weled eirioed cyn no hynny y cyfryw hindda, a honno."

Yr oedd *Ieuan*, erbyn hyn, wedi profi y drygau a ddeillient oddiwrth elyniaeth y Pab, ac yn dymuno ennill ei ewyllys da. Ac i'r dyben o hyn, darfu iddaw, nid yn unig addef edifeirwch ac ufudd-dod, ond hefyd aeth mor belled a thraddodi y meddiant o'i deyrnas i'r Pab, megys penllywydd arni; yr hyn a berodd i'r Pab newid ei agweddiad yn hollol tuag at y gwahanawl bleidiau. Cymmerodd *Ieuan* dan ei nawdd, ac a ddatganodd felldith yn erbyn ei elynion; ac a anfonodd drwodd ysgrif awdurdodawl, yn cynwys dedryd ysgymmunawl yn erbyn *Llewelyn* ac eraill, y rhai a ymlynent â *Ieuan*. Yr ysgrif hon a effeithiodd ar *Giles de Breos* mor belled a pheri iddaw fyned ac ymgymmodi â'r brenin. Ond ni fu hynny o gyfnerthiad iddaw; canys *Giles* a fu farw ar ei daith tuag adref; a'i feddiant a ddaeth iddei frawd *Reynallt*, daw i'r Tywysawg. Am *Lewelyn* ei hun, ni chafodd weithred y Pab un effaith arnaw; yr oedd y cyfryw weithredoedd wedi myned yn rhy gyffredin, ac yn cael eu gwneud a'u dadwneud yn rhy fynych, fel y dangoswyd eisioes, allan o waith Giraldus Cambrensis; *Llewelyn* a lynodd yn ddisyfl wrth ei blaid.

Yn yr amser hwn, ymddangosodd yn mhlith y Cymry dueddiant tra nodedig a chanmoladwy i gydammodi er cynnal undeb gwladawl ac heddwch rhyngddynt a'u gilydd: ac i'r dyben i hyfforddi eu bwriadau, cynhullwyd gyngor yn *Aberdyfi*,* lle y daeth *Llewelyn ap Iorwerth*, a

* Aberteifi, medd Powel; ond barnaf mai yr uchod oedd y lle, gan ei fod ar gyffiniau Gwynedd a Cheredigiawn.

holl dywysogion Cymru, yn nghyda holl ddoethion Gwynedd; a cher bron y Tywysawg y gwnaethpwyd rhanniad tiriogaethau rhwng yr ymgeisyddion yn y Deheubarth; sef, *Maelgwn*, a'i frawd *Rhys Gryg*, ar y naill blaid, a'u nheiaint *Rhys Ieuanc* a'i frawd *Owain*, ar y blaid arall. "I *Faelgwn* y daeth tri chantref o *Ddyfed;* nid amgen y cantref *Gwarthaf** a chantref *Cemais*, a chantref *Emlyn* a *Phelunyawc*, a chastell *Cilgerai*. Ac o *Ystrad Tywi*, castell *Llanymddyfri;* a dau gwmmwd, nid amgen *Hirfryn*, a *Mallaen*, a *Maenawr Fyddfai*. Ac o *Geredigiwan*, dau gwmmwd, *Gwinionydd* a *Mabwynion*.

"I *Rys Ieuanc*, ac *Owain* ei frawd, y daeth castell *Aberteifi*, a chastell *Nant yr Ariant*, a thri chantref o *Geredigiawn*.

"Ac i *Rhys Gryg* y daeth y *Cantref Mawr* oll, oddieithr *Mallaen;* a'r *Cantref Bychan* oll, oddeithr *Hirfryn*, a *Myddfai;* ac iddaw y daeth *Cedweli*, a *Charnwyllion*, hefyd

Ond yr oedd yr undeb cyffredinol hyn yn rhy rinweddol i barhau yn hir; ac felly, cawn un o'r rhwygiadau arferol yn dichweiniaw. O herwydd *Gwenwynwyn*, o ryw achos yr hwn ni fynegir, a ymheddychodd â'r brenin *Ieuan*, gan adael y cyngrair Cymraeg, a thorri ei lwon. A phan glywodd *Llewelyn* hynny, anfonodd attaw genadrwi anrhydeddus o Esgobion ac Abbadau, a gwyr cyfrifawl ereill, i geisio ei ddychwelyd; ond nid effeithiodd hynny ddim ar *Wenwynwyn;* eithr parhaodd i gynnal ei undeb â'r brenin. Ac yna, *Llewelyn* a gynhullodd ei lu, ac a aeth yn erbyn *Gwenwynwyn;* a chan ei yrru allan o'i diriogaeth i swydd *Gaerlleon*, goresgynodd y wlad, ac a'i cymmerodd iddaw ei hun.

Er fod y cyfan o Gymru yn awr gwedi bwrw ymaith awdurdod y brenin, etto, nid oedd y Saeson ddim mor llwyddianus; eithr yr oedd efe wedi ymgadarnhau yn fawr, ac yn eu gorthrymu yn waeth nag erioed. Ac yn y cyfyngder hyn, yn lle cynnull eu byddinoedd, a gwrthwynebu y lluoedd estronawl, fel dynion gwladgar, a chalonog, anfonasant i'r cyfandir, i Ffrainc, i geisio cynhorthwy; ac felly galw ar estroniad eraill i wneuthur drostynt yr hyn a ddylasent eu wneuthur drostynt eu hunain. A brenin Ffrainc a anfonodd drwodd ei fab *Lowys*, yn nghyda byddin gref; a phan wybu *Ieuan* hynny, ciliodd tua Chymru, i geisio cynhorthwy; a daeth hyd *Henffordd*, ac anfonodd at *Reynallt de Brews*, a thywysogion Cymru, i geisio ganddynt gyfnerth; ond pan na lwyddodd yn y cais hwnnw, rhuthrodd yn ddigllon at y cyffiniau, a llosgodd dref y *Gelli*, a *Maesyfaidd*, a *Chroesoswallt*, gan dorri y cestyll. Ond ni chynnygiodd dreiddio yn mhellach i Gymru, eithr dychwelodd tua dwyreindir Lloegr; ac ar ol amryw ddichweiniau anffodus, clefychodd a bu farw; a rhai a haerant

* Y mae yma ddyryswch na allaf ddim ei ddehonglyd. Powel a ddywaid "tri chantref o *Ddyfed Gwarthaf*, *Cemeis*, ac *Emlyn*, a *Pherllwynoc*, &c."

nai ei wenwynaw a gafodd, gan fonach, mewn monachlog, lle yr oedd yn letya. Ac felly sicrhawyd i'r ceiswyr freintiau y *Magna Charta.*

Gan ein bod ni wedi sylwi ychydig ar gyflwr y Saeson gwerinol, ni fydd maes o'n llwybr, ar hyn o amser, gymmeryd golwg ar y Cymry, yn eu cyflwr cymdeithasawl, a'u harferion teuluaidd.

## CYFLWR TEULUAIDD A CHYMDEITHASAWL Y CYMRY.

### 1204.

Perthynol i ddefodau rheithiawl y Cymry yn yr amseroedd hyn, gallwn ffurfio tŷb oddiwrth gyfreithiau *Hywel Dda,* am y sawl y crybwyllwyd eisioes; ac am eu harferion teuluaidd, y mae gennym draethiant dra chynwysfawr a bywiog, o waith *Giraldus Cambrensis,* sef ei lyfryn a elwir *Cambriæ Descriptio,* yr hwn a ysgrifenodd yn y flwyddyn 1204; a chan ei fod ef yn Gymro, ar ochr ei fam, ac wedi byw llawer yn mhlith y Cymry cyn y pryd hwnnw, gallwn gyfrif ei waith yn ddarluniad o'r hyn a ddaeth dan ei sylw yn yr oes honno; ac hefyd yn cynwys defnyddion, oddiwrth ba rai y gallwn ffurfio tŷb cywir am gyflwr y bobl dros hir amser, cyn ac ar ol yr oes honno; canys pobl oedd y Cymry y rai nid oeddent yn cyfnewid eu defodau yn hawdd; eithr yn parhau eu cadw gyda gofal mawr. Oddiwrth y darluniad hwn o eiddo *Giraldus,* gallwn farnu fod y Cymry, ar y pryd hwn, yn mwynhau rhydd-did personawl, a gwladawl, i raddau helaeth, mewn cymhariaeth â'u cymmydogion Lloegraidd; canys nid ydyw caethiwed yn gyson â'r arferion a hanfodent yn eu plith.

Yr awdwr hwn a ddechreua ei draethawd, trwy ddangos cyflwr tiriogaethawl a daearyddiawl y wlad, ac yna a rhagddo i sylwi ar y trigolion, a dywaid am danynt fal y canlyn:—

### EU HYFDRA, EU GWYSGIRWYDD, A'U DEWRDER.

"Y genedl hon sydd genedl ysgafn a gwysgi; cenedl chwyrn yn hytrach na chryf; cenedl yn hollawl roddedig i arfau; canys nid y pendefigion yn unig, ond yr holl werin sydd yn ddarparedig i arfau. Pan seinia udcorn rhyfel, nid hwyrach y rhuthra'r amaethwr oddiwrth ei aradr, na'r bonheddig o'i neuadd i ymarfogi. Ac nid ydyw yma fel mewn mannau ereill, fod yr amaethwr yn wastad yn un rhwysc lafuriol, canys nid ydynt yn aredig i hau ceirch ond unwaith, sef yn Mawrth ac Ebrill; a dwy waith yn yr haf, ac unwaith yn y gauaf, at wenith. Yn agos yr holl bobl ydynt yn byw ar

eu preiddiau, gyda cheirch, llaeth, caws, ac ymenyn, gan fwyta cig yn aml, a bara yn fwy prin. Nid ydynt yn ymdrin â masnach, neu fordwyaeth, nac â chelfyddydau, nac braidd â dim llafurwaith, ond rhyfel yn unig Y maent yn gofalu am ddiogelwch eu gwlad, ac am eu rhydd-did. Am eu gwlad yr ymladdant, am eu rhydd-did yr ymdrechant; am y rhai ymddengys iddynt nid yn unig yn felys i ymladd â'r cleddyf, ond hefyd i roddi i fynu eu heinioes, hyd y cyfrifent ef yn peth gwarthus i farw yn eu gweliau, ond yn anrhydedd i syrthio mewn brwydr, yn ol ymadrodd y prydydd, 'Yn mhell ymaith a heddwch: mewn heddwch anrhydedd a drenga.'—Ac y mae yn nodedig am danynt, nad ydyw yr anarfawg yn fynych ddim yn ofni ymgystadlu â'r gwyr arfawg; a thrwy wigirwydd ac eofndra, aml weithiau y maent yn fuddugoliaethus yn yr ymdrech.

"Y maent yn arferyd arfau ysgafn, y rhai ni rwystrant eu mhudiad; llurygau bychain, a dyrneidiau o saethau; a gwaewffyn hirion, helmau a thariannau; a mwy anfynych coes-arfau heirn. Y mae y pendefigion yn cyrchu i ryfel ar feirch cyflym a chadarn, y rhai a fegir yn y wlad; ond y rhan fwyaf o'r bobl, o herwydd y tiroedd corsog ac anwastad, a gyrchant i'r brwydrau ar eu traed. A'r gwyr meirch hefyd, pan fyddo cyflwr y tir neu yr arfod yn gofyn, a ymdroddant, yn hawdd, yn wyr traed, naill ai i ymladd, neu i ffoi; y maent naill ai yn cerdded yn droednoeth, neu ynte, yn arferyd esgydiau uchel, wedi ei ffurfio o grwyn annghwyredig.

"Yn amser heddwch, y mae y gwyr ieuainc, trwy dreiddiaw i eithafoedd y coedydd a'r gelltydd, a rhedeg dros uwchderau y mynyddoedd, ddydd a nos, a thrwy arferyd eu picellau,* yn dysgu ymgynnefino â llafurwaith rhyfel. Ac y mae yn nodadwy yma, fod i *Henri II.* frenin y Saeson, yn ein hamser ni, pan yn atteb gofynion *Emanuel*, Ymherawdwr Constantinopolis, perthynol i sefyllfa Ynys Prydain, a'i phethau nodedig, adrodd y canlynol, megys yn deilyngaf o sylw: 'Mewn cyfran neilltuol o'r ynys, y mae cenedl a elwir *Cymry;* mor ddiofn a ffyrnig, ag nad arswyda y diarfawg ymladd â'r arfawg, ac yn barod i dywallt eu gwaed dros eu gwlad, a cholli eu heinioes er mwyn clod; ac y mae yn beth synnadwy, fod hyd nod yr anifeiliaid gwyllton dros wyneb yr ynys wedi eu dofi; ond y dynion ffyrnig yma, ni ellid eu dofi.'"

AM EU BWYD-BRYDIAU CYMMEDROL.—"Nid ydynt ddim yn ymroddedig i foethusdra, naill ai yn eu bwydydd, na'u gwisgoedd; eithr y mae eu holl ofal yn osodedig ar eu meirch, a'u arfau; a'u meddwl yn wastad yn gyfeiriedig at amddiffyniad eu gwlad, ac ennilliad anrheithiau. Yn ymprydio o fore hyd hwyr; rhoddant eu holl bryd trwy'r dydd at gyflawniad eu gorchwylion, ac at ddigwyddiadau rhagluniaethawl; ac yn yr hwyr,

* *Lanceando*—ysgatfydd fod y gair hwn yn cynwys yn ei ystyr, hefyd saethu â bwasanys yr oedd y Cymry yn dra medrus yn y gelfyddyd hon. Gwel t. d. 597.

wytant bwyd-bryd cymmedrol. Ac os nad oes ond ychydig neu ddim anddynt, arhosant yn bwyllus hyd y prydnawn nesaf; ac etto heb eu uddias naill ai gan newyn neu oerfel, ymhoffant dreulio y nosweithiau wyll mewn ymosodiadau ar eu gelynion.

"EU LLETEUGARWCH, A'U HAELIONI.—Nid oes un cardottyn yn mhlith y bobl hyn, canys y mae lleteurwydd pawb yn gyffredin i bawb, c y maent yn gosod haelioni a lleteugarwch o flaen pob rhinwedd. Ac mae y lleteugarwch hyn mor adnabyddus a chyffredin, ag na chynnygir f i deithwyr, ac ni cheisir ganddynt 'chwaith; ond yn unig, ar fyned i hyw dŷ, rhoddant eu harfau i gadw, ac yna, cynnygir iddynt ddwfr; ac s caniatant olchi eu traed, derbynir hwy megys gwesteuon: o herwydd yn mhlith y bobl hyn, y mae dwfr i olchi y traed yn gynnygiad o leteugarwch. Ond os gwrthodant y cynnygiad hwn, y mae yn arwydd eu bod yn dymuno eu lluniaeth boreuol, yn unig, ac nid lletyad y nos. Ac y mae gwyr ieuanc y genedl hon yn tramwyaw o amgylch yn finteiodd, ac yn deuluoedd, dan dywysiad blaenor, yn hollol roddedig i arfau, a dilafur, ac yn eithaf parod at amddiffyniad eu gwlad; ac felly, y mae iddynt drwydded diogel, i bob ty, megys eu heiddo eu hunain.

"Y rhai, gan hynny, a ddeuant yn y boreuddydd, a ddyfyrir hyd yr hwyr trwy ymddiddan y morwynion ieuainc, a sain telynau; canys y mae yn mhob tŷ forwynion â thelynau cyflwynedig at hyn; ac y mae dau beth nodedig yma, sef na cheir un genedl yn fwy darostyngedig i ddrwgnwyd eiddigedd, na'r un Wyddelaeg, a nebun y llai felly na'r un Gymraeg; ac yn mhob teulu hoffir medrusrwydd mewn chwareuad ar y delyn, uwchlaw pob celfyddyd.

"Ac yn yr hwyr, pan fyddo y dyfodiaid wedi darfod ymgynnull, y mae y bwyd-bryd yn cael ei osod, yn ol rhifedi a chyflwr y gwyr, ac hefyd yn ol galluogrwydd y tŷ; lle ni lwythir y gegin âc amledd o ddisglau, a moethusdra, a'r tŷ ni harddir â byrddai, na llieiniau, na llawlenau, y maent yn coleddu anian, yn hytrach na gwych-ymddangosiad; ac felly, gosodant ar ddisglau llydain a helaeth, y cyfan o'r bwydydd ar unwaith o flaen y gwesteuon, nid bob yn ddau fel mewn mannau eraill, eithr bob yn dri,* ar estogau o laswellt glan, a bara llydan a theneu, yr hwn a grasir bob dydd, o'r fath ag a elwir mewn hen ysgrif, *Lagana*;† ac weithiau ychwanegant gawl at hynny.

* Y mae yr awdwr mewn man arall yn dywedyd eu bod yn eistedd i giniaw bob yn dri, er parch i'r Drindod; ac y mae yn dywedyd yr honnid fod yr arfer hyn yn parhau yn eu mhlith er yr amser y gwrthladdwyd gauathrawiaeth *Pelagius*.

† *Laganum*—meddylir mai yr un peth yw a *bara llech*. Ymddengys eu bod yn arferyd torthau hyn yn lle disglau.

4 H

"Tra fyddo y tylwyth yn gweini ar y gwesteuon, y mae gwr a gwraig y tŷ, o hyd, yn sefyll ar eu traed, ac yn edrych yn ofalus at bob peth; ac nid ydynt fyth yn cymmeryd dim eu hunain, hyd nes byddo pawb o'r gwesteuon, gwedi eu diwallu, fel os ysgatfydd y bydd rhy fach o luniaeth, y syrthia y gwall iddeu cyfran eu hunain.

"Yn y diwedd, pan ddelo amser cysgu, y mae gweli cyffredin yn cael ei osod ar hyd ochr y tŷ, o ben bwy gilydd, ac yn ffurfiedig yn unig o frwyn taenedig, ar yr hyn y gosodir frethyn garw, a chaled, o wneuthuriad y wlad, yr hyn a elwir, yn y iaith gyffredin, *Brychan*,* a yno gorweddant oll i gysgu. Ac nid oes ganddynt ddillad y nos, arall nag yn y dydd, canys gwrthladdant yr oerfel bob amser â mantell denau, ac âg is-wisc, yn unig. Ond y mae y tân yn llosgi wrth eu traed trwy y nos, yn gystal ag yn y dydd; ac hefyd y mae gwresogrwydd nid bychan yn hanfodi oddiwrth fod cynnifer yn cysgu yn yr un lle. Ae os dichon fod yr ochr isaf iddynt yn dechreu blino gan galedwch y gweli, neu yr ochr uwchaf i oddef oddiwrth oerfel, yna neidiant at y tân, trwy yr hyn y cant ryddhad oddiwrth bob un o'r ddau; a chan ddychwelyd i'r gweli, troant eu hochrau bob yn ail i'r oerfel, ac i galedwch y gweliau.

"TORRIAD EU GWALLT, TRINIAETH EU DANNEDD, AC EILLIAD EU BARF.—Y bobl hyn, yn gystal y menywod a'r gwyrywod, a dorrant eu gwallt yn gychawl at eu clustiau a'u llygaid;† a'r menywod a wisgant ar eu pennau len wen a helaeth, wedi ei gosod yn ol dull y Parthiaid, yn raddau, fel coron.

"Y mae y bobl hyn, o bob rhyw, yn gofalu am eu dannedd, tu hwnt i neb ryw genedl a welsom eirioed, y rhai y maent yn eu gwneuthur fel asgwrn eliphant, trwy ei rhathu yn ddibaid, â chollen wyrdd, ac â brethyn gwlanen; ac er mwyn eu coleddu, y maent yn ymgadw oddiwrth fwydydd poethion, ac yn bwyta dim ond rhai oer, neu glaear, neu ynte canolig.

"Y mae y gwyr yn arferyd eilliaw ei barf, oll, oddieithr ar y wefus uchaf; ac nid yw yr arferiad hyn yn newydd, eithr un o hendra oesoedd maith, fel ag y ceir yn llyfr gorchestion *Julius Cæsar*, yr hwn a ddywed, 'Cenedl y Brytaniaid a eilliant bob rhan o'u cyrff, oddieithr y pen a'r wefus uchaf. Arferant hefyd, er cynal gwisgirwydd, dorri gwallt eu pennau, er ogelyd tynged *Absalom*, o herwydd eu bod yn fynych yn rhedeg trwy y coedydd

* Ceir y gair hwn yn yr un ystyr yn yr Alban.

† Yn ystod y canrif canlynol, gwelwn gyfnewidiad yn yr arfer hwn; canys dywedir fod Dafydd ap Gwilym, a'r gwyr ieuainc o'i amser ef, yn gwisgo eu gwallt yn hir. Yr oedd rhyfeloedd wedi peidio yn yr amser hwnnw; ac nid oedd angen y cyfryw ddarpariaeth feunyddiol tuag at gadgyrchiadau, a threiddio'r coedydd, mewn ymdrin â gelynion.

a'r gelltydd; fel ag hyd heddyw y mae y genedl hon uwchlaw pob un arall, yn ymeilliaw.

"AWCHLYMRWYDD A CHRAFFRWYDD EU CYNHEDDFAU.—Hefyd, pobl y genedl hon o gynheddfau awchus a threiddiawl, a ragorant yn mha synniad bynnag yr ymroddant iddaw; ac y mae yr holl genedl hon, yn gyffredinol, yn grâff, ac yn gyfrwys, tu hwnt i'r holl genhedloedd ereill, y rhai a breswyliant yn yr awyrawd gorllewinawl.

"Y maent yn hoffau a dywenu y clustiau, trwy felusdra cerddoriaeth; y maent yn cael eu dwyn ar hyd, gan y fath gyflymdra a chelfydd-dra cyweiriadau, ac yn ffurfio y fath gyfalawiad oddiwrth y cyfryw fuan ruthriad bysedd anghydseiniawl, ag er mwyn byrdra, y ceir yn fy narluniad o beiriannau peroriaeth y tair cenedl, yn fy naearyddiaeth Wyddelaeg, yn y geiriau canlynol: 'Y mae yn rhyfedd fod yn y cyfryw gyflym ymruthriad o'r bysedd y gweddus gydranniad o beroriaeth yn gadwededig, trwy eu celfydd-dra, yn mhlith yr holl alawiadau dwys, a'r aneirif cydblethiadau dyrys, a bod y cyfalawiad yn cael ei gyflawni, a'r gydweddiad yn achubol yn mhlith y fath annghydseiniant, a'r fath fwynaidd gyflymdra, a'r fath gyfartalwch annghyfartal, y tannau a gydleisiant yn bedwareddau a phummedau, ac y maent yn wastad yn dechreu yn B lleddf, ac yn dychwelyd at y cyfryw, ac yn diweddu y cwbl gyda melusrwydd seiniant hoffadwy. Y maent yn dechreu ac yn diweddu eu alawiadau mor gelfydd, a than drwmseiniad y tannau mwyaf y mae meinllais y rhai mân yn trachwareu mor rydd, yn dywenu mor ddirgelaidd, ac yn dyhuddo mor hyfrydlawn, ag y gwelir mai'r celfydd-dra mwyaf ydyw celu celfydddra. O'r hyn, y digwydd fod yr alawon hynny, y rhai a berant hyfrydwch tufewnawl ac annhraethadwy i ysbryd y sawl a sylwant arnynt yn ddeallus, ac a ystyriant yn dreiddiawl ddirgeledigaethau celfyddiaeth; yn y gwrthwyneb, i'r rhai a edrychant heb weled, ac a wrandawant heb ddeall, y maent yn blino eu clustiau, yn hytrach na'u boddhau, ac a barant iddynt, a hwy yn wrandawir anfoddlon, flinder, megys ysgrechsain ddidrefn, ac anfwynaidd.'

"Y maent yn arferyd tri o beiriaint, y Delyn y Pibau, a'r Crwth.

"Yn eu dadleuon cyfreithiol mewn brawdlysoedd, ni adawant allan neb hyw rannau o areithyddiaeth, gan graffu ac awgrymiaethu, gosod a neillduo, gwrthbrofi a chadarnhau. Yn eu cyfansoddiadau prydyddawl, a'u areithiau, y maent mor gelfydd a'u bod yn dangos yn eu hiaith briodol, ddurniadau o ddychymmygiant tra rhyfedd a godidog o eiriau ac ymadroddion, oddiwrth yr hyn y ceir yn y wlad hon lawer o brydyddion, y rhai elwir *Beirdd*, yn gyflwynedig at hynny. Ac o flaen pob harddiad iaithawl y maent yn hoffi *cynghanedd*, yn enwedig yr un a gysyllta trwy ysondeb y llythyrenau, y syllau cyntaf geiriau, &c."

"EU GYFALAWION A'U CANUAU.—Yn eu peroriaeth, nid ydynt yn canu eu cerddau yn un llais, fel mewn gwledydd ereill, eithr yn amryw mannau; fel ag mewn torf o gantorion, yr hyn sydd arferol yn y wlad hon, clywir cynnifer o wahanol leisiau cyfalawol ag y gwelir o ddynion, ac oll yn cyduno, gyda melysder addwyn, mewn cydseiniad âc alawiad celfydd yn B lleddf, &c.

"EU DIGRIFWCH YMDDIDDANAWL, A'U GWAREIDDWCH.—Y maent yn eu teuluoedd, er cyffroi chwerthin yn mhlith y gwesteuon, ac i ennill iddynt eu hunain glod mewn ymddiddaniad, yn arferyd llawer o ddigrifder yn eu hymadroddion, weithiau yn ddywenol, ac weithiau mewn sen; un pryd yn ysgafn, a phryd arall yn llym ac yn gnoawl, dan gysgod geiriau mwys, ac ymadroddion dau-ystyr; a thrwy drawsfudiad geiriau mewn modd cyfrwys a hyawdl,"—yma yr awdwr a rydd rhai enghreifftiau, ond gan eu bod yn Lladin, ni ellir dangos beth oedd yn cynwys eu teilyngdod digrifol yn y Gymraeg.

"EU HYFDRA A'U EONDRA YN LLEFARU.—Y mae anian gwedi rhoddi i bawb o honynt yn gyffredin, ar bob achlysur, i'r iselaf o'r werin yn gystal ac i'r goreuon, hyfdra ac eondra i lefaru ger bron y Tywysogion a'r Pendefigion. Yr ydym yn canfod fod yr un dawn anianawl gan y *Rhufeiniaid* a'r *Ffrancod*, ond nid ydyw gan y *Saeson*, nag 'chwaith gan y *Saxoniaid* na'r *Germaniaid*, oddiwrth ba rai yr hannant. Ac os cyfrifir y gwall hwn i'r Saeson o achos eu caethwasanaeth,* ni fydd hynny yn foddhaol; canys y mae y *Saxoniaid* a'r *Germaniaid*, y rhai ydynt yn mwynhau rhydd-did, yn flinedig gan yr unrhyw wall. Y *Saxoniaid* a'r *Germaniaid* a dderbyniant yr anianawd oeraidd yma, oddiwrth oerfel yr ardal ogleddol, yr hon a gyfaneddant; a'r Saeson, er wedi mudo yn hir o'r ardal honno, etto a gdawant eu hanianawd cysefin, yn eu hagwedd allanol, yn gystal yn nhegwch a gwynder eu crwyn, ag yn eu cynheddfawd oeraidd, yn ddigyfnewid. Eithr y Brytaniaid, ar y law arall, yn dyfod o ardal boeth a thesawg *Troia*, er eu mhudo i'r gororau nawseiddol hyn, ydynt gwedi cadw agweddliw tywyll allanol y wlad honno, yn gystal a'r anianawd tufewnawl, o'r hyn y deillia eu eondra mewn lleferydd.

"DEWINIAID YN Y GENEDL HON, A GORPHWYLLOGION.—Y mae yn mhlith pobl Cymru, yr hyn ni cheir mewn gwledydd eraill, sef dynion a elwir *Awenydhyon.* [*Awenyddion.*] Y rhai hyn, pan ymgynghorir â hwy, ar unrhyw beth amheus, yn y man, gan grochlefain, a ymddangosant fel gwedi eu cipio allan o honynt eu hunain."—Yna, dyweda fod y rhai hyn yn rhoddi attebion, a'u hystyr yn geledig, ac wedi eu gorchuddio yn y fath fodd gan eiriau tywyll a didrefn, ag mai nid hawdd oedd gwybod pa beth a fynegent.

* Y mae yr awdwr yn cyfeirio yma at gaethiwaid y Saeson, dan y Normaniaid.

"EU HOFFIANT O UCHEL FONEDD, A'U HACHAU HIRION.—Y maent hoffi bonedd uchel, ac ardderchowgrwydd achau, uwch law pob peth; i yr hyn y maent yn dymuno priodosau boneddol yn hytrach na rhai rol a chyfoethog. Ac y mae pob un o'r werin yn cadw achau ei dylwyth; y mae y genedl hon yn gallu, gyda pharodrwydd, adrodd ar gôf, nid yn ig enwau eu teidiau a'u hendeidiau, ond hefyd hyd y chweched a'r thfed genhedlaeth, ac yn uwch na hynny, yn y modd canlynol: *Rhys Gruffydd, ap Rhys, ap Tewdwr, ap Einiawn, ap Owain, ap Hywel, Cadell, ap Rhodri mawr, ac felly yn y blaen.**

'Y maent yn caru eu gwaedoliaeth, tu hwnt i bob peth, ac yn dial yn n ar bob colled gwaed a sarhad. Y maent hefyd o anianawd dialgar a aedlyd, ac yn barod i ymddial, nid yn unig am niweidiau diweddar, d hefyd rai hen, megys newydd eu cyflawnu.

'Nid ydynt yn byw mewn trefydd, na phentrefydd, na chaerau, eithr unigolion yn y coedydd; yn ymylau pa rai, eu harfer sydd, nid i odi llysoedd mawrion, neu adeiliadau uchel ac ardderchog o gerrig a alch, ond ffurfio anneddau o wiail plethedig, gydag ond ychydig o fferth, ac o draul, yn ddigonol at achosion y flwyddyn.

'Nid oes ganddynt na pherllanau na gerddi, ond etto, bwytant yn rydd o ffrwythau pob un o'r ddau, pan caffont hwy o lefydd eraill.

'Y mae eu meusydd gan mwyaf yn borfa, ac ond ychydig yn aredig, a dan amaethyddiaeth coleddol.

'Ni ieuant, ond anfynych, yr ychain wrth yr erydr, a'r mennau, bob yn au, eithr yn fynychaf bob yn bedwar; ac y mae y gyrydd yn cerdded o'u en, ac yn wysc ei gefn; yr hwn sydd yn aml mewn perygl o syrthio yn pan fyddo y teirw yn dwyn y iau.

Anfynych yr arferant grymanau i fedi, ond fynychaf, ac hefyd gyda mwy uandra, haiarn bychan, fel cyllell, a dwy ffon wedi ei rhwymo at ei ben, yn llaes ac yn fudedig: yn hawsach iddei ddeall wrth ei weled, na ywaid am dano.

'Y mae ganddynt gychod bychain, gwedi ei ffurfio o wiail, at bysgotta, at groesi afonydd; nid yn hirion, nac yn flaen-ddurynog, ond megys yn nion, neu yn hytrach yn deironglog, gwedi ei gorchuddio o fewn ac o â chrwyn annghwyredig; a phan fyddo eog wedi ei fwrw i'r cwch, yn laro yn gryf â'i gynffon, y mae gan mwyaf nid yn ddiberygl yn dymwelyd y llestr yn nghyd a'i hwylydd. Y mae y pysgotwyr, yn ol arfer gwlad, wrth fyned a dychwelyd, yn cludo y badau bychain hyn ar eu gwyddau: oddiwrth yr hyn, yr enwog ddamhegydd hwnnw, *Bledd-*

* "Resus filius Graffini, filii Resi, filii Theoderi, filii Æneæ, filii Oeni, filii Hoeli, filii elli, filii Roderici Magni, et sic deinceps."

*erch*, yr hwn oedd yn byw ychydig cyn ein hamser ni, a arfera ddywedyd yn chwedleuol am yr amgylchiad yma, 'Y mae yn ein plith fobl, y rhai, pan gyrchant ar ol anrhaith, a gludant eu ceffylau ar eu hysgwyddau, hyd at yr anrhaith, yna neidiant ar eu ceffylau iddeu ddal, ac ar ol ei ddal, yn uniongych cymmerant eu ceffylau drachefn ar eu hysgwyddau, a dychwelant adref.' "*

Ar ol hyn, y mae Giraldus yn crybwyll am eu defodau Eglwysig, yn mha rhai y canfyddwn barch mawr tuag at bethau crefyddol. Ond rhy faith fyddai rhoddi yma ychwaneg o ailadroddiadau, yn mhellach na sylwi ei fod yn terfynu y rhan hyn o'i draethiad gyda'r geiriau canlynol:—

"Cenedl ddedwydd ac hylwydd, cenedl yn wir wynfydedig yn mhob amgylchiad, pe byddai iddynt Esgobion ac Offeiriaid da, a phe llywid hwy gan un Tywysawg, a hwnnw yn un da."

Oddiwrth yr hanesiadau rhagflaenol, y mae yn rhaid i ni ddyfod i'r penderfyniad, fod cyflwr y Cymry yn yr amser hwn, yn gyflwr tra dedwydd a dymunawl, a chyfrif agweddiad yr oes. Y mae yn ddiau fod aneirif ddrygau yn hanfodi yn y byd; ac yr oedd rhyfel a thrais, â'u holl effeithiau niweidiol, yn gyffredin: ond etto i gyd, barnaf fod y Cymry, trwy eu dull o fyw, a'u hegni cynhenyd, nid yn unig mewn cymhariaeth, yn rhyddion oddiwrth lawer o'r niweidiau hyn, ond hefyd yn eu troi yn achlysyrau o fwynhad, ac o ddywenydd. Yr oeddynt yn byw mewn tai unig, yn y coedydd, felly, ni allai cadgyrchiad iddeu gwlad eu niweidio hwy, fel trigolion trefydd. Os llosgent eu tai gwiail, beth am hynny?—Ni fyddent yn hir yn adeiladu eraill. Ond ni allai y gelynion wneuthur llawer, hyd nod o hyn; canys gwelsom yn aml na feiddient grwydro yn mhell oddiwrth y gwersyll, nag i losgi, nag i anrheithio. A pha faint a ofalent y fath ddynion a'r Cymry hyn am ymosodiad gelynion—dynion a oeddent yn wastad yn arfawg, ac nid yn unig yn barod i ryfel, ond hefyd yn ei hoffi cymmaint, ag mai eu dymuniad gwresocaf oedd terfynu eu rhwysc daearawl ar wyneb y maes, mewn amddiffyniad o'u gwlad a'u rhydd-did. A phan sylwom ar y nodweddiad olaf, ni allwn lai na chredu eu bod yn mwynhau rhydd-did i'r graddau eithaf ag a allent ei archwaethu. Nid oedd dim ond y rhydd-did gwladawl cyflawnaf ag a allai gydhanfodi, a'r arfer o'r gwyr ieuainc yn cerdded o amgylch o dŷ i dŷ, yn rhoddi eu harfau i gadw i'r teulu, ac yn derbyn y lletteugarwch gwresoccaf, yn nghydâ'r cyfryw lawenydd a diddaniant ag y draethir am dano. Ac nid arwydd bychan o'r cyfryw rydd-did, a boddlonrwydd cyflwr, oedd eu medrusrwydd cyffred-

* "Unde et famosus ille fabulator *Bledhercus*, qui tempora nostra paulo prævenit."—Pwy oedd y *Bledderch* hwn, nid oes hyspysiad; bu amryw o'r enw *Bledri* o gylch yr amser adroddedig. Y mae yn rhaid cyfrif gwaith y damhegwr hwn yn mhlith yr amrywiol gyhoeddiadau colledig o eiddo yr hen Gymry.

nol mewn cerddoriaeth, a'r digrifwch cyffredinol a hanfodai yn eu plith, 'u eondra mewn llafariad; ac pan ychwanegwn at y pethau hyn eu parch ddeu crefydd, yn ol y goleuni a oedd ganddynt, y mae yn rhaid gydsynio Giraldus, er gwaethaf drygau'r oes, mai pobl dedwydd oedd y Cymry i yr amseroedd hyn.

Ond ni ddylid celu fod yr awdwr yma, ar ol traethu am y pethau rhag-enawl, y rhai ydynt gan mwyaf o nodweddiad anrhydeddus, yn troi ddiwrthynt at feiau y bobl hyn, a'u harferion afrinweddus.

Ac yn y man cyntaf, cyhudda hwy o'anudon, a diystyrwch o ammodau; wwaid eu bod mor ysgafn mewn meddwl, ag mewn corfforiad; pobl an-sdal yn mhob gweithred, eithr yn fwy sefydlog mewn drwg na da; yn astad yn barod i anrhaith.

Dywaid eu bod yn yr ymosodiad cyntaf mewn brwydr yn dra dychryn-yd, yn rhuthro yn mlaen gyda bloeddiau, a sain udgyrn hirion, ac aml gydion piccellau; ond os caent eu gwrthladd yn llwyddianus yn hynny, oent i ffoi, gan ergydio eu saethau yn wisg eu cefnau, yn eu ffoad. Y mae Giraldus, yn y darluniad hwn, megys yn ei gyfrif iddynt yn fai mil-raidd, eu bod yn ymddwyn felly; ond y mae ei eiriau ei hun, yn yr madroddion canlynol, yn dangos yr annghysondeb o hyn; canys nid eddynt ond canlyn eu harfer eu hunain o ymdrin â'u gelynion; a diau y wyddent oreu yn mha ddull i wneuthur hynny; canys yr awdwr hwn a chwanega: "Y bobl hyn, gan eu bod yn gwisgo arfau ysgafn, a ymddir-edant yn eu gwisgirwydd yn hytrach na'u grym; ac er eu gorthrechu eddyw gyda galanastra gwaedlyd, a'u gyrru yn warthus ar ffo, etto, y foru, ymddarparant i frwydr, heb eu hattregu na chan warth na chan golled. Ac er ysgatfydd na lwyddant mewn brwydr neulltuol, etto, blinant eu gelynion trwy ymosodiadau nosweithiol. Ac felly," medd efe, "heb eu darostwng gan newyn nac oerfel, na'u blino gan lafuriad milwraidd, na'u digaloni gan ddichweiniau anffodus; eithr ar ol cwymp, yn uniongyrch yn cyfodi, ac o'r newydd yn barod i'r ymladd; ac os yn hawdd mewn brwydr unigol, etto mewn rhyfel parhaus, yn anhawdd eu gorthrechu."

Ynawr, cyn ffurfio barn ar y traethiadau hyn, sylwn ar gyflwr y dynion yma; a chawn weled fod rhai pethau yr arwyddoca Giraldus eu bod megys yn afrinweddol, etto, mewn gwirionedd, yn dangos callineb rhag-orol yn y bobl hyn, yn gystal a chalondid cynhenid tra chanmoladwy. Nid oedd y milwyr Cymraeg fel y rhai Saesonaeg, oll yn wyr cyflogedig, e yn wastad yn gyflwynedig at yr un peth; ond gan mwyaf y werin gyff-redinol oeddynt hwy, sef pobl y wlad yn neidio oddiwrth eu heridr, wrth sain yr udgorn, ac yn ymgyfarfod â'r gelynion yn y maes; ac felly, yn lle od yn gwisgo arfau trymion, ac yn marchogaeth ar feirch rhyfel mawr-on, yr oeddynt yn ysgafn eu harfau, ac yn ymladd megys saethyddion, yn

hytrach na marchogion; ac felly yr unig ddull o ymladd, gyda llwyddiant, oedd rhaid fod yr un a ddarlunia Giraldus. Ond ar yr un pryd, y mae yn rhaid sylwi, fod awdurdod i ddywedyd fod y Tywysogion a'r pendefigion, yn nghyd â'r milwyr sefydlog y rhai a berthynent iddynt, yn ymarfogi yn yr un ddull, a'r unrhyw radd o filwyr mewn gwledydd eraill. Ac am ymdrech mewn brwydrau neulltuol, er y byddai y werin yn canlyn eu dull priodol, etto, y mae yn ddilys fod y milwyr detholedig rhagenwol yn ymgystadlu wyneb yn wyneb â'u gelynion, gyda'r gwrolder teilyngaf; onite, ni fuasai'r byddinoedd Cymraeg yn eu maeddu mewn cynifer o frwydrau, ag y traethir am danynt, nag yn ennill y cestyll mor aml ag y mynegir.

Ar ol hyn, y mae Giraldus yn coffa eu hyspryd cynhenus, a'u parodrwydd i afaelyd yn meddianau eu gilydd, a'u tueddiant i gyfreitha. Ond wedi'r cyfan, ar ol pwysaw y cyfryw ddrwgnwydau, a syllu ar gyflwr y byd yn gyffredinol yn yr oesoedd hyn, ni allaf feddwl fod trigolion Cymru yn waeth eu moesau, nag eiddo gwledydd ereill.

Ond wrth ystyried y sylwadau hyn o eiddo Giraldus, er yn ddiau y dymunai yn gydwybodol draethu y gwir, etto, nid anhawdd canfod pleidgarwch tuag at y Saeson yn llechu yn ei feddwl. Ac hefyd, ymddengys nad oedd efe ddim yn hollol yn esmwyth, ynddo ei hun, o herwydd hyn; canys tua diwedd ei draethawd, ceisia ddiddanu ei gydwybod o'i blegyd. Dechreua yn y modd canlyuol: "Ond gan fy mod hyd yn hyn gwedi traethu mor fanwl a diwyd am y Saeson, a chan fy mod yn dwyn fy hanniad oddiwrth bob un o'r ddwy genedl, felly y mae yn addas i mi ddadlu yn gyfartalaidd dros bob un o honynt. Ac felly, yn y diwedd, wrth odre fy llyfryn, troaf fy ysgrifell at y Cymry, &c." Ac yna rho iddynt amryw gynghorion da, perthynol i undeb gwladawl, a'r modd effeithiolaf o ymddiffyn eu gwlad.

Yr oedd Giraldus yn Gymro genedig, ac ar ochr ei fam yn hannedig o waedoliaeth teyrnawl Cymru; ond yr oedd ei dad o ddeilliad Normanaidd, a diau fod ei gyfeillach â'r monachod estronaidd, yn ei ysgoliaeth, a'i swydd offeiriadawl, gwedi peri ynddo dueddiadau tuag at y dieithriaid hynny, y sawl a effeithient, er yn ddiarwybod iddo, i wyro ei farn.

Wrth ddiweddu ei draethiad ar arferion y Cymry, y mae Giraldus yn adrodd un amgylchiad tra nodedig. Dywaid i'r brenin *Henri II.* pan yn ei gadgyrchiad wrth *Bencadair*, ymgynghori â hen Gymro, yr hwn a lynasai wrtho, perthynol i alluogrwydd y Cymry i wrthladd ei fyddin; a gofyn iddo beth oedd ei farn am derfyniad y rhyfel hwnnw. A'r hen wr a attebodd, "Y genedl hon, O Frenin, a ddichon yn awr, megys cynt, gael o ran ei distrywio a'i gwanhau, trwy eich galluoedd chwi ac eraill, ac yn fynych o herwydd ei haeddianau; ond trwy ddigofaint dyn, oddieithr fod digofaint Duw yn cydfyned, ni lwyr ddifethir hi. Ac gan ys peth a ddigwydd, meddyliaf na fydd i un genedl arall heblaw yr un Gymraeg hon,

nac un iaith arall, yn nydd y cyfyng holiad ger bron y Barnwr Goruchaf, atteb dros y cwrr hwn o'r ddaear."

"*Nec alia, ut arbitror, gens quam hæc Cambrica aliave lingua in lie districti examinis coram Judici Supremo, quicquid de ampliori contingat, pro hoc terrarum angulo respondebit.*"

Y geiriau nodedig hyn a lefarwyd wrth *Bencadair*, yn agos i saith cant flynyddau yn ol.

Wrth daflu ailolwg ar y mynegiadau rhagflaenawl o eiddo Giraldus, gwelwn ynddynt ddau nodweddiad, y rhai a ymddangosant mor annghyson i'u gilydd, ag braidd y meddyliem y gallent gydhanfodi; sef eu cyflwr annghohleddedig mewn pethau o addurniadaeth corfforawl, ar y naill law; ac ar y law arall, eu gwareidd-dra, a'u moesgarwch teuluaidd. Wrth edrych ar eu tai gwiail, eu gwelyau brwyn, a'r absenoldeb o berllanau, a'r cyfryw bethusdra, gall rai, yn yr oes hon o esmwythdra a llonyddwch, eu galw hwy yn bobl farbaraidd, na pharchent y fath bethau, ac na wyddent pa fodd eu cynnal. Ond os sylwn ar hanes y bobl, cawn weled mai nid eisiau gwybodaeth oedd achlysur eu hesgeulusdra o berllanau; canys yr oeddent mor gynnar ag amser *Myrddin* yn hanfodi yn mhlith y genedl, megys y dywaid efe,

> "Saith afallen bereint a saith ugaint,
> Yn gyfoed, gyfuch, gyhyd, gymmaint, &c."

Ac yr oedd un o'r sefydliadau henaf yn mhlith y Cymry gynt yn yn dwyn ei enw oddiwrth y ffrwyth hwn; sef *Ynys yr Afallon*. Ond nid arwydd o gyflwr dirywiedig nag ychwaith o anwareidd-dra cynhenyd oedd absennoldeb perllanau, ond yn y gwrthwyneb, dengys arnodiad dra anrhydeddus a chlodfawr, sef pobl yn rhoddi i fynu pob moethusdra buchedd, a phob peth a berchenogent, oddieithr yr hyn oedd ofynol i gynnal einioes, er mwyn eu gwlad a'u rhydd-did; pobl wedi eu puro trwy galedi oddiwrth bob moethusdra; pobl wedi eu nithio, a'u dyhidlo, gan oesoedd o ryfeloedd, ac ymosodiadau gelynion, fel nad arhosai iddynt ddim ag a allai fod yn y lleiaf yn rwystr iddynt yn eu hymdrechiadau lodwiw, yn mhlaid eu rhydd-did; ac etto, er hynny oll, yn cadw yn eu lith goleddiad cynheddfau i raddau neullduol; cerddoriaeth, barddoneth, areithyddiaeth, moesgarwch ac haelioni teuluaidd; diau mai nid enedl gyffredin a allai wneud hyn; ac yn lle cyfrif absenoldeb moethau'r yd yn arwydd o'u hanwareidd-dra, nôd ydyw o'r egwyddorion gwladgarol mwyaf diysgog, ac o'r cysondeb teilyngaf a hwy, yn eu hymddygiad annyddiol. Pe buasent yn caru perllanau, a gwelyau pluf, yn well na rhydd-did ac annibynolrwydd, diau mai hawdd fuasau iddynt, dros ennyd,

eu mwynhau; ond cyn hir syrthiasent yn ysglyfaeth iddeu gelynion. Cenedl arall a feddianasai y broydd hyn; a nyni, y Cymry, cenedlaeth y dydd heddyw, ni fuasem yn byw i fwynhau bendithion ein hanfodiad.

Yn awr, dychwelwn at ein hanes; ac yna yn uniongyrch cawn anghreifftiau o'r hyn a draethwyd am anianawd y bobl, a'u parodrwydd gwastadol i ryfel, a'r yspryd cynhyrfawl a hanfodai, yn nghyd â'r egni a'r ymdrin cyffredinol trwy'r wlad. Yr oedd *Henri III.* mab *Ieuan*, yn awr ar orsedd Lloegr, ac er cadarnhau ei awdurdod, ceisiodd ymgymodi â *Rhynallt de Breos*, daw y Tywysawg *Llewelyn;* ac wrth addaw iddaw adferiad o'i diriogaethau Lloegraidd, a'u daliad ar yr un telerau ag y gwnaethasai ei frawd *Giles*, llwyddodd iddei ddenu oddiwrth ei ammodau â'r Tywysawg, ac yn ddiarwybod iddaw ymunodd â'r brenin. Wrth weled hyn, *Rhys Ieuanc*, a'i frawd *Owain*, a sorrasant wrth *De Breos*, yn fawr, am dorri ei ammodau; a hwy a ruthrasant ar ei diriogaeth o wlad *Fuallt*, ac a'i goresgynasant oll, oddieithr y castell. A *Llewelyn*, hefyd pan wybu am fradwriaeth *De Breos*, a lidiodd yn fawr, ac a ddaeth â'i lu i Frecheiniawc, ac a ymosododd ar dref *Aberhonddu*, gan fwriadu ei chwbl ddinystrio. Ond gwyr y dref a ddaethant atto i geiso ammodau; a thrwy gyfrwng *Rhys Ieuanc*, arbedodd y lle, ar y telerau, bod iddynt roddi bump o foneddigion y dref yn wystlon, a thalu pump cant morc.

Yna, *Llewelyn* a adawodd y dref heb ei niweidio, ac a aeth tua *Gwyr*, dros y *Mynydd Du*, lle y collodd lawer o'u gludiadau; ond aeth yn mlaen, a phebylliodd yn *Llangiwc*. A *Rhynallt de Breos* yn gweled y colledion a oddefai, a gymmerodd gydag ef chwech marchog urddol, ac a ddaeth at ei chwegrwn, ac a erfyniodd ei faddeuant am ei fradwriaeth. A'r Tywysawg a ganiataodd hynny iddaw; "Ac ynteu a roddes gastell *Sein Henyd* iddaw, a hwnnw n orchymynodd *Llewelyn* dan gadwraeth *Rhys Gryg*."

Gwedi trigo yno ychydig o ddyddiau, y Tywysawg a aeth tua *Dyfed*, yn erbyn y *Fflandrysiaid;* a phan ddaeth at *Gefn Cynwarchan*, hwynthwy a anfonasant genhadon iddei gyfarfod, i geisio ammodau heddwch; ond efe ni wrandawai arnynt, eithr cyrchu yn ei flaen a wnaeth tua thref *Hwlffwrdd*, a chyweiriaw ei fyddinoedd o gylch y dref, ar fedr ymladd â hi. A *Rhys Ieuanc*, a llu o wyr y Deheu gydag ef, a aeth trwy afon *Cleddyf*, yn erbyn y dref, a dynesu at y dref, ar fedr yn gyntaf ymladd â hi; ond cyn ymosod arni, daeth *Iorwerth*, Esgob Tŷ Ddewi, a llawer o grefyddwyr ac Eglwyswyr gydag ef, at y Tywysawg, i geisio heddwch ganthaw. A'r Tywysawg a ganiataodd hynny, ar y telerau canlynol:—

1. Yr oedd drigolion *Rhos* a *Phenfro* i fod yn ddeiliaid i'r Tywysawg, ac fyth o hynny allan ei arddel ef megys eu harglwydd.

2. Yr oeddynt i dalu iddaw fil o forcau, erbyn y Gwyl Mihangel nesaf.

3. Yr oeddynt, er cadarnhad o'hyn, i roddi i'r Tywysawg ugain o wystlon, o blith goreuon y wlad.

Ac felly ar ol dwyn y cwbl o'r Deheudir dan ei lywodraeth, y Tywysawg a ddychwelodd adref i Wynedd, yn anrhydeddus.

Ond ynawr, gwelwn gynhyrfiadau yn cyfodi o barthiad achosion ereill. Yr oedd y Barwniaid Lloegraidd, pan yn cael eu gormesu gan y brenin *Ieuan*, wedi ceisio cynhorthwy *Llewelyn*, a'r Cymry, ac wedi ei dderbyn yn dra effeithiol. Ond ar ol cael eu hamcan, a'u rhyddhau oddiwrth ofn rhwysc dinystriol y bwystfil hwnnw, anghofiasant eu cynhorthwywyr, yn eu hammodau âg *Henri*, neu yn hytrach cofiasant eu gadael allan o'r ammodau hynny: ac yn mhen ychydig, *Gwilym Marshal*, Iarll *Penfro*, a ymosododd ar dref *Gaerlleon*, ac a'i hennillodd; yr hyn a gyffrodd ddigter *Rhys Gryg* gymmaint, ag y rhuthrodd ar gastell *Sein Henyd*, ac a'i ennillodd, yn nghyda holl gestyll *Gwyr*, ac a ddeholes giwdawd y Saeson a oedd yn preswyliaw yn y wlad honno, ac a roddes y tiroedd i'r Cymry.

Yn nghylch yr amser hyn, bu amryw genadwriaethau rhwng y Tywysawg a'r brenin; ond nid hawdd cael allan y cywirdeb o'u hamcan, na'r canlyniadau. Dywedir i *Henri* anfon gwysau at *Lewelyn*, gan ei erchu i wneuthur gwyriogaeth iddaw; ac yn enwi amryw fannau, megys y llefydd yn Lloegr, iddaw gyrchu iddynt. Ond y Tywysawg ni thalodd un sylw i'r cyfryw wysiadau, eithr yn hytrach gosododd gastellwyr ei hun yn nghestyll *Caerfyrddin* ac *Aberteifi*. Ond etto, ymddengys iddaw dalu parch i arch y brenin, mewn un peth; canys *Rhys Ieuanc* a aeth, gyda'i gydsyniad ef, at y brenin, ac a wnaeth wyriogaeth iddaw am ei diroedd. Dywedir i *Lewelyn* wneuthur yr un peth, ond nid tebygol yw hynny, ar y pryd hwn; yr oedd yn gyson â defodau yr oes, i *Rys Ieuanc* wneuthur gwyriogaeth am y tiroedd yr oedd efe yn eu dal, megys un o Arglwyddi cyffindirol Lloegr; ac nid oedd hynny yn gwrthladd ei etifeddiaeth anymddibynawl, os hanfodai y cyfryw beth. Yr oedd brenin yr Alban wedi gwneuthur gwyriogaeth i frenin Lloegr, yn yr un modd, a brenin Lloegr ei hun gwedi gwneud un yr un modd i frenin Ffrainc; a *Rhys Ieuanc* a allasai wneud yn ol yr un ddefod, heb niweidiaw ei hawl i Dywysogaeth y Deheubarth. Gallasai *Llewelyn* hefyd wneud yn yr un ddull, ond ni welaf awdurdod ddigon i dderbyn yr honniad.

Yn agos yn yr un amser, y ffurfiwyd cyfathrachau newydd rhwng y Pendefigion o'r ddwy genedl, y Cymry a'r Normaniaid Lloegraidd. *Rhys Gryg* a briododd ferch Iarll *Clâr*; a *Ieuan de Breos* a briododd *Marred*,

merch y Tywysawg *Llewelyn*. Am *Rhynallt de Breos* ni wyddis pa pryd y terfynodd ei einioes; ond ei weddw a briododd *Rhalph Mortimer*, Arglwydd *Maelenydd*; a'i thad, *Llewelyn*, a roddodd yn waddol gyda hi diriogaeth *Ceri* a *Chedewen*. Y *Rhalph Mortimer* hwn, o gylch 1242, a adeiladodd gestyll *Knucklas* a *Chefnllys*.

Yr unig gofiant ychwanegol am *Rhynallt de Breos* yw yr un yr hwn a draetha y darfu yn y flwyddyn 1221 i rai o'r pendefigion Cymraeg warchae ei gastell yn *Muallt*, ac i'r brenin ddyfod a byddin, ac arbed y castell. Y brenin ar ol hyn, a aeth i *Drefaldwyn*, lle yr adeiladodd gastell newydd.*

Yr oedd *Fflandrysiaid* gwlad Penfro, yn awr, ar ol cael ychydig o lonyddwch, yn dechreu anghofio yr ammodau a wnaethent â'r Tywysawg, gan dorri eu llwon, ac yn gwneuthur cadgyrchiadau i diroedd y Cymry, ac yn ymddwyn yn dwyllodrus, ac yn flinol; ac yn mhlith pethau eraill, gafaelasant ar gastell *Arberth*, ac adeilasant ef drachefn, yr hwn yr oedd y Cymry gwedi ei ddinystrio. Yna, *Llewelyn*, wrth glywaid am hyn, a gynhullodd ei fyddin, ac a aeth yn erbyn y *Fflandrysiad*, ac a ymosododd ar gastell *Arberth*, ac a'i torrodd, gan ladd llawer o'r castellwyr, a chymmeryd eraill yn garcharorion; a thranoeth yr aeth i gastell *Gwys*, ac a'i dinystriodd, ac a losgodd y dref. A'r trydydd dydd, aeth yn erbyn *Hwlffwrdd*, ac a losges y dref hyd at borth y castell; ac felly, mewn pump diwrnod, cylchynodd holl *Ros* a *Daugleddau*, trwy wneuthur dirfawr aerfa ar bobl y wlad. Ac ar ol hyn gwnaethpwyd ammodau hyd galan Mai; ac yna, dychwelodd adref yn fuddugoliaethus.

Yn y flwyddyn ganlynol digwyddodd amrafael rhwng *Llewelyn* a'i fab *Gruffydd*. Ymddengys fod *Gruffydd* wedi gafaelyd ar gantref *Meirionydd*, megys meddiant annibynol iddo ei hun. Am yr hyn y llidiodd *Llewelyn* yn fawr, ac a gynhullodd lu ac a aeth yn ei erbyn; a *Gruffydd* yntau yn dra anheilwng, a gyweiriodd ei luoedd yn ei erbyn ef. Ond cyn ymladd o honynt, rhai o ddoethion y ddwy blaid a lwyddasant i heddychu rhyngddynt; a *Gruffydd* a ufyddhaodd iddei dad, a chafodd ei faddeu. Ond y Tywysawg a ddugodd oddiarno gantref *Meirionydd*, a chwmmwd *Ardudwy*, ac a adeiladodd gastell yno iddei hun.

Yn yr un amser *Rhys Ieuanc* a lidiodd wrth y Tywysawg *Llewelyn*, ac a aeth drwodd at *William Marshal*, Iarll *Penfro*, o herwydd i *Lewelyn* roddi castell *Caerfyrddin* i *Faelgwn ap Rhys*, ac na roddodd iddo yntau gastell *Aberteifi*, yr hyn oedd yn ei gyfran pan ranwyd y Deheubarth. Ac yna, y daeth *Llewelyn* a'i lu hyd at *Aberystwyth*, ac a oresgynodd y cas-

* Matth. Paris. yr hwn a draetha'r hanesiad hwn, a ddywaid i *Henri* chwilio allan le newydd i'r castell mwy addas na'r hen le. Os felly, dichon mai efe a adeiladodd y castell gerllaw y dref, ac mai y man lle mae y gweddillion ychydig oddiwrth y dref, y rhai a elwir *Hen domen*, yr oedd y castell cyseffn, sef castell *Baldwyn*.

r cyfoeth oll, a'i gadw iddo ei hun. Ac yna'r aeth *Rhys Ieuanc* at y n, i achwyn am y sarhad; a'r brenin a alwodd atto *Lewelyn*, ac yddi y cyffindir, i'r *Amwythig;* ac yno cymmodwyd *Rhys* â *elyn*, a roddwyd iddo gastell *Aberteifi*, yn ol ei hawl. Ac yn fuan hyny, cyweiriodd *Ieuan de Breos* gastell *Sein Henyd*, gyda chenad y gyngor y Tywysawg *Llewelyn*. O gylch yr un amser, sef 1222, farw *Rhys Ieuanc* iawn etifedd Tywysogaeth y Deheubarth; a'i *Owain* a gafodd ran o'i gyfoeth, a'r rhan arall a roddwyd gan *lyn* i *Faelgwn ap Rhys*. Yr oedd *Rhys Ieuanc* yn wr o ddewrder ieuol, ac o ddoniau cyfrifol; ond ysgatfydd nad oedd yn perchenogi edd digonol tuag at adgyweiriaw ei gyfoeth yn yr amseroedd ter-'d hynny. Canwyd iddaw farwnad gan *Y Prydydd Bychan*, yr ydd fal y canlyn:—

"Colled gwr arwr[1] arfawc chwyrn yn nghad
Yn nghadarnwiac heyrn
Mur torf aerdorf[2] eurdeyrn
Mygyr bennaeth mab maeth meddgyrn.

"Mab meddgyrn teyrn tawel udd mwynfawr
Cyn maenfedd ei orchudd
Mab mad mygyr[3] lleiddiad llafnrudd
Brwysc breiniawl greddfawl *Gruffydd*.

"Mab *Gruffydd* llafnrudd lluoedd *Rhos* gyrcheid
*Rys* gyrchiad tra moroedd
Gwrdd am derfyn aml dorfoedd
Gwr byddin gwawr byddinoedd.

"Byddinoedd harddoedd dydd y hyrddai *Rys*
Ciwdawd *Rhos* o hanai
Lleith cynnigyn cynneddf *Gwalchmai*
Llew gwawr ysgwydfawr ys gwnai

"Ys gwnai *Rys* ar frys arlwy gwledd branes[4]
Cyn prynu tangnefedd
Par[5] tridryll gwersyll gorsedd
Pen clod cyn no'i fod i'w fedd.

"Yn medd argyfedd[6] nid gofyged[7] taith
Daeth i feirdd o'i fyned
Am ysgwyd gawr fawr fur oed
Am ysgwyd frywdoll golled.

"Colled gwr arwr, &c."

[1] gwron.
[2] aer—brwydr.
[3] gogoneddus.
[4] haid o frain.
[5] gwaewffon.
[6] mewn cydyfed medd. [7] clodfawr.

nae ar glawr ddau neu dri ereill o gyfansoddiadau i'r pendefig hwn, o *Phylyp Brydydd*, pennodiad un o ba rai a ddengys ei fod ef yn

noddwr o'r beirdd; sef, "Awdl a gant *Phylyp Brydydd*, yn llys yr arglwydd *Rhys Ieuanc*, yn *Llanbadarn Fawr*, pan fu ymryson y rhyngthaw a beirdd Ysbyddaid, pwy gyntaf o honynt a ddelai a cherdd Dydd Nadolig." Claddwyd *Rhys Ieuanc* yn *Ystrad Fflur*.

Yr oedd *Llewelyn*, unwaith etto, mewn heddwch â'i gydwladwyr; ond nid felly â'r cyfan o'i gymmydogion. Canys tra'r oedd *Gwilym Marshal* yn yr Iwerddon, *Llewelyn* a ymosododd ar ddau o'i gestyll, a chan ladd y ceidwaid, cymmerodd hwy iddo ei hun, gan eu cadarnhau, a gosod ei wyr ei hun ynddynt.* Yr hyn pan glywodd *Gwilym*, dychwelodd o'r Iwerddon, ac adennillodd y cestyll, ac a dalodd i wyr y Tywysawg yn ol yr hyn a wnaethasai yntau gynt, ac yno cyrchodd i diriogaeth y Tywysawg, ac a'i anrheithiodd. Pan glywodd *Llewelyn* am hyn, llidiodd yn fawr, ac anfonodd ei fab *Gruffydd*, a byddin gref, i attal y Iarll rhag treiddio yn mhellach. A *Gruffydd* a aeth i *Gydweli;* ond deallodd fod gwyr y dref yn bwriadu ei fradychu ef, ac felly efe a losgodd y dref, a'r Eglwysi, hyd y llawr. Yna *Gwilym Marshal* a groesodd yr afon *Tywi*, wrth *Gaerfyrddin*, lle y cyfarfu *Gruffydd* âg ef, ac y bu brwydr waedlyd; ac ar ol ymladd y rhan fwyaf o'r dydd, a lladd a chlwyfo llawer, ymchwelyd a wnaeth y ddau lu oddiwrth eu gilydd, a phebylliaw. Ond gan nad oedd gan *Ruffydd* ddigon o ymborth, ymdynodd oddiyno, a dychwelodd adref.† Ac yna, y Iarll a gyweiriodd gastell *Caerfyrddin*, ac a ddechreuodd adeiliad castell *Cilgeran*. Ond cyn ei orphen, derbyniodd wysiad oddiwrth y brenin i fyned iddei lys, i atteb am y cam a wnaethasai i'r Tywysawg, ac i wneuthur iawn iddaw. A'r Iarll a ddaeth i *Lwydlaw*, at y brenin, ag ychydig o'i wyr, gan adael y lleill i fyned yn mlaen â'r castell; a *Llewelyn* hefyd a ddaeth yno. Ond methwyd a'u cymmodi. A'r Iarll a geisiodd trwy gynhorthwy dau o'r Ieirll Lloegraidd, ddychwelyd iddei gyfoeth, trwy eiddo y Tywysawg; eithr nis gallodd, canys y Tywysawg a anfonodd ei fab *Gruffydd* iddei gyfarfod a llu nifeiriol, at yr hwn y daeth *Rhys Gryg* yn gynhorthwy; a hwy a ddaethant i *Garnwyllion*. A *Llewelyn* ei hun a ddaeth a dirfawr fyddin hyd at *Mabudrud;* [*meibion Uchtryd?*] yr hyn pan wybu y Iarll, dychwelodd i Loegr, a'r Tywysawg a aeth adref i Wynedd.

* Ysgatfydd mai at ei roddiad o gestyll *Aberteifi*, a *Chaerfyrddin* i Rys Ieuanc a Maelgwn, y cyfeiria hyn.

† Matth. Paris. a ddywaid i'r Cymry gael eu gorthrechu yn y frwydr hon, ac iddynt golli, rhwng lladd a dala, gymmaint a naw mil o wyr. Ond y mae yn rhaid cofio fod yr awdwr hwn yn wastad yn barod i roddi y fuddugoliaeth i'r Saeson. Diammau ei fod yn clywaid y cyfryw chwedlau gan rai o'r milwyr ffrostiol Saesonaeg, ac yn eu credu; ond pe buasai y rhai hynny mor fuddugoliaethus ar bob achos ag yr haera efe, ni fuasai gan y Cymry erbyn hyn y fath fyddyn iddei gosod ar y maes,

Ynawr gwelwn uchelfrydedd ac anufudd-dod yn gweithredu yr un fath ddrygau yn y Deheubarth, ag y gwnai yn Ngwynedd ychydyg o'r blaen; canys *Rhys Mechyll*, yr hwn a elwir hefyd *Rhys Fychan*, mab i *Rys Gryg*, a ddaliodd ei dad yn garcharor, yn *Llanarthneu*, ac ni ollyngodd ef nes rhoddodd iddaw gastell *Llanymddyfri*, fel pryniad ei rydd-did.*

Ni chawn dim nodedig o'r amser hwn hyd y flwyddyn 1228, pan gwnaethpwyd cadgyrchiad ffyrnig gan y brenin *Henri* yn erbyn y Cymry, yr hwn a derfynodd, fel amryw ereill o'r un fath, gyda cholled a gwarth i'r fyddin Lloegraidd. Y dichweiniau, yn ol adroddiad Matth. Paris. oeddynt fal y canlyn:—

Tra'r oedd y milwyr Lloegraidd yn cadw castell *Trefaldwyn*, yr oeddynt yn cael eu blino gan y Cymry, fel na allent dramwy mewn diogelwch trwy yr ardal gyfnesol, yr hon oedd yn goediog iawn. A'r milwyr, er agoryd ffordd ddiogelach, a ddaethant a'u bwyellau ac a ddechreuasant dorri y coed i lawr. Ond tra wrth y gorchwyl, daeth y Cymry arnynt yn dra lliosog, ac a ymosodasant arnynt yn chwyrn; ac ar ol lladd llawer ar bob tu, gorfu ar y Saeson ffoi i'r castell, lle y canlynodd y Cymry hwy, a chan fwrw clawdd o amgylch y çastell, a'u gwarchaeasant yno. Y gwarchaedig ar hyn, a anfonasant hyspysiad o'u cyflwr i *Hubert de Burgh*, Brif Ynad Lloegr, i'r hwn y rhoddasai y brenin y castell hwn, a'i gyfoeth, ychydig o'r blaen. A'r brenin ei hun a ddaeth yno a byddin, ac a arbedodd y castell, gan beri i'r gwarchaewyr gilio ymaith. Ac ar ol cynnull atto ei fyddin, ymosododd i dorri lawr y coed, yr hwn oedd yn dra helaeth gan ei fod yn bymtheg milltir o hyd. [*quinque leucarum.*] A thrwy fawr ludded, llwyddasant iddei ddifa, trwy dorri, a llosgi. A'r brenin a arweinioedd ei fyddin i fewn i'r wlad, i Fonachlog *Cridia*, yr hwn gan ei fod yn loches i'r Cymry, parodd ei losgi.

"Yna *Hubert*, y Prif Ynad, gan y gwelai ei fod yn sefyllfa gadarn, parodd trwy ganiatad y brenin, adeiladu castell yno; ond cyn gorphenu y gwaith, lladwyd llawer o bob tu. A gwr pendefigol, *Gwilym de Breos*, wrth edrych am ymborth, a gymmerwyd, ac a ddugwyd ymaith yn garcharor. Bu hefyd i farchawg, yr hwn yr oedd y brenin newydd ei urddaw, wrth fyned i chwiliaw am gynhaliaeth, pan welodd ei gyfeillion yn amgylchedig gan eu gelynion, ruthraw yn eofn iddeu plith, ac ar ol lladd llawer o'r rhai a'i gwyrthwynebent, yn y diwedd, ei hun a syrthiodd, yn nghydag ereill o fyddin y brenin.

"Yr oedd llawer o wyr blaenorol byddin y brenin yn gyngreiriol â *Llewelyn*, y rhai, mewn rhith, a lynent wrth y brenin. A'r brenin yn methu cael

* Y flwyddyn hon, 1226, bu farw *Meredydd ap yr Arglwydd Rhys*, Archdiacon *Ceredigiawn*, yn *Mhont Styphan*, ac a gladdwyd yn *Nhy Ddewi*, wrth ochr ei dad.

lluniaeth, ac yn gweled amryw yn ymddwyn yn fradychus, ac heb gynnal eu hammodau, a orfu wneuthur heddwch gwarthus, a chyttuno i'r castell yr hwn yr oedd efe yn awr trwy ddirfawr draul yn agos ei orphenu, gan ei wastadu drachefn a'r llawr; ac yr oedd *Llewelyn* i roddi tuag at y draul dair mil o forcau. Ac yno, gwedi sefydlu ammodau, dychwelodd pob un iddei gartref. Ac felly," ychwanega Matth. Paris. "brenin Lloegr, ar ol bela yn agos i dri mis wrth adeiladu y castell, a threulio yn ofer arian aneirif, a chan adael *Gwilym de Breos*, gwr anrhydeddus, yn warthus mewn cadwynau, a ddychwelodd iddei gartref. Ac yna cyffrowyd chwerthiniad, trwy fod y Prif Ynad, *Hubert*, wrth ddechreu, wedi rhoddi ei enw ei hun i'r castell, ac ynawr galwyd ef *Ynfydrwydd Hubert*. [*Stultitiam Huberti*]."

Ceir yr un amgylchiad y adroddedig yn y Brut, ond mewn byrach eiriau, a chydag ychydig o amrywiaeth. Yr hanesiad yno sydd fal y canlyn:—

"Y flwyddyn ragwyneb y daeth *Henri* a chadernid Lloegr gydag ef i Gymru, ac arfaethu darostwng *Llewelyn ap Iorwerth*, a holl Dywysogion Cymru iddaw; ac yn y lle a elwir *Ceri*, y pebylliodd. Ac o'r tu arall i'r coed yr ymgynhullodd y Cymru, gyda *Llewelyn ap Iorwerth*, eu Tywysawg, i wrthwynebu y brenin. Ac yna cyrchu y gelynion a wnaethant, ac ymladd a hwynt yn durfig, a gwneuthur dirfawr aerfa arnynt."—"Ac yna yr ymchwelodd y brenin i Loegr yn gywilyddus."

Yn awr canfyddwn un peth nodedig yma, sef yw ymdrech Matth. Paris. i iselu teylyngdod y fuddugoliaeth a ennillodd y Cymru ar Frenin Lloegr. Braidd y traetha ddim am frwydr. Ond sonia am rai yn myned allan i edrych am ymborth, fel pe buasai gorthrechiad y fyddin Saesonaeg oll yn ymddibynu ar lwyddiant dyrnaid o ddynion mewn ymryson neilltuedig; a'r brenin yn myned adref o achos hynny o beth. Ond nid oedd *Henri* y fath ddyn a chilio trwy y cyfryw ddichweiniaid dibwys. Ond y mae yn ddiamheuol gennyf oddiwrth anianawd rhyfelgar y Cymry, yn nghydag uchelfrydedd treisiol y brenin a'r Arglwyddi, i frwydr dwys a ffyrnig gymmeryd lle rhwng cadernid y ddau lu; ac i'r Cymry, fel yr haera'r Brut, wneuthur dirfawr aerfa ar eu gelynion Y mae yr awdwr Lloegraidd yn achwyn fod rhai o wyr cyfrifol y brenin yn ochri â'r Cymry. Ond y mae yn ddilys gennyf nad oedd y rhai hyn ddim amgen na Chymry eu hunain, sef trigolion y cyffindiroedd, y rhai dros unwaith a hoffent eu gwlad a'u cenedl yn fwy nag ymddarostyngiad i'r Saeson.

Ar ol y fuddugoliaeth hyn, y Tywysawg a ddychwelodd i Wynedd, gan ddwyn gydag ef *Wilym de Breos*, yr hwn a gadwyd ganthaw yn garcharor, ond etto mewn modd anrhydeddus, ac fel yr ymddengys, mewn gradd o rydd-did; canys dywedir iddaw, cyn hir fod, yn euog o gyfeill-

ach anweddaidd â'r Dywysoges *Joanna*, gwraig *Llewelyn*, ond yr hyn, ar y pryd, a gadwyd yn anhyspys iddo; ac ar ol bod yn garcharwr rhyw amser, cafodd ei rydd-did, drwy roddi i ddwylaw *Llewelyn* gastell *Buallt*, yn nghyd a thaliad helaeth o arian. Ond ar ol ei ollyngiad, daeth ei ymddygiad i wybodaeth y Tywysawg, ac efe a'i gwahoddodd iddei lys, ac yno, perodd ei grogi ar bren, yn tyfu ar fryn gerllaw; a dywedir iddo gael ei gladdu mewn cae, yn mhlwyf *Llandegai*, a elwir *Cae Gwilym Ddu.*

Dywedir hefyd fod cofiant am hyn yn y wlad honno, yn gadwedig mewn traddodiad; yr hwn, er yn ddilys ei fod o ran yn chwedleuol, etto dichon gall fod iddo ryw sail. Dywedir i'r Bardd Teulu, ar ol crogiad *De Breos*, gwrdd â'r Dywysoges, yr hon ni wyddai am yr amgylchiad; ac iddo ei chyfarch yn y modd canlynol:—

> "Diccyn docceyn, gwraig Llewelyn,
> Beth a roit am weled Gwilym?"

Ac iddi hithau atteb,

> "Cymru, Lloegr, a Llewelyn,
> A rown i gŷd am weled Gwilym."

Ac yna, efe a ddangosodd iddi ei gordderchwr yn nghrôg.*

Y mae yr annerchiad a'r attebiad prydyddol yma yn rhy annhebygol iddei dderbyn megys hanesiad: ond nid oes le i ammau dienyddiad *De Breos*, am rhyw achos neu gilydd. Y *Gwilym de Breos* hwn oedd ŵyr i'r *Gwilym de Breos* hwnnw, a gyflawnodd y gyflafn ysgeler yn nghastell y *Fenni*, am yr hyn y traethwyd ychydig yn ol. Y tylwyth hyn oeddynt o hanniad Normanaidd. Ysgrifenir yr enw mewn amryw ddulliau,—*De Breos*, *De Brews*, *Braosa*, *Brus*, *Bruce*, *&c.*

Y flwyddyn ragwyneb, sef 1231, bu farw *Maelgwn ap Rhys*, yn *Llanerch Aeron*, a chladdwyd ef yn anrhydeddus yn *Ystradfflur;* a'i gyfoeth a ddaeth iddei fab, *Maelgwn Ieuanc.*

Yr oedd yn awr ychydig dawelwch wedi hanfodi rhwng y Tywysawg a'r Brenin; ond cyn hir, gwelwn derfysg cyffredinol yn tarddu allan drachefn. Yn y flwyddin 1231, am ryw achos na thraethir, y Cymry a ddechreuasant ymosod ar y tiroedd a fuasent eiddo *Gwilym de Breos*. A'r Brenin a ddaeth a'i fyddin iddeu gwrthladd; ar yr hyn, y ciliasant dros ennyd. Ond gan ei fod ef ei hun yn gorfod dychwelyd i Loegr, anfonodd

* Gan fod y Dywysoges lawer henach na *Gwilym de Breos*, meddylia rhai mai nid cymmeint o achos ei gyfeillach gordderchol â hi y crogodd y Tywysawg ef, eithr am ryw ymrafodiaeth â'r Saeson.

*Hubert de Burgh* yno iddeu hattal. Ond y Cymry a ddychwelasant, ac a ddechreuasant anrheithio yr ardaloedd Saesonaeg, fal o'r blaen, yr hyn a wnaethant gerllaw *Trefaldwyn*. Ac yna, y castellwyr a wnaethant gadgyrchiad yn eu herbyn; a chan eu hamgylchu, a laddasant lawer, ac a gymmerasant eraill yn garcharorion, y rhai a ddugasant at *De Burgh*: ac yntau a berrodd dorri eu penau ymaith, a'u danfon at y brenin. Yr hyn pan glywodd *Llewelyn*, sorrodd yn fawr, a chynhullodd fyddin lluosawg, ac a ymosododd ar diroedd yr Arglwyddi Lloegraidd, y rhai oeddent yn ymylau Cymru, ac a'u hanreithiodd yn enbydus.

Pan ddaeth hyn i wybodaeth y brenin, yntau a lidiodd yn ddirfawr, a chynullodd fyddin dra liosog yn *Rhydychen*, ar ol peri ysgymmuno *Llewelyn*. Ac wedi hynny arweinioddd ei luoedd gyda chad-deithiad cyflym i *Henffordd*. Ar y pryd hwn yr oedd y Tywysawg a'i lu yn gwersyllu gerllaw castell *Trefaldwyn*, mewn gwrlod, ar ymyl pa un yr oedd cors yn hanfodi. "Ac yna," medd Matth. Paris. o waith ba un y cymmeraf yr hanesiad hwn, "y darparodd maglau dichellus i filwyr y castell; canys *Llewelyn* a anfonodd monach o fonachlog *Cymer*, yr hon oedd yn agos at y castell; yr hwn pan welasant y castellwyr ef yn teithio heibio iddynt, aethant allan i ymddiddan âg ef, a gofyn iddaw a glywsai efe ddim am y Tywysawg *Llewelyn;* yntau a attebodd iddaw ei weled ef mewn gwrlod gerllaw, ag ychydig o gyfeillion gydag ef, lle yr oedd yn disgwyl am fwy rhifedi o wyr arfawg. Yna, y milwyr a ofynasant i'r monach os gallent y marchogion fyned drwodd i'r wrlod a'r gors gyda diogelwch; ac efe a ddywedodd fod *Llewelyn* wedi torri y bont a arweiniasai drwodd, rhag ofn eu rhuthriad hwy; ond etto y gallent yn hawdd groesi y gors â'u meirch, ac âg ychydig o farchogion, naill ai gorthrechu y Cymry, neu eu gyrru ar ffo.

"Yna *Wallter de Godarville*, ceidwad y castell, a archodd iddei wyr gymmeryd eu harfau; a chan esgyn ar ei meirch, daethant yn ebrwydd i'r lle. Yna y Cymry yn eu gweled yn dyfod, a gymmerasant arnynt ffoi i'r coed. A'r marchogion a'u hymlidiasant, gyda rhuthriad cyflym; a'r blaenaf o honynt a soddasant yn y gors, hyd dorroedd y meirch; a'r rhai a ganlynent ni allent wneuthur dim ond cwyno eu hanffawd hwy, a chymmeryd rhybudd. Yna'r Cymry, wrth weled y rhai hynny yn y gors, a ddychwelasant, ac a'u lladdasant oll, yn feirch ac yn farchogion, â'u gwaewffyn."

"Ar hyn," medd yr un awdwr, "bu brwydr dra ffyrnig, yma a thraw, yn mha un y lladdwyd llawer ar bob tu; ond etto y Cymry a fwynasant y fuddugoliaeth. Cymmerwyd yn garcharorion ganddynt, *Ægidius*, mab *Rhichard de Argenton*, milwr dewr, ynghydag eraill llai enwog."

Oddiwrth y traethad uchod, y mae yn ddilys fod holl gadernid y Brenin

a'r Tywysawg yn ymgystadlu ar y maes. Y mae yr awdwr, yn ol ei arfer, yn dra anewyllysgar i addef gorthrechiad ei gydwladwyr; ac er ei fod yma mor amlwg ag na allai ei hollol gelu, etto, â heibio iddo gyda mor ychydig eiriau ag y cydweddai â'i gymmeriad hanesyddol.

Y brenin, wrth wybod am ddichell y monach, a benderfynodd ddinystrio y Fonachlog; ond yr Abbad a'i tawelodd ef, trwy dalu iddaw dri chant morc o arian. Ac yna, y brenin a berodd adgyweirio gastell *Mallt*, yr hwn yr oedd y Cymry wedi ei dorri, a'i addurno âg adeiliadwaith hardd; ac ar ol hynny dychwelodd i Loegr, llawn mor warthus ag ar yr achlysur rhagflaenawl.

Yn y cyfamser, daeth *Maelgwn Ieuanc ap Maelgwn ap Rhys*, ac a warchaeodd *Aberteifi*, ac a ddiffeithiodd y dref hyd at byrth y castell. Ac yn fuan ar ol hyn, dychwelodd gyda'i gefnderw, *Owain ap Gruffydd*, a rhai o wyr y Tywysawg *Llewelyn;* a hwy a dorrasant bont *Teifi*, ac a ymosodasant ar y castell â magnelau, ac a'i torrasant, a gorfu ar y castellwyr ei roddi i fynu iddynt; ac yna, dychwelasant gydag anrhydedd.

Y flwyddyn ragwyneb, sef 1233, aeth *Richard*, Iarll *Penfro*, brawd y brenin Henri, ac a adgyweiriodd gastell *Maeshyfaidd*, yr hwn yr oedd y Tywysawg wedi ei ddymchwelyd, dwy flynedd cyn hynny. Ac yna, y cyrchodd y Tywysawg i *Frecheiniawc*, ac a ennillodd holl gestyll y wlad, oddieithr castell *Aberhonddu:* ac ar ol gwarchae hwnnw dros fis, a methu ei ennill, llosgodd y dref, a dychwelodd i Wynedd, gyda llawer o yspail. Ac ar ei daith, llosgodd dref *Colunwy*, ac adenillodd *Ddyffryn Tefeidiawc*, oddiwrth *Ieuan Fitzalan;* ond methodd a chymmeryd y castell. Ac ar ol hynny, darostyngodd y *Castell Coch*, yn *Mhowys:* a llosgodd dref *Croes Oswallt.*

O gylch yr amser hyn, bu ymryson rhwng *Rhichard Marshal*, Iarll *Penfro*, a'r brenin. Ac ar yr un pryd, *Hubert de Burgh*, yr hwn oedd wedi ei ddal a'i garcharu gan y brenin, a ddihangodd, ac a ddaeth i Gymru, ac a ymunodd â Iarll Penfro a'r Tywysawg, yn erbyn y brenin.* Ac yna, *Owain ap Gruffydd* a ddaeth i *Aber Mynyw*, [*Ty Ddewi*] ac a laddodd lawer o wyr y brenin, y rhai oeddent yn y dref. Ac wedi hynny, ymgyngreiriodd *Maelgwn Fychan ap Maelgwn ap Rhys*, ac *Owain*, yn nghyda llu y Tywysawg *Llewelyn*, â llu Iarll Penfro; ac a ymosodasant ar yr ardaloedd y rhai oeddynt yn meddiant gwyr y brenin, ac a

* Yn mhlith yr cyhyddiadau a ddugai y brenin yn erbyn *Hubert*, haerai iddaw ladratta allan o'i drysorfa faen tra gwerthfawr, yr hwn a biai y rhinwedd i wneuthur dyn yn anorchfygawl mewn brwydr, ac iddo ei anfon yn fradychus iddei elyn, y Tywysawg *Llewelyn*. Diau fod rhwysg fuddugoliaethus *Llewelyn* yn dra hynod, cyn bod y brenin yn gorfod ei gyfeiriaw at y cyfryw weithiant. Ond llwyddiant y pennadur clodwiw hwnnw nid ymhanfodai mewn tammaid o garreg. Ei swyngyfaredd ydoedd ei wrolder ei hun a'i gydwladwyr dewrwych.

enillasant gestyll *Caerdydd*, *Y Fenni*, *Pencelli*, *Blaenllyfni*, a *Bwlch y Ddinas*, [castell *Dinas*, yn mhlwyf *Talgarth*, meddyliaf,] ac a'u torrasant oll, oddieithr castell *Caerdydd.*

Ac yna, y brenin a ddaeth a dirfawr lu o *Fflandrysiaid*, *Normaniaid*, *Gwasgwynwys*, a *Saeson;* ac a ymosododd ar Gymru, gan lwyrfwriadu difrodi yr holl wlad; ac a wersyllodd gerllaw *Grosmwnt.* A'r Iarll, a holl gadernid Cymru, a wersyllasant yn ei ymyl. A'r brenin a gychwynodd i dreiddio yn mhellach i'r wlad; ond cyfarfyddodd y Cymry âg ef, ar ei gyrchiad, a bu brwydr waedlyd, lle y collodd y brenin bump cant o wyr meirch. Ac ar hynny, dychwelodd i Loegr, yn warthus, megys o'r blaen. Matth. Paris. a ddywaid i'r Cymry ymosod ar fyddin y brenin yn y nos. Ond nad oedd y Iarll Marshall yn eu plith, am nad oedd foddlon i ymosod ar y brenin.

Ar ol hyn, aeth Iarll Penfro yn erbyn *Caerfyrddyn*, ac a warchaeodd y castell. Ond ar ol aros yno dri mis, a ffurfio pont ar *Dywi*, daeth rai o longau y brenin gyda'r llanw, ac a dorrasant y bont, ac a gymmorthasant y castell; a gorfu ar y Iarll ymadael â'r lle heb ei gymmeryd. Ac yna, aeth *Maelgwn Fychan* ac a orphenodd adeiliad castell *Trefilan*, yr hwn yr oedd *Maelgwn* ei dad gwedi ei ddechreu.

Y flwyddyn hon, sef 1233, bu farw *Rhys Gryg*, yn *Llandeilo Fawr*, ac a gladdwyd yn anrhydeddus yn *Nhy Ddewi*, yn ymyl bedd ei dad, *Yr Arglwydd Rhys.*

Canwyd amryw odlau i *Rys Gryg*, ac y mae ar glawr Farwnad iddaw, yr hon a gyfrifir i ddau neu dri o feirdd; sef y *Prydydd Bychan*, *Prydydd y Moch*, a *Dewi Mynyw.* Nid ydyw nodedig am ddim oddieithr y mesur, yr hwn yw yr un a elwir *Proest Cyfewidiog.* Dechreua fel y canlyn.

"Llawer deigyr hydyrfer[1] ar hynt
Hidyl am *Rys*, rysfa mynwent
Llyw *Dinefwr*, gwr gwych-blant
Llew trin a'i breniu a'i braint."

[1] Dyrfu,—dwr.

A diwedda fal hyn,

"Cadgyrchiad, llafndrochiad llew,
Fu *Rhys*, rhugylfar uddbar riw
Eryr deyrn loew eurgyrn lyw
Creir oedd i luoedd ei law."

Y flwyddyn ganlynol, 1234, pendefig cadarn ac anrhydeddus, o'r enw *Ieuan o Drefynwy*, [*Johannes Monemutensis*] yr hwn oedd gwedi bod

gyda'r brenin yn erbyn y Cymry, a ddaeth gyda llu nifeiriol, lu ymosod yn lledradaidd ar Iarll Penfro. Eithr hwnnw yn ; o'i ddichell, a ddugodd ei lu i mewn i goed trwy ba un yr nion i ddyfod. A phan ddaethant i'r lle, gwyr y Iarll a ruthr- o'u cuddfa gyda bloeddiadau dychrynllyd, a sain udgyrn, ac sant arnynt mor ffyrnig ag y darfuant droi ei cefnau a ffoi; a'r i hymlidiasant yn ddwys ac a laddasant dorf aneirif o honynt, y *Poictefwys*, ac ereill, a braidd y diahangodd *Ieuan* o *Dref-* in. Ac yna y Iarll a ymosododd ar diroedd y pendefig hwnnw, dodd yn hollol, ac, medd Matth. Paris. "o fod yn wr cyfoethog, ef yn dlottyn," a dychwelodd adref gydag anrhaith fawr.

; ar ol hyn, unodd y Iarll a'r Tywysawg eu byddinoedd, ac a nt ar diroedd y brenin, ac a'u difrodasant oll, o ymylau Cymry *Amwythig*: ac ar ol cymmeryd y dref honno, a'i llosgi, dych- yda dirfawr yspail.

i ar y pryd hyn a oedd yn *Nghaerloiw*, ond gan na theimlai alluog i fyned i gyfarfod a'i elynion, ymadawodd oddiyno yn ic a aeth i *Gaer Wynt*, gan adael ei feddianau i gael eu iw gan y Cymry, wrth eu bodd a'u harfod. Yn y cadgyrch- ymddengys oddiwrth fynegiad Matth. Paris, fod ganlanastra wyr y Brenin, yn gystal o'i ddeiliaid Saesonaeg, ac o'i luoedd ; canys yr awdwr hwnnw a ddywaid fod torf aneirif o'r *Poicte-* eu lladd ar gyffiniau Cymru, a bod celaneddau y Saeson yn i ddirifedi ar hyd y maesydd heb gladdedigaeth. Yn y flwyddyn w y Iarll *Marshall*, am yr hwn, er yn elyn iddaw y galarodd y chwerw, o herwydd ei ddewredd a'i ddoniau milwraidd.

y brenin yn awr ar ol goddef cymaint o golledion ac o warth, ed nad oedd yn alluog i gystadlu â Llywelyn a'i gyfeillion, a rn genhadwr ato, *Edmund*, Archesgob Caergaint, a rhai Esgob- o ffurfio heddwch. A'r Archesgob a ddychwelodd at y brenin , ac a fynegodd iddo fod y Tywysawg yn foddlon i ymhedd- yn flaenaf yn yr amodau, mynnai osod fod yr holl Arglwyddi l, y rhai oeddynt wedi gwrthryfela, i gael eu derbyn yn ol i 'r brenin. A'r Archesgob a ychwanegodd wrth y rhai a gyd- âg ef, ac hefyd yn nglyw y Brenin, mai trwy lawer o anhaws- i yr ymdrin i'r cyfryw derfyniad a hynny. Canys pan osododd ygythiadau y brenin a'r holl Eglwyswyr, *Llewelyn* a attebodd, yn ofni elusenau y brenin yn fwy na'i holl filwriaeth ef, a'i r, hefyd." Ond y brenin a orfu, er hyn oll, ymfoddloni i'r ; a ffurfiwyd heddwch. A'r un flwyddyn, rhyddhaodd y Tyw-

ysawg ei fab *Gruffydd*, yr hwn oedd wedi bod yn garcharor ganthaw dros chwech mlynedd, o achos ei wrthryfeliad.*

O'r pryd hwn dros ennyd, ni chlywn am un cyffroad rhyfelawl yn y Dywysogaeth, oddieithr i *Gilbert*, Iarll *Penfro*, gymmeryd trwy fraid gastell *Machein* oddiar *Morgan ap Hywel*, a'i gadarnhau iddaw ei hun; ond ar ol ychydig amser ei adferyd drachefn trwy ysgrif-ammod rhwng y Brenin a *Llewelyn*.

O gylch yr amser yma, bu farw amryw o ddynion cyfrifol yn mhlith y Cymry a'r Saeson. O'r cyfryw oedd, *Cadwallawn ap Maelgwn*, o *Faelienydd*; ac *Owain ap Gruffydd ap Rhys*, gwr dewr ac egniol, amryw o orchestion ba un y mynegwyd yn yr hanes hwn; claddwyd ef gyda'i frawd, *Rhys Ieuanc*, yn *Ystradfflur*.

Y mae awdl iddo o waith y *Prydydd Bychan*, yn y mesur rhagenwedig, sef y *Proest Cyfnewidiog*, yr hwn a ddechrena fal y canlyn:—

"*Yswein* ruddlein rodd edmyg,
Ged ysgein gad ddiysgog,
Teyrnedd leith dudfeith deg,
Teyrnas dinas dinag."

Cynhwysa hefyd y canlynol—

"Gelwir hwn lln gystlwn llyw,
Lloegr gyrchiad cad ced aelaw,
Terfysg *Eingyl* engyrth pob glew,
Terfyn gadw tarian fradw[1] friw. [1] drealiedig.

"Briw ragot ragor anfedr,
Bradw ysgwyd hud blymnwyd[2] hydr, [2] brwydr.
Aergleis glwyf rwyf radd beleidr,
Arglwydd gwawd rwydd gwaed raiadr."

Y mae hefyd iddo farwnad o waith yr un bardd.

Hefyd, yn agos yn yr un amser a'r rhagflaenol, bu farw *Madawc ap Gruffydd Maelawr*. Claddwyd ef yn monachlog *Llanegwest*, [*Valle Crucis*,] yr hon yr oedd wedi ei hadeiladu; a daeth ei fab *Gruffydd* i etifeddiaeth o'i gyfoeth. Y mae iddaw farwnad o eiddo *Einion Wann*. Dechreua fal y canlyn:—

"Neud rhaid am *Fadawc* trengi ciwdodedd
Gwalch cadoedd cadrfalch Ri
Neud trai calon donn[1] dag fi [1] dorredig.
Ac neud trwydoll ei golli."

* Yn y flwyddyn hon, 1234, anfonodd y brenin Henri fyddin gref i Lydaw, i gynorthwyo Duc Llydaw, yn erbyn brenin Ffrainc; a'r Cymry hefyd a anfonasant gyda hwy ddwy fil o wyr. Bu brwydr rhyngddynt a'r Ffrancod, yn mha un yr oedd y lluoedd Brytanaidd yn fuddugoliaethus. Ond cyn hir, ymgymododd y Duc â brenin Ffrainc, a'r Cymry a'r Saeson a dychwelasant adref.

"O golli *Madawg* edgyllaeth cofion
Gwyw calon gan hiraeth
Gwawr llawr llwyddedig bennaeth
Gwae ei fro a'i frodyr maeth, &c."

ardd a gyfeiria at le ei gladdedigaeth—

"Briw galch ei rodawg o ryw tymhestl cad
Cynnoer wely ddiddestl
Gwr a wnair fal *Gwair fab Gwestl*
Gwyr wawr yn llawr *Llan Egwestl.*"

lch yr un amser bu farw y Dywysoges *Joanna*,* gwraig *Llewelyn*, i i'r brenin *Ieuan;* ac yn ol y Brut, claddwyd hi yn *Llanfaes*, yn 'r Tywysawg a adeiladodd fonachlog uwch ei bedd. Ond rhai a mai yn Lloegr y claddwyd hi. Gwel *Hanes Tylwyth Gwydyr*, *gharad Llwyd.*

wr, y Tywysawg *Llewelyn* yn teimlo ei hun yn heneiddio, a gyn- gymmanfa, yn *Ystradfflur*, o'i holl Bendefigion ac Arglwyddi, derbyniodd oddiwrthynt lŵ o ffyddlondeb; a hwy a wnaethant eth iddei fab *Dafydd*,

e Matth. Paris. yn dywedyd i'r Tywysawg, o gylch yr amser yma, daraw gan y parlys, ac yn wan a methedig, ac hefyd yn cael ei n ei fab *Gruffydd*, anfon Esgobion *Henffordd* a *Chaer* at y brenin roddi ei gyfoeth dan ei nawdd ef, ac i gynnyg iddo ei ufudd-dod, naeth, ac ymddarostwng i ddala ei diriogaeth dano ef. Ac hefyd i o'i bendefigion gyduno â hyn, ond i rai o honynt wrthod y cyfryw a phallu cydsynio âg ef.

radd o ufudd-dod ydoedd hwn, neu ba fath o wyriogaeth, nid ym- . Ond meddyliaf mai am ran o'i diriogaethau ydoedd y wyriog- nid y cwbl. Canys oddeithr fod ei gynheddfau wedi eu gwanhau al a'i alluoedd corfforawl, ni welaf un achos i'r Tywysawg, ar y n, ymadael ar unwaith â'i oruchafiaeth megys pennadur annibynol. n ddiammau iddo fwy nag unwaith ymostwng i frenin Lloegr, odd na ellir gweled achos o hono. Ond yr oedd y pryd hwnnw yn rwain gan ei wraig yr hon oedd o genedl ei elynion; ac ysgatfydd y pryd hwn hefyd dan arweiniad rhyw gynghorwyr y rhai oeddynt pleidiol i awdurdod dieithriaid nac iddeu rhydd-did cynhenid. gallwn ychwanegu ei fod ef yn dymuno gweled ei orsedd yn medd- ab *Dafydd*, ac na welai fodd i sicrhau hynny oddieithr trwy ennill

ifenir ei henw—*Joan*, *Siwan*, a *Sian*. Meddyliaf mai yr olaf sydd yn agosaf i r; canys yr un enw, yn gysefin, yw *Joan*, a *Jane;* a'r Ffrancod a seiniant y l yr olaf, ac nid oes ond un enw ganddynt o'r cyfryw ffurfiad, sef *Joan*.

cynhorthwy brenin Lloegr. Ac yn nghyda hyn oll, ni ddylid annghofio fod y Brenin yn frawd-yn-nghyfraith i *Lewelyn*, ac yn ewythr iddei fab *Dafydd;* ac yn ddiau yr oedd y perthynas agos hyn yn effeithio i leihau y gwrthundeb tuag at arddel goruchafiaeth y Brenin, ac yn cyfrif am y dymuniad i osod ei fab dan ei nawdd. Ond boed hyn fal y bytho, y mae yn ddywenydd gweled etto rai o bendefigion y wlad a chymmaint o ysbryd ynddynt ac ymwrthod a'r cyfryw ammodau gwarthus, ac yn pallu cyduno yn yr ymddarostyngiad annheilwng hwnnw.

Y mae yn wir fod llythyron ar glawr oddiwrth y Brenin a'r Tywysawg at eu gilydd, perthynol i sefydliad heddwch. Yn y cyntaf o ba rai, y Brenin a hawlia wasanaeth oddiwrth y Tywysawg a'i fab *Dafydd*, a'r Tywysawg yntau a atteb yn addfwyn ac yn gymmediwaidd, heb wrthladd yr hawl; ond etto, ymdrinia megys pennadur yn ffurfio ammodau heddwch,* yn hytrach na deiliad yn ufuddhau. Ond ar ba achlysur yr ysgrifenwyd y llythyron hyn nis gwn, nac yn mha flwyddyn.

Yn awr, *Dafydd ap Llewelyn*, gwedi derbyn gwyriogaeth megys etifedd yr orsedd, a ddechreuodd ddifeddiannu ei hanner brawd, *Gruffydd*, ac a gymmerodd oddiwrtho ardaloedd *Arwystli*, *Ceri*, *Cyfeiliawc*, *Moddwy*, *Mochnant*, a *Chaereinion;* ac ni adawodd iddo ond cantref *Lleyn*, yn unig. Ac ychydig ar ol hynny, gwahoddodd ef yn fradychus i gyfarfod âg ef mewn cynghorfa, ac yno daliodd ef, ac a'i carcharodd yn nghastell *Cricieth*. Matth. Paris. a honna mai ar ol marwolaeth *Llewelyn* y cyfododd rhyfel rhwng y ddau frawd, ac iddo barhau o'r amser hwnnw hyd ddiwedd yr haf, pan daliwyd *Gruffydd* trwy frad, gwedi dyfod i gynghorfa dan nawdd Esgob Bangor.

Yr oedd y Tywysawg yn awr mewn gwth o oedran, ac wedi myned trwy fywyd o egni ac gorchestiaeth tra annghyffredin; ac ar y pryd hwn yn goddef dan effeithiau clefyd trwm; ac yn y flwyddyn 1240, ar yr 11eg o Ebrill, y bu farw: claddwyd ef yn *Aber Conwy*. Yr oedd yn un o'r Tywysogion mwyaf doniol, rhyfelgar, a llwyddianus, o holl Dywysogion Cymru. Teyrnasodd 46 mlynedd, ac ehangodd lawer ar derfynau ei wlad. Ond yr oedd surdoes estronaidd gwedi llygru amryw o'r pendefigion a'r Eglwyswyr i'r fath raddau, ag nad ydoedd yn derbyn y cyfryw gydweithiad ag oedd yn angenrheidiol tuag at gwbl adferiad o'i rhydd-dyd. Y mae ar glawr amyrw gyfansoddiadau barddonawl i *Lewelyn ap Iorwerth*, rhai o honynt yn dangos awenyddiaeth tra egniol a llewyrchus.

Y mae un o'r cyfansoddiadau hyn yn nodedig am ei fod yn cynwys enwau amryw leoedd y rhai a fuasent yn gampfaoedd i'r Tywysawg yn ei gadgyrchiadau, ac hefyd am ei fod yn cyfeirio at y chwedl o ollyngiad

* Gwel *Hanes Tylwyth Gwydyr* gan *Angharad Llwyd*.

llan o garchar, gan *Daliesin*, yr hyn a goffeir yn un o'r Mabinog-
ddengys fod y chwedl honno mor hen a'r 13 ganrif. Yr awdl
gyfeiria at ryw hen ddarogan o eiddo *Myrddin:* ei hawdwr yw
*dd y Moch*. Dechreua fal y canlyn:—

"Cyfarchaf i'm Rhen,
Cyfarchfawr awen,
Cyfreu *Cyrridwen*
Rwyf Barddoni
Yn dull *Taliesin*,
Yn dillwng *Elfin*,
Yn dyllest Barddrin,
Beirdd fanieri.

"Cymmhwyllaf fy naf
Cymru fodrydaf,
Cymro celfyddaf,
'R y wnaeth Celi.
Cymmreiso *Lywelyn*
Ni's cymmrawd neb dyn,
Cymru ei derfyn
A'i dorf drosti.

"Eryr teyrnedd,
Yr yfais ei fedd,
Ar hedd ar dyhedd,
Ar doheu Ri.
Yr yfais ei win,
O falch fuelin,
A'i wigoedd eurin,
A'i fynogi."

"Yn llys Aberffraw,
Yn llochi Barddrin,
Yn *Ngaer* fawr *Fyrddin*,
Fyrddoedd beri,[1]
Yn Nghaer *Dyganwy*,
Yn *Abertawy*,
Yn agwrdd dramwy
Dref *Gedweli*.

"Yn *Nghaer yn Arfon*,
Yn ngherdd gyflawdon,
Ae yn *Nghaerllion*,
Fy llyw dybi,
Yn Nghaer *Amwythig*,
Yn nghein dref ner,
Yn nghaeroedd *Aber*,
Tyner *Teifi*.

"Yn llys fer *Elysmer*,
Yn *Seint Clodfan* cler,
Yn llysoedd *Aber*
Hydyrfer *Honddu*,
Yn *Nghastell Baldwyn*,
Yn *Ngheri* osgordd,
Yn *Hawrffordd* dref gordd,
Dref dyfysgi."

[1] gwaeffyn.

, y bardd a â rhagddo i enwi rhai llefydd ereill yn mha rai y bu y
awg yn rhyfela, ac a ychwanega y ban yn dechreu, *Darogan
din, dyfod brenin, &c.* Gwel t. d. 19.
ae hefyd amryw odlau i'r Tywysawg hwn gan *Ddafydd Benfras*,
a rai a gynwys goffad o'i orchestion, mewn iaith dra egniol. Y
ol yw y rhan fwyaf o honi.

"Gwr a wnaeth llewych o'r gorllewin,
Haul, a lloer addoer, addef iesin,
A'm gwnel radd uchel rwyf cyfyohwin,
Cyflawn awen, awydd *Fyrddin*,
I ganu moliant, mal *Aneurin* gynt,
Dydd y cant *Ododin*;
I foli gwyndawd gwyndyd werin,
*Gwynedd* bendefig ffynnedig ffin;
Gwanas deyrnas, deg cywrenin,
Gwreidd teyrneidd taer yn mrwydrin,
Gwrawl ei fflamdo am fro *Freiddin*.
Er pan oreu Duw dyn gysefin,
Ni wnaeth ei gystal, traws arial trin.
Gorug *Llywelyn*, orllin teyrnedd,
Ar y brenhinedd, braw a gorddin,
Pan fu'n ymbrofi â brenin Lloegr,
Yn llygru swydd *Erbin*.
Oedd breisg weisg ei fyddin,

Oedd brwysg rwysg rhag ei godorin,
Oedd balch gwalch golchiad ei lain,
Oedd beilch gweilch gweled ei werin,
Oedd clywaid oleddyfau finfin,
Oedd olybod clwyf yn mhob elin,
Oedd briw rhiw yn nhrabludd o'i drin,
Oedd braw saw Saeson clawdd y *Cnwccin*,
Oedd bwlch llafn yn llaw gynnefin,
Oedd gwaedlyd pennau, gwedi gwaedlin rhyw
Yn rhedeg am ddeulin, &c. &c."

Y mae gan yr un bardd farwnad i'r Tywysawg hwn, yn yr hon y dywaid,

"Cenais wawd ufydd-dawd yn ei fywyd,
I'm Arglwydd gwladlwydd, gwladoedd oglyd;
Canaf i'm Arglwydd cof enbyd ys mau,
'Rym gorug angeu dristyd,—&c.

Cyfleol ydyw sylwi yma mai Prif Ynad a Phrif Weinidog *Llewelyn ap Iorwerth* ydoedd *Ednyfed Fychan*, pendefig cadarn o Fôn, oddiwrth ba un y deilliodd *Owain ap Tudyr*, [*Owen Tudor*] o *Benmynydd*, a theymlin y *Tudoriaid*, Brenhinoedd Lloegr. Yn un o ysgrifau y Brenin *Henri III.* gelwir *Ednyfed* yn *Senescal* y Tywysawg.—"*Una cum Idnevet Seneschallo ipsius Lewelini.*" Y mae gan *Elidr Sais* farwnad i *Ednyfed Fychan*, a *Thegwared ap Iarddur*. Dechreua fal y canlyn; ac enwa y ddau bendefig yn mhob yn ail ban.

"Uwch ben bedd newydd *Ednyfed* y bum,
Y'm bu deigr hyd arffed;
Cymraw, Lloegr, cymrwyn lliwed
Cymman oed wychran weithred.

"Gweithred *Tegwared* gynt y gweryd llawr,
Llawen Beirdd o'i wynfyd;
Gnawd oedd ei wayw yn waedlyd
O waedlan rhuddau wan rhyd.

"Rhodwydd ar gymryd oedd ar gyman llu,
Llary *Ednyfed Fychan*;
Oedd ban gawr[1] ar ben garthan,
Pan gafas aerwas euran." &c, &c.

[1] uchelfloedd.

Parhaodd *Ednyfed Fychan* hefyd i ddala yr un swydd dan *Ddafydd ap Llewelyn*, fel y gwelir mewn amryw weithredoedd.

Bu i *Lewelyn ap Iorwerth* ddwy o wragedd; y cyntaf o ba rai ydoedd *Tangwystl*, merch *Llywarch Goch* o *Ros*. Hon ydoedd mam *Gruffydd.** Yr ail wraig, oedd *Joanna*, merch y brenin *Ieuan*. O hon bu iddaw fab a merch, sef y Tywysawg *Dafydd*, a *Gwladus*, yr hon a fu ail wraig i *Rhynallt de Breos;* ac ar ol ei farwolaeth ef, a briododd *Rhalph Mortimer*, Arglwydd *Wigmore*.

* Rhai a haerant mae mab o ordderch oedd *Gruffydd*. Ond yr achau a'i rhoddant megys o briod.

## DAFYDD AP LLEWELYN.

### 1240—1246.

'd *ap Llewelyn* a esgynodd i'r orsedd, nid trwy etifeddiaeth ach-
r trwy fabwysiad ei dad, yr hwn a osododd ar y neilltu hawl ei fab
*ruffydd;* ac yn hyn, yn gystal ac mewn perthynasau eraill, gwel-
gan *Ddafydd* hyfforddiadau rhagoroccach nag eiddo *Gruffydd*,
oedd eisioes mewn meddiant o'r orsedd, ac wedi derbyn gwriog-
deiliaid. Ac y mae yn ddilys ei fod o herwydd ei gyfeillgarwch
figion ei dad, yn mwynhau ewyllys da y swyddogion llysawl, i
elaethach nag y gallai *Gruffydd*. Ac heblaw hyn, yr oedd efe yn
in Lloegr, ac ymddengys na chollodd efe yr adeg i ymfuddhau
erthynas hynny. Canys o fewn i fis ar ol ei esgyniad i'r orsedd,
ierloyw, at ei ewythr y brenin, ac yno gwnaeth wriogaeth iddo.
s pa beth oedd anian yr ymddarostyngiad hyn o eiddo neb rhyw
ion rhagflaenol, nid oes lle i ammau, i *Ddafydd ap Llewelyn*
r gwriogaeth cyflawn a hollol, megys un yn dala ei feddiannau
hafiaeth un arall. Canys felly y tystiolaethir mewn gweithred
yr hon a gynhwysa enwau amryw bendefigion, megys tystion.
n wir fod y weithred hon yn cynwys ban arbedol, yn achub i'r
g neb rhyw feddiant y gallai fod iddaw mewn gwledydd ereill.
*præfati David jure suo, si quod habet in aliis terris.*] Ond etto,
rhoddi un ystyr yn gwaredi y Tywysawg oddiwrth gyflawn os-
gwriogaethawl, yn hyn o weithred.
ddarostyngiad hyn, fal y gellid disgwyl a ganlynwyd gan ormes-
ran y brenin a'i bendefigion. O herwydd daeth *Gilbert Marshal*
, ac a gadarnhaodd gastell *Aberteifi*, a'r flwyddyn ganlynol daeth
ei hun i Gymru gyda byddin liosog, a derbyniodd wyriogaeth
bendefigion y wlad.
r amser hyn yr oedd *Dafydd* yn cadw ei frawd *Gruffydd* yn
r, yn nghyda'i fab henaf, *Owain;* yr hyn pan sylwodd Esgob
rno, a chofio mai trwy ei gyfrwng ef y daliodd efe ef, yna'r Esgob
nunodd *Dafydd*, ac a aeth i Loegr, ac a wnaeth achwyniad wrth
, yn erbyn *Dafydd*, gan erfyn arno ollwng *Gruffydd* allan o
rhag ofn fod i hysbysiad o'r peth yn *Rhufain*, a mannau eraill,
warth ar enw y brenin. Yna y brenin a anfonodd at *Ddafydd*,
io ganthaw ollwng ei frawd yn rhydd; ac yn gosod o'i flaen
idrwydd y peth, er achub ei enw da ei hun, a gochelyd esgym-
a niweidiau ereill. I'r cais hwn *Dafydd* a attebodd, yn groyw,

na ollyngai efe ddim o *Ruffydd* yn rhydd; gan haeru pe gwnai felly, byddai y cyfan o Gymru mewn terfysg cyffredinol.

Pan wybu *Gruffydd* hyn, efe a anfonodd at y brenin i ddywedyd os byddai iddo ef ei ryddhau o garchar, y dàlai efe ei diroedd dan y brenin, ac y talai iddo yn flynyddol ddau cant o forcau; ac heblaw hyn, y cynnorthwyai y brenin i ddarostwng y Cymry anorchfygedig, yn yr ardaloedd pell.

Ac hefyd *Gruffydd Maelawr* a anfonodd at y brenin i gynnyg iddo gynhorthwy, os deuai i Gymru i gospi *Dafydd.* Ac Esgob Bangor hefyd er ymddial ar *Ddafydd,* a aeth i *Rufain* ac yno cafodd gan y Pab esgymmuno *Dafydd;* a gosodwyd ei gyfoeth dan ddedryd.

Y brenin, yn awr, yn hudedig gan gynnygion *Gruffydd,* a wysodd ei ddeiliaid, a chan gynnull byddin gref, daeth i *Gaerloyw,* ac oddiyno i'r *Amwythig,* lle yr arhosodd bymtheg diwrnod. A thra'r ydoedd yn aros yno, daeth atto amryw Arglwyddi i erfyn ar blaid *Gruffydd,* megys *Ralph Mortimer, Walter Clifford, Roger de Monte Alto,* Rhaglaw *Caer: Maelgwn ap Maelgwn, Meredydd ap Rhotpert,* Arglwydd *Cedewen: Gruffydd Maelawr, Hywel* a *Meredydd,* meibion *Cynan ap Owain Gwynedd,* a *Gruffydd ap Gwenwynwyn,* Arglwydd *Powys.* A thrwy weithrediad y pendefigion hyn, ffurfiwyd ammodau rhwng y brenin a *Gruffydd,* trwy gyfrwng ei wraig *Sina,** [yn y Lladin, *Senena*] merch *Caradawc ap Thomas,* yr hon a ymrwymai iddynt ar ran ei gwr. Yr ammodau oeddynt fal y canlyn:

Yr oedd *Senena* yn ammodi ar ran ei gwr, *Gruffydd,* os byddai i'r brenin beri rhyddhad *Gruffydd,* a'i fab *Owain,* y talai efe iddo am ei diroedd chwech cant morc; ac hefyd dri chant yn flynyddol. Ac y byddai iddo gadw heddwch tuag at *Ddafydd,* a gadael iddo fwynhau ei iawn etifeddiaeth yn ddirwystr; ac y safai at ddedryd llys y brenin perthynol i iawnder ei hawl a'r ymrafael rhyngddo a'i frawd. Ac yr oedd *Roger de Monte Alto,* a'r pendefigion ereill, yn ymwystlo dros *Senena,* am gyflawniad o'r ammodau hyn. Ac cymmaint oedd y caredigrwydd tuag at *Gruffydd,* ag y darfu i ddau bendefig cadarn, sef *Morgan ap Hywel,* Arglwydd *Ceri,* a *Ralph Mortimer* ymheddychu, y rhai oeddynt cyn hyn mewn gelyniaeth â'u gilydd. Ac hefyd rhai ereill o'r pendefigion Cymreig a ymostyngasant i'r brenin, megys *Owain ap Hywel, Maelgwn ap Maelgwn, Meredydd ap Meredydd, Hywel ap Cadwallawn, a Chadwallawn ap Hywel.*

Yr oedd *Dafydd,* erbyn hyn, yn dechreu gweled fod amgylchiadau cyffredinol yn bygwth troi yn wrthwynebus iddo, gan fod y rhan fwyaf o

* Meddyliaf mai *Sanan,* neu *Sanant,* oedd dull Cymraeg yr enw yma.

bendefigion Cymru yn ei erbyn, yn enwedig *Gruffydd Maelawr*, yr hwn oedd yn wr doeth a galluog; ond yn bendifaddef, yr oedd y ddedryd o esgymundod yn pwysaw yn orthrwm. Yr oedd y brenin hefyd gwedi mudaw ei fyddin, yr hon oedd yn dra liosog, hyd at ddinas *Caer*, ac yr oedd wedi bod parhâd o bedwar mis o sychdwr, drwy yr hyn a sychwyd y corsydd i'r fath raddau ac hawshau cyrchiad lluoedd trwy'r wlad. Ac felly, *Dafydd* a benderfynodd ufuddhau i arch y brenin, perthynol i rydd-had *Gruffydd*, ac hefyd gwbl ymostwng iddo megys pennadur. Ac felly sefydlwyd ammodau rhyngddynt, yn mha rai ni ellir, fel ar achosion gynt, ammau anianawd yr ymddarostyngiad; canys cyhoeddir yn eglur yn yr ysgrif swyddol, i *Ddafydd* yn awr arddel y brenin yn benteyrn, a chytuno dala ei diriogaeth dano, *in capite*, sef trwy addef goruchafiaeth y brenin megys pennadur. Sylwedd yr ysgrif-ammod sydd fal y canlyn.—

Yr oedd *Dafydd ap Llewelyn* yn addaw traddodi i'r brenin ei frawd, *Gruffydd*, yn nghyda'i fab, a phawb ereill, y rhai oeddynt yn garcharorion ganthaw, yn achos *Gruffydd*.

Yr oedd efe yn cytuno i ymaros wrth ddedryd llys y brenin, perthynol i'r ymrafael rhyngddo ef a *Gruffydd*.

Yr oedd efe yn cytuno y byddai iddo ef a *Gruffydd* ddala eu tiroedd dan y brenin, megys goruchafwr.*

Yr oedd efe yn addef dychwelyd i'r Arglwyddi Lloegraidd y cyfan o'r tiroedd a gymmerwyd oddiwrthynt, er dechreuad y rhyfel rhwng ei dad a'r brenin *Ieuan*.

Hefyd, yr oedd i dalu i'r brenin draul y cadgyrchiad hwnnw, ac i adferyd iddo bob gwriogaeth a oedd yn ddyledus i'r brenin *Ieuan*, *&c. &c.* Y weithred hon a ffurfiwyd yn *Llanelwy*, yn y flwyddyn 1241; ac a gadarnhawyd gan osod cwyrfathiad y Tywysawg atti, ac hefyd trwy ei lŵ, a llŵ ei Weinidawg, *Ednyfed Fychan*.

Ac wele, yn awr, lwyr iseliad y Tywysawg *Dafydd:* ac wele y lawn dywysen wedi tyfu i fynu allan o'r hedyn a hauwyd gan ei dad. *Llewelyn ap Iorwerth* a briododd ferch y brenin *Ieuan*, ac a wnaeth wriogaeth iddei chwegrwn. Y brenin *Henri III.* a hawlia'r gwriogaeth hwnnw; a'i nai, nid ydyw mor anufydd a phallu ei roddi iddo, ac hefyd ychwaneg gydag ef, nag y feddyliodd *Ieuan* am ei ofyn.

Yn awr, *Dafydd*, gwedi ymiselu yn y modd yma, a rhyngu bodd y brenin, a anfonodd attaw yn ddirgel, i geisio ganthaw adael iddaw ef ei nai fwynhau y cyfan o Dywysogaeth Gwynedd, yn hytrach na *Gruffydd*, yr hwn nid oedd yn perthyn iddaw; ac er nerthu ei erfyniad, dugodd ar gôf i'r brenin anianawd terfysgawl *Gruffydd;* ac os caffai ei rhydd-did y

* "Portiones nostras quæ nos contingent de prædictis terris tenebimus in capite de prædicto domino Rege."

byddai yn ddiau adnewyddiad o'r rhyfel. Yna y brenin, gan wybod gwirionedd y cyfryw haeriad, ac yn ewyllysio cefnogi ei nai, a gydsyniodd â'i erfyniad. Ac felly, pan rhoddodd *Dafydd* i fynu i'r brenin ei frawd *Gruffydd*, y brenin a'i anfonodd ef i *Lundain*, iddei gadw yn y Tŵr, yn nghyda'i wraig, a'i fab *Owain*, gan ddarparu yn weddus tuag at eu cynhaliaeth yno, sef hanner morc yn feunyddiol. Yn mhen ychydig o ddyddiau, aeth *Dafydd* ei hun i Lundain at y brenin, ac wedi adnewyddu ei ammodau dychwelodd adref i Gymru.

Ar ol bod yn y Tŵr weithian dalm o amser, canfyddodd *Gruffydd* nad ydoedd dim gwell na charcharor yno; ac felly bwriadodd ddianc allan. Ac i'r diben o effeithio hyn, rhwymodd yn nghyd ei ddillad gwely, a'r llieiniau, a phob defnydd o'r fath, ac a wnaeth hwy yn raff; ac yn y nos aeth allan trwy'r ffenestr, gan amcanu disgyn ar hyd y rhaff; ond pan ar ei ffordd i lawr, gan ei fod yn ddyn tew iawn, a thrwm o gorffolaeth, torrodd y rhaff, ac yntau a syrthiodd, ac a fu farw yn y man. A'r brenin, pan wybu am hynny, a archodd wylied ei fab yn fwy gofalus.

Y mae gan *Ddafydd Benfras* awdl farwnad i *Ruffydd ap Llewelyn*, yr hon sydd nodedig am ei bod yn cynwys enwau amryw o wronion yr oes, y rhai y cydnebydd y darllenydd fel yn grybwylledig yn yr hanes rhagflaenol. Y canlynol yw y rhan gyntaf o honi.

"Gwae ni hael mor wael mor woleu,
Weled yn nesad ein eisiau.
Gwelsam ni gynt a'i wynt[1] yn oreu,
Gweilch Cymru yn cymryd arfau;
Yn Lloegr yn llosgi ei thyrau;
A'i gwelai eiliai yn oleu,
A'i gweles gwelynt ryfeddau.
Gwelsam ni wawr *Maelawr*, megys yntau,
Mygr *Fadawc* wayw roddawc ruddgreu.
Gwelsam ni *Faelgwn*, fawr fur cadau,
Cadr fab *Rhys*, yn *Rhos*, a'i ffaglau.
Gwelsam ni *Owain* prain, prudd ei ddoniau,
Doniawg fab *Gruffydd*, beirfudd barau.
Gwelsam ni fab *Hywel*, yn rhyfelau;
*Cynan* y gelwyd, cwyn a'n goddau.
Gwelsam *Rys* falch-*gryg*, ryfyg, reithleu,
Yn rhuthr aruthr, ar y deheu.
Gwelsam *Rys Fychan*, darian daerglau;
Yn mhyrth *Caerfyrddin*, â'i fyddinau.
Gwelsam wyr dinam, yn ddiamhau,
Gwael yw nad ynt fyw,—neud ynt feddau!
Gwae'nt hwy ar y wnaeth eu pennaethau.
Am *Ruffydd* gwaewrudd gwae finnau, &c."

[1] hwynt.

Wrth grybwyll am y cam a ddioddefodd *Gruffydd* ar law ei frawd *Dafydd*, yn y carchariad rhagflaenol, nid ydyw ond cyfiawnder i *Ddafydd* i sylwi, oddieithr ei ddietifeddu, o'i rydd-did, nad ymddengys i'r blaenaf

lderbyn un fath o gamdriniaeth yn ystod ei garchariad. Ni thynnodd ei ygaid, ac ni osododd ef i farwolaeth; a phan ystyriom cyhyd y bu yn ei llu, ac mor gyffredin y bu y cyfryw droseddau gynt, y mae yn rhaid ywedyd fod ymddygiad *Dafydd* yn dangos anianawd llawer mwy tirion chyfiawn nag y gellid ebrych am dano.

Yn fuan ar ol marwolaeth *Gruffydd*, yr hyn a ddigwyddodd yn 1244, y renin a gadarnhaodd gastell *Diserth*, yn swydd *Fflint*, ac a roddes i *'uffydd ap Gwenwynwyn* ei holl gyfoeth yn *Mhowys*, ac i feibion *Cynan p Owain Gwynedd*, ei eiddo yn *Meirionydd*. Hefyd, o gylch yr un nser, *Maelgwn Fychan* a gadarnhaodd gastell *Garthgrugyn*, *Ieuan fynwy*, gastell *Buallt*, a *Rhosser Mortimer*, gastell *Maelienydd*.*

Ac yn awr y brenin a ddechreuodd ormesu y Cymry yn drwm, gan faelyd ar eu tiroedd trwy drais; ac er dangos ei fwriadau perthynol i'r 'lad, enwodd ei fab henaf, *Iorwerth*,† yn *Dywysawg Cymru.*

Yr oedd *Dafydd* erbyn hyn, wedi dechreu blasu ffrwythau ei ostyngiad 'r brenin, ac yn gweled yr angenrheidrwydd o ymwroli i amddiffyn ei iddo. Ond cyn cynnyg un weithred arfogawl, anfonodd i Rufain gydag nrhegion mawr at y Pab, i achwyn o herwydd y gorthrymder a oddefai; c yn honni fod ei dad, *Llewelyn*, gwedi gadael iddo ef y Dywysogaeth, an nawdd Eglwys Rhufain: a deisyfai, gan hynny, y byddai i'r Pab ei derbyn, fel y byddai i *Ddafydd* a'i etifeddion gael ei ddala felly, an dalu yn flynyddol pum' cant morc. Yr hyn a gymmeradwywyd gan Pab, a *Dafydd* a ymrwymodd drwy weithred ysgrifenedig iddei gyflawni.

Ar hyn, y Pab a anfonodd lythyr at Abbadau *Aberconwy* a *Chymmer*, n eu herchu i chwilio i mewn i'r achwyniadau; ac os gwelent fod y Tywsawg gwedi ymrwymo i'r brenin trwy ofn a chribddeiliad, yna yn eu awdurdodi iddei ryddhau ef oddiwrth ei lŵon.

Felly, yr Abbadau hyn, trwy awdurdod y weithred Babawl honno, a ysasant y brenin i ymddangos ger eu bron, yn y *Creiddyn*, yn Eglwys *'langystenyn*, i atteb i'r Tywysawg perthynol i'r achwyniadau hynny.

Pan hyspyswyd hyn i'r brenin a'i bendefigion, sorrasant yn aruthr; a wy a daer annogasant y brenin i fyned yn erbyn *Dafydd*, yn ddioed. A'r renin a ddanfonodd at y Pab gydag haelach anrhegion; a'r Pab, yn ol ei fer, a wobrwywyd gan y ddwy blaid, heb wneud lles penderfynol i un i'r llall.

Yna, *Dafydd* a anfonodd genhadon at yr holl bendefigion Cymraeg deu hannog i ymarfogi dros eu gwlad a'u rhydd-did, ac i ymuno âg ef

* Tua'r amser yma, bu farw *Rhys Mechyll*, un o bendefigion y Deheubarth.

† Hwn oedd ar ol hynny, *Edward I.* Brenin Lloegr.

yn erbyn y Saeson. A hwy holl, yn un fryd, a gydsyniasant â'r galwad, oddieithr *Gruffydd ap Madawc Maelawr*, a *Gruffydd ap Gwenwynwyn*, a *Morgan ap Hywel*. Ond cyn hir, cymhellodd y rhai hynny hefyd i ymddarostwng iddaw. Ac ar ol ffurfio y cyngreiriad hyn, y Tywysawg a'i gyfeillion a gyrchasant i diriogaethau yr Arglwyddi Saesonaeg, ag a'u hanrheithiasant yn erchyll. A'r Arglwyddi hyn, sef Ieirll *Clâr* a *Henffordd*, *Thomas de Munmuth*, *Rhoser de Monte Alto*, ac eraill, a ymunasant yn eu herbyn; a bu amryw frwydrau rhyngddynt yma a thraw, yn mha rai, gan mwyaf, y gorthrechai y Cymry, ond weithiau cafai yr Arglwyddi y fuddugoliaeth.

Yr oedd y brenin *Henri*, ar hyn o bryd, gwedi dechreu ymrafael â brenin yr *Alban*, ac efe a aeth a byddin liosog tua'r wlad honno; ond dychwelodd heb rhyfel, trwy ffurfio ammodau heddwch, ac a aeth tua Llundain. "Yn y cyfamser," medd Matth. Paris. "y Cymry a ddaethant allan o'u llochesau fal gwenyn, gan ladd a llosgi, yn enwedig mewn cyrchiadau nosweithiol; ac nid attalient anrheithio y cyffiniau, mewn modd echryslawn." A'r brenin, ar glywaid am hyn, a anfonodd dri chant o farchogion, dan dywysiad *Hubert Fitz-Matthew*, iddeu gwrthladd, yn nghyda phob darpariad angenrheidiol. Yna, y Cymry a ymosodasant yn hyf ar y tiroedd Saesonaeg cymdeithasawl, sef ar gyfoeth *Iarll Henffordd*, chwaer yr hwn yr oedd *Dafydd* wedi priodi, a gwaddol yr hon yr oedd y Iarll yn pallu talu; ac hefyd ymosodasant ar diriogaeth *Ralph de Mortimer*. Ac ar ol cyfarfod ar y maes, lladdasant ddau farchawg anrhydeddus, yn nghydag o gylch cant o wyr traed, gan hollol ddymchwelyd y fyddin Saesonaeg. Ar ol hyn, dychwelasant iddeu cartrefi yn orfoleddus.

Wrth glywaid am hyn, daeth *Hubert Fitz-Matthew* yn mlaen, y boreu dranoeth, gyda'i dri chan' marchwr i ymosod ar y Cymry, ac yn bwriadu amgylchu eu gwersyll. Ond yn lle hynny, y Cymry a ymosodasant arnaw yn mlaen llaw, ac a'i gorfygasant yn llwyr, gan ladd llawer iawn o'i wyr; a braidd y dihangodd yntef â'i einioes.

Ychydig ar ol hyn, sef yn y Grawys o 1245, goddefodd lu o Gymry orthrechiad gerllaw castell *Trefaldwyn*, gan gael eu llithio i fagliad gan y castellydd. Canys wedi gosod byddin o wyr dan gudd, efe ei hun gymmerodd arnaw ffoi, a'r Cymry a'i hymlidiasant; eithr gwyr y castell a ruthrasant allan o'u cuddfa, ac a ymosodasant arnynt, a lladdwyd o honynt o ddau i dri chant.

Yna'r Tywysawg *Dafydd*, gan benderfyni ddial y sarhad a'r colled hwnnw, yn yr un wythnos a ruthrodd ar diroedd y Saeson, gan eu difrodi yn erchyll. A phan cynhulliwyd yn ei erbyn fyddin liosog o Saeson a gwyr y cyffindiroedd, y Cymry a gymmerasant arnynt gilio o'u blaen, nes eu hudo i blith y mynyddoedd; ac yno troisant ac a ymosodasant arnynt

â'u saethau, a chan daflu i lawr arnynt gerrig mawrion o'r bryniau. Yn yr ymosod hwn, lladdwyd *Hubert Fitz-Matthew;* dull trancedigaeth yr hwn, a adroddir mewn gwahanol ffyrdd. Yn ol un hanesiad, lladdwyd ef â chareg fawr o'r goledd-dir; eithr adroddiad arall a honna iddaw syrthio oddiar ei farch, a'i gaffael ar y llawr gan rai o'r Cymry, y rhai oeddynt yn dechreu ymryson am dano, carcharor i bwy a fyddai; ac un o honynt, er diweddi yr ymrafael, a ddaeth ac a'i lladdodd ef, gan ddywedyd, "Yn awr cymmered pwy bynag a'i mynno ef."

Yr oedd y Tywysawg, yn awr, wedi ei gyffroi i ymdrechiadau rhyfelawl; ac efe a aeth yn erbyn castell y *Wyddgrug;* ac wedi ei warchae, yn mhen ychydig amser ymosododd arnaw â llaw gadarn, ac a'i cymmerodd yn ddioed; gan ladd llawer o'r castellwyr, a chymmeryd y lleill yn garcharorion; ond *Rhosser de Monthaut,* [*Monte Alto*] y ceidwad, a giliasai i ryw ddiogelach le. Ac o'r amser hwnnw cyfododd rhyfel tra gwaedlyd, yn yr hwn nid arbedai y naill na'r llall, nac yma nac accw, nac oed, na rhyw, na gradd.

Y brenin *Henri,* wrth glywaid am gadrythiadau y Cymry, ni allai yn hwy eu goddef i barhau felly yn ddiwrthladd. Ac am hynny, tua diwedd Mehefin, efe a anfonodd trwy holl Loegr at ei arglwyddi, a'i farchogion, ac eraill o'i ddeiliaid, iddeu herchu i ymbarotoi i fyned yn erbyn y Cymry. Ac ar ol cynnyll dirfawr lu o *Saeson* a *Gwasgwynwys,* y brenin a ddaeth i Gymry, ac a dreiddiodd i'r wlad mor belled ag afon *Conwy.* Ac yno arhosodd; a dechreuodd adgyweirio gastell *Dyganwy.* A *Dafydd,* am na farnai ei hun yn ddigon galluog iddei gyfarfod ar y maes mewn brwydr gyffredinol, a ymdynodd i fynyddau *Eryri;* ac oddiyno blinodd y Saeson trwy ymosodiadau parhaus, hyd nes oedd ei gyflwr ef a'i fyddin yn dra anghysyrus yno, fel y deallir oddiwrth lythyr yr hwn a ysgrifenodd gwr pendefigol yn mhlith ei filwyr gartref at ei gyfeillion yn Lloegr. Y llythyr hwn a roddir gan Matth. Paris.* Ysgrifenwyd ef ar y 24ain o Fedi, ar ol bod y fyddin yn agos i dri mis yn y lle hwnnw: a'r canlynol sydd gyfleithiad o hono.

"Annerch.—Y mae ein Harglwydd Frenin yn aros gyda'i fyddin wrth *Gannoch,* [*Dyganwy*] er cadarnhau y castell, yr hwn sydd yn awr wedi ei gadarnhau yn dra chryf; a ninnau a drigwn mewn pebyll o amgylch i hwnnw, mewn gwiliadwriaethau, ac ymprydiau, a gweddiau, ac mewn oerfel a noethni. Mewn gwiliadwriaethau, o herwydd ofn y Cymry yn rhuthro arnom yn ddisymwth, ac yn y nos; mewn ymprydiau, o herwydd prinder bwyd, oblegid fod torth ddimmau yn werth pump ceiniog; mewn gweddiau, y byddo in i yn fuan ac yn ddiogel ddychwelyd i'n cartrefi;

* Rhoddir ef yn y Lladin, iaith yr awdwr yn ei holl waith; ond diau fod y cysefin yn y Ffrangaeg, iaith y boneddigion oll yn yr oes hono.

mewn oerfel a noethni, o herwydd bod ein tai o liain, ac nid oes gennym ein dillad gauaf.

"Y mae hefyd ganghenfor bychan yn rhedeg i fynu ac i lawr dan y castell dywededig, lle y trigwn, megys porthladd, lle y mae llongau yn fynych yn dyfod at ein trigfa, yn dwyn lluniaeth o'r *Iwerddon*, ac o *Gaer*. A'r canghenfor sydd rhyngom ni a *Snoudun*, [*Eryri**] lle y triga y Cymry yn awr; ac y mae yn gymmaint o led ag ergyd bwa croes, pan fyddo y llanw i mewn. Y dydd Llun nesaf cyn Gwyl Fiangel, gwedi hanner dydd, digwyddodd i long ddyfod o'r *Iwerddon* i'r porthladd, yn dwyn attom luniaeth iddei werthu; yr hon, trwy ei hwyliaw yn anghelfydd, pan dreiodd y mor, a arhosodd ar y tir sych, ar y lan gyferbyn i ni, ar ochr y Cymry, odditan y castell dywededig. Yna'r Cymry a redasant, ac a'i gwarchaeasant ar y sychdir. A nyni ar y lan yma yn gweled hynny, a anfonasom dros y dwr, mewn badau, dri chant o'n Cymry cyffindirol, o swydd *Caer*, a'r *Amwythig*, a chyda hwy farchogion arfawg, ac arblastwyr, i amddiffyn y llong. Yr hyn pan welodd y Cymry, ciliasant yn ebrwydd iddeu llochesau arferol yn y coedydd a'r mynyddoedd. A'n marchogion ni, er eu bod ar draed, canys ni ddugasent eu meirch ganddynt dros y dwr, yn nghyda'i cyfeillion a'u hymlidiasant dros chwech milldir, [*duarum leucarum*] ac a laddasant, ac a glwyfasant, lawer o'r Cymry. Ac yna, ein gwyr ni yn dychwelyd, megys yn fuddugoliaethus ar eu gelynion, fel dynion awyddus ac anghenus, a ruthrasant ar y parthau tu hwnt i'r dwr gydag anrheithiau a llosgiadau; ac yn mhlith masweddau eraill, yspeiliasant, mewn modd anheilwng, fonachlog *Cistercensaidd*, *Abercukuna*, [*Aberconwy*] o'i holl feddiant, hyd nod ei llestri cymmun, a'i llyfrau; ac a losgasant yr anneddau.

"Yn y cyfamser, y Cymry gan gynnyll torf liosog o'u cydwladwyr, gyda bloeddiad dirfawr, a ymosodasant ar ein gwyr ni, llwythedig gan eu hanrhaith anghyfiawnaf, ac yn fagledig gan bechodau, a'u gyrasant ar ffo; ac fel yr oeddynt yn annedwydd yn ceisio cyraedd y llong, lladdasant a chlwyfasant lawer o honynt. A rhai o'n gwyr ni yn dewis yn hytrach boddi yn y dyfroedd na chael eu lladd gan eu gelynion, a ruthrasant i farw yn y tonau morawl. Cymmerwyd ein marchogion ni yn fyw, ac a'u carcharwyd. Ond gan y clybuwyd ein bod ni wedi lladd rhai o'u pendefigion hwy, yn enwedig mab *Odo Naveth*,† gwr ieuanc hardd a dewrwych, hwynthwy a grogasant ein gwyr ni, gyda thorriad pennau, a'u darnio yn

* Yr oedd holl fynydd-dir *Arfon* gynt yn dwyn yr enw *Eryri*, ac yn y Saesonaeg, *Snowdon* a *Snowdonia*.

† "Filium *Odonis Naveth*." Pwy enw a amcenir atto yma nis gwn. Ysgatfydd mai naill ai *Nefydd* neu *Ednyfed* ydyw. Yr oedd pendefig yn yr amser yma o'r enw *Gorony*, ap *Ednyfed*.

ıwn; ac yna, taflasant eu celaneddau anffodus bob yn aelod i'r afon, iddio ei hawydd ysgeler, y rhai nid arbedasent hyd nod yr Eglwys 'ddolion.

ɔiodd yn y frwydr honno o'n gwyr ni, o deulu *Richard* Iarll *Cernyw* chogion dewr; sef, *Syr Alan Buscel*, *Syr Adam de Moia*, *Syr Esturmy;* a'r pedwaredd oedd Gwasgwynydd, saethydd â bwa 'r enw *Reimund*, â'r hwn yr arferai y brenin yn fynych ymddifyru. sradd hefyd bu farw yn nghylch cant, heblaw y rhai a foddwyd; 'ymry hefyd yn nghylch yr un rifedi, neu ychwaneg.

y cyfamser, yr oedd *Syr Wallter Bisset* a'i wyr yn y llong, yr mddiffynodd yn wrol, hyd yn nghylch hanner nos, mewn brwydr ı yn erbyn y Cymry, y rhai a ymosodent arni yn chwyrn, ar bob oddieithr fod ganddynt ochrau y llong yn lle mur, syrthiasent oll law y gelynion.

y diwedd daeth y llanw i mewn, a'r llong yn nofio yn anghyraedd-r Cymry, hwy a ymadawsant dan alaru ein bod ni wedi dianc 'u dwylaw. Yr oedd yn y llong driugain llestr o win, heblaw o luniaeth dymunol a chyfleol, o'r hyn y cawsom ar y pryd ein fadu.

y boreu, wedi trai y dwr, dychwelasant y Cymry yn fywiog gan ddala ein gwyr ni yn y llong; ond trwy ragluniaeth Duw, dihang-n y nos, cyn dyfodiad y Cymry, gan dyfod attom yn ein badau ni er y llanw, ac a adawsant y llong wrth ei hun.

a'r Cymry a ddaethant ac a gludiasant yn agos y cyfan o'r gwin, ıau eraill y rhai a gawsant yno; ac ar y llanw, ymadawsant, gan llong ar dan; a hanner y llong a losgwyd, ond arbedwyd y rhan n nghyda saith llestr o win, yr hyn a dynnasom at y lan yma.

l tra yn gwersyllu yma, yr ydym gwedi bod mewn anghenion dir-'n fynych cyrchasom allan yn arfawg, yn ddarostyngedig i aml a n beryglon, er ceisio ymborth; yn dioddef amrywiol a gwahanol 'niau ac ymosodiadau y Cymry; yn goddef colledion, ac yn fynych lichweiniau rhyfel yn dwyn colledion ar ein gelynion. Ac mewn arfod dygasom i'r gwersyll yn fuddugoliaethus yn agos i gant o , wedi ei torri ymaith.

ɟylch yr amser hynny bu cymmaint o brinder bwyd, o bob math, maint ddrudaniaeth ar bob angenrheidiau, ag i ni oddef colled edig, yn gystal o wyr ag o feirch. Yr oedd amser, pan nad oedd in yn holl anneddfa y brenin, nac 'chwaith yn y fyddin, oddieithr triad yn unig. Gwerthir un mesur o wenith am ugain swllt; pasgedig am dri neu bedwar morc; ac iâr am wyth ceiniog. ı y mae y gwyr a'r meirch gwedi dihoeni, a llaweroedd gwedi trengi ı ymborth."

Y brenin, yn awr, wedi colli cymmaint o wyr trwy newyn a'r cleddyf, ac yn dioddef cymmaint o galedi yn feunyddiol, nid oedd alluog i aros yn hwy wrth *Dyganwy;* ac felly, brysiodd i ddychwelyd i Loegr gyda'i fyddin, gan adael castellwyr i gadw'r castell, yr hwn yr oedd efe weithian wedi ei orphen. Ac felly, yn niwedd mis Hydref, yn ol arosiad yno o gylch deg wythnos, ymadawodd a'r lle.

Oddiwrth yr honniadau rhagflaenawl o eiddo y pendefig Lloegraidd, gallwn ganfod yn hawdd fod rhyfel tra thanbaid a dibaid gwedi bod rhwng y ddau lu; ac er nad oedd y Tywysawg yn feddianawl ar fyddin digon lliosog i ymgystadlu mewn brwydr gyffredinol ar y maes, ag eiddo y brenin, yr hon oedd gwedi ei ffurfio o holl gadernid Lloegr, y milwyr goreu, a'r marchogion dewraf, gyda'u meirch grymus, a'u harfau trymion, a phob darpariad rhyfelawl yr oes; etto, y mae yn ddilys i'r Cymry eu gwarchae mor gyfyng, a'u cyrchu mor galed, a diflino ddydd a nos, ag nad oedd ymadawiad y brenin ddim gwell na gorthrechiad cyflawn.

Ac megys ag y cyfarfu y brenin ei hun â gorthrechiad, felly hefyd y digwyddodd iddei gyweithyddion. Canys ar ei ddyfodiad i Gymru, fel na adawai un peth yn angof tuag at ddarostwng a dinystrio y genedl Gymraeg, anfonodd i'r *Iwerddon*, ac annogodd lu o Wyddelod i ymosod ar ynys *Fon*, tra'r oedd yntau yn difrodi y rhannau eraill. Ac felly daeth haid dra liosog o'r giwdawd honno drwodd i Môn, ac a anrheithiasant y wlad yn erchyll. Ond cyn hir, dychwelasant iddeu llongau drachefn; ac y mae yn ddiau iddynt ar y pryd hwn, megys ar rai achosion eraill, gael eu hymlid gan y trigolion, a'u gyru ar ffo; onite, ni fuasent yn ymadael mor ebrwydd, ac ni fuasent yn gadael y brenin i gael ei warchae gan y Cymry wrth enau *Conwy*, pe buasent yn alluog iddei gynnorthwyo.

Y gorthrechiad yma, a'i giliad gwarthus, a effeithiodd i weithredu yn y brenin y llidiogrwydd mwyaf cynddeiriog. Ac i ymddial ar y Cymry, penderfynodd geisio eu newynu. Ac i'r dyben o ddwyn hyn i ben, gwaharddodd, dan gospedigaeth angau, i neb ddwyn i'r wlad dim lluniaeth ar hyd y mor o'r Iwerddon, nag un lle arall. Ond nid oedd hyn ddim yn ddigonol tra'r ydoedd gororau Lloegr yn agored iddynt i brynu neu i anrheithio. Felly, y brenin yn ynfydrwydd ei ddigllonrwydd, a barodd ddifrodi yr ardaloedd Lloegraidd cyfnesawl, eiddo ei ddeiliaid ei hun, i'r fath raddau, a bod y trigolion yn swydd *Caer*, a'r ardaloedd cymmydogaethawl ereill, heb braidd ddigon i gynnal einioes. Aeth hefyd mor bell ag hyd nod beri cau i fynu ffynhonnau yr halen, rhag i'r Cymry leshau trwy y rhai hynny.

Y mae yn ddiamheuol fod y gweithrediadau hyn o eiddo'r brenin gwedi peri llawer o flinderau i'r Cymry; ond yr oedd eu hyspryd anorchfygol hwy yn eu cynnal trwyddynt oll. Ond ymddengys hefyd nad oedd cyflwr

brenin ei hun yn ddymunol iawn; canys yn yr un flwyddyn, pan ddaeth tto genhadon tramor gydag ysgrifiau oddiwrth y Pab, i geisio ganthaw niatau iddynt bregethu trwy Loegr dros ryfel y groes, a phan ddywedasnt wrthro fod yn agos holl bendefigion Ffrainc gwedi derbyn yr arwydd, efe a'u hattebodd,—"Y mae brenin *Ffrainc* ei hun gwedi derbyn yr wyddiad, a pha ryfeddod fod ei bendefigion yn ei ganlyn? Ond amdanaf amgylchfurir fi gan fy ngelynion. Y mae brenin *Ffrainc* yn ddrwg-dybus genyf; y mae brenin yr *Alban* yn fwy drwg-ddybus. Y mae ywysawg *Cymru* yn fy ngwrthwynebu yn agored. Y mae y *Pab* yn ddi y rhai a wrthgyfodant i'm herbyn. Ni fynaf wanhau fy nhiriogaeth wy gael ei arllwys o'i milwriaeth na'i harian."

Ac yma, dyledus yw i mi gyweiriaw camhaeriad yr hwn a wnenr gan rai anesyddion, a'r hwn a wna nid ychydig ddyryswch i ddaearyddiaethwyr wlad. Yr haeriad yw, i'r Tywysawg *Dafydd* yn yr amaer yma, pan yn ioddef dan ludded, ymdynnu yn fynych iddei gastell *Tintaiol*, i adferyd nerth a'i iechyd; ac ereill yn canlyn yr un camsyniad, a ddywedant ldo fyned i'r castell hwnw ar ol ymadawiad *Henri.* Ond yn mha le yn ghyfoeth *Dafydd* yr oedd y castell hwn, nid ysbysant; ac ar ol chwilio ymru oll, nid oes un lle cyffelyb iddo i'w gael. Y cyfeiliornad hwn a gyfyd ddiwrth gamddealliad o eiriau Matth. Paris.; yr hwn a ddywaid fod yn r amser hwnnw gyhuddiad cyffredinol yn erbyn *Richard*, brawd y brenin, fod yn pleidio gyda *Dafydd*, ac yn ei gefnogi yn erbyn y brenin, iddo gynt ei dderbyn yn ddirgelaidd yn ei gastell *Tintaiol*, pan yn ddedig ac yn ofidus, fal y gallai, wedi adnewyddi ei nerth, gyfodi yn fwy ymmus yn erbyn y brenin. "Eithr," medd yr awdur, "nid ydynt y fryw honiadau yn haeddu cred."

Yn awr, y mae yn ddilys genyf mai nid eiddo *Dafydd* oedd castell *intaiol*, ond eiddo *Richard;* a phan adgofiom fod *Richard* yn Iarll *rnyw*, nid oes amheuaeth mai castell *Tintagol*, [yn awr *Tintagel*,] yn *ghernyw*, oedd y lle: ac felly y rhoddir honniad Matth. Paris. gan *rew*, yn ei hanes o *Gernyw*.*

* Y mae yn ddilys genyf y dylai y gair hwn gael ei ysgrifenu *Tintajol*, canys y mae ny yn cyttuno â sain y gair y dydd heddyw, sef *Tigtagel*, neu *Tintadgel.* Yn yr hen rifau ac argraffiadau ni wnelent wahaniaeth rhwng yr i a'r *j;* ond y mae yn amlwg fod y yren *j* yn gynnar iawn wedi derbyn y sain a roddir iddi gan y Saeson; ac hefyd barnaf y *Cernywiaid* yn arferyd yr un sain yn gynnar, o herwydd amldra y geiriau yn mha rai eir ef yn y *Gernywaeg.* Am hanfodiad y cyfryw sain yn y canol oesoedd, nid oes achos i ond cyfeiriaw at *Lyfr Llandaf*, lle y gwelir enw *Iestyn ap Gwrgant* yn cael ei ysgrifenu *tinus.* Ond ni feddyliaf fod y Cymry yn ei seinio felly, ond bod y Monach, yr hwn atfydd a oedd ddieithyr, wrth ailysgrifenu yr enw, yn ei roddi yn ol y dull Normanaidd inio y *J.* Yr awdwr cynharaf a wn i am dano, yr hwn a grybwylla am gastell *Tintagel*, *Sieffre o Drefynwy*, yr hwn a ddywaid mai yno y ganed y brenin *Arthur*, ac y mae yn ysgrifenu *Tintagol.* Ac yr wyf yn tueddu meddwl ei fod wrth arferyd yr *g* yn ceisio yddocau sain Gernywaeg y gair.

Felly, nid i'r castell hwnnw yr aeth *Dafydd ap Llewelyn* i orphwy ol ei orchestwaith ; ond y mae yn debygol mai iddei lys ei hun, yn ng tell *Aber*, gerllaw *Bangor*, yr aeth ; lle, yn mis Mawrth, y flwy ganlynol, y bu farw ; ac, os iawn ddeallaf Matth. Paris. fel ag yr ei gyfeillion, yn ol eu harfer, yn dechreu ymwregysu i rhyfel. Clad ef yn anrhydeddus gyda'i dad, yn monachlog *Aberconwy*.

Canwyd ei farwnad gan *Ddafydd Benfras*, yn mha un y coffâ r orchestion ; fel y gwelir yn y pigion canlynol.—

"*Dafydd* hael ei hawl gywryssedd,
Debeu a giglen a Gogledd,
Dyfod hyd attaw dyhedd *Iwerddon*
I farchogaeth *Mon*, dirion diredd.

"A llu o *Brydain*,[1] a llwrw *Hebrydedd*,[2]
A llu o *Ffrainc*, ffyr ffraw galledd.
I goron *Llundain*, er garwerdd heiyrn[3]
Ni roddes teyrn ty o *Wynedd*.

"Duw a'i dug rhagon deon diwedd
*Dafydd* fuddugawl, gedawl gyfedd,
Digawn o bregeth yw difaedd hael[4],
Heb fryd i'w gael hyd frawd[5] gyhedd.

"Ys truan ei ran, Rwyf marianedd,
Ys drwg heddyw lliw wedi llaryedd,
Y llaw a gedwis erllynedd adwy,[6]
Yn *Aber Conwy* yn gorwedd.

"Wyr brenin *Lloegr*, llu teyrnedd,
Mab brenin *Cymru*, cymmraiso fonedd;
Gwr oedd a hanoedd gorfoledd gwerin,
O iawn deyrnllun y brenhinedd, &c."

[1] Yr *Alban*. [2] Yr *Hebrides*, meddyliaf. Ac os cywir fy marn yn hyn, yr oed *Ynysoedd gorllewinol yr Alban* yn mhlith y rhai a gyflogasai *Henri* ar yr achlysur wedig o ymosodiad ar Gymru. [3] I goron Llundain, er chwyrned ymdrech ar roddodd y Tywysawg i fynu cymmaint a thy yn Ngwynedd. [4] Y gwron anfae [5] Dydd brawd. [6] *Yr llynedd.* Y llaw a amddiffynai y bwlch. Wrth hyn, canfyd farwnad hon gael ei chyfansoddi yn y flwyddyn 1246.

## OWAIN A LLEWELYN,

### MEIBION GRUFFYDD AP LLEWELYN.

### 1246—1282.

---

Yr ydym yn awr gwedi dyfod unwaith etto at un o'r amseroedd neilltuol ynny yn hanes ein cenedl, y rhai ydynt yn nodi cyfnewidiad tynged,—lirwyniad i fynu o amgylchiadau eisioes dan gyflawniad, ac agoriad o estriad newydd. Canys yr ydym yn awr wedi cyrhaeddyd at esgyniad i'r nedd o'r diweddaf o'n Tywysogion, a diddymiad o'n anibynolrwydd wladawl. Deuddeg cant o flynyddoedd cyn hyn, y digwyddodd yr un yw ddichweiniad o anffawd a gostyngiant, pan yn y canrif cyntaf y orthrechwyd yr enwog *Caradawc ap Bran*, gan y llengoedd Rhufeinig. mryw oesoedd o sathriad i lawr a gorthrymiad a ganlynasant yr aflwydd wnnw; ond ar ol hir benyd cafodd ein cenedl waredian odditan wasgfa yr mes estronawl, a chyfodasant eu pennau drachefn mewn rhydd-did ac iibynolrwydd. Cyffelyb, o ran effeithiau, i orthrechiad *Caradawc*, oedd ymp *Llewelyn ap Gruffydd*—trosglwyddiad llywodraeth i ddwylaw tron, arddodiad o gyfreithiau dieithr, dilead rhydd-did, a threuliad o soedd mewn cyflwr o ddifreiniad cenhedlol. I ba raddau yr estyn y fan o'r cyffelybiaeth, nid cyfran hanesydd i ymdrafod âg ef: digon i'r fryw un draethiant o'r cyflawnedig, heb ymyryd â dirgelwch y dyfodol; felly awn yn y blaen.

*Dafydd ap Llewelyn* a fu farw heb adael plant; ac y mae amrywiol mau perthynol i wir etifeddiaeth yr orsedd. Rhai a haerant mai mab o rdderch oed *Gruffydd ap Llewelyn*, ac felly fod yr orsedd yn disgyn i ppil *Llewelyn ap Iorwerth*, o'r Dywysoges *Joanna*; ac o herwydd hyn ai *Rhosser Mortimer*, ŵyr *Joanna*, oedd y iawn etifedd. Canys *wladus*, merch *Llewelyn*, a chwaer un-fam y Tywysawg *Dafydd*, yr on a elwir *Gwladus Ddu*, a briodasai *Rhalph Mortimer*, Iarll *Wigmore*, mab i'r hon oedd *Rhosser Mortimer*, meddianydd yr un Arglwyddieth.*

Eithr eraill a haerant fod *Gruffydd* yn fab o briod, ac felly o iawnder d yr orsedd yn eiddo ei etifedd ef. Ond poed hyn fel y bytho, a chan

* Yn mblith hiliogaeth *Gwladus Ddu* ceir amryw o enwau anrhydeddus, ac yn eu plith i o frenhinoedd Lloegr. Yr achau a gynhwysant wyth o genhedlaethau o'r enw *Mortimer*, y gangen gyntafenedig, a'r rhyw wrywaidd; ond yn y nawfed ach pallodd yr eppil rywaidd; a'r henaf ydoedd merch o'r enw *Anna*. Hon a briododd *Richard Plantagenet*, i wyr ydoedd *Edward IV*. brenin Lloegr; a'i wyr yntau oedd *Henri VIII*. Ac felly, y renhines *Elizabeth* oedd y bedwaredd-ar-ddeg oddiwrth *Gwladus Ddu*, a chyda hi y rfynodd y gangen henaf.

ys pa beth oedd iawnder hawl *Mortimer*, y Cymry ni fynasant mo hono yn Dywysawg; ac nid ymddengys iddo gael digon o gefnogaeth hyd nod i ddwyn yn mlaen ei gais.* O herwydd cytunwyd yn gyffredinol i roddi y lywodraeth i eppil *Gruffydd ap Llewelyn*, sef *Owain* a *Llewelyn*. Yr oedd *Owain*, yr hwn a elwir *Owain Goch*, gwedi bod er amser ei gludiad ymaith gyda'i dad i Lundain, dan gadwedigaeth y brenin yn Lloegr; ac er nad ymddengys iddo dderbyn un camdriniad, ond yn y gwrthwyneb feithriniad gweddus, etto, nid oedd gwell na charcharor yno. Ac felly, pan glywodd am farwolaeth y Tywysawg *Dafydd*, ymdynodd yn ddirgelaidd oddiyno, ac a aeth i Wynedd i edrych ar ol ei etifeddiaeth. Am *Lewelyn*, dywedir yn *Hanes Tylwyth Gwydr*, ei fod yn parhau i drigo yn ystod yr amser hyn yn ei lys ei hun, yn *Maesmynan*, gerllaw *Caerwys*, yn swydd *Fflint*, a'i fod yn meddiannu cantrefi *Rhos a Rhifoniawc*, a *Dyffryn Clwyd*, [a *Thegengel;*] ac weithiau yn cynnal rhyfel yn erbyn y brenin, ar y naill tu, ac weithiau yn erbyn ei ewythr, y Tywysawg *Dafydd ap Llewelyn*, ar y tu arall. Am y brawd ieuangaf, *Dafydd ap Gruffydd*, nid oes hysbysiad am ei anneddiad yn yr amser yma; ond y mae yn debygol ei fod yn mwynhau ryw feddiant pendefigol o fewn i'r wlad, eithr ddim digon cyfrifol i fod yn ymgeisydd am lywodraeth Tywysogaethawl.

Ac felly, ar farwolaeth y Tywysawg *Dafydd ap Llewelyn*, trwy gyngor gwyrda y wlad, gosodwyd ei neiaint, *Owain* a *Llewelyn*, meibion *Gruffydd*, yn Dywysogion ar Dalaeth *Gwynedd*, gan ranu y Dalaeth rhyngddynt; ond i ba un o honynt y rhoddwyd yr oruchafiaeth, ni fynegir; eithr gan y dywedir mai yr henaf oedd *Owain*, y mae yn debygol mai efe a'i cafodd.

Dros ychydig enyd y ddau Dywysawg a barhasant i lywodraethu eu gwahanol ddosparthiadau mewn heddwch â'u gilydd. Ac y mae yn debygol fod cyflwr yr amseroedd hyn 'yn cyfranu tuag at y tawelwch hwn; canys y flwyddyn ar ol eu dyfodiad i lywodraeth, sef 1247, ydoedd flwyddyn o brinder mawr, ac o galedi; trwy yr ymdrech egniol yn erbyn y Saeson, a thrwy ormesiad y giwdawd honno, yr oedd y maesydd yn anfaethedig, magiad anifeiliaid gwedi ei esgeuluso, a'r ychydig fasnach a arferyd ganddynt wedi ei attal, a'r bobl a wasgwyd yn orthrwm gan eisiau. Y mae Matth. Paris. yr hwn a draetha am hyn, a'r hwn sydd ar bob achlysur yn gorfoleddu yn anffawd y Cymry, yn crybwyll am yr amgylchiadau

* Y mae yn ddyledus sylwi fod *Gwladus Ddu* ei hun yn fyw ar y pryd hwn. Ond ni fynegir yr honwyd ganthi un hawl i'r orsedd. Ac hyd nod pe buasai y cyfryw hawl yn hanfodi, ac yn gywir, etto nid tebygol y buasai yn ddymunol o'i ddwyn yn mlaen yn y fath amseroedd, pan yr oedd yn angenrheidiol i'r penllywydd fod yn wastadol yn barod i ymarfogi ac arwain y trigolion i ryfel. *Gwladus Ddu* a fu farw yn *Windsor*, yn 1253.

hyn yn agos yn y geiriau yma; er boddhau ei yspryd cynfigenus tuag attynt, yr ychwanega ymadrodd o wawd, yr hwn sydd ar yr un pryd, er yn ddiarwybod i'r awdwr erlidgar, yn cynnwys cymmeriw o'r math anrhydeddusaf i anianawd clodwiw y bobl: canys dywaid, "Cyfyngwasgwyd y Cymry yn y dyddiau hynny; attregodd eu amaethyddiaeth; eu masnach, a bugeiliaeth eu preiddiau, a dechreuasant gael eu difa gan eisiau, wedi eu grymmu, yn anfoddlon, dan gyfreithiau y Saeson. *Gwywodd eu gorhen falch uchelfonedd.*" ["*Emarcuit antiqua eorum superba nobilitas.*"]

Y mae yr ymadrodd olaf hwn yn gwrthbwysaw cruglwyth o enllib a sen; ac nid yw llai gwerthfawr, o'i draethu gan elyn mewn chwerwder llid a ligasedd. Ar ol hyn, goddefwn yn amyneddgar ergydiau rhagfarnus yr hen fonach yn erbyn ein cenedl; galwed hwy weithiau, yn ol ei arfer, yn garnladron, yn ddirmygwyr llwon, a thorwyr ammodau; y mae yr "*antiqua superba nobilitas*" yn pylu ei arfau, ac yn diddymu ei wenwyn. Canfyddwn ynddo ryw beth o wir agwedd greddfol y genedl. Yr uchelurddas foneddol a'r ymarweddiad pendefigol a ymddangosai yn *Rhys ap Gruffydd* ac *Owain Cyfeiliawc;* hyfdra cynhenid y bobl gyffredin yn yfarch Tywysogion ac Arglwyddi yn eofn, ac yn traethu eu meddyliau wrthynt yn ddiarswyd; ysbryd anorchfygadwy y genedl yn gyffredinol, yn wastad yn barod i amddiffyn eu gwlad a'u rhydd-did, yn dioddef pob caledi er eu mwyn, ac erddynt hwy yn gorfoleddu yn y disgwyliad o yrthio ar y maes. Gosodwn at hyn eu haelioni, eu moesgarwch, a'u gwareidd-dra lletuaidd, ac meddyliaf y cawn yn yr ymadrodd, er yn ddiwriad gan yr awdwr, gywirach drychosodiad o anianawd y bobl nag mewn llawer o'i draethiadau darluniol eraill.—*Antiqua superba nobilitas!*—Pobl dlawd, mynyddig, troednoeth, llwmddillad, anfoethus, yn byw mewn tai gwiail, ac yn cysgu ar welyau brwyn; yn cynnal y cyfryw uchelagwedd anrhydeddus yn ngwyneb gelynion goludog, glwth, a threisiol—wele, yn wir, wrthddrych nid o aml ymddangosiad yn mhlith cenedloedd y byd.

Y flwyddyn hon ni bu yn anffodus yn unig i'r werin, ond hefyd i'r Eglwyswyr; canys y Saeson nid arbedent hyd nod y rhai hyny. Yn eu hanreithiadau llosgasent Eglwysi Cadeiriol *Bangor* a *Llanelwi;* a thlodwyd y corau hynny i'r fath raddau, ag y gorfu i'r Esgobion fyned ymaith i edrych eu cynhaliaeth, o elusen, mewn lleoedd ereill.

Ac ar ol cymmaint o ymdrech ar ran brenin Lloegr i gael meddiant ar benteyrnedd Cymru, nid tebygol y buasai yn gadael y Tywysogion ieuainc yn hir heb adnewyddu yr arddeliad o'r deiliadaeth: ac felly, yn ebrwydd ar ol dyfod iddeu cyfoeth, sef yn 1247, gwnaethant heddwch â'r brenin ar y telerau canlynol.

Yr oeddynt i roddi i fynu i'r brenin, dros byth, y pedwar cantref o *Rôs*, *Rhyfoniawc*, *Dyffryn Clwyd*, a *Thegengel*, sef yr holl wlad o *Gaer* hyd *Gonwy*.

iad â'r telerau hyn, cymmodwyd hwy â'r brenin; a chawsant y rh ereill o Wynedd iddeu meddiant, dan benteyrnedd y brenin.

A'r un flwyddyn, y brenin a anfonodd *Nicholas de Molis*, gyda . *dydd ap Rhys Gryg*, a *Meredydd ap Owain ap Gruffydd*, i ddigy ogi *Maelgwn Fychan;* a gorfu ar *Faelgwn* adael ei eiddo, a Wynedd, at *Owain* a *Llewelyn*. *Hywel ab Meredydd*, o *Forgan* oedd yn Ngwynedd hefyd, wedi ei ddigyfoethogi gan Iarll *Clâr;* oeddynt yn ymgadw yn guddiol yn y mynyddoedd a'r anialwch.

Rhai hanesyddion a ddywedant i'r brenin ar yr achos hyn arwain b i Gymru, i ddarostwng y Tywysogion; ond iddo orfod dychwelyd yn ddifudd. Eithr ar ol edrych i mewn i'r awdurdodau goreu, y n ddiamheuol genyf mai camsyniad yw hyn, ac na wnaeth y brenin ar bryd un mudiad tua Chymru; canys ni chaf un amnaid perthynol i l yn ysgrifenwyr yr oes honno. Yr unig gyffroad rhyfelawl a gofl Nghymru ar y pryd hwn, ydyw adennilliad o gastell *Careg Cenne* *Rys Fychan ap Rhys Mechyll*, oddiar y Saeson, yr hwn yr oedd ei achos rhyw ddigasedd, wedi ei draddodi iddynt yn ddirgel ac yn frad

O gylch yr amser yma, trwy gais Abbadau *Conwy* ac *Ystrat* brenin Lloegr a roddodd i fynu iddynt gorff *Gruffydd ap Llewel* hwn a gludwyd i Gymru, ac a gladdwyd yn anrhydeddus yn *Aberc*

O'r amser hwn hyd y flwyddyn 1254, parhaodd tawelwch yn mh Cymry; ond yn awr, gwedi anadlu ychydig, ac ymgryfhau ar ol eu drechiadau, ac adferyd ychydig o lawnder yn y wlad ar ol y prinder dechreuodd yr hen ysbryd cynhenus ymgyfodi yn eu plith mewn yn cartrefol. O blegyd *Owain Goch* ni welai yn ddigon iddo fwyn naill hanner o'r Dywysogaeth; ac felly dechreuodd ffurfio moddion at ddwyn cyfran ei frawd *Llewelyn* oddiarnaw. Ac i'r dyben

gyngreiriawl gyda galanastra fawr. Oddiwrth gofiant yn y Myv. Arch. ymddengys i *Owain* gael ei gadw yn garcharor gan *Lewelyn* dros 23 mlynedd; canys pennodiad cyfansoddiad yn y gwaith hwnnw-sydd fal hyn: "*Howel Foel ap Gruffri ap Pwyll, Gwyddel*, a gânt yr awdl hon i *Owein Goch ap Gr. ap Ll.* yr hwn oedd yn ngharchar gan ei frawd *Llewelyn*, ac a ollyngwyd yn rhydd yn 1277." Cafodd ei rydd-did trwy ammodiad rhwng *Llewelyn* a'r brenin *Iorwerth I.* un o delerau yr hon weithred ydoedd fod iddo ef feddiannu ei gyfoeth drachefn. Honnir gan rhai i *Owain Goch*, ar ol ei ryddhad, gael meddiant o gantref *Lleyn*. Gwel hefyd *Llyfr Basing*. Dywedir mai yn nghastell *Dolbadarn*, gerllaw *Llanberis*, y carcharwyd ef. Ac y mae yr un bardd, mewn awdl arall iddo, yn cyfeirio at ryw le o'r cyfryw ddarluniad; canys dechreua gyda'r linell ganlynol—

"Gwr y sydd yn nhŵr yn hir westi."

A'r bardd mewn un man a ymddengys fel pe yn taro ergyd o gyhuddiad yn erbyn *Lewelyn* am ryw lwfrdra yn ei wrthladdiad o'r Saeson.

"Gwr yn rhwym gan Rwyf *Eryri*;[1]
Gwr pei rhydd, fal *Rhun* fab *Beli*,
Gwr ni adai Loegr losgi ei derfyn;
Gwr o hil *Merfyn*, mawrfryd *Benlli*."

[1] Tywysawg Eryri.

Pa bryd y bu farw nis gwn; ond y mae yn debygol nad oedd efe ddim yn fyw ar farwolaeth *Llewelyn*, canys nid oes mynegiad am dano yn yr amser hynny. Crybwyllir am *Owain* mewn amryw farwnadau megys rhyfelwr dewr; ac oddiwrth rai ymadroddion, dangosir ei fod, pan yn ieuanc, h. y. cyn ei garchar gwedi ymarferyd â milwriaeth; ac ysgatfydd fod iddo hefyd ar ol ei ryddhad gyfran yn yr ymdrin cyffredinol a hanfodai.

Yr oedd *Llewelyn* yn awr gwedi ennill meddiant ar y cyfan o'r Dalaeth; ac ni fu hir cyn cael arfod i ddangos ei wrolder mewn gwell achos nag ymryson cartrefol. Canys yr oedd y Cymry gwedi bod weithian rai blynyddau dan ormes y Saeson, naill ai yn drethol dan eu Tywysogion cynhenyd, neu ynte yn hollol dan lywodraeth yr Arglwyddi Lloegraidd. A'r darostyngiad hyn, yn ystod amser, a ddygodd yr un ffrwythau chwerw ag a ellid eu disgwyl—sef, gorthrymiadau, ardrethiant, a chyfreithiau dieithr. Y brenin a osodasai *Ieuan de Gray* yn Raglywydd ar y pedwar cantref rhwng *Dyfrdwy* a *Chonwy*, am dâl o bump cant morc y flwyddyn, y rhai oeddynt iddeu codi gan y trigolion; a hwnnw a ganlynwyd gan *Alan de Zouche*, yr hwn a 'chwanegodd y dreth i un cant ar ddeg o foreau; ac wrth gludo ei gasgliad i Lundain yn y flwyddyn 1252,

a ymffrostiodd yn monachlog *St. Alban* fod y cyfan o Gymru yn gorphwys yn dawel dan gyfreithiau Lloegr.

Yn awr, gwelwn ychydig o arnodiad cyflwr y rhai yn y dyddiau hynny a oeddynt yn byw dan gyfreithiau Lloegr. Pendefig gormesawl yn cludo ei lwythiad o arian allan o'r wlad, ac yn cyhoeddu fod y Cymry yn trigo yn llonydd dan gyfreithiau Lloegr. Ysgatfydd nad oedd y Saeson eu hunain ddim yn well eu cyflwr, a'u bod hwy, fel cynt, yn aros yn llonydd dan eu pynnau; ac *Alan de Zouche* a gredai fod y Cymry o'r un tymherau digyffro. Eithr y gormeswr yma ni fedrai ganfod nad oedd hwnnw ond tawelwch y gronfa yn nghasgliad y dyfroedd, y rhai, cyn hir, a dorent y ceulanau gyda rhuthriad gorwyllt o lifeiriant dinystriol.

Ysbryd y bobl, er ei fod dros ennyd yn huno, etto, nid oedd wedi ei ddiddymu; a'u hen falch uchelfonedd, os goddefodd ddarostyngiad, etto, ni chollodd ei yni cynhenyd. Canys pendefigion y wlad yn gyffredinol, o gylch yr amser hyn, 1255, a ddaethant at *Lewelyn*, ac a osodasant ger ei fron eu gorthrymderau; gan erfyn arnaw eu cynhorthwyaw mewn ymgais i ysgwyd ymaith iau y Saeson, a chan addaw eu bod yn barod i ymdrechu hyd angau dros eu breintiau a'u gwlad.

Yna y Tywysawg, gan gynnull ei fyddinoedd, a ymosododd yn ddiatreg ar y tiriogaethau y rhai oeddyn't yn meddiant y Saeson, gyda chadruthiad chwyrn a chyflym; ac ennillodd mewn ychydig amser yr holl *Berfeddwlad*, a *Meirionydd*. Ac yno, ennillodd y tiroedd yr oedd *Iorwerth* [*Edward*, mab y brenin] wedi eu trawsfeddiannu yn *Ngheredigion*, ac a'u rhoddodd i *Meredydd ap Owain ap Gruffydd*. Rhoddodd hefyd ardal *Buallt* i *Meredydd ap Rhys Gryg*, gan erlid ymaith *Rhys Fychan ap Rhys Mechyll;* heb gadw dim iddo ei hun, ond yn unig ennill clod am ei wrolder a'i haelioni. Ar ol hynny, aeth ac a ennillodd iddo ei hun ardal *Gwrthrynion* allan o feddiant *Sir Rosser Mortimer*. Ac yn mhen ychydig, sef yn 1256, aeth tua *Phowys*, gyda *Meredydd ap Rhys* a *Meredydd ap Owain*, a llawer o bendefigion ereill, yn erbyn *Gruffydd ap Gwenwynwyn*, yr hwn oedd yn pleidio gyda'r brenin, ac a ennillodd oddiarno y cyfan o *Bowys*, oddieithr y *Castell Coch*, ac ychydig o'r wlad ar ymyl *Hafren*.

*Rhys Fychan*, ar ol cael ei ddifeddiannu o'i diriogaeth, a aeth at y brenin i geisio cynhorthwy iddei adennill; ac a gafodd fyddin lioseg, yr hon a ddaeth gan fôr hyd at *Gaerfyrddin*, ac a aeth hyd at gastell *Dinefwr*, ac a'i gwarchaeodd. Ond y Tywysawg *Llewelyn* a ddaeth yn brydlawn gyda'i luoedd, ac eiddo ei geraint, i gynhorthwy y lle; a bu brwydr dra gwaedlyd yno, yn yr hon y gorthrechwyd y Saeson yn gyfangwbl, gan ladd dwy fil o wyr, a gyru y lleill ar ffo. Ac oddiyno cyrchodd y Tywysawg i *Ddyfed*, ac a ddinystriodd gestyll *Abercorran*, *Llan-*

*stephan*, *Maenclochog*, ac *Arberth;* a dychwelodd i Wynedd âg anrhaith fawr.

Ar y pryd hyn, yr oedd swyddog Lloegraidd o'r enw *Sir Geoffrey de Llanglei*, yr hwn a dybir ei fod yn canlyn *Alan de Zouche*, megys Rhaglaw, a'r hwn a ormesai y wlad yn orthrwm trwy ei drethiadau. Ac yn awr y Tywysawg a drodd ei sylwad tuag at y trawslywydd hwnnw ac a ymosododd ar y tiriogaethau dan ei lywodraeth; a chan fod y wlad yn awr wedi cael ei chynhyrfu oll i wrthladdiad o'r gormesiadau Saesonaeg, ac i elyniaeth yn erbyn y genedl honno, ni chyfyngasant eu mudiadau i derfynau Cymru yn unig, eithr treiddiasant i fewn i diroedd Lloegr, i feddiant *Iorwerth*, gan eu diffeithio yn ddiarbed, a lladd ei wyr pa le bynnag y gwrthwynebai y rhai hynny hwy. Yna *Iorwerth*, yn dra sorawl, a aeth at ei ewythr *Richard* i geisio cynhorthwy, gan fod ei dad, y brenin *Henri* wedi ei ddwyn i'r fath gyflwr isel o dlodi ag na allai roddi iddaw ddigon o arian i gynnal y rhyfel. Ac felly, cafodd gan ei ewythr bedwar mil o forcau, â'r rhai y cynnullodd fyddin gref, ac a aeth tua Chymru i ymddial ar y bobl am y colledion â'r sarhad o oddefasai. Ond yr holl auaf hwnnw a fu mor wlawiog a themhestlog, a bod y wlad o achos y corsydd, yn hollol annhramwyadwy i'r Saeson. Ac felly, y cyfan o draul a llafur *Iorwerth* a aeth yn gwbl ofer; a'r Cymry, yn ddifraw ac yn ddirwystr, a anrheithiasant y cyfan o'r wlad o gylch *Caer:* a dywedpwyd nad oedd hyd nod cadrwysc *Lewis*, brenin *Ffrainc*, gynt yn Lloegr, ddim mwy dychrynllyd.

Y flwyddyn rhagwyneb, sef 1257, y Tywysawg a afaelodd ar ardal *Cemais;* a chan wnethur heddwch rhwng *Meredydd ap Rhys*, a'i nai *Rhys Fychan*, cyrchasant yn gyttun yn erbyn *Trefdraeth*, [*Newport*,] ac a ddrylliasant y castell. Ac oddiyno cymmerasant *Meredydd ap Owain* gyda hwy, ac a gyrchasant *Rhôs*, a llosgasant y wlad oll, oddieithr *Hwlffordd*. Ac oddiyno aethant i *Forganwg*, ac a ddrulliasant gastell *Llangenydd*, ac a ddychwelasant adref.

Yn mhlith yr annogwyr pennaf o ddigofaint y Tywysawg a'i gyfeillion ydoedd *Gruffydd ap Madawc Maelawr*, yr hwn a elwir *Arglwydd Dinas Brân**, yr hwn a ymadawodd â'r Cymry ac a giliodd at y brenin. Am hynny, y Cymry a'i hymlidiasant ef gyda ffyrnigrwydd mawr. Ac am na allent gael gafael ar ei gorff, o herwydd ei fod gwedi ffoi ymaith at y brenin, hwy a ddifrodasant ei diroedd yn ddychrynllyd â thân ac â chledyf; ac nid yn unig ei diroedd ef, ond hefyd eiddo yr Arglwyddi Lloegraidd cyfnesawl ereill. Ac yr oedd y Cymry yn awr yn ffurfio byddin dra chadarn

* Y mae yn ddilys genyf mai hwn yw yr un a elwir gan Matth. Paris. *Gruffinus de Brunf*, a *De Brunet*,—sef, meddyliaf, *De Brân*.

a lliosog, gan eu bod yn ddeng mil o wyr meirch arfogion, a llawer mwy na hynny o wyr traed, oll yn ymgyngreiriol gwedi tyngu ar yr Efengyl i ymladd yn wrol ac yn ffyddlon, hyd at angau, dros rhydd-did eu gwlad, a'u cyfreithiau hendeidiol; a bod yn hoffach ganddynt farw gydag anrhydedd, nac arwain einioes annedwydd gyda gwarth. Ac yna, Matth. Paris. yr hwn a draddoda y cofiant yma, a draetha gymmediw dra dyrchafawl i'n cenedl. O herwydd ar ol crybwyll am yr amgylchiad hwn, dywaid,—"Yn mha weithred wrol, y dylent y Saeson yn deilwng wridiaw, y rhai a ymostyngant eu gyddfau i bob damsangydd, a megys gwerinach ofnawg, a gwehilion gwlad, yn ddigalon a ymgrymmant i estron-genedl."*

Yna *Iorwerth*, wedi ei fawr gywilyddio a'i golledi trwy ymosodiadau y Cymry, yn enwedig gan yr hawliai yr enwad o *Arglwydd Cymru*, a aeth at ei dad a'i fam i ofyn cynhorthwy, ac hefyd at ei ewythr; eithr ni chafodd hynny, o herwydd eu bod oll yn rhy analluog i gyfrannu dim, gan fod wedi eu tlodi trwy gynhaliad amryw ryfeloedd mewn gwledydd ereill; ac meddylid fod rhai o'r cyffindirwyr yn ddirgel yn cyfrannu eu cynhorthwy i'r Cymry.

Eithr y Cymry a ymgryfhasant yn feunyddiol; canys yr un awdwr, ychydig rhagllaw, a than yr un flwyddyn, a ddywaid eu bod wedi peri i *Iorwerth* ffoi o'u blaen, a gyru *Gruffydd* allan o'i gyfoeth; ac iddynt o herwydd eu lliosogrwydd rannu eu gwyr yn ddwy fyddin, yn mhob un o ba rai yr oedd deng mil ar hugain o wyr arfawg, yn ol defod eu gwlad enedigol, ac o ba rai yr oedd pump cant o farchogion mewn arfogaeth harddwych, a'u meirch yn hollol wisgedig mewn haiarn.

Yn awr, *Iorwerth* yn gweled nad oedd yn alluog i ymgyfarfod â'r Cymry mewn brwydr, a anfonodd at y Gwyddelod am gynhorthwy, gan fygwth y byddai iddo trwy eu cydweithrediad hwy ddryllio y Cymry megys llestri prudd. Eithr y Cymry a ddarparasant eu llongau arfawg, ac a'u danfonasant i gyfarfod â'r Gwyddelod; ac felly, trwy wrthladdiad cadarn a phrydlawn, rhwystrasant yr ymosodiad hwnnw.

Ond yn awr, y brenin yn ddigllawn o herwydd ei golledion a'i sarhad, am

* "Qui mutuò confœderati tactis Evangeliis, juraverant se strenuè et fideliter usque ad mortem, pro libertate patriæ suæ, et avitis legibus decertare, et se malle cum honore mori, quàm cum dedecore vitam trahere infœlicem. In quo virili facto, *Angli* debuerunt meritò erubescere; qui submittunt colla omni conculcanti, et alienigenis, tanquam popelli meticulosi quisquiliæ segnes incurvantur."

Mewn man arall yr un awdwr a ailadrodda yn agos yr un ganmoliad i'r Cymry, pan yn crybwyll am Iarllaeth *Dyfnaint* yn cael ei meddiannu gan estroniaid, a ddywaid,—"Ac felly o ddydd i ddydd y mae'r anrhydeddus feddiannau ac etifeddiaethau Saesonaeg yn syrthio i ddwylaw dieithriaid; yr hyn y Saeson digalon ni fynnant wybod, neu ynte, rhithiant anwybodaeth o hono; llwfreidd-dra a llesgedd diymdrech ba rai, y mae yr egni Gymraeg yn ei gyhuddo."—"Quod scire nolunt vel dissimulant *Anglici* pusillanimes, quorum ignaviam et supinam simplicitatem, *Wallensis* strenuitas reprehendit."

fod y Cymry yn difrodi ei feddiannau ac yn cymmeryd meddiant ar gestyll ei Arglwyddi yn ddirwystr, a anfonodd ei ysgrifau trwy'r holl deyrnas i alw ar ei ddeiliaid i fod yn barod i uno âg ef i'r dyben i wneuthur cadgyrchiad i Gymru, i ymddial ar y trigolion, a'u gwrthladd. Ac yna, wedi cynnull byddin anfeidrol, casgledig o bob cwrr o'r deyrnas, o Gernyw hyd yr Alban, cychwynodd y brenin tua Chymru. Ond *Llewelyn* a'r Cymry nid oeddynt segur ar yr achos hynny; o blegyd cludasant ymaith i *Eryri* a'r mynyddoedd eraill eu gwragedd a'u plant, yn nghyda'u hanifeiliaid, gan aredig y dolau, dinystrio y melinau, tori i lawr y pontydd, a chloddio i fynu y rhydiau, a dileu pob peth ag a allai fod o les i'r gelynion. Yna, y brenin a dreiddiodd i'r wlad, ac a ddaeth mor belled a *Dyganwy;* ond cafodd y fath wrthladdiad gan y Cymry ag y gorfu iddo megys ar achosion ereill ddychwelyd i Loegr gyda gwarth a cholled.

Y cadgyrchiad yma, yn lle peri un attaliad i'r Cymry, yn y gwrthwyneb, a 'chwanegodd at eu hymdrechiadau. Canys yr un flwyddyn, sef 1257, y Tywysawg *Llewelyn* a ruthrodd ar feddianau Iarll *Caerloiw,* ac a gymmerodd un o'i gestyll, gan ladd y rhai a'i hamddiffynent.

Y colledion hyn, a'r gwaradwydd, yn nghyda blinderau ereill a effeithiasant gymaint ar y brenin ag y syrthiodd i dwymyn, o'r hyn y parhaodd yn glaf dros dalm hir.

Yn yr amser hyn gwelwyd ddichweiniad tra nodedig yn mhlith y Cymry sef cyfuniad cyffredinol o alluoedd *Gwynedd* a *Deheubarth,* oll yn cydweithio tuag at gynhaliad o rydd-did y wlad; a'r pendefigion yn gyffredinol a wnaethant lŵ o ffyddlondeb i'r Tywysawg *Llewelyn.* Ac yna, *Gruffydd ap Madawc,* yr hwn oedd wr dewr a chall, yn gweled nad oedd y brenin ddim yn alluog iddei amddiffyn yn ei gyfoeth yn erbyn *Llewelyn,* a ddaeth ac a ymgymmododd âg ef. A *Gruffydd ap Gwenwynwyn* a yrwyd allan o'i feddiannau.

Gan fod y lluoedd Cymraeg yn awr mor nifeiriol, a'u hegni wedi ei gyffroi, nid tebygol yr arhosent yn llonydd mewn segurdod. Ac felly, gwnaethant gadgyrchiad i diriogaethau y brenin; a thrwy gyngor *Gruffydd ap Madawc,* gwnaethant gadrythiad ffyrnig ar y byddinoedd Saesonaeg; a'r rhai hynny a giliasent tuag at eu castell, enw yr hwn ni roddir, ond tebygol ei fod o fewn i gyfoeth Iarll *Caerloiw,* gan feddwl amddiffyn eu hunain yno mewn lle cul a chorsog. Ond y Cymry a anfonasant ddosparth o wyr iddeu cyferbyniaw ar y ffordd. Ac yna, milwyr y brenin yn ffoi tuag at y lle hwnnw gan dybio cael yno noddfa ddiogel, yn ddisymwyth a gawsant eu hunain mewn magl, gan weled gelynion lle y disgwylient gyfeillion. Ac yno, fel y traetha Matth. Paris. "megys yn chwaledig rhwng dau faen melin, yn gyrchedig ar bob tu, hwy a orthrechwyd ac a lwyr-ddrylliwyd, ac a laddwyd a galanastra fawr. Syrthiodd yn y frwydr

waedlyd honno lu dirfawr o'r Saeson, yn mhlith pa rai yr oedd amryw o wyr pendefigol.

"Yna," medd Matth. Paris. "*Llewelyn* a'u Gymry, yn llawen gan fuddugoliaeth, ac yn gyfoethog trwy anrheithiau y gorchfygedig, ac wedi ymgadarnau trwy gyngreiriad y *Gwyneddigion*, a dymchweliad *Gruffydd* [*ap Madawc*,] a ddiddanodd ei wyr gan ddywedyd,—'Hyd yn hyn, yr Arglwydd Dduw'r lluoedd a'n cynnorthwyodd nyni. Amlwg yw i bawb fod 'y fuddugoliaeth hon iddei chyfrif nid i'n dewrder ni, ond i Dduw mewn 'difrifolrwydd, yr hwn a ymladd yn gystal gydag ychydig a chyda 'llawer. O blegid pa fodd y gallem nyni, y rhai llwfr, gweinion, ac egwan, 'mewn cymhariaeth â'r Saeson, ryfygu cyfodi ein sawdl yn erbyn eu 'brenin hwy, oddieithr fod Duw yn caniatau ei nawdd? Yr Arglwydd a 'welodd ein trallod, pa fodd y darfu i *Geoffrey de Langlei*, ac eraill o 'swyddogion annhrugarog, yn gystal o wyr y brenin ag o eiddo *Iorwerth*, 'trwy ddichell ein twyllo yn ein diniweidrwydd. Yn awr, gan hynny, 'ac o hyn allan y mae yn rhaid ymdrechu am ein heinioes; os ein delir, 'nid oes i ni y trugaredd lleiaf; safwn, gan hynny, yn nghyd; o her'wydd os byddwn yn anrhannedig, byddwn yn anorchfygedig. Yr 'ydym yn gweled yn eglurach na'r goleu, fod brenin y Saeson yn tlodi, ac 'yn dietifeddu, ac yn peri dirywio hyd nod ei Saeson cynhenyd ei hun; 'pa fodd, gan hynny, yr arbeda efe nyni, y rhai, gan ei annog, ydym yn 'bwriadu niwaid a dialedd? Y mae efe yn amcanu ein dileu odditan y 'nefoedd. Eithr ein iawn achaws a'n cynhalia ni, ac a ddadymchwel ein 'gelynion. Gwell yw marw, a mudo at yr Arglwydd, na byw mewn 'caethiwed, ac yn y diwedd cael ein dihenyddio yn ol ewyllys ein gelyn'ion.'" "Ac felly," medd yr awdwr, "gan ymwregysi ac ymgalonogi i ryfel ddydd a nos, trwy alanastra, anrheithiau, a llosgiadau, gwnaethant gyffiniau Lloegr a Chymru yn ddifaethwch."

Y mae yr araeth hon o eiddo *Llewelyn* yn datgan ysbryd crefyddol a gostyngedig, yn gystal ag anianawd cyfattebol yn y bobl at ba rai y cyfeiriwyd yr ymadroddion, ac yn cadarnhau yr hyn a gymmerais arnaf ei haeru perthynol i barchlonrwydd ein cenedl tuag at bethau dwyfol, yn y mesur o oleuni yr hyn a fwynhaent.

Y brenin yn gweled hyfder *Llewelyn*, ac yn llidiog o achos ei golledion parhaus, a ddaeth yn amser y cynhauaf a byddin nifeiriol yn ei erbyn; ac i'r dyben iddeu niweidio, a ddiffeithiodd ei ardaloedd Saesonaeg ei hun ar gyffiniau Cymru, fel nad allent y Cymry ddwyn un math o luniaeth oddi yno; a thrwy y weithred ynfyd ac anghall honno, a berodd brinder mawr ac eisiau yn mhlith ei fyddin ei hun. A *Llewelyn*, fel gwr ystyriol, ac mewn cysondeb â'i arddeliad crefyddol, a anfonodd at y brenin i geisio ammodau heddwch. Ond hwnnw ni wrandawai ar neb rhyw gynnygion;

eithr ymbarotodd i ryfel, gan fygwth, yn y modd chwerwaf, ddinystrio y genedl yn gyfangwbl. Eithr cyn hir, teimlodd ei fyddin effeithiau y prinder mor drwm, ag y gorfu arnaw, heb dreiddio yn mhellach na chymmydogaeth *Caer*, ddychwelyd i *Lundain*. A *Llewelyn* a'i canlynodd ar ei daith yn mhell, gan flino ei wyr âg ymosodiadau parhaus, a difetha pawb a ryfygai ymrannu oddiwrth y fyddin.*

Yr oedd *Llewelyn ap Gruffydd*, yn awr, yn iawn ystyr yr enwad, yn Dywysawg Cymru; a'r Dywysogaeth, unwaith etto, gwedi ei hadferyd iddei chysefin anibynolrwydd, a chydag ychydig eithriad, iddei chysefin gyffiniau. Canys yr oedd y Tair Talaeth yn arddel awdurdod y Tywysawg, ac wedi ysgwyd ymaith iau brenin Lloegr. Ac nid ymddengys fod un eithriad, o herwydd os iawn ddeallaf y cofiaint, yr oedd y Cymry gwedi arwain eu byddinoedd dros y cyfan o'r wlad; ac naill ai gwedi ennill y cestyll Saesonaeg a'u tori, neu ynte gwedi ei dwyn dan eu hawdurdod. A phe buasai yr undeb hwn yn parhau rhwng yr amrywiol bendefigion Cymruaidd, buasai y wlad y cynnal ei hanibynolrwydd yn hawdd yn erbyn pob gelynion. Gellir honni fod castell *Dyganwy* etto yn meddiant y brenin; attebwyf, y dichon ei fod, a rhyw un neu ddau ereill, ond nid ydynt adnabyddus i mi.

Y Cymry, yn awr, yn gweled na chaent ddim ammodau heddwch gan y brenin, a ruthrasant ar ei feddiannau yn y cyffindiroedd, ac a'u difrodasant yn ddiarbed; a chan gymmeryd cestyll yr Arglwyddi Lloegraidd, a chludo ymaith y dodrefnau, llosgasant yr adeiladau yn ulw. Ac ar hyn, y brenin a orchymmynodd gyfodi treth trwy y deyrnas, i'r dyben i arwain byddin yn erbyn y Cymry; ond bu grwgnach trwy y wlad ei fod ef gynnifer gwaith yn tlodi ei bendefigion ar yr un achos, ac etto bob tro yn dychwelyd yn ddifudd ac yn ddianrhydedd; ac felly, y cynnyg hwn a ddaeth i un dyben boddhaol iddaw.

O gylch yr amser yma, yr oedd yn mhlith y rhai a ddaethant yn diweddar i Loegr, o'r Almaen, ryw bendefig o'r enw *Iacobus de Ændelia*, [*Audeley*, medd Powel, merch i ba un a briododd *Gruffydd Maelawr*,] hwn oedd yn wr cadarn a chyfoethog, a chantthaw feddiannau, a chastell, yn gyffiniau Cymru; i ba rai y gwnaeth y Cymry gadgyrchiad, gan eu losgi a'u hanreithio. Yna, y pendefig hwn a ddugodd o'r Almaen lu mawr o filwyr, ac a ymosododd ar y Cymry. A chan fod ei wyr ef yn arfogedig mewn arfau trymion, ac yn marchogaeth ar feirch uchel a chryfion,

* Rhoddaf yr amgylchiadau dan y flwyddyn hon, 1257, yn ganlynol i'r modd y coffheir hwy gan Matth. Paris. ac yr ailadroddir gan Powell. Ond y mae yn addas i fynegi, nad yswyf peth amheuaeth pa un ai bod Matth. Paris. yn cyfeirio at wahanol ddigwyddiadau, neu ynte at yr un digwyddiad mewn gwahanol gofiaint. Ond nid yw hyn o fawr bwys; canys yr oedd y cynwrf mor gyffredinol, a bod y rhyfel yn ymledu dros yr holl wlad ar yr un pryd.

yn y cyfarfodydd cyntaf a orthrechasant y Cymry, y rhai nid oeddynt yn adnabyddus â'u dull o ymladd, nag yn arfogion mewn modd iddeu gwrthsefyll yn y dull hwnnw. Ond cyn hir, y Cymry a gymmerasant ddial cyflawn arnaw ef a'i fyddin; canys gwnaethant, fel cynt, gadrythriad iddei diroedd, ac a'u hanrheithiasant; ac yna, yr Almaeniaid a gychwynasant yn arfogion ar eu meirch, megys o'r blaen, iddeu cospi. Ar hyn, y Cymry a gymmerasant arnynt ffoi; a'r Almaeniaid a'u canlynasant gydag hyfdra a digllonedd mawr, gan fwriadu cyflawni dialedd aruthr arnynt. Ond ar ol eu harwain i le cyfaddas yn ol eu rhagfwriad, y Cymry a droisant arnynt yn ddisymwth, ac a'u cyrchasant gyda'r fath wrolder ac egni, ag na allent yr estroniaid eu gwrthsefyll; ac felly, troisant i ffoi yn ol tua'r castell. Ond hyn nid oeddynt yn alluog iddeu wneud; canys y Cymry a dorasant gewynion garau eu mheirch, ac a rwygasant allan eu hymysgaroedd, fel nad oedd y marchogwyr mwyach ond gwyr traed yn unig; ac yno, nid ydoedd ond gwr yn erbyn gwr; ac er cystal eu harfogaeth, yn y cyfarfod hwnnw ni allent sefyll yn erbyn y Cymry; ac felly y cyfan o'r llu a orthrechwyd gyda galanastra fawr.

Cyfeirir at y fuddugoliaeth hon gan amryw hanesyddion; ond nid wyf yn cofio gweled neb yn sylwi ar y moddion y ddefnyddiodd y Cymry i ymgystadlu law-law â'r marchwyr yma, y rhai a ymddiriedent gymmaint yn nerth ac uwchder eu mheirch. Ond y mae y weithred hyn o eiddo y Cymry yn arddangos parodrwydd mawr, a chynefindra â brwydrau, ac hefyd eofndra ysbryd a gwisgirwydd corff nid bychan, yn y rhai a allent yn nghanol ymgyrch cyfarfod, fyned mor drefnus a difraw, yn gyntaf, yn nghylch y gorchwyl o ddinerthu y meirch, fel y gallent ar ol hynny yn ddirwystr ymdrin â'r marchogwyr. Ar ol y fuddugoliaeth hyn, y Cymry nid esgeulusasant eu harfod, eithr ruthrasant yn ddioed ar y tiriogaethau rhagenwedig, gan ladd a difetha yn ddiarbed; ac nid ymattaliasant nes gosod y cyfan o'r tai a'r cestyll yn ulw, a'r wlad yn ddifaethwch.

Y Tywysawg yn awr yn gweled na chafai heddwch gan y brenin trwy neb ryw geisiadau addfwyn, gwedi derbyn adnewyddiad o addefiadau o ffyddlondeb oddiwrth ei bendefigion, a ymroddodd i gynnal y rhyfel gydag ychwanegol egni. Ac yna, y canlynodd restriad o ymosodiadau ar y tiroedd Saesonaeg, trwy dori y cestyll, lladd y rhai a wrthwynebent, a chludo ymaith y dodrefnau i Gymru; fal, yn y diwedd, y daeth i fod mor flin, ag y darfu i'r brenin gytuno i ffurfio gorheddiad, neu ymattaliad oddiwrth ymladd, dros amser gosodedig. Eithr y cyflwr heddychlawn hwn ni pharhaodd yn hir; canys yn ebrwydd, sef yn 1258, y torwyd yr ammodau trwy ymddygiad treisiol un o bendefigion y brenin, *Padrig de Canton*,* yr hwn yr oedd y brenin gwedi ei anfon yn *Rhaglaw* i *Gaer-*

* Padrig Dysaes.—y Brut.

*yrddin:* a dyweda Powel iddo gael addewyd ar gantref *Cydweli*, os allai ei oresgyn. A chyda hwn yr anfonasid *Meredydd ap Rhys*, i ymfarfod â'r Tywysawg mewn cynghorfa perthynol i ammodau heddwch. 'r Tywysawg a anfonodd ei frawd *Dafydd*, yr hwn a oedd wedi ei adryd iddei rydd-did, gyda *Meredydd ap Owain* a *Rhys ap Rhys*, i *mlyn*, i gyfarfod â hwy. Ond *Padrig* a gafodd ei hudo trwy gamngor i dori yr ammodau heddychol, ac i ymosod ar y Cymry yn fradchus; canys marchawg Saesonaeg a ddywedodd wrthaw, "Fy Arglwydd *'adrig*, yr wyt ti yn Farwn mawr o eiddo'r brenin, a'n llywydd clodfawr i, a'n noddwr; wele, yr Arglwydd Dduw a draddododd ein gelynion i'n wylaw. Yr ydym yn fwy lliosog na'r Cymry, ac yn gryfach; bydded i i eu cymmeryd yn garcharorion yn ddioed, a hwy yn awr yn anniffynedig, thraddodwn hwy yn gaethion i'n harglwydd y brenin; a'r fuddugoliaeth wn a fydd yn dra chymmeradwy ganthaw ef. Yr hyn os ni chaniatai, ıyfi a'th gyhuddaf o drosedd ger bron y brenin."

Ac yn ganlynol i'r cynghor hwn, *Padrig* a'i fobl a osodasant lu o wyr n geledig ar y ffordd, y rhai yn ddisymwth a ymosodasant ar y Cymry n fradychus, ac a laddasant lawer o honynt cyn y gallent gael amser i mddulliaw i ymladd. "Ond yn y diwedd," medd Matth. Paris. "trodd wys y frwydr yn erbyn y Saeson, a lladdwyd llawer iawn o'r bradwyr ynny, yn mhlith y rhai yr oedd y Barwn rhagenwedig, *Padrig*." Ond y ıarchog yr hwn a roisai y cyngor a giliodd ymaith yn ddirgel, tra'r dd y lleill yn ymladd yn wrol. Y blaenor yn y frwydr waedlyd hon dd *Dafydd*, y ieuangaf o'r tri brawd.*

* Y mae ychydig o annghywirdeb yn y cofiant hwn o eiddo Matth. Paris. perthynol i ıau y brodyr yma; o herwydd, gosyd *Dafydd* a'i frodyr megys meibion *Llewelyn ap werth:* ond etto y mae o werth, canys dengys eu rhesiad mewn oed ac henafiant. Ac yd, cynhwysa dystiolaeth aarbydeddus i wrolder y Tywysogion enwedig.
Præfuit autem illi prælio tam cruento, *David* junior trium fratrum, scilicet, trium orum magni *Leolini* Principis *Norwalliæ*, cujus triumphi innumerabiles, tractatus gent speciales. Sed multa de ipso in hoc libro, suo tempore præscribuntur. Alter rum, scilicet medius, dictus *Leolinus*, non fuit præsens in dicto certamine, sed satis nuè se habebat in ipso bello contra *Anglos*, per omnia patrissando, et ne degeneraret orando. Tertius fratrum, scilicet primogenitus, in vinculis et carcere tenebatur ctissime."
Y blaenor yn y frwydr waedlyd honno oedd *Dafydd*, y ieuangaf o'r tri brawd, sef tri *Llewelyn* mawr, Tywysawg *Gwynedd*, aneirif fuddugoliaethau ba un a haeddant draethu neulltuol; ond y mae llawer yn ysgrifenedig am dano yn y llyfr hwn gyferbyn â'i er ei hun.
Y llall o'r brodyr, sef y canol, a'i enw *Llewelyn*, nid oedd yn gyd-ddrychiol yn y frwydr genwedig, ond ymddygodd yn ddigon gwrol yn y rhyfel hwnnw yn erbyn y Saeson, yn b peth yn cymmeryd ar ol ei dad, ac nid ymddirywiai yn ei lafuriant.
Y trydydd o'r brodyr, sef y cyntafanedig, a gadwyd yn gyfyng mewn cadwynau, yn charor."
Mewn man arall y mae yr awdwr yn rhoddi achau y Tywysogion yn fwy cywir, gan drodd eiriau y Cymry.

Yr oedd yr amgylchiadau hyn gwedi peri cymmaint o gynnwrf cyffredinol trwy'r wlad, ag nid hawdd, oddiwrth y defnyddiadau hanesyddol ar glawr, ffurfio barn sefydlog am restriad y digwyddiadau a goffheir. Y tebygolrwydd yw, fod y cyfan o Gymry ar gynnwrf; brwydrau beunyddiol mewn rhai mannau neu gilydd, a chyrchiadau anrheithol yn cael eu gwneud i'r tiriogaethau Saesonaeg; y brenin yn galw ar ei ddeiliaid iddei gynnorthwyaw âg arian i ryfela yn erbyn y Cymry, a'i ddeiliaid hwythau yn grwgnach talu cymmaint o bryd i bryd yn ddilwydd; a'r milwyr hefyd yn achwyn eu bod yn cael eu blino mor fynych trwy gadgyrchiadau colledawl, a dianrhydedd. Ac yn y cyflwr hwn o analluogrwydd, "y brenin a ymddoluriai yn ddirfawr o herwydd fod y Cymry yn ymffrostio eu bod gwedi ei wrthladd ef cynnifer gwaith gyda cholledion, ac wedi buddugoliaethu mor fynych mewn brwydr ar holl bendefigaeth Lloegr; ac er pentyriad o'i holl ddigter a'i gyffroad, yr oedd y clywaid fod y Cymry, ar derfyniad y goheddiad, wedi rhuthro ar ei ddeiliaid yn *Nyfed*, ac wedi lladd a cholledi llawer o honynt."* Ac felly, ar ol llawer o ymgeintach rhwng y brenin a'i bendefigion, a'r Eglwyswyr, cytunasant i geisio rhyw foddion i gospi y Cymry, a'u darostwng. Ac felly, anfonwyd gwys trwy holl Loegr i bawb a arddelent wasanaeth milwraidd i'r brenin ymbarotoi yn ddioed â meirch ac arfau, i fyned i *Gaer* yn erbyn y Cymry. Ond yn awr, cyfododd grwgnach yn mhlith y bobl fod y brenin yn eu blino mor fynych, heb na budd nac anrhydedd, yn enwedig gan fod newyn trwm yn eu difa ar y pryd hynny. Ac felly, holl fwriadau rhyfelawl y brenin a ddiffrwythwyd ar yr achos hyn megys ar amryw ereill o'r fath. O gylch yr un amser, anfonodd y Tywysawg genhadon at y brenin drachefn i geisio heddwch; ond ni lwyddodd iddei ennill; a'r ddwy genedl a barhasant mewn cyflwr rhyfelawl, fal cynt, gydag ysgatfydd ychydig o laesiant, neu osteg arfau, ar brydiau, megys yn mhob rhyfeloedd ereill. Ac y mae yn debygol fod y cyfryw osteg yn gymmeradwy gan bob plaid, ar brydiau, i'r dyben i gynnal eu cydfasnach. Canys y mae Matth. Paris. yn dywedyd, gyferbyn a'r amser yma, fod y Saeson yn arfer cael o Gymru feirch a gwartheg, a masnachoedd ereill, er buddioldeb i'r ddwy wlad. Ond poed hyn fal y bytho; nid oedd, ar y goreu, ond brith heddwch, ac oergyfeillach rhwng y ddwy genedl, a'r tawelwch ni pharaodd yn hir. Yr olaf o'r dygwyddiadau rhagfynedig a restrir dan y flwyddyn 1258; ac yn 1260 cawn

" Maximè cum frater *Leolini* in vinculis detineatur, primogenitus domini nostri *Grifini*, qui *Londini* periit incarceratus."

"" Yn bennaf, gan fod brawd *Llewelyn* yn rhwym yn garcharor, cyntafanedig ein harglwydd *Gruffydd*, yr hwn a drengodd yn *Llundain*, pan yn garcharor."

* M. Paris.

gofiant am fudiadau rhyfelawl drachefn; oblegyd *Rhoser Mortimer*, yn erbyn ei lŵ, a ymbleidiodd â'r brenin; ac yna, *Llewelyn* a ymosododd ar ei feddianau, ac a gymmerodd oddiarnaw y cyfan o wlad *Fuallt*, oddieithr y castell. Ac cyn hir, gwyr y Tywysawg, yn y nos, ac heb ymladd ergyd, a ennillasant hwnnw, ac a ddaliasant y castellwyr, ac a gludiasant ymaith eu mheirch, a'u harfau, a'u holl dodrefn, ac a ddinystriasant y castell. A'r Tywysawg, gan dramwy trwy y Deheubarth yn ddirwystr, a ddychwelodd i Wynedd; ac yna, y daeth *Owain ap Meredydd*, o *Elfael*, ac a ymheddychodd â'r Tywysawg.

Ychydig ar ol hyn, y bu ymryson rhwng rai o wyr y Tywysawg a *Rhoser Mortimer*, perthynol i un o gestyll yr olaf yn *Maelienydd*; a hwnnw a ddaeth yno a dirfawr lu i amddiffyn ei wyr; a'r Tywysawg, pan wybu hynny, a ddaeth yno hefyd iddei erbyn. Ac wedi derbyn gwriogaeth gwyr *Maelienydd*, ac wedi ennill dau gastell yn y wlad honno, rhoddodd ganiatad i *Mortimer* ymadael yn ddiniwed, gan ei fod yn berthynas iddaw. Ond y Tywysawg, â byddin o dri chant o wyr meirch, a deng mil ar hugain o wyr traed, a dramwyodd trwy gyfoeth *Mortimer*, gan anheithio y wlad; a *Mortimer*, wedi cael cynhorthwy yr Arglwyddi cyffindirol, a ymosododd ar rai o ddosparthau gwahanedig o wyr y Tywysawg, ac a laddodd lawer o honynt mewn amryw gyfarfodydd. Ond y Tywysawg, cyn hir, a ddialodd yn helaethlawn am hyn, gan wneuthur galanastra ddirfawr o'r Saeson.

Ar y pryd hwn, *Iorwerth*, mab y brenin, a ddaeth yn erbyn cyfoeth *Hwmffre de Bohun*, ac a ennillodd oddiarnaw gestyll *y Gelli** a *Huntingdon*, ac hefyd gastell *Aberhonddu*, ac a'u rhoddodd i *Rosser Mortimer*.† Ond y mae yn debygol na chadwodd mo honynt ond byr amser; canys dywedir i'r Tywysawg *Llewelyn* gael ei wahaodd i *Frecheiniawg* gan wyrda y wlad; ac ar ol derbyn gwriogaeth y trigolion, dychwelodd i Wynedd, ac a ddialodd ar *Iorwerth*, gan rhuthro ar ei gyfoeth o ardal *Caer*, a'u difrodi gyda galanastra fawr.

O gylch yr amser yma, *Ieuan L' Estrange*, yr hwn oedd geidwad castell *Trefaldwyn*, a gyrchodd yn y nos â dirfawr lu ganthaw, ar draws *Ceri* a *Chedewain*; ac gwedi cynhullaw anrhaith fawr, a ddychwelodd tua'i gastell

* Y mae gwahaniaeth mawr rhwng yr enw Cymraeg i'r dref hon, sef *Y Gelli*, a'r Saesaeg, *The Hay*. Ond barnaf nad yw yr olaf ond gair Ffrangaeg, ac yn rhyw fath o gyfieithad o'r Cymraeg gan y Normaniaid; canys y mae y Ffrangaeg *La Haye*, yn arwyddocau *Perth*.

† Wrth edrych i mewn i rai hanesion Lloegr, canfyddir amseriad arall yn cael ei gyfrif i'r digwyddiadau hyn, trwy osodiad o honynt ychydig yn ddiweddarach. Ond rhoddaf hwy yn ol eu rhestriad gan Matth. Paris. gan sylwi ar yr un pryd fod amryw o amgylchiadau yr oes hon mor ddyrys-gymmysgedig, ag mai gwaith anhawdd yw eu iawn drefnu. Amseroedd o gadruthrau a chyfarfodydd parhaus oeddynt.

drachefn. A phan glybu y Cymry hynny, ymgasglasant yn gadarn, ac a'u hymlidiasant yn egniol, ac ar y dydd hwnnw a laddasant o'r Saeson mwy na deuddeg cant rhwng y maesydd ac ysgubor *Aber Miwl*. Ac yn y lle y llosgodd *Ieuan L' Estrange* yr ysgybor o achos y lladdfa hynny.

Ychydig wedi hynny, bu cyfarfod rhwng y Cymry a'r Saeson, gerllaw *Colunwy*, yn mha un y gorthrechwyd y Cymry a galanastra fawr.

Yr oedd yn awr wrthryfel wedi cyfodi yn Lloegr yn erbyn y brenin *Henri*. *Prif annogwr yr hyn oedd *Simon de Montforte*, Iarll *Leicester*; a ffurfiwyd cyngrair rhwng y pendefig hwnnw a *Llewelyn*. A thra'r oedd y Iarll a'u gyfeillion, yr Arglwyddi Lloegraidd gwrthryfelawl, yn gyfaelyd ar feddiannau y brenin yn Lloegr, *Llewelyn*, nid arhosodd yn segur yn Nghymru; canys ymosododd ar gestyll *Disserth* a *Dyganwy*, ac a'u hennilliodd ill dau, ac a'u dinystriodd.

O gylch yr un amser, llu o Gymry, dan dywysiad *William de Berkley*, a ymosodasant ar *Wlad yr Haf*, ac a'i hanreithiasant; ond yn y diwedd gyrwyd hwy ymaith gyda galanastra fawr; a lladdwyd eu llywydd.

Yr oedd *Simon de Montforte*, yn awr, gwedi goresgyn yn agos y cyfan o deyrnas Lloegr, ac wedi cymmeryd y brenin a'i fab yn garcharorion; ac hefyd, trwy gyweithas *Llewelyn ap Gruffydd*, gwedi darostwng yr Arglwyddi cyffindirol. Ond yr oedd ei gadernid wedi cynhyddu i'r fath raddau, a chyffroi eiddigedd yr Arglwyddi Saesonaeg yn gyffredinol, ac amryw o honynt a bleidiasant gyda'r brenin. Ac cyn nemor o amser, byddinoedd *De Montforte* ac eiddo cyfeillion y brenin, gyda pha rai yr oedd ei fab *Iorwerth*, yr hwn a ddiangasai o garchar, a ymgyfarfuant mewn brwydr gerllaw *Evesham*, lle y gorhrechwyd *De Montforte*, ac a'i lladdwyd, ac hefyd rhifedi mawr o'i wyr, yn mhlith pa rai yr oedd llawer iawn o Gymry.

Y fuddugoliaeth hon a achlusyrodd ryddhad y brenin, yr hwn a adnewyddodd ei wrthladdiad i'r Tywysawg *Llewelyn*. Ac yno *Dafydd*, brawd y Tywysawg, a giliodd oddiwrth ei frawd, ac a ymunodd â'r brenin, ac a'i cynhorthwyodd â'i holl alluoedd; a'r brenin a'i urddodd yn *Farchawg*, ac a roddodd yn wraig iddo ferch Iarll *Derby*, gwraig weddw ieuanc. Gwnaethpwyd ef hefyd yn Synyscal ar holl gestyll y brenin yn Nghymru; a chafodd yn eiddo ei hun gestyll *Dinbych* a *Frodsham*, yn swydd *Caer*, a thiroedd yn werth mil o forcau y flwyddyn: ac felly daugoswyd fod bradwriaeth yn talu yn dda am ei chanlyn, dros ennyd.

* *Henri de Knyghton* a fynegai i'r rhai hyn, gan nad oeddynt yn gyfarwydd â'r dull hwnnw o ymladd, ffoi yn gynnar o'r maes. Nid yw hyn ddim yn annhebygol. Yr oeddynt y Cymry yn deall eu gwaith yn dda, a chyflawnasent ef yn gelfydd yn eu dull arferol, a than eu blaenoriaid eu hunain; ond pan eu cymmysgwyd hwy â dieithriaid, a than benaeth dieithr, a'u lluddias i weithredu yn y modd yr arferent, pa beth a ellesid ei ddisgwyl ond y cyfryw galyniad.

Ond gwelodd *Dafydd* yn y canlyniad fod y ffrwythau yn dra chwerwon.

Y brenin yn awr gwedi cael ail-feddiant ar ei freintiau, a drodd ei fryd tuag at y Cymry, ac a gynhullodd fyddin liosawg tuag at fyned yn erbyn *Llewelyn*, ac a gyrchodd hyd yr *Amwythig*. A *Llewelyn* yn gweled fod rhwysg dichweiniau wedi troi yn aflwyddianus iddo, a welodd oreu geisio heddwch; a thrwy ymdrechiadau *Ottobonus*, cenhadawr y Pab, cyttunwyd ar ammodau, y rhai oedd yn fwy buddiol ac anrhydeddus i'r Tywysawg nag a allesid ei disgwyl, a llawer mwy felly na dim ag a wnaethpwyd rhwng y ddau bennadur mewn amseroedd rhagflaenawl. Yr ammodau hyn a ddarparent, fod y brenin yn caniatau i'r Tywysawg fraint-ysgrif, yn yr hon y telerwyd fod y Tywysawg a'i eppil i gael cyflawn feddiant ar Dywysogaeth Cymru, a'u galw yn Dywysogion Cymru o hynny allan; a'u bod i dderbyn gwriogaeth benteyrnawl [*in capite*] oddiwrth y cyfan o'r pendefigion Cymraeg, oddieithr *Meredydd ap Rhys*, o Ddeheubarth, gwriogaeth yr hwn y cadwai y brenin iddo ei hun.

Y brenin hefyd a ganiataodd i *Lewelyn* y pedwar cantref rhagenwedig, iddeu dala mewn dull mor gyflawn ag y delesid hwy o'r blaen gan y brenin ei hun.

Ac ar y rhan arall, yr oedd *Llewelyn* a'i etifeddion i wneuthur y cyfryw wriogaeth a gwasanaeth i'r brenin, ac a arddelwyd gynt i goron Lloegr, ac hefyd dalu i'r brenin ddeng mil ar hugain o forcau. Y fraint-ysgrif hon a ffurfiwyd yn nghastell *Trefaldwyn*, yn y flwyddyn 1267. Ac felly y ddau bennadur a'r ddwy genedl a orphwysasant oddiwrth eu hymrafael, a phob un a ddychwelodd iddei fangre ei hun. A chyn hir, *Iorwerth*, mab y brenin, a aeth tua gwlad *Palestina*, i ryfeloedd y groes.

Dywedir fod y Tywysawg *Llewelyn ap Gruffydd*, yn yr amser yma, yn cadw ei lys yn *Aber*, sef *Abergwyngregyn*, gerllaw *Bangor*. Ac nid annhebygol i'r lle hwnnw syrthio iddei ran, ar ddosparthiad y Dywysogaeth; ac iddei frawd henaf, *Owain*, gael yr hen lys cysefin o *Aberffraw;* ac *Lewelyn* ddewis ei gadw megys ei brif annedd, o herwydd ei fod yn agosach i ororau Lloegr, ac felly yn fwy cyfleus i wilied ei elynion, ac i gychwyn yn eu herbyn.

Ond yma y mae yn ddyledus sylwi fod *Angharad Llwyd* yn barnu mai nid yn *Aberffraw* yr oedd yr hen lys, ond yn *Rhosfair*, [*Newburgh*] gan na ellir cael allan neb ryw weddillion adailadawl yn y lle blaenaf, ithr y ceir y cyfryw yn *Rhosfair*. Ac y mae yr Hanesyddes ddoniol rhod yn aildraethu hen englyn traddodiadawl, yn cyfeirio at y cyfryw anneddiad teyrnol.

"Mae Llys yn Rhosfair,—mae Llyn
Mae Eurglych, mae Arglwydd *Llewelyn*
A gwyr tal yn ei ganlyn,
Mil myrdd mewn gwyrdd a gwyn."

Y mae *Sir Samuel Meyrick* yn dangos mai *gwyn* a *gwyrdd* oeddynt brif liwiau y Tywysogion Cymraeg yn arwydd-arfau; ac y mae hefyd yn barnu fod y dewisiad o'r *geninen* megys arwyddnôd y Cymry yn tarddu oddiwrth ei dau liw cyfattebol. Ac y mae yn rhaid dywedyd fod y lliwiau hyn yn grybwylledig felly mewn ysgrifau tra henaidd; canys caf yn ngwaith *Prydydd y Moch*, yn un o'i odlau i *Llewelyn ap Iorwerth*, y pennill canlynol:—

> "Gwr gwrthod gwarthrudd gwrdd yn gwrthryn Lloegr,
> *Llewelyn* ar gychwyn,
> Yn blaen caen cawad unbyn
> Yn bliaint[1] gwyrdd ac vn gwyn."

[1] sidan.

At ba *Lewelyn* y cyfeiria yr englyn cyntaf ni hysbysir.

Y mae yr un Hanesyddes yn ei hanes o Ynys Fon, allan o ba rai y cymmerwyd yr englyn cyntaf, yn rhoddi amryw o gofiaint nodedig perthynol i ddefodau y wlad honno dan y Tywysogion; yn enwedig *Llewelyn ap Iorwerth*, megys ei gychwyniadau i hela; a chynaliant ei ganlynwyr ar yr achosion hynny, ac ereill.

A chan fy mod yn awr gwedi cyffwrdd âg hengofion gwladol, ac yn eu plith gwedi cyfeiriaw at helwriaeth *Llewelyn ap Iorwerth*, ysgatfydd na fydd ddim rhy faith ailadrodd un digwyddiad, yr hyn a honnir iddo ddichwein i'r Tywysawg hwnnw ar ryw bryd yn un o'i gyrchiadau helwriaethawl, a'r hyn pe buasai awdurdod hanesiol am dano, y dylesid ei draethu dan ei deyrnasiad ef: a hwnnw yw y traddodiad perthynol i laddiad ei filgi. Dywedir i *Lewelyn ap Iorwerth* dderbyn oddiwrth ei chwegrwn, y brenin *Ieuan*, anrheg o filgi, o'r enw *Kill-hart*. Un diwrnod pan oedd *Llewelyn* yn hela yn mynyddoedd *Eryri;* ar ei ddyfodiad adref, cafodd y milgi hwn yn y tŷ, â'i safn yn waedlyd, a gwaed ar y llawr; a'r gadair, neu y cawell, yn mha un oedd ei fab bychan, yn ddymchweledig, a'r plentyn yn eisiau. Yna, meddyliodd fod y ci wedi lladd y plentyn, a'i ddifa; ar hynny, tynnodd ei gleddyf, a lladdodd y ci yn y man. Ond pan drodd i fynu y gadair, cafodd ei blentyn yn fyw, ac yn iach; ac yn yr un man, flaidd mawr, dychrynllyd, yn farw; yr hwn a ddaethai i mewn i ladd y plentyn; a'r hwn y darfu y ci ymosod arnaw, a'i ladd, ac yn y trabludd ddymchwelyd y gadair a'r plentyn. Yna, claddwyd y milgi yn anrhydeddus; a'r lle a adnybyddir hyd heddyw trwy'r enw *Bedd-Gelert*.

Y mae englyn ar glawr perthynol i orweddfa y milgi; eithr nis gwn gan bwy, na pha bryd y cyfansoddwyd ef. Y canlynol yw.

> "Claddwyd *Cilart*, celfydd ymlyniad,
> Yn mlaenau *Eifionydd*;
> Parawd giniaw yw gynnydd;
> Parai'r dydd yr heliai'r hydd."

Yn ystod y blynyddau hyn, bu feirw amryw o ddynion eyfrifol yn Nghymru, megys *Goronwy ap Ednyfed Fychan; Gruffydd ap Madawc*, Arglwydd *Maelawr;* claddwyd ef yn *Llanegwestl: Meredydd ap Owain; Meredydd ap Gruffydd*, Arglwydd *Hirfryn*, [rhwng *Nedd* a *Thawy* meddyliaf;] *Meredydd ap Rhys Gryg*, yn nghastell y *Dryslwyn:* claddwyd ef yn *Y Ty Gwyn* rhag bron yr allor fawr. *Rhys Ieuanc ap Rhys Mechyll*, yn nghastell *Dinefawr*; claddwyd ef yn *Nhal y Llychau*, *&c.*

Gwelsom y Cymry unwaith etto yn ystod eu hanfodiad yn mwynhau tawelwch cartrefol ac allanol, yn aros mewn heddwch yn eu plith eu hunain, a'r ammodau rhyngddynt a'u hen elynion y Saeson yn cael eu cadw yn ffyddlon gan y ddwy genedl. Ond nid eu tynged ydoedd fod y cyflwr hwn o lonyddwch i barhau yn hir; canys yn mhen oddeutu pum mlynedd digwyddodd amgylchiad yr hwn a'u gyrodd drachefn iddeu harferol gyflwr o ryfel a chynnwrf. A hwn oedd marwolaeth y brenin *Henri III.* yr hyn a ddigwyddodd yn y flwyddyn 1272.

Yn yr amser yma, yr oedd *Iorwerth*, mab y brenin, yn *Mhalestina;* a rhaglawiaid y deyrnas a anfonasant at *Lewelyn* i erchi iddo fyned at *Ryd Trefaldwyn*, i gymmeryd yno y llwon o ffyddlondeb ac ufudd-dod i'r brenin newydd. Ond *Llewelyn* ni chydsyniodd â'r erchiad.* Pan glybu *Iorwerth* am farwolaeth ei dad, dychwelodd adref, ac a goronwyd yn frenin Lloegr, ac o hyn allan cawn ef dan yr enwad o *Iorwerth I.* Y pennadur hwn, yn ddarparol iddei goroniad, a anfonodd at y Tywysawg *Llewelyn* i erchi iddo ddyfod i fod y gyd-ddrychiol ar yr achos hynny, ac i wneuthur y dyledus wriogaeth iddo. Ond *Llewelyn* a ballodd fyned, oddieithr i'r brenin roddi yn wystlon am ei ddiogeliad, frawd y brenin, yn nghyda Iarll *Caerloiw*, a *Robert Burnell*, Prif Ynad Lloegr; gan ddywedyd fod yn llys y brenin amryw o'i ddeiliaid gwrthryfelawl, yn nghyda llawer o bendefigion Lloegraidd y rhai oeddynt yn elyniaethawl iddaw. Ac mewn ysgrif yr hon a roddir gan Powel, y mae y Tywysawg yn mynegi ei ddadleuon am ei balliant, ac hefyd yn achwyn am y cam yr oedd yn ei dderbyn ar law y brenin. Yr ysgrif hon a amserir, *Talybont*, y 6fed o Hydref, 1275; ac a gyfeirir at Archesgobion Caergaint a Chaerefrawc, &c. y rhai a ffurfient gyngor y brenin yn Llundain, ac a anfonwyd gydag Abadau *Ystradfflur* ac *Aberconwy*. Ynddi y mae *Llewelyn* yn ei alw ei hun yn *Dywysawg Cymry*, ac *Arglwydd Eryri*, ac yn datgan yr achos na ddaethai i wriogaethu i'r brenin; ac yn achwyn fod y brenin yn noddi yn ei lys rai o'i ddeiliaid bradychus, megys *Dafydd ap Gruffydd*, ei frawd, a *Gruffydd ap Gwenwynwyn*. Ond ar un pryd *Llewelyn*

* Gwel Warrington.

a ddywedai os byddai i'r brenin enwi un lle i'r hwn gallai ddyfod mewn diogelwch, y delai yno yn ewyllysgar, ac a wriogaethai iddo.

Y *Dafydd ap Gruffydd* yma oedd brawd y Tywysawg, yr hwn a giliasai gynt at y brenin *Henri III.* Ac am *Gruffydd ap Gwenwynwyn*, yr achlysur o'i ffoad at *Iorwerth* ar y pryd hwn, oedd y canlynol:—

Yr oedd *Gruffydd ap Gwenwynwyn*, yn yr amser a aeth heibio, amryw weithiau gwedi dangos gelyniaeth tuag at *Lewelyn;* ac o gylch yr amser hwn, deallwn oddiwrth y Brut ei fod gwedi adnewyddu ei wrthwynebiad mewn rhyw fodd neu gilydd. Eithr yn mha beth ni fynegir, oddieithr y gelwir y weithred yn un o "dwyll ac annghywirdeb." Ac yno *Llewelyn*, gwedi cymmeryd castell *Dolforwyn*, a ddygodd oddiarnaw "*Arwystli*, a thair tref ar ddeg o *Gyfeiliawc*, y sydd tu draw i *Dyfi*, yn *Rhiw Helyg*, a dala *Owain*, y mab henaf iddaw, a dwyn o hono gydag ef hyd yn *Ngwynedd.*" Ac ychydig ar ol hynny, yr anfones *Llewelyn* genhadau at *Gruffydd ap Gwenwynwyn*, i gastell *Y Trallwng;* ac yntau a'u harfolles hwy yn gyfeillgar ac yn lleteugar, ac a'u dug i'r castell. A'r nos honno efe a aeth i'r *Amwythig*, ac a orchymynodd i'r castellwyr gadw y cenhadon yn ngharchar. Ar hyn, pan glybu y Tywysawg, efe arweiniodd fyddin yn erbyn y castell; a phan ddaeth yno, y castellwyr a roddasant iddo y castell; ac wedi rhyddau y cenhadon, efe a losges y castell hyd y llawr. Ac yna, y goresgynodd holl gyfoeth *Gruffydd ap Gwenwynwyn*, heb wrthwyneb, ac a osododd ei swyddogion ei hun ar yr holl ardal. Ac y mae yn ddilys mai yn ganlynol i'r ymrafael hyn y ciliodd *Gruffydd ap Gwenwynwyn* at *Iorwerth I.* yr hwn oedd newydd esgyn i orsedd Lloegr.

Y brenin, ar ol derbyn y cenhadwriaeth oddiwrth *Llewelyn*, a ddaeth hyd at ddinas *Caer*, ac oddiyno anfonodd at *Lewelyn* drachefn i ddyfod i wriogaethu iddo; ond efe, gan honni yr un achos, ni ddaeth yno. Ar hyn, *Iorwerth* a ddychwelodd adref mewn soriant mawr. A'r flwyddyn ganlynol cynhaliwyd cymmnnfa Seneddol yn Llundain; a gwysiwyd y Tywysawg i ddyfod yno i wneuthur gwriogaeth. Ond nid ufuddhaodd i'r gwysiad hwnnw 'chwaith, a chan honni yr un achos. Ac ymddengys iddo dderbyn tri neu bedwar gwysiad yn ychwaneg o'r un fath, a'u triniaw holl yn yr un modd.

Y brenin *Iorwerth*, er yn ddiau yn bwriadu mudiadau gelyniaethawl yn erbyn y Tywysawg, etto, ni wnaeth, ar hynny o bryd, un darpariad tuag at ryfel; a *Llewelyn* yntau a arhosodd yn llonydd ac yn heddychawl yn ei wlad ei hun. Pa hyd y parhasai y tawelwch hwn dan yr amgylchiadau hanfodedig, ni ellir dychymmyg; ond yn ebrwydd ar ol hyn, digwyddodd amgylchiad, yr hwn a achlysurodd gyfnewidiad yn ymddygiad *Llewelyn*. Tra'r oedd *Simon de Monteforte*, Iarll *Leicester*, yn cydryfela â *Llew-*

*elyn* yn erbyn *Henri III.* cynhyddodd cyfeillgarwch rhwng y ddau bennaeth, i'r fath raddau, ag i *Eleanor*, merch y Iarll, gael ei dyweddio i'r Tywysawg; ond ysgatfydd o achos ei hieuenctyd, ni chflawnwyd eu priodas ar y pryd hwnnw. Ac ar ol marwolaeth ei thad, aeth i Fonachlog *Montargis*, yn *Ffrainc*, lle y bu dros amser yn anneddu. Ac o gylch yr amser yn awr dan sylw, sef 1276, *Llewelyn* a anfonodd at frenin Ffrainc i ofyn am anfon ei wraig ddyweddiedig attaw i gyflawni y briodas. Ac heblaw yr annogiad arferol o ddymuniad i feddiannu ei ddyweddiedig, a'r bwriad anrhydeddus i gyflawni ei ammodau tuag atti hi, yr oedd ysgatfydd gan y Tywysawg yn hyn rhyw amcan i gyfnerthu ei hun yn ei Dywysogaeth; canys yr oedd tylwyth *De Monteforte* etto yn gryfion yn y deyrnas, ac yr oedd *Eleanor* hefyd yn gyfnither i'r brenin *Iorwerth*. Cydsyniodd brenin Ffrainc â chais y Tywysawg; a mam *Eleanor* a'i hanfonodd tua Chymry, dan nawdd *Amauri**, brawd *Eleanor*. Ond fal yr oedd y llong yn nesau tua gororau Prydain, cyfarfu pedair llong arall â hi, o eiddo y brenin *Iorwerth*, a dugpwyd hi i borthladd *Brysteu*. Ac yno, *Eleanor* a'i brawd a anfonwyd at y brenin, yr hwn a'i cadwodd yn garcharorion; ond etto gan dderbyn y ferch ieuanc iddei lys mewn modd anrhydeddus. Pan glybu *Llewelyn* am hyn, anfonodd i ofyn am ryddhad *Eleanor*, ac yn cynnyg arian lawer am hynny; ond *Iorwerth* a wyddai werth ei garcharores yn rhy dda iddei rhyddau ar y pryd hynny, heb dderbyn cyflawn daledigaeth. Ac felly, attebodd na roddai efe ddim o honni i fynu, oddieithr i *Lewelyn* adferyd i ddeiliaid y brenin y cwbl o'r tiroedd a ddygasai oddiarnynt; ac hefyd adgyweiriaw yr holl gestyll y rhai yr oedd efe wedi eu dymchwelyd. Y telerau hyn, *Llewelyn*, fel Tywysawg dewr a gwladgar, a wrthododd gyda dirmyg a digter.

Yr oedd erbyn hyn, ysbryd gelyniaeth yn adgyffroedig rhwng y ddau bennadur; a *Iorwerth* a wnaeth ddarpariadau i ymosod ar y Tywysawg. Eithr cyn cychwyn ymaith, erfyniwyd arnaw gan Archesgob Caergaint i roddi un cynnyg yn ychwaneg i'r Tywysawg ddyfod i ymostwng iddaw. Ac felly, anfonwyd cenadwri at *Lewelyn*, i geisio ganthaw ddyfod i lys y brenin i wriogaethu iddaw. Ond *Llewelyn*, yn lle hynny, a ymosododd ar y tiriogaethau Saesonaeg, ac a'u hanrheithiodd. Yna, efe a anfonodd lythyron at y brenin i ddywedyd ei fod yn foddlon i ddyfod i wriogaethu iddo yn *Nhrefaldwyn*, neu *Groesoswallt*, os caffai nawdd yr Archesgob, ac eraill a enwai. A gofynai am gyflawniad o'r ammodau a wnelsid rhwng *Henri III*, ag ef; ac hefyd am rydd-had *Eleanor de Monteforte*, yr hon yr haerai fod y brenin yn ei chadw yn anghyfreithlawn.

Y gofyniadau hyn a dderbyniwyd gyda digllonrwydd gan y brenin a'i

* Ysgrifenir yr enw hwn mewn amryw ddulliau,—*Emri*, *Americ*, *Almeris*, *Aymer*, &c.

Senedd; cyhoeddwyd y Tywysawg yn wrthryfelwr ac yn fradwr; a gwnaethpwyd darpariadau helaeth tuag at ymosod arnaw. Ac i'r dyben i roddi yr effeithiad cadarnaf iddynt, Archesgob Caergaint a anfonodd at *Lewelyn* iddei fygwth âg esgymmundod, os pallai a chydymffurfio â'r cais. Ond hyn nid effeithiodd i droi y Tywysawg oddiwrth ei egwyddorion; ac felly, y brenin a barhaodd yn ei yamarfogiad, ac a ddaeth i *Gaerwrangon;* ac oddiyno y danfonodd ei wyr tua Chymru, yn dri dosparth; y cyntaf a oedd dan ei dywysiad ei hun, ac a fudodd tua dinas *Caer;* yr ail oedd dan Iarll *Lincoln* a *Rosser Mortimer*, ac a ddaeth i *Drefaldwyn*. A thrwy eu cyfnerth hwy yr adennillodd *Gruffydd ap Gwenwynwyn* ei gyfoeth drachefn, yr hyn yr oedd y Tywysawg wedi ei ddwyn oddiarnaw. Ac ar yr un pryd, Iarll *Henffordd* a adoresgynodd *Frecheiniawg;* ac ychydig ar ol hynny, cylchynodd Iarll *Lincoln* a *Rosser Mortimer* gastell *Dolforwyn*, ac yn mhen pythefnos, ennillasant ef, o eisiau dwfr. Y trydydd lu a aeth i *Gaerfyrddin*, dan dywysiad *Paen de Chaworth*, [*Paganus de Camurtiis*,] mab *Padrig Dysaes*. Y pendefigion hyn a awdurdodwyd i dderbyn i adgymodiad â'r brenin bawb o bleidwyr *Llewelyn*, y rhai a ymchwelent atto.

Yr oedd aflwydd y Tywysawg yn awr gwedi dechreu; canys yn mhen ychydig o amser, y cyfan o'r Deheubarth, a'r pedwar pendefig cadarnaf y wlad, sef *Rhys ap Meredydd*, *Gruffydd ap Meredydd*, *Cynan ap Meredydd*, a *Rhys Windawd*, a aethant at y brenin, ac a wnaethant wriogaeth iddaw. Ac ar ol hyn, daeth *Edmund*, brawd y brenin a llu ganthaw i *Lanbadarn*, a dechreuodd adeiladu castell yn *Aberystwyth;* ac ar hynny, ciliodd *Rhys ap Maelgwn* i Wynedd, at *Llewelyn*, rhag ymgyrch y Saeson a oeddynt yn *Llanbadarn;* a'r Saeson a oresgynasant ei holl gyfoeth; a chydag ef y ciliodd gwyr *Geneu'r Glyn* oll i Wynedd, ac a adawsant eu tiroedd oll yn ddiffaith. Ac *Edmund* a *Phaen* a ddychwelasant i Loegr, gan adael *Rhosser de Molis* yn geidwad ar gastell *Aberystwyth*. Yna, y daeth y brenin i'r *Berfeddwlad*, sef yr ardal a gynhwysai y pedwar cantref, ac a gadarnhaodd gastell *Fflint*. Oddiyno aeth i *Ruddlan*, ac a gadarnhaodd y castell, ac a drigodd yno dalm o amser; ac oddiyno anfonodd fyddin i ynys Fon, a pherodd losgi yr ydau, a diffeithio y wlad, fel na chaffai gwyr y Tywysawg ymborth oddiyno.

Yr oedd *Llewelyn* trwy y digwyddiadau hyn mewn cyfyngder mawr; gwedi ei adael gan y cyfan o'r Deheubarth; y rhan fwyaf o Bowys yn nwylaw ei elynion, a byddin gadarn mewn gafael ar ororau eu wlad, ac yntau yn warchäeedig yn mynyddoedd *Eryri*. Ond er cyfynged ei gyflwr, dichon y gallasai ymgadw yno yn hwy nag y gwnaeth pe buasai yn ceisio.

Yr oedd rhai o'i gydgenedl gynt trwy ddyfal barbâd eu gwrthladdiad, gwedi blino eu gelynion, a pheri iddynt gilio ymaith allan o'r wlad hono; a

dichon y gallasai *Llewelyn* wneuthur yr un peth yn awr. Ond y mae yn ddilys fod rhyw beth mewn golwg gan y Tywysawg hwnnw heblaw gorthechiad ei elynion; a hynny oedd nid amgen na gweithredu rhyddhad *Eleanor de Monteforte* allan o ddwylaw *Iorwerth*, a chael meddiant arni megys ei wraig. Gan ys pa beth a allai efe wneuthur mewn parhad o'r rhyfel nag at amddiffyn ei wlad, nid oedd ddichonadwy iddo fwynhau ei ddymuniad yn yr amgylchiad arall, heb ennill ewyllys da *Iorwerth*. Ac yn ganlyniad, anfonodd *Llewelyn* at y brenin i ofyn am ammodau heddwch; a chaniatawyd hynny iddaw, ar y telerau fod i ddaw yn gyntaf ymostwng yn hollol i diriondeb y brenin. Er mor wrthun rhaid fod hyn, etto, nid oedd gan y Tywysawg un dewis ond naill neu eu gymmeradwyo, neu ynte lwyr-golli gwrthddrych ag oedd cyn hoffed ganthaw. Ac felly, sefydlwyd heddwch ar y telerau canlynol.

Yr oedd *Llewelyn* i ryddhau yr holl garcharorion a bleidiasent â'r brenin, ac i dalu i'r brenin ddeng mil a deugain o forcau.

Yr oedd i'r pedwar cantref, *Y Perfeddwlad*, gael eu rhoddi i fynu i'r brenin, a pharau yn eiddo iddo ef dros byth.

Yr oedd pleidwyr y brenin i gael eu hadferyd i'r cyfan o'u meddiannau, y rhai oedd ganddynt cyn y rhyfel.

Yr oedd y Tywysawg i gadw meddiant ar ynys Fon, a thalu i'r brenin mil o forcau yn flynyddol am y fraint honno; ac os byddai farw yn ddieppil, fod yr ynys i fyned i'r brenin a'i etifeddion.

Yr oedd holl Arglwyddi Cymru i ddala eu tiroedd dan y brenin, oddieithr pump pendefig yn *Eryri*, y rhai oeddynt i arddel y Tywysawg megys penteyrn dros ei fywyd ef.

Yr oedd *Llewelyn* i ddyfod at y brenin bob Nadolig i wriogaethu iddaw.

Yr oedd *Llewelyn*, cyn gynted ag y caffai ryddhad odditan ddedryd yr Eglwys, i ddyfod i *Ruddlan*, i gymmeryd yr arferol lŵ o ffyddlondeb i'r brenin; ac hefyd yr oedd i gymmeryd yr un llŵ yn Llundain, ar y dydd pennodedig i hynny.

Yr oedd trwy ystod ei einioes i fwynhau yr enwad o Dywysawg Cymru; ac ar ol ei farwolaeth, yr oedd y pump pendefig o *Eryri* i ddala eu tiroedd dan y brenin.

Er cyflawniad o'r ammodau hyn, yr oedd y Tywysawg i roddi megys gwystlon, ddeg o'r pendefigion pennaf yn Nghymru.

Yr oedd y Tywysawg i anfon, bob blwyddyn, ugain o bendefigion Gwynedd, y rhai oeddynt, gydag ef, i gymmeryd llŵ o ffyddlondeb i'r brenin; ac os byddai i'r Tywysawg mewn un modd ballu cyflawni yr ammodau hyn, yr oedd y pendefigion hynny y rhwym wrth eu llwon i ymadael âg ef, ac i bleidio gyda'r brenin.

Yr oedd *Llewelyn* i ryddhau ei frawd *Owain* o garchar, ac i adferyd iddo ei diroedd. Ac hefyd i dalu iddeu frawd *Rhodri* mil o forcau yn y flwyddyn.

Y mae yn ddyledus sylwi mai dyma'r tro cyntaf yn yr hanes y crybwyllir am y brawd hwn, oddieithr unwaith gan Matth. Paris. lle y sonir am un o'r enw *Hedericus*.

Er braint i'r Tywysawg ychwanegwyd y canlynol.

Os hawliai diroedd, oddieithr y rhai yn meddiant y brenin, allan o'r pedwar cantref, y gweinid cyfraith yn ol defodau yr ardaloedd hynny yn mha rhai y digwyddent y cyfryw diroedd fod.

Fod pob niweidiau a beiau ar y ddau du i gael yn hollol eu dileu, a'u llawn faddeu.

Fod i bob deiliad yn dala tiroedd yn y pedwar cantref, ac mewn lleoedd ereill yn meddiant y brenin, gael eu dala mor freiniol, a mwynhau yr un ryw ddefodau ag y gwnaethent cyn y rhyfeloedd diweddar.

Fod pob ymrafael rhwng y Tywysawg a neb ryw un arall, os dichweiniai yn y cyffindiroedd, gael ei derfynu yn ol cyfreithiau yr ardaloedd hynny; a phob ymrafael yn Nghymru i gael ei derfynu yn ol cyfreithiau Cymru.

Fod y llong-ddrylliadau ar ei ororau ei hun i fod yn eiddo y Tywysawg, yn nghyda phob hawliadau ereill y rhai a fwynhasid gan ei hynafiaid.

Ac er fod y Tywysawg yn ymddarostwng yn hollol i'r brenin, na fyddai neb rhyw niweid i gael ei wneud, ac neb rhyw hawl i gael ei osod, yn ngwrthwyneb i'r heddychiad hwn.

Y brenin a ymddygodd mor haelionus a pheidio gofyn oddiwrth y Tywysywg y taliad o forcau, a'r tâl blynyddol, ond yn unig derbyniodd oddiwrthaw ddwy fil o forcau, pan yn aros yn *Rhuddlan*.

Yr ammodau hyn a gadarnhawyd trwy gyfrwng dirprwywyr. Ar ran y brenin yr oedd tri o wyr cyfrifol, ac ar ran y Tywysawg yr oedd *Tudur ap Ednyfed* a *Gronw ap Heilyn*.

Ar ol hyn, y brenin a ddychwelodd gyda mawr lawenydd i Loegr, gan ymddigrifo yn y syniad ei fod wedi cyflawni goresgyniad o'r Tywysawg heb nemmor o golledion iddo ei hun; canys y mae yn ddilys na fu ar yr achlysur hyn braidd ddim ymladd rhwng y ddwy blaid. Ac hefyd y mae yn amlwg mai gwrthrych neulltuol *Llewelyn* ydoedd rhyngu bodd y brenin, yn hytrach na'i annog i fwy o elyniaeth; a hynny nid cymmaint rhag ofn ei arfau, ag er mwyn merch *De Monteforte*, yr hon oedd yn ei lys. Ac felly, *Llewelyn* a aeth i Lundain, ac a wriogaethodd i'r brenin, yn ol ei ammodiad.

Y mae *Warrington* yn sylwi gyferbyn â'r amser yma, fod amcanion *Iorwerth* yn cael eu hamlygu yn eglur perthynol i Gymru. Sef, mai ei fwriad oedd, ar farwolaeth *Llewelyn*, uno y Dywysogaeth yn hollol â

heyrnas Lloegr; ac nid esgeulusai un cyfleusdra i gyflawni hynny. Yr edd coel cyffredinol yn hanfodi yn mhlith y Cymry, ac hefyd yn mhlith obloedd eraill, fod y brenin *Arthur* i ymddangos drachefn, ac i ryddhau genedl Frutanaidd o dan ormes estroniaid, ac adferyd iddynt eu hen ruchafiaeth gynt. Ac i'r dyben i ddangos fod hyn oll yn ofer goel, ac n annichonadwy iddei gyflawni, *Iorwerth* a'i frenhines a aethant i Ynys *lfallon*, [*Glastonbury*,] lle yr haerir fod bedd *Arthur* wedi ei gael yn y nrif a aeth heibio; a than rith o anrhydeddu esgyrn yr hen frenin Brutaidd, a rhoddi iddei weddillion godidocach orweddfa, *Iorwerth* a berodd gloryd bedd *Arthur*, a chymmeryd ei esgyrn allan o'r ysgrin, yn nghydag gyrn *Gwenhwyfar*, ei frenhines, a'u dangos yn gyhoeddus; ac ar ol ynny, eu claddu gerllaw yr allor fawr, gydag ysgrif ar yr ysgrin yn rwyddocau mae y rhai hynny oeddynt esgyrn y brenin *Arthur;* ac ldynt gael eu gweled gan Frenin a Brenhines Lloegr, yn ngwydd Iarll *'avoy*, ac Esgob *Norwich*, ac amryw ereill.

Tra yn aros yn ynys *Afallon*, cynhaliodd y brenin gyfarfod Seneddol, gwysiwyd *Llewelyn* i ddyfod yno i fod yn gyd-ddrychiol ar agoriad y edd. Ond *Llewelyn* nid ufuddhaodd i'r gwysiad. Ac y mae yn ebygol fod ei balliant yn tarddu allan o amgylchiad yr hwn a ddigwyddodd pan oedd efe yn Llundain yn gwneuthur gwriogaeth. Canys yn ol adoddiad *Warrington*, pan aeth y Tywysawg yno, aeth gydag ef bendefigon *Eryri*, gydag amryw ereill o flaenoriaid a boneddigion o'r tylwythau ennaf yn y Dywysogaeth; a chyda hwy luoedd nifeiriawg o'i gwyr a'u yfeillion, y rhai hyn a leteuwyd yn *Islington*, a'r pentrefydd cyfagos. 'nd nid oedd y dull o fyw yn y wlad honno at eu harchwaeth; eithr yr yn a gyffroai eu hanfoddlonrwydd yn fwyaf neulltuol ydoedd ymddygiad nwaraidd y werin Saesonaeg, y rhai a'u canlynent pa le bynag yr elent, n chwerthyn a gwawdio ar eu dullwisgiad dieithr, a'u hymddangosiad arferol.* Y triniant hyn a berodd ynddynt y fath wrthun a chasineb ag at y bobl anfoesgar hynny, ag y darfu iddynt ffurfio penderfyniad i thryfela ar y cyfleusdra cyntaf, ac i farw yn rhyddion yn eu gwlad eu nain, yn hytrach na byw yn gaethion yn mhlith estroniaid. A phan lerbyniodd *Llewelyn* y gwys i fyned i ynys *Afallon*, diau y darfu y mladau hyn o eiddo ei wyrda effeithio tuag at beri ei nacâd.

Yr oedd *Iorwerth* yn rhy awyddus am sicrhau darostyngiad y Dywys'g, ac yn rhy eiddig o'i urddas ei hun i adael y cyfryw ymddygiad i rhau. Ac felly, yn nghydag *Eleanor*, y frenhines, efe a ddaeth i

* Hawdd gellir credu hyn am y werin Saesonaeg, yn yr oesoedd hyn. Dangosasant yr anianawd anwaraidd, a'r un fath anfoesgarwch, tuag at deithwyr pellenig, hyd nod o vn i amseroedd lawer mwy diweddar. Y mae yn ddiau fod y bobl cyffredin yn Nghymru, yr oesoedd dan sylw, yn rhagori yn fawr ar yr un graddau yn Lloegr, o ran moesgarwch.

*Gaerwrangon*, o'r hwn le yr anfonodd drachefn wys at *Lewelyn* i d
i wriogaethu iddo. Ond yn awr, i'r dyben i sicrhau ei lwyddian
esmwythau ychydig ar y iau, anfonodd y gwys dan rith gwhaod
wledd, ac hefyd ychwanegodd yr addewyd, y byddai ar y pryd, i *E*
*de Monteforte* gael ei rhoddi i'r Tywysawg yn wraig briod.

Gan ys pa beth a wnelsai *Llewelyn* perthynol i'r gwys, a'r gwaho
yr oedd yr addewid olaf yn rhy ddenol iddo ef ei gwrthod. Ac yn ga
aeth i'r llys; ac yno, er gwridiant iddei genedl, ymgrymmodd i'r l
ac a roddodd ei hunan yn hollol i fynu iddei allu ef, heb ond yn u
dirionдeb i bwyso arnaw. A'r brenin a gymmeradwyodd ei ymost
a berodd iddo gyfodi, ac a faddeuodd ei anufydd-dod, ac yr un pr
arwyddocau y byddai i'r gwrth-ryfeliad nesaf gael ei cospi yn llym
ol hyn, y brenin a ddychwelodd i *Lewelyn* ei wystlon, ac hefyd ro
i fynu iddo *Eleanor de Monteforte*, yn nghyd a'i meddiannau. (
ddydd y briodas, ac fel ag yr oedd *Llewelyn* a'i ddyweddiedig yn
i'r offeren, *Iorwerth* a ychwanegodd ammod, na fyddai i *Lewely*
noddi neb ryw un pwy bynnag yn erbyn ewyllys y brenin. Yr oedd y
ysawg wedi myned yn rhy bell, erbyn hyn, i gael ei attal gan y
ofyniad; ac nid oedd hyn yn amser i betruso nac i oedi i ymgy
ac felly cyttunodd hyd nod i'r ammoddiad gwarthus hwnnw, ac a
grifiodd weithred yn cadarnhau y cyfryw, yn nghydag eraill o'r un
darostyngawl. Ac ar ol hyn, cyflawnwyd y briodas, yr hon a gymn
le ar y 13eg o Hydref, 1278; ac a ahrhydeddwyd â gwyddfodiad y
a'r frenhines; a'r brenin a dalodd y cyfan o draul y wledd, yr
gynhaliwyd gyda phob bri a dyledus mawrdrafyn. Ar ol yr l
cychwynodd *Llewelyn* â'i Dywysoges tua Chymru.

Wele yma weithred, yr hon, er y gall fod yn anrhydeddus i *Le*
megys dyn, etto, braidd y teilynga'r un ganmoliaeth pan edrychwı
ef megys Tywysawg. Ac er mai dymuniad yw, a dyledus hefyd, a
y bennadur hwn bob tiriondeb, a roddi pob ystyriaeth gardodo
amgylchiadau cyfyng ac anffodus, etto, ar ol y cyfan, ni ellir celu ei
hyn o weithred wedi gadael iddei deimladau neullduol orthrechu ei d
swydd cyhoeddus. A phwy oedd honno am ba un yr ymostyngodd
ysawg ei hun cyn iseled, ac a draddododd i estroniaid freiniau ei
Y mae yr atteb i'r gofyniad hwn yn dwyn gydag ef synniadau tra d
ac y mae yn eithaf dilys genyf, y'm cyfrifir gan amryw yn feit
ofergoeledd, pan y traethwyf y cyfryw syniadau, y rhai a ymgyfod
fy meddwl ar yr achos hwn; ond etto ni'm attelir rhag eu mynegu.

Y mae pawb ag a ddarllenodd hanes Eglwysig y canol oesoedd
dygwydd ar enw y bobl tlodion, ac erlidedig hynny, y rhai a el
*Albigensee*, neu y *Waldensee*; y rhai yn neheudir Ffrainc, a gynl

wrthladdiad i ormesiadau Eglwys Rhufain, ac fel yr haerir, a ddiarddelent ei llygredigaethau, gan honi athrawiaeth mwy pur ac ysgrythyrol. Gall y cyfryw dallenwr hefyd gofio, yn mhlith erlidwyr y dynion annedwydd hynny, mai y gwr a fu yn offeryn o'r blinderau gorthrymaf, a'r creulonder aethlytaf, oedd pendefig o'r enw *Simon de Monteforte;* gwr yr hwn ni thosturiai ac nid arbedai; eithr cyflawnai bob rhith o erlidiad yn ddidrugaredd. Ac wele wyres i'r bwystfil melldigedig hwn, a ddewiswyd gan *Lewelyn ap Gruffydd* yn Dywysoges Cymru. Y *Simon de Monteforte* hwnnw a laddwyd mewn brwydr yn Ffrainc; a'i fab ef o'r un enw, *Simon de Monteforte,** a ddaeth i Loegr, ac a gafodd Iarllaeth *Leicester;* a'i ferch ef *Eleanor de Monteforte,* a briododd y Tywysawg; a minnau yn fy ngwagddychymyg a'm hofergoeledd, os y cyfryw ydynt fy syniadau, ni allaf ymattregi rhag meddwl, fod gwaed y *Waldensiaid,* yn galw am ddialedd ar eppil *Simon de Monteforte:* ac mai mewn awr annedwydd yr unodd Tywysawg Cymru ei dynghedfen âg eiddo yr hiliogaeth anfad hynny, ac y llithiwyd i werthu ei rydd-did ei hun a'i wlad am y cyfathrach.

Trwy yr ammodiad rhagenwedig cafodd y brenin *Iorwerth* feddiant ar y pedwar cantref megys cyfran o'i deyrnas; ac yn galynol efe a anfonodd ei swyddogion yno i gynnal achosion llywodraethol. A'r rhai hyn a ddechreuasant, fel arferol, ormesu y wlad trwy drethau annghyfiawn, ac amryw ymddygiadau treisiol. Ac yn mhlith afiawnderau ereill, sefydlwyd brawdlysoedd i weini cyfraith yn ol defodau Lloegr, er fod ban yn yr amodysgrif, fod y trigolion i gael mwynhau eu defodau cynhenyd. Y weithred olaf yma a berodd anfoddlonrwydd mawr trwy y wlad; ac i'r dyben i ddyfod i benderfyniad perthynol i'r dull iawn a dyledus o gynnal brawdlysoedd; y brenin *Iorwerth* a anfonodd ysgrif at *Thomas Esgob Ty Ddewi,* a *Reginald de Grey,* a *Walter Hopton,* yn eu herchi a'u hawdurdodi i fyned fel Dirprwywyr i Gymru, ac yno mewn gwahanol leoedd, wneuthur holiad am y dull mewn arferiad o gynnal brawdlysoedd a thrin hadleuon cyfreithiol. Yr oeddynt i alw ar wyr di-duedd o blith y Cymry a'r Saeson, a'u holi ar eu llw am y cyfryw arferion; a'r gofyniadau a osodwyd yn bedwar-ban ar ddeg.† Yr oeddynt i holi os gwelodd neb ddadl gyfreithiol rhwng Tywysawg Cymru, a neb farwniaid Cymraeg Cymru.—Rhwng pwy dywysawg, a phwy farwniaid, ac o flaen pwy ynadon.—Os gwelwyd y cyfryw rhwng neb ryw ddynion ereill o un rhyw ddd.

* Ysgrifenir yr enw hwn mewn amryw ddulliau,—*Montforte, Montfort,* ac nid yn anfynych gwelir ef *Montford,* fel pe bai o haniad Saesonaeg; ond y dull olaf sydd gyfeiliornus; iaw Ffrangaeg ydyw, ac eglurhaer ei ystyr yn ei ddull Lladinaidd, sef *De Monte forti.*

† Gwel *Wotton—Leges Wallicæ,* lle y rhoir y cyfan o'r holiadau, a'r attebion.

Os gwelwyd y cyfryw ddadl; yn ol pwy ddefodau, ac yn mrawdlys pwy y triniwyd hi; ai yn ol defodau y brawdlysoedd Saesonaeg, trwy ysgrif y Brenin, neu ynte yn ol cyfraith *Hywel Dda*. [*secundum legem Howel Da, quæ vocatur Keuerick.**] Yn mha achosion yr arferyd y gyfraith honno, ai perthynol i ddodrefnau a meddiannau mudawl, neu perthynol i diroedd; ueu ynte pob un o'r ddau.

Yn ddiweddaf, ai mewn achosion gorhen a chyn côf, neu ynte mewn pob achosion, diweddar yn gystal a hen, yr arferyd y gyfraith rhagenwedig o eiddo *Hywel Dda*.

Yr ysgrif hon a roddwyd yn mis Rhagfyr, yn y nawfed flwyddyn o deyrnasiad *Iorwerth I.* sef yn 1280. A'r gwyr hynny a aethant i ddinas *Caer*, ac agorasant eu dirprwylys. Ac yno holiasant 19 o wyr, yn agos y cwbl âg enwau Normanaidd iddynt; a'r rhai hyn âg un llais a dystiasant ar ochr y brenin; a sylwedd eu tystiolaeth oedd, fod dadleuon cyfreithiol rhwng y Cymry, yn wastad yn cael eu trafod yn mrawdlysoedd y brenin, ac yn ol cyfreithiau Lloegr.

Yna'r dirprwywyr a aethant i *Ruddlan*, ac a wnaethant yr un boliadau perthynol i gantref *Tegengel*. Ond cyn dechreu eu dyledswydd, anfonodd y Tywysawg *Llewelyn* erfyniad ettynt, yn dywedyd, gan fod y brenin wedi anfon y fath wyr anrhydeddus i chwilio i mewn i'r iawn arferion cyfreithiol yn ardaloedd *Arwystli*, a rhwng *Dyfi* a *Dywlas*, deisyfai arnynt i chwilio yn fanwl onid oedd yno ynadon Cymraeg, swydd pa rai ydoedd barnu perthynol i'r tiroedd hynny a'u trigolion, yn ol y cyfreithiau Cymraeg. "O herwydd," meddai y Tywysawg, "os na farnyd y tiroedd hynny yn ol y cyfryw gyfreithiau, ni fuasai yn ofynol gosod yno ynadon wedi eu neullduo at y swydd. O blegyd y mae yn eglurach na'r goleuni, fod meibion *Rinyr mab Cadwgan* yn farnwyr swyddol, y rhai a elwir *Ynaid* yn y Gymraeg, [*id est Eneyt, Walensico,*] yn *Arwystli*; a *Iorwerth Fychan* yn farnwr, hynny yw yn ynad, [*id est Enat,*] yn *Nghyfeiliawc*, a rhwng *Dyfi* a *Dywlas*." ["*inter Dyvi et Dywlass.*"]

Yn y dirprwylys hwn, holwyd dros ddeugain o dystion, yn agos oll âg enwau Cymraeg; ac o'r rhai hyn, amryw a roisant eu tystiolaeth yn bleidiol i'r Tywysawg, sef fod y cyfreithiau Cymraeg yn cael eu harferyd; ond ereill a gadarnhasant y daliad fod cyfreithiau Lloegr yn arferol.

Y cyntaf oedd *Cynwrig Sais*: ar ol ei dyngu, dywedodd iddo glywaid gan ei dad fod dadl rhwng *Llewelyn ap Iorwerth*, Tywysawg Cymru, a *Gwenwynwyn*, perthynol i holl ardal *Powys*, o flaen ynadon y brenin yn *Westminster*; a mynegodd amryw bethau am y cyfryw ddadleuad. Ond

* Gwelir y gair hwn mewn amryw ffyrdd,—*Keurith, Kevereith, &c.* Y mae yn amlwg mai y gair Cymraeg *Cyfraith* a arwyddocéir.

ychwanegodd hefyd, fod yn newisiad Arglwydd yr ardal i ganiatau i'r dadleuwyr yr un a fynai, cyfraith Cymru neu un Lloegr. Ar ei ol ef, tyngwyd *Dafydd ap Richard*, yr hwn a ddywedodd yr un peth.

Yna, tyngwyd *Einiawn ap Rhyryd*, ac efe a ddywedodd yr un peth; gan ychwanegu fod yn arferol mewn daliadau diweddar, i ymdrin yn ol cyfreithiau Lloegr, eithr mewn hen ddaliadau yn ol cyfreithiau Cymru. Yna amryw ereill a ddywedasant yn agos yr un peth; megys *Einiawn ap Ifor*, *Ifor ap Tegwared*, yr Ynad, &c. Eithr un o honynt, *Ednyfed ap Ithel*, a ychwanegodd na allai y brenin arferyd cyfraith Lloegr yn erbyn ewyllys nebun o'r dadleuwyr, ond yn wastadol cyfraith Cymru, [per legem *Keverith*,] oddieithr ei drefnyd yn wahanol trwy gydsyniad y dadleuwyr; a hyn, pa un a fyddai un yn dlawd neu yn gyfoethog. *Gruffydd ap Iorwerth*, Ynad, a gydsyniodd gan mwyaf â'r rhai a'i rhagflaenent; ac a 'chwanegodd, pan fyddai y gyfraith Gymraeg yn cael ei harferyd, fod yr Ynad yn wastad yn myned at y tyddyn mewn dadl. Ond oddiwrth honniad arall, gwelir nad oedd hyn yn angenrheidiol yn ol cyfraith Lloegr. Yr oedd y rhan fwyaf o'r tystion hyn yn haeru fod y Cymry yn fynychach yn dewis cyfraith Lloegr nag eiddo *Hywel Dda*. Ac un o honynt, *Tegwared ap Ieuan*, un o ynadon tref *Rhuddlan*, a ofynwyd iddo os clywodd erioed fod y Tywysswg *Llewelyn ap Gruffydd* yn cynnal barn yn ol cyfraith *Hywel Dda*, pan fyddai nebun yn gofyn am y dull arall; ac efe a attebodd nad oedd efe na'i daid *Llewelyn ap Iorwerth*, na'i ewythr *Dafydd*, fyth yn dewis y gyfraith gyntaf, ond yn wastad dewisent y dull newydd. A'y tyst hwn a rydd yr achos; sef fod gan y Cymry ddihareb yn eu haith eu hunain, "mai trech y gwirionedd na'r gyfraith." [*Plus valet veritas quam Lex.**]

Yna'r dirprwywyr a gynhaliasant eychwil-lys yn y *Monachlog Gwyn*, [*Album Monasterium*,] gerllaw *Croes Oswallt*, lle yr holiasant yn agos yr un rifedi o dystion, yn Gymry a Saeson, a chawsant yr un fath dystiolaeth, ond gan mwyaf yn tueddu i blaid y brenin.

Yna, aethant i *Drefaldwyn*, a chynaliasant yr un chwiliad, gydag yn gos yr un canlyniad.

Oddiyno aethant i *Lanbadarn Fawr*, ac yno cawsant yn agos y cyfan 'r dystiolaeth yn ochrawl i blaid y brenin; sef mai yn ol defodau brawdlysoedd Lloegr y gweinyd farn, ac nid yn ol cyfraith *Hywel Dda*. *Philip ap Henri* a 'chwanegodd nad oedd yn y cyfan o Gymru gorllewinol,

* Nis gwn am y ddihareb hon; ond y mae yn ddilys genyf mai yn y Lladin y ffurfiwyd i gyntaf, ac nid yn y Gymraeg. Canys yr enw a roddir i'r gyfraith Lloegraidd yn y iaith hono ydyw *veritas*, a *rei veritas—gwirionedd y peth*; ac arferir ef yn y modd canlynol:—"*Rei veritas inquiri debet.*"—"*ad rei veritatem inquirendam.*—"*per veritatem*," &c. Ac yn wastad cyferbynir y ddau air â'u gilydd, sef *veritas* a *lex*, h. y. *veritas* y gyfraith Lloegraidd, a *lex*, y gyfraith Gymraeg.

[*Westwalia,*] na yn Arglwyddiaeth Ceredigion un barnwr yn ol y gyfraith Gymraeg, sef *Ynad.* [*non est aliquis judex, Eygnat.*] A *Madawc Ddu* a ddywedodd mai yn holl ardal *Powys*, sef yn nhiriogaeth *Gruffydd ap Gwenwynwyn*, y gyfraith newydd a hanfodai; ac ychwanegodd fod yno ryw amser yn ol, un o'r enw *Iorwerth Fychan ap Iorwerth ap Rhun*, yr hwn a elwyd yn *Ynad;* [*Engnath;*] eithr nid oedd byth yn beirniadu, ond iddo dderbyn yr enwad hwnnw am iddo fyned i Wynedd i ddysgu cyfreithiau *Hywel Dda*.

Y cyfryw yw sylwedd yr holiadau rhagflaenawl; ac os cywir ydynt, dangosant yn amlwg ormesiad y Saeson, yn difreinio y bobl o'u hen gyfreithiau a'u defodau, ac yn dwyn i mewn eu heiddo eu hunain. Ond bydded y dystiolaeth am hanfodiad y cyfreithiau Saesonaeg mor wir ag y bytho, y mae un haeriad yn ddiamheuol yn anwireddol; a hynny yw fod y Cymry yn hoffi y cyfreithiau Saesonaeg yn hytrach na'u heiddo eu hunain. Canys cawn yn mhlith yr achwynion a wneir gan y Tywysawg *Llewelyn ap Gruffydd* a'i gyfeillion, dystiolaeth yn gwrthbrofi y cyfan o'r haeriad hwnnw. Yn yr achwynion yma, y rhai a gyfeirir ettynt yn ebrwydd, yr ydynt yn agos oll yn nodi megys un o'r gorthrymderau mwyaf, nacad iddynt o'u cyfreithiau cynhenyd, a defodau eu gwlad.

Ac nid ydyw y cyfryw gamhaeriadau yn mhlith tystion y brenin ddim yn beth i ryfeddu am dano; canys y mae yn ddiamheuol fod yn y cyfan o'r swyddogion dirprwyol dueddiant i gael pethau at fodd y brenin yn hytrach nag i'r gwrthwyneb. Ac er y gallai yr Esgob a'r ddau fonedd-ig arall fod o well egwyddor na gwyrdroi barn, etto, yn ddiau, yr oedd yn mhlith eu canlynwyr rai, y sawl gan wybod eu tuedd, a oeddynt ddigon parod i addasu pob peth at eu dymuniad, trwy attal ymddangosiad y gwyr y rhai a dystiolaethent yn wrthwynebol i hynny; a thrwy beri cadw o'r golwg pa beth bynag ni ryngai bodd iddeu meistri.

Ond, os yn mhlith y fath gruglwyth o haeriadau pleidgar a rhagfarnus y gallwn ymddiried mewn cywirdeb unrhyw ran, caniatawn, er dadleuad, fod rhyw gywirdeb yn yr hyn a ddywedir am *Lewelyn ap Iorwerth*, a'r ddau Dywysawg canlynol, yn arferyd y cyfreithiau newydd; a ydyw hynny yn profi eu bod yn hoffi cyfundraeth deddfres Lloegr? Diau nad ydyw ddim; gallasent weled buddioldeb rhai defodau heb un tueddiant i fabwysiaw y cyfan. Gallwn feddwl fod yn rhwysc amser alwad yn cyfodi am ddiwygiad yn y cyfreithiau, a bod y Tywysogion hyn yn cyfaddef y defnyddioldeb o hynny. Gwelwyd y cyfryw angenrheidrwydd amryw weithiau o'r blaen. Yr oedd hen gyfreithiau *Dyfnwal Moelmud* wedi cael eu hadgyweiriaw gan *Hywel Dda*, yn ol gofyniadau yr oes honno. Ond yn mhen cant a hanner o flynyddoedd yr oedd anian yr amseroedd wedi cyfnewid, ae yr oedd galw am gyfnewidiad a diwygiadau cyfattebol yn

y cyfreithiau. Ac felly, *Bleddyn ap Cynfyn* ac ereill a wnaethant y cyfryw ddiwygiadau. Ac ysgatfydd ar ol yr un yspaid o amser, fod cyflwr y wlad gwedi cyfnewid drachefn cymmaint a galw am adgymhwysiad o'r cyfreithiau at ddull greddfol yr oes: ac hefyd fod y Tywysogion rhagenwedig yn ymddwyn gyda golwg at hynny. Ond nid yw hyn yn cynwys y prawf lleiaf fod un na'r nall yn dymuno ymostwng i lywodraeth y Saeson. Un peth oedd cymhwysaw eu defodau yn ol cerddediad cynheddfawl yr oes; a pheth arall oedd ymostwng i lywodraeth estroniaid.

Nid oedd cyfreithiau Lloegr ddim yn hollol ddiwall, amryw oesoedd ar ol yr amseroedd hynny. Ond pan yr ystyriom ni hwy fal ag yr ymddangosent ar y pryd hwnnw, gyda'u *Fforestau*, a'u *Game*, a'u trethiadau, nid tebygol y buasai neb rhyw ddynion eu hoffi cymmaint, a gadael eu harferion hendeidiol er eu mwyn.

Y mae yn ddilys mai amcanion *Iorwerth*, yn yr holiadau hyn, ydoedd profi hanfodiad y dull Lloegraidd o gynnal brawdlysoedd yn y Dywysogaeth, i'r dyben o helaethu sefydliad ei lysoedd ei hun. A hawdd gellir meddwl mai effeithiad y cyfryw ddirprwyaeth ydoedd ei gadarnhau yn ei waith o wthio ei swyddogion ei hun ar y Cymry, a sefydlu ei lysoedd ei hun trwy'r wlad. A chan fod y Cymry yn gweled nad oedd eu cyflwr ddim yn gwella, ac hefyd amryw o honynt yn cofio y sarhad a gawsant pan yn Llundain, penderfynasant, unwaith etto, ysgwyd ymaith y iau estronaidd. Ac heblaw hyn, yr oedd amgylchiad arall newydd gymmeryd lle, yr hwn a gydweithredai tuag at ddwyn i ben y cyfryw fudiad; a hwn oedd marwolaeth y Dywysoges *Eleanor*, yr hon, yn y flwyddyn hyn, 1280, a fu farw ar ei gwely esgor, wedi geni iddi ferch;* trwy yr hwn ddichweiniad y diddymwyd yr unig rwymau a allasent uno y Tywysawg â'r genedl Loegraidd. Gellir ychwanegu fod y Tywysawg o gylch yr amser yma, wedi cael ei gyffroi yn fawr i ddigofaint, trwy dderbyn gwysiad i ymddangos yn *Nhrefaldwyn*, i atteb mewn dadleuad cyfreithiol rhyngddo ef a *Gruffydd ap Gwenwynwyn*, perthynol i feddiannau, y rhai a ddalai dan y brenin, yn y cyffindiroedd; yr hyn wysiad oedd yn wrthwynebol i ddefodau Cymru, y rhai a ofynent fod pob dadl yn nghylch tiroedd i gael ei benderfynu ar y tiroedd hynny.

Hefyd, yr oedd *Dafydd*, brawd y Tywysawg, o gylch yr amser yma, yn dechreu blasu ffrwythau ei wrthgiliad at y Saeson; canys cafodd yntau ei wysio i lys *Caer*, perthynol i ddadl cyfreithiol yn Nghymru, yn draws i ddefodau y wlad; ac hefyd oddef sarhad a chollediou mewn amryw bethau. Mewn gair, yr oedd y cyfan o'r Dywysogaeth yn teimlo yr un doluriau, ac yn barod i ymdrechu iddeu symmud ymaith. Am hynny, rhai o bendefig-

* Y ferch hon a enwyd *Gwenllian*.

ion yr ardal lle y trigai, a ddaethant at *Ddafydd*, ac a lwyddasant i gael ganthaw ymgymmodi â'i frawd, a chyduno âg ef i geisio ysgwyd ymaith y baich cyffredinol. Ar ol ffurfio cytundeb i'r dyben hwnnw, yr hwn a wnaethpwyd yn y flwyddyn 1281, *Dafydd* a ymdynodd yn ddirgel o lys y brenin, ac a ddaeth i Gymru. Ac ar nos Sul y Blodau y dechreuodd efe y rhyfel; a'r noswaith honno yn dywyll a themhestlog, efe a ymosododd ar gastell *Hawarden*, ar ba un yr oedd *Sir Roger Clifford* yn geidwad, yr hwn a gymmerwyd yn garcharor, wedi ei glwyfo yn drwm; cymmerwyd hefyd *Paen Gameis*, a lladdwyd un o'r enw *Fulk Trigold*, a llawer o farchogion, ac ereill.

Yna, *Dafydd* a *Llewelyn* a unasant eu byddinoedd, ac a aethant yn erbyn cestyll *Fflint* a *Rhuddlan*, ac a'u gwarchaeasant. Ac yn gydweithredol a hynny, ymosododd *Gruffydd ap Meredydd* a *Rhys ap Maelgwn* ar *Aberystwyth*, ac a losgasant y dref a'r castell. A'r un amser, y goresgynodd *Rhys ap Maelgwn* gantref *Penwedig;* a *Gruffydd ap Meredydd* a oresgynodd gwmmwd *Mefenydd.* Amryw bendefigion Cymraeg ereill a gyfodasant trwy y wlad, ac a oresgynasant feddianau y Saeson; a minteioedd a ruthrasant ar y tiriogaethau cyfnesawl Lloegraidd, ac a'u hanrheithiasant.

Yr oedd y brenin *Iorwerth* ar y pryd hyn yn nhref *Devizes*, yn cadw gwyliau'r Pasc, heb ddisgwyl am y cyfryw ddigwyddiad; a phan glywodd am dano, gwnaeth darpariadau i fyned i Gymru, iddei wrthladd. Ond cyn mudo ymaith, anfonodd lythyron at y ddau archesgob iddeu gorchymmyn i gyhoeddu dedryd Eglwysig yn erbyn y Tywysawg a'i bleidwyr. Ond cyn cyflawni hynny, *Ieuan Peckham*, yr hwn oedd Archesgob *Caergaint*, a gymmerodd mewn llaw, a hynny, fel yr haera ei hun, yn ddiarwybod i'r brenin, deithio i Gymru i ymweled â'r Tywysawg a'r pendefigion ereill, ac i geisio eu troi yn ol at eu hufudd-dod. Yn y cyfamser, *Iorwerth* a anfonodd gynhorthwy i'r cestyll y rhai oeddynt yn warchâeedig gan y Tywysawg; ac a wysodd ei ddeiliaid milwraidd i ymgynnull yn *Nghaerwrangon*, yn mis Mai. Yna, cyfododd dreth ar y deyrnas, a benthycodd arian gan y masnachwyr, a'r Eglwyswyr, a'r pendefigion yn yr Iwerddon. Yr oedd dymuniad cyffredinol yn mhlith ei ddeiliaid a'i gymmydogion i gydweithredi â'r brenin yn y cadgyrchiad hwn; ac fel y sylwa *Warrington*, hyd nod yr *Albaniaid* a gynnygiasant eu cynhorthwy, heb feddwl y byddai iddynt hwy eu hunain, cyn hir, deimlo effeithiau uchelfrydedd *Iorwerth.*

Mor gynted ag y cyflawnodd ei ddarpariadau, y brenin a gychwynodd ar ei daith, tua diwedd Ebrill; ac a anfonodd gwysiad fod iddei holl ddeiliaid milwraidd ei gyfarfod yn *Rhuddlan*, yn mis Mehefin. Ar ei fford tua *Chaer*, unodd pobl y wlad âg ef, ac efe a'u gosododd i agoryd

y ffyrdd o flaen ei fyddin. Ar ol gorphwys pythefnos yn *Nghaer*, efe a aeth yn erbyn castell *Estyn*, [*Hope*,] yr hwn a roddwyd i fynu iddo yn ddiwrthladd. Yna, cerddodd tua *Rhuddlan;* a'r Cymry a ymadawsant a gwarchaead y castell, ac a giliasant tuag *Eryri*. Ond ni wnaethpwyd hyn heb ymladd, canys bu frwydr rhwng y Cymry a rhan o'r fyddin, yn mha un y gorthrechwyd y Saeson; ac y cymmerwyd pedwar ar ddeg o fanieri, ac amryw bendefigion a laddwyd, a'r brenin ei hun a orfu ddychwelyd gyda gwarth, ac ymddiogelu yn nghastell *Estyn*, yr hwn yr oedd newydd ei ennill.*

Yn nghanol Gorphenaf, y brenin a oedd yn nghastell *Rhuddlan*, lle yr anfonodd orchymmyn i dori lawr y coedydd, i wneuthur ffordd iddei wyr. Ac hefyd rhoddodd anrhegion o amryw diroedd yn y pedwar cantref i rai o'i farwniaid.

Yn ystod yr amser yma yr oedd Archesgob Caergaint wedi dyfod i Gymru;† ac yno efe a anfonodd at y Tywysawg, ac at ei fobl, ysgrif yn cynwys amryw sylwadau. Yn y man cyntaf, dywedai ei fod ef gwedi dyfod i'r parthau hynny er eu lles ysprydol a daearol, ac er cariad tuag attynt, ac hefyd yn erbyn ewyllys y brenin. Ei fod ef yn taer erfyn arnynt ddychwelyd i heddwch â'r brenin, ac yn cynnyg ei wasanaeth i ddwyn hynny i ben yn y modd goreu a allai. Os byddai iddynt wrthod ei erfyniad, y byddai iddo fynegi eu cyndynrwydd i lys *Rhufain*, *&c.* Achwyniai hefyd fod y Cymry yn lladd eu carcharorion, yn lle gadael eu hadbrynu am arian; a'u bod hyd nod weithiau yn lladd y rhai a dderbyniasent arian am eu rhyddhad. Eu bod unwaith yn parchu pethau crefyddol, ond yn awr yn eu dirmygu, gan gynnal rhyfel, a lladd, a llosgi, ar amseroedd cysegredig. Ac ar ol eu rhybuddio na allent ddim yn hir gynnal eu gwrthryfel, dymunai arnynt fynegi iddo ef y modd y gellid ffurfio heddwch, a pha gyfreithiau neu ammodan oedd gwedi eu tori. Ac er y gallai y cyfryw afiawnderau gymmeryd lle, etto, ni chaniateid iddynt hwy, megys barnwyr yn eu hachaws eu hunain, felly wrthladd mawrhydri y brenin. Ac os na ddeuent i heddwch, ysgatfydd yr aed yn eu herbyn trwy ryfel, a cherydd Eglwysig a gwladwriaethawl.

I'r ysgrif hon yr attebodd y Tywysawg mewn llythyr, gwedi ei amseri, *Garth Celyn*, ar ddydd gwyl Martin, sef yn niwedd Hydref; dechreua gyda'r anerchiad cyffredinol—

"At y Parchedicaf dâd, &c.—*Ieuan*, Arehesgob Caergaint, &c. *Llewelyn*, Tywysawg Cymru, ac Arglwydd Eryri,‡ yn anfon annerch, &c." Yn y llythyr hwn y mae y Tywysawg, yn y modd mwyaf parchus, yn cyfarch yr Archesgob, yn diolch iddo am ei lafuriad cariadus, ac yn mynegi ei

* Warrington. † Yr ail waith, medd Warrington. ‡ "*Leolinus Princeps Walliæ, Dominus Snaudon.*" Gwel y cysefin o'r ysgrifau hyn, yn Powel a Wynne.

barodrwydd i ymheddychu. Ac yna, rhydd atteb i bob ban o'r llythyr, yn rheolaidd; yn yr hyn y gwrthergydia yr holl gyhyddiadau, yn erbyn y Saeson eu hunain, gan ddywedyd mai hwynthwy oeddynt y troseddwyr, yn dyfod iddei wlad ef ac yn lladd ac anrheithio yno, ac nad oeddynt y Cymry ond yn unig yn amddiffyn eu hunain. Am fod rhyw un wedi cael ei ladd ar ol derbyn arian am ei rhyddhad, mynegai y Tywysawg ei alar am hynny, a dywedai nad oedd efe ddim yn noddi y troseddwr, eithr ei fod gwedi dianc, ac yn crwydro ar hyd y coedydd megys lleidr. Am fod rhai wedi dechreu y rhyfel mewn amser anaddas,* nid oodd y Tywysawg yn wybodus o hynny hyd ar ol ei ddigwyddiad; ond hwynthwy a haerent y buasent naill ai yn feirw neu yn garcharorion, ac na feiddient drigo yn eu tai, na cherdded allan, oddieithr yn arfawg. Ac felly, rhag ofn, y gwnaethant y peth ar yr amser hwnnw. "Ond," medd y Tywysawg, "am y pethau hynny a wnaethom yn erbyn yr Arglwydd; megys gwir Gristionogion, trwy ras Duw ni a edifarhewn; ac ni fydd mai o'n hachos ni y parheir y rhyfel, tra y byddwn yn ddigolled, fel y dylem fod. Ond rhag ein dietifeddu, a'n lladd yn barhaus, y mae yn rhaid i ni amddiffyn ein hunain fel y gallom."

Dywedai y Tywysawg hefyd ei fod ef yn barod i ymheddychu, a gwneuthur iawn am bob colledigion, ond cael yr un fraint iddo ei hunan; ond tra'r oedd y fath orthrymder yn parhau, annichonadwy ydoedd ffurfio heddwch, gan fod y bobl yn dewis yn hytrach marw na byw. Anfonodd hefyd gofrestr o'i achwyniadau, yn nghydag eiddo ereill o'i gydwladwyr.

Yn y ban cyntaf o'r rhai hyn, y Tywysawg a ddywedai fod ammodau yr heddwch yn sefydlu fod iddo mewn dadleuon cyfreithiol, allan o'r pedwar cantref, ymdrin yr achos yn ol defodau yr ardal yn mha un y byddai y tiroedd mewn dadl. Ond yr ammod hyn ni chadwyd, perthynol i diroedd *Arwystli;* canys gan fod y tiroedd hynny yn Nghymru, dylasent fod dan y cyfreithiau Cymraeg; ond y brenin a berodd i'r Tywysawg fyned i fannau ereill, i frawdlysoedd y brenin, yr hyn oedd yn groes i gyfreithiau Cymru.

Yn nesaf, crybwylla am yr ammod, fod i bob un o'r Cymry fwynhau ei eiddo yn ddirwystr, fel cyn y rhyfel. Ond hwn hefyd a dorwyd; canys *Reginald de Grey* a flinodd pobl *Tegengel* âg amrywiol ddadleuon; a *Rhys Fychan ap Rhys ap Maelgwn* a yspeiliwyd o'i diroedd yn *Ngenau'r Glyn.*

Hefyd, cytunwyd yn yr ammodiad hwnnw, fod *Gruffydd Fychan* i wriogaethu i'r brenin am ardal *Iâl*, ac i'r Tywysawg am *Edeyrniawn;* ond yr ammodiad hyn ni chadwyd.

Yn mhlith yr un fath achwyniabaw, y Tywysawg a ddywaid i'r brenin

* Hwn a gyfeirid at gymmeriad castell *Hawarden* ar nos Sul y Blodau, meddyliaf.

rahodd ef i ddyfod i *Gaerwrangon*, gan addaw iddaw, gyda geiriau ynion, y rhoddai iddaw ei berthynas yn briod; ac a'i cynnysgaeddai ef awer o anrhydeddau. Ond pan ddaeth yno, y brenin, ar ddydd y das, a chyn yr offeren, a berodd osod o'i flaen ysgrif iddei thanysgrif- yn cynnwys pethau gwrthwynebol i'r ammodau sefydledig.* Ac yna, dda amryw achwyniadau perthynol i longddrylliadau, ac achosion l; a diwedda gyda dywedyd fod gorthrymderau ereill dirifedi yn odedig.

'na, canlyn achwyniadau *Dafydd ap Gruffydd*, a dywedir i'r in gynt, pan yn Iarll Caer, a phan ddaeth *Dafydd* atto i wriogaethu, i iddo ddau gantref, sef *Dyffryn Clwyd* a *Chynmeirch;* ac ar ol ny, pan ddaeth yn frenin,cadarnhaodd iddo y rhodd. Ond pan fu yr Arglwyddes *Gwenllian de Lacy*, yr oedd tri phentref yn yr l hynny, y rhai a ddaliai hi dros ei bywyd; ac ar ol hynny, a ddelent ldiant *Dafydd*. Ond y brenin a'u cymmerodd hwy iddo ei hun; yn s i gyfiawnder.

r oedd *Dafydd* yn dala yn ei feddiant y pentrefi, *Hope* ac *Estyn*, am ai nid oedd i atteb i nebun, oddieithr yn ol cyfreithiau Cymru. r Ynad *Caer* a'i gwysodd i lys *Caer*, i atteb i hawliad Sais, o'r enw *liam de Vanabel*, perthynol i'r unrhyw bentrefi. Ac er i *Ddafydd* yn yn fynych ei fod yn cael ei wysaw yn annghyfiawn, etto ni chafodd iwnder.

r un Ynad o *Gaer* a dorodd i lawr allt coed *Lleweny*, o eiddo *ydd*, a'i goedydd yn *Hope;* nid yn unig i adeiladu yn *Rhuddlan*, a nau ereill yn y wlad, ond hefyd cludodd hwy ymaith i'r *Iwerddon*, u gwerthu.

n ddaliodd *Dafydd* rai yspeilwyr o dir y brenin, y sawl oeddynt yn u yn y coedydd, ac a berodd eu crogi, cyhuddwyd ef gan Ynad y in, ei fod yn rhoddi nawdd i'r cyfryw ddrwgweithredwyr.

to, yr oedd ban yn yr ammodau heddwch, fod y Cymry i gael trin eu osion brawdlysawl yn ol cyfreithiau Cymru; eithr hyn ni chadwyd ynol i *Ddafydd* a'i wyr mewn un peth pwy bynnag.

n olaf, dywedai, pan erfyniodd *Dafydd* am iawnder, ni allai ei gael, n un modd. Ond yn mhellach na hyn, cafodd ei rybyddio gan rai o brenin, y byddai, ar gyrchiad cyntaf *Reginald de Grey* allan o'r i *Ddafydd* gael ei ddala, a'i blant eu cadw yn wystlon; ac hefyd peilid ei gastell o *Hope*, ac y torid i lawr ei goedydd. A chan fod *ydd* gwedi llafurio cymmaint dros y brenin mewn amryw ryfeloedd, ystal yn Lloegr ac yn Nghymru, ac yr ymddarostyngodd i gynnifer o

* Crybwylliwyd am hyn eisioes.

beryglon a niweidiau, ac a gollodd trwy hynny y goreu a'r dewraf o'i wyr, a llawer ereill; etto, nis gallai fyth gael iawnder na gwelliant. O herwydd y gorthrymderau hyn, a'r peryglon, gan ofni ei angau ei hun, a'i feibion, neu ynte garchariad parhaus, neu, ar y lleiaf, o hir amser; y gorfu arnaw ddechreu, fal y gallai, ymddiffyn ei hun a'i eiddo.

### *Achwyniadau Pobl Cantref Rhos.*

Dywedent i'r brenin *Iorwerth*, yn gystal a'i dad, *Henri III.* addaw iddynt, i bob un o honynt gael mwynhau ei gyfreithiau a'i ddefodau neilltuol ei hun; ond na chyflawnwyd hyn. Ac yna, adroddant am laddiad dau bendefig Cymraeg, ar wahanol brydiau, gan ddeiliaid y brenin; a phan ceisiwyd eu dwyn i gosp, Ynadon y brenin a'u gollyngasant yn rhydd.

Hefyd, dywedant fod rhai gwyrda Cymraeg wrth ddadleuo am ryw dir, gwedi talu arian mawr i'r brenin, yn ol gofyniad y llys; ond ar ol bod i'r tir gael ei farnu iddynt, *Reginald de Grey* a afaelodd ar y tir, a'r hyn oll a gynhwysai; ac felly, collasant yn gyntaf eu harian, ac wedi hynny eu tir.

Ychwanegent amryw achwynion perthynol i doriad eu coedydd gan y Saeson; camdriniaeth y Cymry pan ddelent i farchnad *Rhuddlan*; ac amrywiol orthrymiadau ereill am ba rai y ceisiasant iawnder gan y brenin, heb fyth lwyddo yn hynny; o herwydd ba achos credent eu bod yn rhyddion oddiwrth y llŵ a wnaethent i'r brenin.

### *Achwyniad Rhys Fychan o Ystrad Tywi.*

Dywed *Rhys Fychan*, y darfu, wedi iddo roddi i fynu i'r brenin gastell *Dinefawr*, yn ol yr ammodiad, ac yntau yn mhabell *Sir Payn de Gadfry*, i chwech o wyrda *Rhys* gael eu lladd; am yr hyn ni allai fyth dderbyn iawn.

Hefyd, *Ieuan Giffard* a hawliodd etifeddiaeth *Rhys* yn yr *Hirfryn*; a *Rhys* a erfyniodd ar law y brenin, gyfraith ei wlad, neu gyfraith Arglwyddiaeth Caerfyrddin, yn mha ardal yr oedd hynafiaid *Rhys* yn cael eu cyfreithiau pan oeddynt mewn heddwch a'r Saeson, a than eu llywodraeth. Ond ni allodd *Rhys* gael un gyfraith; a chollodd ei dir yn hollol. Mynnent iddo atteb yn mrawdlys swydd *Henffordd*, lle nid attebasai un o'i hynafiaid erioed.

Hefyd, cyflawnasant lawer o ysgelerwaith yn nhiroedd *Rhys*: gan halogi Eglwys *Llangadawc* yn fawr; ac a wnaethant farchdŷ ynddi, ac

iasant a llosgasant hi, yn gystal ag Eglwysydd *Dingad* a *Llan-f.*

*Achwyniadau Llewelyn ap Rhys, a Hywel ei frawd.*

ol ffurfiad heddwch rhwng y brenin *Henri III.* a'r Tywysawg, y ı a ganiataodd i'r Tywysawg wriogaeth y pendefigion uchod, ac a'i ıhaodd trwy ysgrifau. Ond yn awr, y brenin *Iorwerth* a ddietifedda rda hynny, gan nacau iddynt gyfreithiau a defodau Cymru, fel na eu tiroedd na thrwy gyfraith na chaniatad.

*Achwyniadau Meibion Meredydd ap Owain.*

vedir yma, i'r brenin, yn yr ammodau heddwch, ganiatau i'r pende-hyn eu priod etifeddiaeth, sef *Geneu'r Glyn* a *Chreuddyn;* ond ar nny, yn draws iddei roddiant a'r ammodau, dygodd oddiwrthynt y l hynny, gan ballu iddynt holl gyfreithiau a defodau Cymru, a r, ac Arglwyddiaeth Caerfyrddin. Yna, achwynir am orthrymderau yn bennodol am ddygiad oddiar y Cymry o'u cyfreithiau cysefin, a ) y rhai Saesonaeg yn eu lle. A dywedir fod y Cymry yn mwynhau eu hiau eu huuain hyd nes y dugpwyd hwy oddiarnynt, ar ol y rhyfel laf.

*Achwyniadau holl bendefigion Ystradalun.*

gosir yma y gorthrymderau a oddefwyd oddiwrth *Rhosser de d*, a'i raglaw *Rhosser Croscil;* sef iddynt wthio i mewn gyfreithiau ', a phallu iawnder i'r bobl. Ac yn mhlith gormesau ereill, gwnaethant l y wlad yn *Fforest;* ac o achos cael troed carw yn safn rhyw gi, tri o ddynion eu hyspeilio o'u tiroedd.

ıdwn yma rai o freintiau newyddion cyfreithiau Lloegr yn yr oesoedd rhai a gymhellid ar y Cymry; nid amgen na sefydliad *Cyfreithiau ıe.* Troi tiroedd dynion yn anialwch, er meithrin anifeiliaid helwr-a than yr enw *Fforest*, noddi y cyfryw ddifrodiad trwy law y h. Ac o achos gweled ci yn bwyta troed carw, yna, rhyfygu fod hiau y *game* wedi eu troseddu; ac am hynny dirwyaw pobl yr ardal. ll ormesiadau a ddygpwyd i mewn gan y Normaniaid nid oedd neb 'y annghyfiawn eu hegwyddor, neu ınwy blin eu gweithrediad, na thiau y *game.* Dangoswyd eisioes nad oeddynt ddim yn hanfodi cenedl cyn eu dwyn i mewn gan yr Arglwyddi Normanaidd. Ac y

mae y cofiant uchod yn dangos mor wrthflasus yr oeddent gan ein hen deidiau.

### *Achwyniadau Pobl Penllyn.*

Yr achwyniadau hyn a wneir yn erbyn *Henri Gamber*, cwnstabl y *Monachlog Gwyn*, [wrth *Groesoswallt.*] Crybwyllant am amryw o ddynion y rhai a gawsant gamdriniaeth brawdlysawl; megys cael eu dirwyaw yn annghyfiawn. Ac wrth ystyried y pethau hyn, er nad oeddynt o fawr bwys ynddynt eu hunain, etto dangosant arferiad o ormesiadau parhaus tra phigog a chyffrous. *Addaf y Rhingyll* a gafodd ei ddirwyo mewn saith swllt ac wyth ceiniog, a chaseg, gwerth punt, am afaelyd mewn lleidr, yr hwn oedd wedi dwyn ei gaseg.

*Ednyfed ap Gruffydd* a ddirwywyd mewn saith swllt ar hugain, am werthu caseg o fewn filldir i'r dref; yr hyn a arferent ei wneud er cyn cof.

*Rhiryd ap Gwyn* a ddirwywyd mewn pump swllt, ac a ddodwyd yn ngharchar, am iddo roddi ergyd i eidion gwyllt, yr hwn a'i troediodd yn y farchnad.

*Cadwgan Ddu* a dirwywyd mewn chwech swllt a phedair ceiniog, am wrthod derbyn hen arian yn lle y newydd.

*Madawc Goch ap Ithel* a yspeiliwyd o eidion gwerth un swllt ar ddeg a chwe'cheiniog. "A throseddau ereill dirifedi a gyflawnwyd."

### *Achwyniadau Goronw ap Heilyn.*

Dywaid i ddeiliad i *Goronw ap Heilyn* gael ei wysaw i frawdlys y brenin, yn ddiachos. Yna, *Goronw* a aeth yno i amddiffyn ei ddeiliad; ac a ofynodd am brawf, naill ai yn ol cyfraith Lloegr, neu yn ol cyfraith arferol y wlad. Ond ni chafodd nag un na'r nall; a'i ddeiliad a ddirwywyd mewn saith punt ar hugain a thair ffyrllyng. Ar hyn, *Goronw* a aeth i Lundain i geisio iawn, ac a helodd bump morc a phedwar swllt; a chafodd addewid o iawn, ond ni dderbyniodd fyth o honno.

Crybwyllir hefyd am ddwy daith arall a wnaeth *Goronw* i Lundain, ar wahanol achosion o'r fath. Ac ar yr achos olaf, daeth *Reginald de Grey*, a dywedodd fod y brenin wedi traddodi iddo ef lywodraeth y wlad, ac a gymmerodd lawer o eiddo *Goronw* oddiwrthaw, ac a ballodd iddo un iawnder.

### *Achwyniadau Pendefigion Tegengel.*

Dywedir i'r brenin *Iorwerth* addaw i bobl *Tegengel* yr un ryw freintiau ag y mwynhaesent dan *Henri III.* ond ar ol hynny iddynt gael eu hyspeilio o honynt oll.

Yn gyntaf, cawsant eu difeddianu o gyfreithiau a defodau eu gwlad; sef, fod *Iorwerth* yn eu cymhell i ymdrin yn ol cyfreithiau Lloegr, pan, trwy eu braint, y dylasent fyned yn ol cyfraith Cymru, a hynny yn *Nhref Edwyn*, a *Rhuddlan*, a *Chaerwys*. A goreuon y wlad a ddaliwyd, o herwydd eu bod yn gofyn am ymdrin yn *Nhref Edwyn*, yn ol cyfraith a defod Cymru, fel ag oedd eu braint.

Yn ail, yr hyn a fyddai un o Ynadon y brenin yn ei feirniadu, byddai ei ganlynwr yn ei ddadfeirniadu. Yn achos *Dafydd*, darfu i *Reginald de Grey* alw yn ol yr hyn yr oedd ei ragflaenydd wedi ei gadarnhau.

Fod os delid un o wyrda y wlad o herwydd ryw gyhuddiad neu gilydd, ni chai ei ollwng yn rhydd ar feichniaeth, yn ol yr hyn a ddylid iddo.

Yr achwyniadau hyn a gynhwysant amryw bethau cyffelyb; ac ychwanegant na feiddiai neb anfon cenhadon at y brenin i achwyn, rhag ofn *Reginald de Grey*, yr hwn a haerodd, â'i enau ei hun, os dalai efe neb o'r cyfryw genhadon, y torai efe ei pennau hwy ymaith.

### *Achwyniadau Llewelyn ap Gruffydd ap Madawc.*

Y gwr hwn a achwynai fod *Cwntstabl Croesoswallt* wedi ei niweidiaw mewn amryw bethau; megys cymmeryd oddiwrthaw, trwy drais, y tir porfa cyffredin, yn draws i gyfraith y wlad—ymgyfreitha âg ef yn ddiachos—carcharu a chrogi ei wyr yn annghyfreithlawn—gafaelyd yn ei anifeiliaid, a'u cadw; ac amryw bethau cyflelyb.

Yr ysgrifau yn cynwys yr achwyniadau uchod, a roddwyd i'r Archesgob, ac yntef a'u dygodd at y brenin, ac a erfyniodd arnaw fod iddynt ganiatâd i ddyfod eu hunain, a'u gosod ger ei fron, a dychweliad diogel. Yntef a attebodd fod iddynt i ddyfod ac i ddychwelyd, os ymddangosai mewn cyfiawnder eu bod yn haeddu dychwelyd.

Yna'r Archesgob a aeth i Eryri at y Tywysawg, i geisio ei ddwyn ef a'i frawd *Dafydd*, a'r Cymry ereill, i ymostwng i'r brenin. Ac ar ol llawer o ymdraethiant, y Tywysawg a attebodd ei fod yn barod i ymostwng i'r brenin, ond rhagosod dau o delerau, sef oedd, cadw yn ddiogel ei gydwybod, gan yr hyn yr oedd yn rhwym i gynnorthwyo ei bobl; ac hefyd cadw yn ddiogel gweddeidd-dra ei sefyllfa.

Yr Archesgob a ddychwelodd â'r atteb hwn at y brenin, yr hwn a ddywedodd na fynnai ddim ammodau gan y Tywysawg a'i bobl oddieithr eu hymostyngiad iddo ef yn mhob peth. A'r Archesgob yn gwybod na chydsyniai y Cymry i ymostwng i'r brenin, oddieithr ar delerau boddhaol iddynt hwy eu hunain, cafodd ganiatad i ymgynghori â'r pendefigion

Lloegraidd yn gyd-ddrychiol yno, y rhai a gyttunasant oll i'r cynnygion canlynol, y rhai yr anfonodd yr Archesgob at y Tywysawg.

*Yr ammodau canlynol oeddynt i gael eu datgan i'r Tywysawg, yn ngwydd ei gyngor.*

"Ni fyn y brenin ddim ammodiad perthynol i'r pedwar cantref, a'r tiroedd o fewn i'r cyfryw, y rhai a roddodd efe iddei bendefigion; nac 'chwaith perthynol i ynys Fon.

"Am ddeiliaid y cyfryw gantrefi, os dychwelant i heddwch, y mae yn bwriadu gwneuthur fel y gwedda iddei fawrhydri. Ond yr ydym yn credu yr ymddwyn efe yn dirion tuag attynt, os deuant i heddwch; a thuag at hyn, nyni a'n cyfeillion ereill a lafuriwn yn egniol, ac yr ydym yn gobeithio cael gwrandawiad llwyddianus.

"Am *Lewelyn* ei hun, ni allasom gael un atteb arall na bod iddo ymostwng yn ddiammodiad i ewyllys y brenin; ac yr ydym yn credu yn ddilys y bydd i'r brenin ymddwyn yn dirion tuag atto. Ac er dwyn hynny i ben, yr ydym yn bwriadu, gyda'r cyfeillion ereill, lafuriaw â'n holl egni; ac hefyd hyderwn y cawn ein gwrandaw gyda llwyddiant."

*Y canlynol ydoedd iddei ddywedyd wrth y Tywysawg yn ddirgel.*

"Yn gyntaf; fod y pendefigion wedi cyttuno ar y dull hyn o'r tiriondeb brenhinol, sef ar ymostyngiad yr Arglwydd *Llewelyn* i'r brenin, y bydd i'r brenin ddarparu cynhaliaeth anrhydeddus iddaw o fil o bunnodd, o ryw Iarllaeth anrhydeddus, yn rhyw le yn Lloegr; ond etto fel y bydd i *Lewelyn* ddodi y brenin mewn meddiant o *Eryri*, yn gyflawn, yn fythol, ac yn heddychol. A'r brenin a ddarpara dros ferch y Tywysawg yn ol y cyfaddasrwydd iddei briod waed ei hun.* Ac y maent yn gobeithio y byddant alluog i dueddu meddwl y brenin at hyn.

"Etto, os digwydd i *Lewelyn* gymmeryd gwraig, a chael o honi fab, y pendefigion a fwriadant erfyn ar y brenin fod i'r hiliogaeth hynny ganlyn *Llewelyn* yn y tiriogaeth, sef y Iarllaeth, mewn etifeddiaeth fythol o eppil gwrywaidd."

"Etto, am y bobl dan briodol lywodraeth y Tywysawg, yn gystal yn Eryri ag mewn un lle arall, darperir yn gyflawn am eu diogelwch, a'u hanrhydedd. Ac at hyn y mae y tiriondeb brenhinol yn ddigon tueddol, gan ddymuno darparu yn gysyrus i'r bobl."

* Cyfeiria at ei berthynas i ferch *Llewelyn*.

*anlynol a ddywedpwyd wrth Dafydd, brawd Llewelyn, yn ddirgel.*

ȝyntaf; os er clod i Dduw ac iddo ei hun, y cymmer y groes, ac ir sanctaidd, darperir iddo yn anrhydeddus yn ol cyfaddasrwydd flwr; ond fel na ddychwelo oddieithr trwy ei alw adref dan dirionenin. Ac ni a erfyniwn ar y brenin, ac yr ydym yn gobeithio lawiad llwyddianus, y bydd i'r brenin wneud darpariad iddei eppil

ıoll bethau hyn, yr ydym o'n tueddiant ein hunain yn ychwanegu y, fod pob peryglon yn dibynu uwch eu pennau, yn llawer mwy g yr ydym ni gwedi traethu a'n lleferydd. Yr ydym yn ysgrifenu celyd, ond llawer calettach ydyw cael rhuthro arnynt trwy fau, ac yn y diwedd, gael eu hollol ddiddymu; canys y mae y yn ychwanegu yn feunyddiol.

ı, peth anhawdd iawn yw bod bob amser mewn rhyfel; byw mewn 'sbryd a chorff, ac yn wastad ymddigasu mewn ddichelliadau; a yn, byw a marw mewn pechod marwol diderfyn, a chynfigen.

ı: o blegyd yr hyn, galarwn yn fawr, os na ddeuwch mewn un heddwch; yn ddiamheuol yr ydym yn ofni bydd rhaid i ddedryd g gael ei lwytho arnoch yn annoddefadwy o herwydd eich trosam ba rai ni allwch ddim ymesgusodi, yn mha rai y cewch druydd, os deuwch i heddwch. Ac am y pethau hyn rhodder i ni ȝrifenedig."

thr hwn, anfonodd y Tywysawg yr atteb canlynol.

Parchedicaf Dad, &c. *Ieuan*, Archesgob Caergaint, &c. *Llewelyn*, wg Cymru, Arglwydd *Eryri*, [*Princeps Walliæ, Dominus n*,] yn anfon annerch, &c."

ctaidd Dâd,—megys ag y cynghorasoch i ni, yr ydym yn barod i heddwch â'r brenin, ond etto mewn dull dibergyl a gweddus i ni ain. Ond gan nad yw y dull cynwysedig yn y telerau a anfonwyd ldim yn y lleiaf nag yn ddiberygl nag yn weddus, fel ag yr ymi ni a'n cynghor, ac am ba un y mae pawb a'i clywant yn synnu ', am ei fod yn tueddu fwy i'n dinystr, a distryw ein pobl, a nag i'n anrhydedd a'n diogelwch; ni ad ein cynghor i ni mewn un yttuno iddo, pe dymunem; a'r pendefigion ereill hefyd, a'r bobl llywodraeth, ni chydsyniant mewn un modd iddo, o herwydd y ıol ddinystr a dilead, yr hyn a ddigwyddai iddynt o hynny.

l etto, erfyniwn ar eich Tadoldeb, gan eich bod wedi llafurio cymyd hyn tuag ffufiro heddwch dyledus, gweddus, a diogel, y bydd i

chwi barhau i hynny, gan ddwys ystyried ar y telerau y rhai a anfonom attoch yn ysgrifenedig. O herwydd y mae yn fwy anrhydeddus, ac yn fwy cyson â chywirfarn, fod i ni, y rhai sydd â iawn hawl i'r tiroedd, eu dala hwy dan yr Arglwydd frenin, na'n dietifeddu ni, a'u traddodi i ddieithriaid. Rhoddwyd yn *Ngarthcelyn*."

*Attebion y Cymry.*

"Yn gyntaf: er na fyn y brenin ddim telerau ammodiad am y pedwar cantref, a'r tiroedd ereill a roddodd efe iddei bendefigion, nag am ynys Fon, etto, cyngor y Tywysawg ni chaniata ffurfio heddwch, oddieithr gydag ammodiad am y cyfryw. A hynny o achos fod y cantrefi hyn yn iawn feddiant y Tywysawg; pa rai a berthynent o wir gyfiawnder i'r Tywysogion, ei ragflaenwyr, o amser *Camber* mab *Brutus*: yn gystal, o herwydd eu bod o'i Dywysogaeth, cadarnhad o'r hon a gafodd gan y parchus *Ottobonus*, cennad y Sedd Apostolaidd yn Lloegr, trwy gydsyniad yr Arglwydd frenin, a'i dâd ef, fel ag y gwelir yn eu hysgrifau hwy. Ac hefyd, gan mai mwy cyfiawn ydyw fod i'r gwir etifeddion ddala y cantrefi hynny dan yr Arglwydd frenin, am arian, a'r arferol wasanaethau, na'u rhoddi hwy i ddieithriaid a dyfodiaid, y rhai pe byddent yn llywodraethu yn un lle; etto, gwnant hynny trwy drais a grymusder.

"Hefyd, dywedant yn gyfun, yr holl ddeiliaid o holl gantrefi Cymru, na feiddiant ddyfod at ewyllys y brenin, iddo ef ymddwyn tuag ettynt ol ei frenhinol fawrhydri.

"Yn gyntaf: o herwydd na chadwodd yr Arglwydd frenin, o'r dechreuad, na'r ammodau, na'r llwon, na'r gweithredoedd ysgrifawl tuag at eu Harglwydd y Tywysawg, a hwynthwy.

"Yn ail: o herwydd iddo ymddwyn fel trawslywodraethwr greulonaf tuag at yr Eglwys, a'r gwyr Eglwysig.

"Nad ymrwymir hwy i'r telerau rhagflaenawl, am eu bod yn wyr i'r Tywysawg, yr hwn ei hun sydd barod i ufuddhau i'r Arglwydd frenin, yn ol y gwasanaethau arferol.—Am yr hyn a ddywaid, 'fod i'r Tywysawg ymostwng yn hollol ac yn ddiammod i ewyllys y brenin;' attebant, gan na feiddia neb o'r cantrefi rhagenwedig ymostwng iddei ewyllys, o herwydd yr achosion rhagdraethedig, ni chaniata eu cariad at y Tywysawg iddo yntau ymostwng felly, mewn un modd.

"Etto: perthynol fod pendefigion y brenin i ddarparu fod i fil o bunnau gael eu rhoddi i'r Tywysawg, mewn rhyw fan yn Lloegr; attebir, na ddylai y cyfryw gynhaliaeth gael ei dderbyn, o herwydd ei fod yn cael ei ddarparu gan y pendefigion hynny, y rhai a ymdrechant am ddietifeddiaethu y Tywysawg, fel y gallont feddiannu ei diroedd yn Nghymru.

efyd, nid iawn i'r Tywysawg ymadael â'i etifeddiaeth ei hun a'i hynaf-id yn Nghymru er amser *Brutus*, ac hefyd yn gadarnedig iddo ef gan ınnadwr y Sedd Apostolaidd, fel y mynegwyd eisioes, a derbyn tir yn loegr, lle y mae yn anwybodus o'r iaith, a'r moesau, a'r cyfreithiau, a'r ɜfodau; ac hefyd lle y dichon rhyw ddadleuon eu cyffroi yn ei erbyn, o ɜn gasineb gan ei gymmydogion Saesonaeg, trwy yr hyn y cyll y tir wnnw dros byth.

"Etto: perthynol i fod y brenin yn bwriadu ymddifadu y Tywysawg 'i gysefin etifeddiaeth, nid ymddengys yn debygol, y bydd i'r brenin aniatau iddo feddiannu tir yn Lloegr, lle nid ymddengys fod ganthaw un awl. Ac os na chaniateir i'r Tywysawg feddiannu y tir anffrwythlawn ac ɳfaethedig yr hwn sydd eiddo trwy iawnder etifeddol yn Nghymru, llai caniateir iddo dir maethedig a ffrwythlawn yn Lloegr.

"Etto: Am fod i'r Tywysawg roddi i'r Arglwydd frenin afael ar *Eryri* n hollol, ac yn fythol, ac yn heddychol, attebir gan fod *Eryri* yn gyfran Dywysogaeth Cymru, yr hyn y mae efe a'i rhagflaeniaid gwedi ei ddala r amser *Brutus*, fel y dywedpwyd, ei gyngor ni chaniatâ iddo ymadael 'r lle hwnnw, a chymmeryd lle llai dyledus iddo yn Lloegr."

Ac yna, canlyn anghraifft o yspryd anorchfygadwy, ac anmhlygadwy, yr wn a eilw am yr hoffsyniad dwysaf, a'r parch mwyaf diledryw.

"*Etto: Pobl Eryri a ddywedant, er y bydddai i'r Tywysawg roddi r brenin feddiant o'r cyfryw, etto, hwynthwy ni wnelent wriogaeth i ırhyw estron, o iaith, a moesau, a chyfreithiau, pa un, y maent yn ɔllol yn anwybodus;* o herwydd felly gallai ddigwydd iddynt gael eu vyn i gaethiwaid parhaus, a'u trin gyda chreulonder, megys y bu i'r ntrefi ereill oll oddiamgylch gael eu trin gan swyddogion y brenin, ac ɜill o'i weision, yn fwy creulon na Saraceniaid, fel ag y gwelir yn yr grifau y rhai a anfonasant attoch, Sanctaidd Dâd."

"*Item. Populus Snawdon dicit, quod licet Princeps vellet dare ·gi Seysinam eorundem, ipsi tamen nollent homagium facere alicui traneo, cujus linguam, mores, legesque penitus ignorant.*"

Clôd i'ch coffadwriaeth anrhydeddus, chwi *Bobl Eryri*. Da y meith-asoch y wreichionen ddiweddaf o annibyniaeth Cymraeg. Nid ymffrost g a wnaethpwyd genych, pan llafarasoch y penderfyniad hwn; ond ɔrynasoch eich ymwystliad â gwaed eich calonnau—gwaed goreu Ewropa, hwn a ffrydiodd yn helaethlawn rhwng creigiau Eryri, pan, wedi syrth-eich Tywysawg, yr aberthasoch chwithau eich heinioes yn yr un achos ɜoneddus. Clôd i'ch coffadwriaeth; a bydded i'r un ysbryd, yr hwn a'ch

bywiocaodd chwi, etto weithredu yn ein cenedl, pa bryd bynnag y goddefont ormes. Collasoch eich bywyd, y mae yn wir; ond ennillasoch i'ch plant barch a breintiau, y rhai ni fuasent fyth yn eu mwynhau ar law y gorthrymmydd, oni buasai i'ch ymarweddiad dihafarch.

*Atteb Dafydd ap Gruffydd, brawd y Tywysawg.*

"Pan fytho iddo fyned i'r tir sanctaidd, gwnaiff hyn yn wirfoddol, ac o'i galon, i Dduw, ac nid i ddynion; a thrwy ganiatad Duw nid aiff yno yn anfoddlon, canys gwyr fod gwasanaeth gymhelledig yn anfoddloni Duw. Ac os dygwydd iddo ar ol hyn fyned i'r tir sanctaidd,o'i wir ewyllys ei hun, ni ddylai efe a'i etifeddion o achos hynny gael eu dietifeddu yn fythol, ond yn hytrach ennill gwobrwy. Heblaw hyn, y Tywysawg a'i bobl nid ydynt yn cynnal rhyfel yn erbyn neb o achos digasedd, neu elw, trwy ymosod ar diroedd ereill, ond er ymddiffyn eu hetifeddiaeth, a'u breintiau, a'u rhydd-did eu hunain; a'r Arglwydd frenin a'i bobl a gynnal rhyfel er hen ddigasedd, ac er mwyn yspeilio ein tiroedd ni. Yr ydym yn credu ein bod yn hyn yn cynnal rhyfel cyflawn; a gobeithiwn yn hynny, y bydd i Dduw ein cynnorthwyo, a thrwy ei ddwyfol ddialedd yn erbyn difrodwyr yr Eglwysydd, y rhai yn llwyr a ddinystriasant yr Eglwysydd, ac a'u llosgosant; ac a gludasant o honynt eu dodrefnau sanctaidd, a laddasant yr offeiriaid, y crefyddwyr llenyddiol, y cloffion, y byddariaid, y mudion, y plant, y rhai yn sugno bronnau, y methedig, a'r cystuddiedig, heb arbed na gwryw na benyw; felly, yn mhell a fydded oddiwrth eich sanctaidd Tadoldeb i daranu un rhyw ddedryd yn erbyn neb oddieithr y rhai a gyflawnasant y cyfryw bethau. Canys nyni, y rhai a ddioddefasom y cyfryw bethau gan swyddogion y brenin, ydym yn gobeithio derbyn tadol gysur a gwellhad perthynol iddynt, a cheryddu o honoch y cysegr-yspeilwyr hynny a'u cefnogwyr, y rhai ni ellir trwy unrhyw fraint eu hymddyffyn yn hyn; rhag, o achos eisiau arferyd dyledus gerydd, neu gosp-edigaeth tuag attynt hwy, y bydd i'r drygau rhagenwedig gael eu gwneud yn gynllun parhaus gan ereill.

"Hefyd, y mae llawer yn ein gwlad ni yn rhyfeddu eich bod wedi ein cynghori i adael ein gwlad ein hunain, a myned i wlad ddieithr, i drigo yn mhlith ein gelynion; o herwydd os na allwn gael heddwch yn y wlad yr hon sydd o iawnder yn eiddo ein hunain; llai y gallwn gael ein cadw mewn heddwch mewn gwlad ddieithr yn mhlith ein gelynion. Ac er mai caled yw arwain ein bywyd mewn rhyfel a chynllwynion, etto, caletach yw cael ein llwyr ddifetha, ac oddieithr yr attalia Duw, i fobl Cristionogol gael eu diddymu, y rhai nid ydynt yn ceisio ond yn unig am-

ddiffyn eu breintiau eu hunain. Felly, anghenrhaid a'n cymhella ni i hyn, yn nghyda thrachwant ein gelynion; a chwychwi, sactaidd Dâd, a ddywedasoch ger ein bron, eich bod wedi cyhoeddu dedryd yn erbyn pawb, y rhai, er mwyn digasedd neu elw, a rwystrant heddwch; ond amlwg yw pwy ydynt y rhai hynny y sawl a ryfelant er mwyn y cyfryw bethau.

"Gan hynny, ofn angau a charchariad, neu ddietifeddiant parhaus, dirmygiad ammodau, ymrwymiadau neu ysgrifau, creulon lywodraethiad, neu lawer o'r cyffelyb bethau, a'n cymhellant i fod mewn rhyfeloedd. A hyn a ddangoswn i Dduw, ac i chwithau, a deisyfwn genych dadol gynnorthwy.

"At hyn, sylwn fod llawer ereill yn nheyrnas Lloegr gwedi digio y brenin, ond etto, ni ddietifeddodd efe neb o honynt yn fythol, fel y dywedir: am hynny, os y darfu i neb o honnom ni ei ddigio ef yn anghyfiawn, teilwng yw iddo wneuthur boddlonrwydd, hyd ag y gallont, heb ein dietifeddu. Ac megys ag yr ymddiriedwn ynnoch chwi, erfyniwn ar i chwi weithredu tuag at hyn, Sanctaidd Dâd. O herwydd, er yr haerir yn ein herbyn, ein bod gwedi tori yr heddwch, etto, hwynthwy yn hytrach a'i torasant, y rhai ni chadwasant â nyni un ammod neu gyttundeb, ac ni wnaethant un adgyweiriad i'n hachwyniadau ni, fel ag yr ymddengys yn yr ysgrifau."

Yr attebion hyn a anfonwyd at yr Archesgob, ac yntef a'u gwrthattebodd mewn llythr o dwysged o faethder. Dechreua fal y canlyn:—

"Yn enw yr Arglwydd, Amen. Gan ein bod nyni, y brawd *Ieuan*, trwy ddwyfol ganiatâd, y gostyngedig weinidog Eglwys Caergaint, a Phrif Esgob Lloegr oll, yn gwybod ei fod yn ddyledus arnom, er eich mwyn chwi, yr Arglwydd *Llewelyn*, Tywysawg Cymru, a'ch deiliaid, a ddiystyriasom anhawsderau a pheryglon y daith a ddaethom attoch i ddychwelyd y defaid crwydredig, ac i fynegi i chwi a'n lleferydd ein hunain eich peryglon a'u hattaliad, gan alw y goruchaf yn dyst, &c."

Ac yna, yr Archesgob a â rhagddo i wrthatteb dadleuon y Cymry; yr hyn a wna gyda chyfrwysder cyfreithiwr cyflogedig yn gwrthddadleuo mewn brawdlys; a hynny yn gymmysgedig â chrefyddiaith, ac ymadroddion ysgrythyrol, a rhith o dduwioldeb, yn yr hyn oll, pan gydmarom yr honiad o ostyngeiddrwydd ac addfwynder âg yr ysbryd chwerw a digasog yr hyn a hanfoda, ni allwn lai na chlywed gwrthflas a dirmyg am ei ragrith a'i ffugsancteiddrwydd. Ar ol galw ar enw y goruchaf amryw weithiau, yr Archesgob a â yn mlaen yn reolaidd i sylwi ar yr ysgrifau.

"Yn gyntaf ynte: dywedwch na allwch ddim, mewn iawnder, roddi i fynu y pedwar cantref, am fod eich hynafiaid wedi meddiannu cyflawder hawl iddynt er amser *Camber* mab *Brutus*; ond fel na chamarweiner neb o honoch trwy anwybodaeth, gan erfyn eich arafwch yn mhob peth, er yn anewyllysgar, atalwn idd eich cof wreiddyn yr hanniad hwnnw, allan o orchestion y Brytaniaid a'r Saeson. Canys pan daenwyd ar led y *Caerdroiwys* gynt, am iddynt amddiffyn godineb *Paris*, cyfaddefaf bod eich hynafiaid chwi yn mhlith y rhai a achubasant eu hunain trwy ffoedigaeth; a deisyfwn na byddai i'r haint hwn lynu wrthynt hwy y rhai a ddiystyrent rwymau priodasol gymmaint, ac, fel y dywedir, ni ommeddant i blant gordderch, a rhai o briodasau annghyfreithlawn,* etifeddu; a than nawdd cyfreithiau *Hywel Dda*, a ganiatânt ysgariad gwragedd yn groes i'r Efengyl. Y modd y bu i *Brutus* trwy ragddangosiad *Diana*, ac nid heb hudoliaeth y Diafol, trwy eilunaddoliad, gan aberthu hydd a gafodd trwy helwriaeth, ddyfod i Ynys Prydain, yr hon oedd yn anneddedig gan genhedloedd o gorffolaeth uchel, y dewraf o ba rai a laddwyd gan *Corineus*." Ac yna, y mae yn rhaid cyfaddef fod yr Archesgob yn ymddangos yn ddadleuydd dra chyfrwys, a ffel; canys trodda hanes y *Caerdroiwys* yn erbyn y Cymry eu hunain, mewn modd eithaf digrif, trwy haeru mai rhan o genedl y Saeson oedd y *Cewri* hynny, "cenhedloedd, meddaf, y rhai nid yn unig a feddianasant *Prydain*, ond hefyd *Scythia*, tu hwnt i'r *Danubius*, o'r gorllewin hyd y gogledd, ac eithafoedd y dwyrain; gofynaf ynte, pa gam a wnaeth yr *Eingyl* a'r *Saeson*, pobl o'r un genedl, i chwi, os yn rhwysc amser y'ch aflonyddasant yn eich llywodraeth drawsfeddianol?—Ac y mae yn deilwng o sylw y modd medrus y mae efe yn gochelyd enw chwedleuol *Sieffre o Fynwy*, sef *cewri*, [*gigantes*] ond geilw hwy yn *genhedloedd o gorffolaeth uchel*. ["*gentibus statura proceris*."]

Ar ol y gwrthergydiad hwn, dannoda i'r Cymry eu bod yn analluog i amddiffyn eu hunain rhag y *Scotiaid* a'r *Pictiaid*, ac iddynt alw i mewn y Saeson iddeu cynorthwy. Ar ol hynny, cyfeiria at sefydliad y pedwar cantref dan y Tywysawg, gan *Ottobonus*, cenadwr y Pab; ac yn ei atteb, dengys gyfrwysdra dadleuol yr Eglwyswr cyfreithiol mewn modd tra nodedig; canys haera nad oedd *Ottobonus* yn bwriadu dim am freintiau brenhinol, nag 'chwaith am rai gwladawl nac Eglwysig; ac felly, ni allai eu dileu. Ac yna, cyfeiria at rai o'r ammodau, trwy ba rai y dengys nad oedd mwyach gan y Tywysawg un hawl hyd nod iddei etifeddiaeth yn *Eryri*, oddieithr trwy diriondeb y brenin. Ar ol hyn, tyrr allan mewn

* Y mae yr Archesgob yn hyn yn cyfeirio at rheolau Eglwys Rhufain yn gwahardd i ryw raddau o berthynasau briodi eu gilydd, y rhai nid oedd y Cymry yn ufuddhau iddynt, nag yn eu barddel. Am rai o'r camweddau ereill, gallasai Esgob Saesonaeg edrych gartref cyn eu dannod iddei gymmydogion.

aiadr o seniaith ac enllibiaid yn erbyn y Cymry; geilw hwy yn lofrudd-n ac yn yspeilwyr; a dywaid i *Hywel Dda* ffurfio ei gyfraith trwy aw-ırdod y diafol. Cyfeiria at eu honniad, eu bod yn anadnabyddus â oesau y Saeson; a dywaid y meddylia mae budduiol fyddai iddynt hwy ı hollol gyfnewid eu moesau eu hunain. Haera nad ydynt, nac yn am-diffyn yr Eglwys yn erbyn y Paganiaid trwy filwriaeth, nac, oddieithr w ychydig o honynt, yn eu haddurno trwy leenyddiaeth; ond yn treulio ı hamser mewn segurdod, fel medd efe, "braidd y gwyr y byd eich bod ı bobl, oddieithr trwy yr ychydig o honoch y rhai a welir yn cardotta."* Oni buasai i'r canlyniadau alaethus a ddaethant mor ebrwydd ar ol hyn , gallasem gael ein cyffroi i wenu am y cymmysg o gynfigen a digrifwch geir yn y seniaith gwrachaidd yma o eiddo yr Archesgob. Ac ysgatfydd allem ymattal wrth weled y modd y trodda yn union at ei hen ragrith-ith, ac a â i bregethu, ac adrodd ysgrythyr; canys traetha amryw hau perthynol i hanes llwythau Israel, a dirwyna i fynu ei ddigasedd yn yn y Cymry, trwy ddywedyd y bydd iddo eu dodi dan ddedryd ysgym-ndod. Yr ysgrif hon a amserwyd yn *Rhuddlan*, 18 *Calend. Decemb.* *n. Dom.* 1282; sef yn ol yr amseriad arferol yn awr, *Tachwedd* 14eg, 32.

llythyr hwn oedd y diweddaf o'r gohebiad rhwng y Cymry a *Iorwerth;* Archesgob, yn ol ei fygythiad, a gyhoeddodd ddedryd ysgymmundod erbyn *Llewelyn* a'i gyfeillion. A thyma a gafodd y Cymry am ymadael ı hen Eglwys gynhenyd, ac ymostwng i Archesgob estronaidd; sef eu atwar gan y dieithryn hwnnw yn amser cyfyngder, a'u melldithio am ddiffyn eu gwlad a'u rhydd-did. Y mae yn dra amlwg oddiwrth ym-roddion yr Archesgob, ei fod yn gwybod yn dda am ymdrafodiaeth y nin yn mhlith y pendefigion Cymruaidd. Gwyddai eu bod hwy, gan yaf, wedi eu hennill i blaid y brenin, trwy wobrwy, neu trwy ofniad: felly, naill ai gwedi ymgyngreirio âg ef yn hollol, neu ynte gwedi eu nu i ostegiad a heddwch. Ac yn y sicrwydd o hyn, da y gallasai yr chesgob siarad yn hyf ac yn uchel; ni ofynid am lawer o ragwybodaeth larogan y canlyniad, pan oedd holl Loegr a'i chyfneseifiaid yn ymuno ar aill tu, a'r Cymry ar y tu arall yn ymranedig, ac yn bradychu eu gilydd. Wedi i *Iorwerth* dderbyn yr attebion hyn oddiwrth y Tywysawg a'r mry, ymosododd i wneuthur cyrchiad tuag at ei gwersyllfa yn *Eryri;* felly, mudodd ran o'i lu hyd at afon *Conwy*, ac a anfonodd ran arall

Wele yma gynllyn tra hyfforddiol o ymgattoch ac ymgrafu. Yr oedd holl deyrnas gr, a'r Iwerddon, wedi ei gwysaw i'r rhyfel hwn yn erbyn y Cymry; a'r Albaniaid d a anfonasant eu cyfnerthiaid; a chyda hyn yr oedd lliaws nifeiriol o filwyr gwedi eu ıull allan o Ffrainc, at yr un achos; ac etto, y byd ni wyddai am hanfodiad y Cymry, trwy weled ambell i gardottyn o'r genedl. Ond yn ddiau fod yr Archesgob yn hyn yn ythu ei wenwyn yn erbyn *Dafydd ap Gruffydd*, am ei balliant i fyned i ryfel y groes; n ymddial arnaw trwy y dull gwrachaidd yma o enllibio.

mewn llongau i Ynys *Fôn*. Yno cawsant feddiant o'r wlad heb fawr rwystr, o herwydd fod rai o ddynion pennaf yr Ynys wedi cymmeryd llw o ddeiliadaeth i'r brenin; a'r ychydyg rai a oeddynt mor wladgar a gwrthsefyll yr estroniaid, a ddymchwelwyd yn hawdd, gyda galanastra o'r rhan fwyaf o honynt. Yno, gwyr y fyddin Lloegraidd, yr hon oedd yn yr Ynys, i'r dyben i gydweithredu â'u cyfeillion ar gyfandir *Arfon*, a wnaethant bont o fadau yn groes i'r *Menai*, wrth *Moel y Donn*, yr hon bont oedd yn ddigon llydan i driugain o wyr ei cherdded, ochr yn ochr. Yna, cyn i'r fyddin yn gyffredinol gychwyn i groesu y bont, *Sir William Latimer*, yn nghyda llu nifeiriol o'r milwyr goreu, a *Sir Lucas Thany*, Rhaglaw *Gwasgwyn*, gyda'i Wasgwynwys a'r Yspaeniaid, y rhai oeddynt yn ngwasanaeth y brenin, a fuont mor hyf a myned dros y bont, ar amser y trai, i'r ochr arall i'r *Menai;* a thros ennyd, ni chyfarfuasant âg un gwrthladdiad. Canys *Richard ap Walwyn*, yr hwn a flaenorai y Cymry ni wnaeth un mudiad yn eu herbyn, gan wybod ei adeg, a phwyllo nes y delai amser cyfaddas. Ac felly, pan ddaeth y llanw i mewn, ac i'r môr wanhanu rhyngddynt a'r bont, fel na allent ei ail ennill, yna y Cymry a ruthrasant arnynt yn ddisymmwth, ac a'u cyrchasant mor ffyrnig, fel y gorfu i'r rhai a allent, ddianc tuag at y bont. Ond yno nid oeddent alluog iddei chyraedd; a threngodd amryw yn y dwfr, ac ni ddiangodd neb o honynt, ond *Sir William Latimer*, yr hwn a gyrhaeddodd y bont trwy gryfder ei farch. Collodd y Saeson, rhwng lladd a boddi, bymtheg marchog, a deuddeg ar hugain o yswainiaid, a mil o filwyr cyffredin. Yn mhlith y lladdedigion, yr oedd *Sir Lucas de Thany*, *Sir William Dodingeseles*, a *Sir William de la Zouch*. Y cyfarfod hwn a gymmerodd le ar y chweched o Dachwedd.*

* Y mae Matth. Westm. yn dywedyd mai dros afon *Conwy* y gwnaethpwyd y bont yma. "*in aquis de Conewey, quæ fluunt et refluunt juxta montes Snowdon.*" Ond gan y dywaid hefyd, mai o Ynys Fôn y daethant ar ei hyd, y mae yn ddilys mai camsyniad ydyw; eithr yr haeriad hwn, yn nghyda rhyw frithgof am gyfeiriad at fuddugoliaeth *Llewelyn ap Gruffydd*, a'm harweiniodd i oedi adroddiad yr englyn canlynol hyd y pryd hwn. Ond ar ol ei ail-ystyried, gyda'r traethiad am dano yn y Greal, meddyliaf y dylasai gael ei roddi, os ydyw teilwng o roddiad, dan deyrnasiad *Llewelyn ap Iorwerth*. Dywedir yn y Greal mai "*Cadwgan Ffol* a'i cânt pan ddaeth y Saeson trwy *Gonwy* i ymladd â'r Cymry, ac y lladdodd y Cymry hwynt, ac a'u gyrasant i'w boddi yn *Nhegانwy*." Ac mewn man arall dywedir y claddwyd hwy yn y tywod. Y canlynol yw'r Englyn.

"Llawer brân sy'n eisiau i'r brenin heddyw;
Hawdd gallwn chwerthin;
Llawer Sais leubais libin,
A'r gro yn do ar ei ——"

Gwelais amrywiad i'r linell olaf, sef—

"Heb un chwyth fyth o'i fin."

Ond y mae y darlleniad blaenaf yn fwy cyson âg anian y cyfansoddiad.

fuddugoliaeth hyn a berodd orfoledd nid bychan i'r Cymry, yn gyda chalondid i ymdrechiad ychwanegol. Ac adroddent rai o ddarnau *Myrddin*, pa rai a ddywedent y byddai i *Lewelyn* wisgo coron *utus*, ac adferyd goruchafiaeth y genedl.* Y fuddugoliaeth hon a eth y fath derfysc i *Iorwerth* yn ei amcanion, ag y darfu iddo ymdynu wlad, a dychwelyd i *Ruddlan*, lle yr anfonodd wysiad i holl Raglawswyddi Lloegr, at at yr Esgobion, a'r Offeiriaid, i erchu iddynt ddyfod hynnorthwy iddo, tuag at ddwyn yn mlaen y rhyfel yn erbyn *Llewelyn* Cymry.

ra'r oedd yr ymdrechiadau gwladgar hyn yn gynnaledig yn *Ngwynedd*, oedd yr unrhyw fudiadau anrhydeddus yn hanfodi yn y *Deheudir*. ys yr oedd *Rhys ap Maelgwn* a *Gruffydd ap Meredydd* yn awr m arfau, yn mhlaid y Tywysawg, ac yn goresgyn cyfoeth y brenin yr ardaloedd Deheuol. A'r brenin a anfonodd yn eu herbyn Iarll *rloiw*, yn nghyda byddin liosog; a bu câd ar faes gerllaw *Llandeilo wr*, lle y gorthrechwyd y Cymry gyda galanastra fawr. Pa faint oedd ed y Saeson, ni hyspysir, oddieithr y lladdwyd pump o farchogion dol, yn nghyda *William de Valence*, cefnderw y brenin. Ac felly y wyd y gweddillion olaf o annibynolrwydd y *Deheubarth*, a'r darn af o'r Dywysogaeth honno. Ac er clod i'r ddau gwrr hynny, y gellir hau, mai yn *Eryri* y meithrinwyd hwyaf gwil-dân rhydd-did Cymruld yn y *Gogledd*, felly, yn *Ystrad Tywi* y llewyrchodd ei belydr eddaf yn y *Deheudir*.

)nd er fod y pendefigion rhagflaenol yn glynu wrth y Tywysawg, yr d *Rhys ap Meredydd* yn ymbleidio gyda'r brenin. Ac felly, y Tywys-, ar ol ei lwyddiant wrth *Moel y Donn*, ac ymdyniad *Iorwerth* i *ddlan*, a adawodd ardal Eryri dan flaenoriaeth ei frawd *Dafydd;* ac ei hun a aeth a byddin gref tua'r Deheubarth, i gyfnerthu ei gyfeillion, i ymddial ar ei wrthwynebwyr; ac a ymosododd ar *Geredigion*, gwlad *ys ap Meredydd*, ac a'i diffeithiodd. Oddiyno trodd tua'r dwyrain, a aeth tua gwlad *Buallt*, i ymgynghori â rhai o bendefigion yr ardald hynny, ac i geisio ffurfio cyngreiriad tuag at fwy effeithiol wrthliad o'r ormes Saesonaeg. Pa lwyddiant a fuasai iddo yn yr ymgais , pe caniataisid iddo einioes, ni pherthyn i nyni i honni. Yr unig beth llir ei ddywedyd ydyw, i ddichweiniad ddygwydd ar y pryd yma, yr a osododd derfyn fythol iddei holl fwriadau gwladgar, a'i ymdrech-

* "Quod in brevi, secundum prophetiam Merlini *diademate Bruti debuit coronari.*" th. Westm.—Y mae yn debygol mai at ddaroganiad Myrddin, yn ngwaith *Sieffre o Fynwy*, feirir yn hyn, canys yno cawn y canlynol: "——*Et Bruti dyademate coronabuntur.*" yr un cyfansoddiad, ychydig o'r blaen, ceir y geiriau, "*Cadualladrus vocabit Conanum.*" os edrychir yn nghanuau Myrddin, yn y Myv. Arch. gwelir y ddau enw hyn yn fynych yn oddedig megys yn nglyn â buddugoliaithiad y Cymry.

iadau, ac a fu yn achlysur o lwyr ddiffoddiad annibynolrwydd y Cymry Y mae mudiadau y Tywysawg ar yr amser yma mor anhyspus, a'r cofiain am danynt mor ddyrys ac anghyson â'u gilydd, ag na allwn mwy na ffurfi tyb am yr hyn a gymmerodd le. Yr unig sicrwydd a geir, ydyw i'r pen nadur dewrwych hyn gyfarfod â'i angau yn y cadgyrchiad hwn; a gallwn ychwanegu at hynny, gydsyniad cyffredinol yn y tyb, iddo gael ei ladd trwy y dichweiniad o'i fod wedi ymrannu oddiwrth ei wyr, ac felly yn analluog i wrthsefyll ymosodiad y llu a ruthrasant arnaw. Ac ar ol sylwi yn fanwl ar yr amrywiol gofiaint neu hacriadau perthynol i'r achlysur hwn, ni allaf gael un traethiad mwy boddhaol i fy hun, na mwy addas iddei ganlyn yma, na'r hyn a roddir gan *Powel*, gyda 'chwanegu rhai sylwadau allan o *Hanes Brecheiniawg*, gan *Theophilus Jones*, yr hwn, oddiwrth awdurdodau, yn nghyda thraddodiadau yr ardal, a ffurfiodd hanesiad am yr amgylchiadau yma, yr hyn, os nad yw yn gwbl gywir, etto, ysgatfydd ei fod mor agos at gywirdeb, yn ol y defnyddiau ar glawr, ag un ag a ellir ei gynnyg yn ei le. Sylwedd yr hanesiad yma yw y canlynol.

Y Tywysawg, gan adael y rhan fwyaf o'i fyddin ar ymylau Ceredigion, ysgatfydd i wrthladd *Oliver de Dyneham*, yr hwn a anfonesid gan y brenin tua'r ardaloedd hynny, a aeth gydag ychydig o'i filwyr tua gwlad *Buallt*, gan deithio ar y tu gogleddol i afon *Gwy*, sef trwy swydd *Faes-hyfaidd*, a ddaeth hyd at *Aberedwy*,* yn is law *Llanfair yn Muallt*, yn disgwyl am gyfarfod â chyweithias yno; ond yn lle hynny, cyfarfu â gelynion. Canys yr oedd *Edmund Mortimer* a *Ieuan Giffard* gwedi dwyn gyda hwy fyddin gref o Loegr iddei wrthladd. Ac felly, ciliodd oddiyno yn groes i *Wy*, ac a berodd dori y bont ar ei ol. Yna y Saeson a aethant ychydig o ffordd yn mhellach i lawr, at ryd, mewn lle a elwir yn awr *Cafn Twm Bach;* ac yno croesasant yr afon. A *Llewelyn* a aeth at gastell *Buallt:* ond yno ni chafodd un groesawiad, canys yr oedd *Hwmphre de Bohun* wedi ei anfon i'r wlad honno gan y brenin; ac yr oedd *Roger l'Estrange* hefyd yno eisioes mewn awdurdod dan y brenin. Ar hyn, y Tywysawg yn gweled nad oedd ond brâd a gelyniaeth yn ei aros lle y disgwyliai gyfnerthiad, a aeth rhagddo at *Bont Orewyn*, sef *Pont ar Irfon* meddylir, yn rhyw le o gylch tair milltir oddiwrth *Llanfair yn Muallt*, tua'r gorllewin; ac os felly, y Tywysawg a aeth ar hyd ochr dehau yr afon, ac a groesodd y bont honno; a chan ei gosod dan gadwr-

* Y mae traddodiad disail yn yr ardal hyn, iddo ar hyn o bryd, gan fod eira ar y ddaear, beri troi pedolau ei farch, i gamarwain ei ganlynwyr, ac i'r gôf ar ol hynny ei fradychu, enw yr hwn oedd *Madawc Goch Min Mawr*. Ond y mae hyn oll yn rhy ofer i haeddu cred. Nid crwydryn unigol oedd y Tywysawg, eithr teithiai gyda'i fyddin. Ac y mae yn dra thebygol genyf nad yw enw y gôf ddim amgen na chamadroddiad o eiddo *Madawc Min*, yr hwn a fradychodd *Grúffydd ap Llewelyn*, a'i dâd, *Llewelyn ap Seisyllt*. [Gwel tu dal 440.]

h ei wŷr, efe ei hun a aeth, heb neb gydag ef ond ei was yn unig, i goed-
g gerllaw, i ymweled â rhai o bendefigion y wlad, y rhai a oeddynt
edi addaw ei gyfarfod yno. A thra yr oedd yn aros wrthynt, y Saeson,
hai oeddynt erbyn hyn gwedi ymgynnull mewn rhifedi ddigon iddei
nlyn, a ddaethant ar ei ol hyd at y bont, ac a ymosodasant ar
wyr; ac yntau yn clywed bloedd brwydr, a ofynodd iddei was os
oedd ei wyr yn cadw y bont, ac yntau a attebodd en bod. "Yna,"
e'r y Tywysawg, "nid ymadawaf oddiyma pe byddai holl gadernid
loegr ar yr ochr draw." Gan mai y gauaf ydoedd, y mae yn debygol fod
f yn yr afon ar hyn o amser, ac felly yn anhawdd iddei chroesi yno; a'r
ywysawg a adnabyddai yn dda wychder ei wyr, ac hyderai na fyddai i
eb rhyw rifedi pa bynag ennill y bont oddiarnynt. Ond yn y cyfamser,
yw un a ddangosodd i'r Saeson rŷd ychydig yn is i lawr; a than dy-
ysiad un o'r enw *Helias Walwyn*, rhai o'r marchwyr a groesasant yno,
a amgylchasant y goedwig yn mha un yr oedd y Tywysawg; a chyn y
llai gyraedd at ei wyr, ymosodwyd arnaw; ac un *Adam Francton*, a'i
ithodd â gwaewffon; ac a'i gadawodd yn y lle, heb wybod pwy ydoedd.
ia y marchwyr Saesonaeg, y rhai oeddynt gwedi croesi wrth y rhyd, a
aethant ac a ymosodasant ar y gwyr y rhai oeddynt yn cadw y bont, ar
u hwnnw i'r afon; a hwynthwy a ymddffynasant eu hunain yn wrol;
y mae yn debygol iddynt gilio oddiwrth y bont i fynu i'r bryn gerllaw,
yno ymddulliasant eu llu. Ond y Saeson, erbyn hyn, a ddaethant oll dros
afon, ac a ymosodasant arnynt yno. A'r Cymry, y rhai, medd *Powel*,
i oeddynt ond ychydig, a ymladdasant yn wrol, gan ddisgwyl o hyd
i ddyfodiad y Tywysawg. Ond yn y diwedd y llu bychan hwn, trwy
edi eu gelynion, a orthrechwyd, a'r rhai ni laddwyd a orfu ffoi. Yna
gŵr yr hwn a glwyfasai y Tywysawg a ddaeth i edrych am dano, a
an sylwodd arnaw, adnabu pwy oedd efe; canys cafwyd yn ei feddiant
hyr wedi ei ysgrifenu mewn llythyrenau dirgel, ac hefyd ei gwyrfath;
yna y gŵr hwnnw a dorrodd ymaith ei ben, ac a'i anfonodd at y brenin
*Ruddlan*, yr hwn a'i derbyniodd gyda gorfoledd, ac a'i anfonodd oddi
) i Lundain, lle y coronwyd ef â choron o ddail eiddew, er gwawd am
aroganiad y gwisgai y Tywysawg goron yn Llundain. Dywedir hefyd,
yr un dyben, iddo gael ei goroni â thalaeth arian, a'i gludo ar baladr
y'r heolydd. Ac yn ddiweddaf, gosodwyd ef ar biccell haiarn ar un o'r
au uchaf yn y Twr Gwyn, lle y cafodd aros dros hir amser. Claddwyd
gorff ef gerllaw y man lle y syrthiodd. Y llythyr a anfonwyd gan
*ortimer* at yr Archesgob, yr hwn oedd ar y pryd yn *Pembridge*, yn
ydd *Henffordd*, a'r hwn a'i anfonodd at y brenin; ac oddiwrth ei
ebiaeth, deallwn i *Matilda Longspee*, *Iarlles Salisbury*, yr hon oedd
res i *Lewelyn ap Iorwerth*, wneuthur erfyniad i'r ddedryd o ysgym-

mundod gael ei dileu, ac i gorff y Tywysawg gael ei gladdu mewn da gysegredig: a *Mortimer* hefyd a eiliodd y cais, gan ddywedyd iddo gl aid gan y rhai a oeddynt yn wyddfodol ar y pryd pan oedd *Llewelyn yn* marw, iddo, cyn ei drancedigaeth, alw am Offeiriad, ac i fonach ddyfod a gweini iddaw y gwasanaeth gofynol. Ond nid oes hyspysiad i'r erfyniad hwnw gael fyth ei ganiatau; ac y mae yn debygol i esgyrn *Llewelyn ap Gruffydd* gael eu gadael i ymgymmysg â'r pridd cyffredin. Y mae *Polydor. Vergil.* yn dywedyd i'r frwydr barhau dros dair awr, hyd nes i'r Cymry wybod am laddiad y Tywysawg, ac yno ffoisant, ar ol lladd o gylch y drydedd ran o honynt, ac mai un *Stephan Siward* a dorrodd ben y Tywysawg.

Wrth edrych am y man yn yr hwn y bu y frwydr hon, nid oes ond dychymmyg yn unig i'n harwain, oblegid nid oes yn awr un lle yn atteb i'r enw *Pont Orewyn*, ond meddylir mai *Pont ar Irfon* yw yr enw, a hynny o herwydd fod traddodiad yr ardal yn cyfeirio at ddau le gerllaw yr afon honno, megys yn gysylltiedig â thrancedigaeth y Tywysawg; un yw *Cwm Llewelyn*, o gylch dwy filltir tua'r gorllewin oddiwrth *Llanfair yn Muallt*, yn mhlwyf *Llanganten*, lle y dywedir iddo gael ei ladd; a'r llall yw *Cefn y bedd*, yn gyfagos i hynny, lle yr honnir y claddwyd ef. Nid oes un bont yn awr o fewn clyw i *Gwm Llewelyn*, ond y mae cofiant traddodiadol yn yr ardal, fod unwaith bont ychydig uwchlaw Eglwys *Llanynys*, o'r enw *Pont y coed*. Am *Gwm Llewelyn*, braidd yr ettyb i'r ymadrodd *Cwm*, gan nad yw ond bas iawn, ac nid ergyd carreg o led. *Cefn y bedd* sydd drumyn o dir amaethedig, rhwng yr afon *Irfon* a *Chwefri*, ar ba un y mae dwy heol yn cwrddyd; ac os yno y claddwyd *Llewelyn*, y mae yn ddilys y dewiswyd y lle hwn o herwydd y *groesffordd*, gan ei fod gwedi marw dan ysgymmundod. Yr unig gofiant a alles ei gael yn ychwanegol i'r hyn sydd eisioes yn argraffedig, ydyw math o englyn byr a ddywedir yr adroddwyd gan hen ŵr o'r ardal, yr hwn a oedd gwedi marw lawer o flynyddau yn ol; y canlynol ydyw,

"Yma mae e' wedi ei gladdu,
Yn môn y maen yn ngwaun Eli."

Eithr ni alles gael allan un maen na gwaun yn atteb i hyn. Adroddais y geiriau wrth *Theophilus Jones*, pan oedd yn ysgrifenu hanes Swydd Frecheiniog, ond ni ddododd mo honynt yn ei lyfr, eithr dywedai fod y dull o ymadroddi yn rhy ddiweddar iddeu bod o un gwerth hanesyddol.*

* Y mae traddodiad ofer yn yr ardal yma, yr hwn pa na's rhoddwn, ysgatfydd y cawn fy meiaw gan rai, megys hanesydd anghyflawn, a hwnaw yw i'r Tywysawg ymguddiaw mewn llwyn o fanadl, ac o herwydd na allodd ymogelu yno yn ddiogel, iddo felldithio y banadl, ac na thyfodd banadlen fyth ar ol hynny yn y plwyf! Dywed y rhai a roddant

t yr honiadau uchod, rhai o'r sawl nid ydynt ar y gorau ond dychym-gol, ychwanegaf un arall, yr hwn ni ellir amhau ei gywirdra, er na nhwysa nemor o hyspysiaeth; ac am yr hwn, oddiwrth y iaith a'r l o ymadroddi, yn gystal a'i yspryd dygasawg ac enllibus, hawdd lir barnu nad yw amgen na chyfansoddiad yr Archesgob ei hun. Y lynol ydyw,

'Yna *Llewelyn*, Tywysawg Cymru, rhagddywededig, gan ddirmygu cynnygion o heddwch, a ymosododd ar diriogaeth brenin Lloegr, gan diffeithiaw trwy losgi ac yspeiliaw, yn gystal a thynu pobl y wlad ar l, a'u hysgaru oddiwrth eu heddychiad â'r brenin. Yr hwn Dywysawg wn y mis hwnnw a laddwyd yn anghlodus, y cyntaf o'i fyddin, gan lynwyr *Edmund Mortimer*, mab *Rhosser Mortimer*; a'i holl fyddin l ai a laddwyd, neu ynte a yrrwyd ar ffo, yn mharthau *Trefaldwyn*, dydd Gwener nesaf o flaen Gwyl *St. Lucia*, sef yr 11eg o Ragfyr, yn wyddyn 1282." *

mae gan *Gruffydd ap yr Ynad Coch* Farwnad i'r Tywysawg, *Llew- ap Gruffydd*, yr hon a gynhwysa amryw o linellau godidog, er na ianna y fath gyfartalwch o awenyddiaeth, a galw am ailadroddiad o'r n o honi yma. Y canlynol yw ei dechreuad,

" Oer galon dan fron o fraw allwynin
Am frenin dewin dor Aberffraw;
Aur dilyfn a delid o'i law;
Aur dalaeth oedd deilwng iddaw."

chydig yn mlaen ceir y canlynol,

" Llawer deigr hylithr yn hwylaw ar rudd;
Llawer ystlys rhudd a rhwyg arnaw;
Llawer gwaed am draed gwedi ymdreiddiaw;
Llawer gweddw a gwaedd y amdanaw;
Llawer meddwl trwm yn tramwyaw;
Llawer mab heb dad wedi ei adaw;

'r cyfryw chwedl edrych yn gyntaf am effaith y melldithiad; canys y mae yn ddi-iol gennyf fod y rhan gyntaf o'r chwedl llawn gyn wired a'r olaf. Ofnaf na's cyfrifid igen na sarhâd i synwyr cyffredin pe haerwn fy mod gwedi gweled banadl yn tyfu yn yf *Llanganten*.

Et totus exercitus suus vel occisus, vel in fugam conversus in partibus montis Gomer-e Veneris proximo ante Festum S. Luciæ videlicet 3 Id. Decemb. Sub Anno Dom.

ael allan iawn amser o'r flwyddyn, y mae yn rhaid edrych yn yr hen Galendar, lle y od y 3dd *Idau*, Rhagfyr, yn atteb i'r 11 dydd ar ddeg o'r mis hwnnw. Ac os cymerwn hbaniaeth rhwng y flwyddyn 1282, a'r flwyddyn 1752, pan sefydlwyd yr amseriad ld, a rhoddi diwrnod o ennill i bob 134 blynedd o'r hen amseriad, cawn fod lladdiad *lyn ap Gruffydd* gwedi digwydd o gylch yr ail dydd o Ragfyr.

Llawer hendref fraith, gwedi llwybr godaith;
A llawer diffaith trwy anrhaith draw.
Llawer llef druan,
Fal ban fu'r Gamlan;
Llawer deigr, dros ran,
Wedi'r greiniaw,
O las gwanas gwanar eurllaw,
O laith Llewelyn oof dyn ni'm daw,
Oerfelawg calon dan fron o fraw," &c.

Ac yn y canlynol cyfeiria at osodiad ei ben ar y Twr,

" Pen milwr, pen moliant rhagllaw;
Pendragon, pen draig oedd arnaw;
Pen *Llewelyn* deg, dygn o fraw—i'r byd
Bod pawl haiarn trwyddaw!"

Y mae gan *Ddafydd Benfras* rai odlau i *Llewelyn ap Gruffydd*: yn un o honynt crybwylla am un ar hugain o gadgyrchiadau y Tywysawg, yr hwn oedd ar y pryd hynny yn llawn rwysc ei fuddugoliaethau: y canlynol sydd angrhaifft o'r cyfansoddiad.

" Lleiddiad gad gyrchu,
Llafur gwr gynnu,
A llu ni rhwymu,
Yn *Rhyd Chwima*.

" A'r erlyd fal cynt,
Ar ael a dyffrynt,
Ar *ail* hynt, gerrynt
*Carreg hofa*.

" *Trydydd* hynt ydd aeth,
Drud fu ei arfaeth,
Gwnaeth tyrau *Trefdraeth*,
Nad ynt trada.

" *Pedwaredd*, i fro
Pennaf a gymro;
*Penfro* oddiyno;
*Rhos* oddyna.

" *Pummed, Forgannwg*
Parhaus gilwg;
Er a wnel o ddrwg,
Nis diwedda.

" *Chweched*, i dramwy
Chwe'chad yn adwy
Yn *Aber Tawy*
Teg esgorfa.

" *Seithfed, Gedweli*
Saithgad i'w llosgi'
O *Ystrad Tywi*
Tew ei baerfa.

" *Wythfed*, hynt greulawn,
I *Garnewillion*,
O *Geredigiawn*,
Y dug yma.

" *Nawfed, Frycheiniawg*,
Naw cad cyndynniawg,
Fal *Rhun Rhuddfoawg*,
Fu ei drofa.

" *Degfed*, digyssellt
Dug attaw *Fuellt*
Dibellt ei fflamwellt
Y fflamycha.

" *Unarddeg*, diwraidd,
*Elfael* fro *Hyfaidd*,
Arwraidd o flaidd,
A'i harfeiddia.

" *Deuddegfed* yn iawn,
Y dug *Werthrynion*,
*Maelienydd* o'i ddawn,
A ddug etwa.

" *Trydeddeg*, Hodni [dogni]
Taerwalch *Eryri*
*Arwystli, Ceri*
Cer *Caer Ena*.

" *Pedwaredd ar ddeg*,
Pan ddug ychwaneg,
Dwyn *Cedewing* deg,
Duw a'i nertha.

" *Pymthegfed, Powys*
Pan y cynhyddwys,
Pennaeth ni wystlwys
Ef a wystla.

" *Unfed ar bymtheg*,
I *Faelawr Saesneg*,
Pan aeth ar osteg
I dir penna.

"*Dwy ar bymtheg*, drwg
A wnaeth yn amlwg,
Pan gerddwys ei fwg
Am *Allt Fugo*.

"*Deunaw*, dawn oeddfwy,
Dug eu barfordwy,
*Gwynedd Uwch Conwy*,
*Lle* y cynnydda.

"*Un eisiau o ugaint*
Arwynawl eu maint
A chweinegu braint
Ger bro *Assa*.

"*Ugeinfed*, gan rad,
Hendref ei hendad,
Dug y *Berfeddwlad*,
Ac nis gwatta.

"*Tros yr ugeinfed*,
O *Alun*, Drefred,
Hyd waelawd *Dyfed*
Ydd ehetta.

"Mi yw ei Bencerdd;
Mawr yw ei angerdd,
Mynegais ei gerdd
Ffordd yd gerdda.

"Mwyfwy ei gythrydd
Mireinfab *Gruffydd*,
Mae yn ei ddeurudd
Uddeno ei chilia.

"Cymmen *Llywelyn*
Cymmorth ei derfyn,
Cymru o gylchyn
A gylchyna.

"Gwystlws y dragon,
Hyd yn *Nghaer llion*,
Gwysloni rwyf, *Mon*
Rynnyaycha.

"Yr ungwr a'n pair
A'n gweithred a'n gair,
Can eiriawl diwair
*Fair* ferch *Anna*.

"Can cafas eurwas air a lwydda,
Can gaffed hir hynt byd bod yma,
Can Duw nef, yn ei fawr noddfa,
Ys caffo drugaredd a diwedd da."

Ar ol marwolaeth *Llewelyn*, y mae yn ddilys i gynnifer o'i wŷr ag a ucheddasant y frwydr gilio tuag adref y modd gorau ag a allent. Ond oedd y digwyddiad hwnnw gwedi peri y cyfryw derfysg yn eu plith, ag l ymgynhullasant drachefn dros dalm o amser, mewn rhifedi digon i odi cad ar faes yn erbyn eu gelynion.

*Llewelyn* a adawodd ar ei ol ond merch yn unig, a honno ond plentyn, hon y cymmerodd y Brenin *Iorwerth* ar ol hynny, ac a berodd ei yn i fynu, ac a'i gosododd mewn monachlog, lle y cymmerodd urddau n, sef monaches. Yr oedd gan *Llewelyn* hefyd fab o ordderch, o'r w *Madawc*, am yr hwn y crybwyllir drachefn. Felly yn hanfodiad y fryw amgylchiadau, yr unig un i hawlio y Dywysogaeth ar hyn o bryd oedd *Dafydd ap Gruffydd*, brawd *Llewelyn*; ac o herwydd ei hawl, oddir ei enw at restr y Tywysogion; ond gan na fu yn alluog i gynnal cyfryw hawl, braidd y cyfrifir ef megys pennadur, eithr yn wastad ychir ar *Llewelyn ap Gruffydd* megys y diweddaf o Dywysogion mru.

Methais a gafaelyd ar y cofiant mewn amcan gennyf ar y pryd yr aeth t. d. 724 i'r wasg, ddigon buan iddei roddi yn ei briod le; ond ar ol hynny cefais ef yn y *Cambrian Plu- ck*; ac os cywir ydyw, yr oedd *Llewelyn ap Gruffydd* ei hun yn brydydd. Dywedir o, ar ol y fuddugoliaeth wrth *Moel y Don*, fyned iddei lys yn *Aber*, ac iddo yno yn rfoledd yr uchelwsur gyfansoddi yr englyn canlynol: barned y darllenydd pa un o'r ddau glyn yw'r cysefin.

"Mae'n Don, llawer bron, llu'r brenin,—heddyw,
Er hawdded ein chwerthin;
Llawer Sais leu-bais libin,
Heb air na chwyth fyth o'i fin." ]

## DAFYDD AP GRUFFYDD.

### 1282—1283.

Pan ymadawodd *Llewelyn* tua'r Deheubarth, gwelwn iddaw adael Gwynedd dan ofal ei frawd *Dafydd*. A thra'r oedd *Llewelyn* ar ei gadrwysc, nid ydyw tebygol fod llawer o ymladd wedi cymmeryd lle yn y gogledd, canys yr oedd y brenin Iorwerth wedi ymdynu i Ruddlan, ac yno yn ymbarotoi tuag at ymdrech fwy egniol. Canys *Dafydd* yn awr a gyfrifai ei hun yn Dywysawg Cymru; ac felly gwysodd y pendefigion Cymreig iddei gyfarfod yn Ninbych, i'r dyben i sefydlu ei awdurdod, ac i gynnal amddiffyniad y wlad. Ond yr oedd y digwyddiad anffodus diweddar o laddiad *Llewelyn*, a gorthrechiad ei fyddin, gwedi peri cymmaint o derfysgiad yn mhlith y bobl, ac wedi gwanhau eu hegnioedd i'r fath raddau, ag nad oeddent alluog, o ran nerthoedd milwraidd nac undeb bwriad, i gydweithredu yn effeithiol tuag at gynnal y rhyfel; tra'r ydoedd y Brenin gwedi ymgryfhau yn ddirfawr, trwy ychwanegiad o rifedi ei wŷr, a darpariadau ereill. Ac ysgatfydd y gallwn ychwanegu, nad oedd gan y Cymry ddim o'r un ymddiried yn *Dafydd* ag oedd ganddynt yn ei frawd; ac hefyd nad oedd ei gymmeriad rhagflaenawl ddim gwedi ei addasu i ddisgwyl am y cyfryw ymddiried; a hyn a gyfrif, mewn rhan, am rai o'r amgylchiadau perthynol iddei dynghedfen. Yr oedd *Dafydd* ar hyn o bryd mewn meddiant o Eryri, a dywedir fod ganthaw un castell yno o gadernid mawr, o'r enw *Bere*,* yr hwn a feddylir mai castell *Dolbadarn*, gerllaw *Llan Beris*, ydoedd, yn yr hwn yr oedd ganthaw lu nifeiriol o wŷr. Ond y brenin yn awr, gwedi cynnull ei fyddin, a gyrchodd tuag at Eryri, ac a ymosododd ar yr ardal honno gyda dirfawr gerwynder, gan anfon ei luoedd o amgylch y wlad yn finteioedd cedyrn, a threiddio i'r mynyddoedd, fel na allai y dyrnaid pobl a amddiffynent y lleoedd hynny barhau yn hwy i wrthladd yr ymosodiad. Y gelynion a gymmerasant y cyfan o'r ceatyll a oeddynt yn meddiant *Dafydd*, a gorfu arno yntau a'i bleidwyr gilio i ryw leoedd ereill llai cyfanedd, gan fudo o fan i fan, fel ag y byddai angen. Ond etto pobl Eryri ni ymostyngasant; eithr cynhaliasant eu breintiau mewn modd tra anrhydeddus, gan beri iddeu gelynion brynu yn ddrud pob modfedd o dir yr hyn a ennillasant yno. Eithr yn y diwedd llwyddodd rhifedi yn erbyn dewrder, a lluoedd y brenin a oeddynt mewn meddiant o'r holl lefydd caerog, ac amddiffynfeydd y wlad; a phobl Eryri, a rhai ereill o'r Cymry, y rhai a hoffent rydd-did helbulus yn hytrach na chaethiwed, a orfuant gilio er diogeliad i'r llochesau mwyaf anial; eithr nid cyn ymdrechiadau egniol yn mhlaid eu breint-

* Gwel Hanes Gwynedd gan CATHRALL.

, a cholli tair mil o wŷr rhyfel yn yr achos. Yn yr amser hyn o 'yngdra, yr oedd *Dafydd* hefyd yn gorfod diogelu ei hun a'i dylwyth yr un modd, gan ymguddio yn y coedydd a'r corsydd. Ond yn y wedd syrthiodd yn ysglyfaeth i'r Saeson; canys brachychwyd ef iddeu 'ylaw gan rai o'i ddeiliaid ei hun, enwau pa rai a ddywedir oeddynt *inion ap Ifor*, a *Goronwy ap Dafydd*: y sawl, gyda'u meibion, a aelasant arnaw lle yr oedd yn ymguddio mewn corsle, ac a'i dygasant, 'da'i wraig a'i ddau fab, a'i saith ferch, yn gaeth i gastell *Rhuddlan*, lle oedd y brenin yn trigo ar y pryd. Yna *Dafydd* a erfyniodd am gael nweled â'r brenin, ond ni chaniataodd hynny iddaw; eithr anfonodd ef garcharor i'r Amwythig, i gael ei brofi yno; canys o herwydd fod *afydd* gynt gwedi cael ei wneuthur yn *Arglwydd* Saesonaeg, y brenin benderfynodd ei brofi megys deiliad Lloegraidd, ac yn ol y gradd a aliasai; a thuag at hynny ffurfiodd frawdlys o un ar ddeg o Ieirll, a ant o Farwniaid, a'r brenin ei hun yn llywyddu fel barnwr. Yn y llys mnw cafwyd *Dafydd* yn euog o'r troseddau cyhuddiol yn ei erbyn, a mwyd iddo ddioddef cospedigaeth cyfattebol i bob un o honynt, sef lwar math o gospedigaeth; a'i ddedryd oedd fal hyn:

Am ei fod yn fradwr i'r brenin, yr hwn a'i urddasai yn farchog, yr oedd ael ei lusgo wrth gynffon ceffyl i'r lle dihenyddiad.

Am iddo lofruddio *Fulk Trigold* ac ereill yn nghastell *Hawarden*, yr ld i gael ei grogi.

Am ei fod yn euog o gysegr-dreisiant, trwy gyflawni y llofruddiaeth nny ar Ddydd Sul y Blodau, yr oedd ei ymysgaroedd i gael eu torri allan llosgi. Ac,

Am iddo gynllwyno yn erbyn bywyd y brenin mewn amryw fannau y deyrnas, yr oedd ef i gael ei dorri yn bedwar darn, a'i aelodau i l eu crogi i fynu mewn amryw leoedd.

Y cyfan o'r ddedryd gwrthun hyn a gyflawnwyd hyd yr eithaf, ac anwyd ei bedwar aelod i bedair o'r dinasoedd mwyaf cyfrifol y deyrnas; sawl oeddynt *Brysteu*, *Northampton*, *Caerefrawc*, a *Chaerwynt*, 'inchester;] eithr yn gyntaf, bu ymryson taer rhwng dinasyddion *erefrawc* a *Chaerwynt* pwy a gaffai ei ysgwydd ddehau; a therfynwyd ldadl trwy farnu iddi fod yn eiddo pobl *Caerwynt!* Anfonwyd ei ben *undain*, lle y dodwyd ef ar y Twr, gyda phen ei frawd *Llewelyn*.

A hyn a gafodd y Tywysawg annedwydd hwn, am ymostwng i dderbyn 'hydeddau ar law pennadur estronaidd, ac yntau ei hun ar yr un pryd, y rinwedd hen etifeddiaeth, yn fwynhaol âr anrhydedd llawer odidoch nag oedd yn ngallu neb un o eppil y bastardd Normanaidd ei gyfu iddaw. Pe buasai *Dafydd ap Gruffydd* yn iawn barchu y "gorhên h uchelfonedd," yr hyn oedd wir eiddo, ac yn gwrthod yr urddas an-

nheilwng, yr hon ni allai ychwanegu at ei ardderchowgrwydd, ni fua— yn cael ei ddwyn yn euog o fradwriaeth tuag at frenin dieithr.

Y mae gan *Bleddyn Fardd* ddwy Farwnad i *Ddafydd ap Gruffydd*, yn mha rai y crybwylla am ei ddewrder megys rhyfelwr, ond ni chyfeiria at ddull ei angau; cynhwysa un o honynt y canlynol:—

"Gwr heirdd ei filfeirdd, foliant cynnar;
Gwr hardd-ddeddf, ddileddf ar dâl branar;
Gwr a wnaeth a gwayw, gwyar yn cochi;
Uwch *Aberteifi*, Ri rhyfelgar!

"Gwr gwrdd yn ymhwrdd emys[1] lluchfar;
Gwr gorddin, nas byw llyw lluosgar;
Gwr bolch ei darian, daerfar yn nghyni;
Gwr balch yn boli seri sathr.

"Gwr beilch ei aerweilch, arwymp drydar;
Gwr bwlch nad ydyw, gwayw briw brwydrgar;
Gwr a wnaeth adaw adar ar gynrain,
Fal cigfrain *Ywain* awydd daffar." *

[1] meirch.

Y mae gan *Bleddyn Fardd* hefyd Farwnad i dri mab *Gruffydd ap Llewelyn* yn nghyd; sef, *Owain* a *Llewelyn* a *Dafydd*: y canlynol ydyw:—

"Neud amser ganaf gwelwaf gweilgi;
Gwelging moradar, hwylfar heli;
Neud arllen arien *Eryri* weithion,
Neud uchel gwendon gwyndir *Enlli*?

"Neud wyf hoed fwy-fwy drwy drueni;
Neud wyf hoen hyhoen heb Arglwyddi,
Triwyr a golleis, tri dyledogion,
Brodorion haelion o hil *Rhodri*.

"Rhydraws fuom oll cyn eu colli,
Rhydrist y'm gwnaeth Crist croes oleuni,
Rhydrwm fu eu har am beri lluoedd
I gynnal torfoedd terfyn *Hodni*.

"Gwyr hoedlwydr, gwyr hydr eu gwrhydri;
Gwyr hydraidd gwraidd am fro *Geri*;
Gwyr cyrchiad yn nghad, yn nghaledi [blwng;
Ni edynt ystwng *Ystrad Tywi*.

"*Ywain* fab *Gruffydd* fudd fynogi,
Awyddawc farchawc, feirch ddigronni,
Eryr ffraw, ni ddaw yw ddaioni neb
Am glod ac wyneb, *Gwynedd* lochi.

"Llas gwr, *Gereint*,[1] hynt haelioni;
Llywiawdr llu Cymru hy ei enwi;
*Llewelyn* terfyn torf gymhelri falch,
Llafngoch yn ngalch[2] yn *Nghaerfili*.

"*Dafydd* glod gynnydd gyn ei drengi,
Defodau *Drystan*,[3] darian dorri;
Dyfrydedd *Gwynedd* gwae ni ryallad
Gwalch ffysgiad rhoddiad rhudd a [phali.[4]

"Gwaed-raiadr baladr, o lin *Beli*,
Gwayw-ddur far *Arthur*, wrth *Gaer Fenli*
Gwawr aruthr gwychruthr am gochi car- [gledd
Pan oedd gwyr *Gwynedd* tuedd *Teifi*.

"Dreigiau rhwyg arfau yn rhagori
Dragon ddieiddil fil fanieri
Drwg yn gwnaeth hiraeth, hir dewi Triwyr,
Megys meibion *Llyr*, llwyrglod ynni.

"I Dduw yd archaf Naf eu noddi
Eir egored, roddfyged Ri;
I gwbl o'r Seiniau; i *Gybi* freiniawl,
I hael ysbrydawl deddfawl *Dewi*.

"I *Fair* fawr gadair, gadr ei gweddi;
I'r gwyr a wnaethpwyd yn *Broffwydi*;
Y'n mhlwyf mad gwastad gwesti cyureir- [feint
Yn mhlith harddfreint Saint Senedd *Frefi*.[5]"

[1] Fal Gereint ap Erbin. [2] Calch,-llurig. [3] Trystan ap Tallwch. [4] Aur coch a sidan. [5] Llanddewi Brefi.

* Am eglurhad o'r cyfeiriad hyn, gwel y *Mabinogion*, gan yr *Arglwyddes Charlotte Guest*, lle y traethir am fyddin o gigfrain yn ngwasanaeth *Owain ap Urien Rheged*.

Heblaw y cofieint prydyddawl y rhai a geir yn ngwaith y Beirdd Cymraeg, y mae hefyd ar glawr rai llinellau Lladin, megys bedd argraff i *Lewlyn ap Gruffydd*, gan ryw Eglwyswr Cymraeg, ac hefyd gwrthgyfansoddiad iddynt gan Sais. Rhoddaf y ddau yma allan o'r cyfieithiad Saesonaeg o'r *Polychronicon*, yr hwn a argraffwyd gan *Caxton*, yn 1460; ac ychwanegaf y Saesonaeg o honynt yn y llyfyr hwnnw, er dangos cyflwr y iaith yn amser *Caxton*. Y llinellau Lladin cyntaf ydynt waith y Cymro, a'r lleill ydynt eiddo y Sais. Cymhwyswyd y Lladin at ddull yr awrhon o argraffu.

"Of this Lewelin two men of relygyon wrote verses in metre/of the Walshemen in this maner.

"Hic jacet Anglorum tortor, tutor Venedorum;
Princeps Wallorum Lewelinus regula morum;
Gemma coævorum, flos regum præteritorum;
Forma futurorum, dux, laus, lex, lux populorum.

"Here lyeth the tormentour of Englyshemen, wardeyn and tutor of Walshemen/Prynce of Walshemen. Lewelyn, ruler of good thewes. Choyf precyous stone of them that were in his tyme. Floure of kynges that were before. Ensample of them that shall be after his tyme. Leder praysynge/lawe and lyght of people."

"But the Engyshemen said in this manere.

"Hic jacet error princeps, prædo virorum;
Proditor Anglorum, fax livida, secta reorum;
Numen Wallorum, trux dux, homicida, piorum;
Fæx Trojanorum, stirps mendax, causa malorum."

"That is/here lyeth the Prynce of errours. Theyf and robber of men. Traytour of Englyshemen. A dymme bronde/and set of euyll doers, God of Walshemen/a cruell duke/a sleer of good men. Drastes of Troyanes/a false rote cause of euyll dedes."

## DILEAD TYWYSOGAETH CYMRU.

### 1282.

Trwy y digwyddiadau rhagfynegol llwyr ddiffoddwyd Tywysogaeth Cymru. Canys plant y Tywysogion diweddaf nid oeddynt mewn amgylchiadau i hawlio eu heiddo. Nid oedd merch *Llewelyn* ond baban, a *Dafydd ap Dafydd* a oedd yn garcharor. Am *Rodri ap Gruffydd*, brawd arall *Llewelyn*, nid oes hyspysiad am ei helynt, ond y mae yn debygol ei fod wedi cilio allan o'r wlad; oblegyd ni cheir ei enw yn hanesion yr amser hwnnw. Crybwyllir am dano ond mewn dau neu dri o fannau yn unig yn yr holl hanes, ac yno, nid megys yn cyfrannu yn ngweithrediadau gwladwriaethawl. Ac yn un o'r cofiaint ymddengys ei fod wedi cael ei gadw yn garcharor gan ei frawd *Llewelyn*, a bod brenin Lloegr yn ammodi am ei ryddhad; ac ar ol hynny crybwyllir am ei ddihangiad i Loegr. Y mae yn debygol iddo ar ol hyn ymneilltuo ei hun oddiwrth ei wlad, er diogel-

wch. Yr achau Cymraeg a fynegant fod i *Rodri* fab o'r enw *Thomas*, a i hwnnw fab o'r enw *Owain*, sef *Owain ap Thomas ap Rhodri*, yr hwn a alwyd *Owain Lawgoch*: a'r hwn, fel y dangosir gan *Angharad Llwyd*, yn *Hanes Tylwyth Gwydir*, nid oedd amgen na'r clodwiw *Ivain de Galles*, *Ivain o Gymru*, yr hwn a ennillodd y fath enwogrwydd yn Ffrainc, trwy ei ddewrder megys marchog a rhyfelwr; ac hanes pa un a roddir gan yr hen awdwr Ffrangaeg, *Froissart*. Ond y mae yn ddyledus sylwi fod rhai cyfieithwyr Saesonaeg o waith yr ysgrifenydd hwnnw, gwedi myned yn mhell tuag at ddyrysu yr hanes, a diddymmu undeb yr enwau, trwy ei alw ef yn *Evan of Wales*. Ond y mae yr achau Cymraeg, trwy roddi yr enw *Owain*, yn cadw y cyfundeb, er y gall ymddangos yn annghyffelyb ar y golwg cyntaf. Canys y dull Ffrangaeg o'r enw *Owain*, ydyw *Ivain*, fel y gwelir yn yr enw *Owain ap Urien*, yr hwn a elwir "*Ivain filz du roi Urien*." Y mae yn ddilys i'r Ffrancod ei gymmeryd oddiwrth yr hen lythyreniad Cymraeg *Ywain*.

## OWAIN O GYMRU.

*Froissart* a ddywaid fod *Owain o Gymru* yn fab i Dywysawg o Gymru, ac mai *Edmund* oedd enw ei Dad, yr hwn y darfu i'r brenin *Iorwerth*, am ryw achaws, yr hwn ni wyddai yr awdwr, ei osod i farwolaeth trwy dorri ei ben; ac yno gafaelyd ar ei diroedd a'i dywysogaeth, a'u rhoddi iddei fab, y Tywysawg Cymru. *Owain* yn ei ieuenctyd a ffodd i Ffrainc, ac a ddangosodd ei gyflwr i'r Brenin *Philip*, [*Charles* a ddywedir mewn man arall,] yr hwn a'i noddodd ef yn ei lys, gan ei wneuthur yn un o'i ystafellyddion gyda'i neiaint ei hun, a phendefigion ieuainc ereill. Bu hefyd yn ngwasanaeth y brenin Ffrangaeg *Ieuan*, ac yn mrwydr *Poitiers*. Pan sefydlwyd heddwch rhwng Ffrainc a Lloegr, aeth *Owain* i *Lombardi*, ac ar dorriad allan rhyfel drachefn rhwng Ffrainc a Lloegr, dychwelodd i Ffrainc, lle yr ennillodd anrhydedd mawr. Brenin Ffrainc a'i hanfonodd i'r môr â llynges gref dan ei flaenoriaeth, yn erbyn y Saeson, ac efe a'u gorthrechodd hwy mewn amryw frwydrau. O'r diwedd anfonwyd ef yn erbyn tref *Mortain sur Mer*, yn *Poitou*, yr hon oedd yn meddiant y Saeson. Yno gwarchaeodd y dref mor gyfyng, a'i bod yn barod i ymroddi iddei ddwylaw. Ond yn amser y gwarchaead, daeth o Loegr, o gyffiniau Cymru, un o'r enw *Ieuan Lambe*, yr hwn a haerai ei fod wedi dyfod i ymweled âg *Owain*. Ac o achos hynny, cafodd dderbyniad anrhydeddus yn mhob man; canys yr oedd *Owain* mewn parch mawr gyda phawb o ddeiliaid brenin Ffrainc; a thywyswyd ef gan bobl y wlad at *Owain*. Yna *Lambe* a syrthiodd ar ei luniau gerbron *Owain*, a dywedodd

yn iaith ei wlad, ei fod ef gwedi gadael Cymru i ddyfod yno iddei wasanaethu. Yna *Owain* a ofynodd iddo y newyddion o Gymru; ac yntau, yn mhlith llawer o bethau, a ddywedodd fod yr holl dywysogaeth yn ddymunol o'i gael ef yn Arglwydd. *Owain* a roddodd gred i hyn, ac a wnaeth *Lambe* yn ystafellydd iddaw, gan osod ymddiried mawr ynddo. Eithr nid oedd yr adyn hwnnw ond rhagrithiaw yn y cyfan, a dywedpwyd ei fod wedi cael ei gyflogi gan rai o'r marchogion Saesonaeg i gyflawni brad yn erbyn *Owain*, yr hwn a oedd yn eithaf drachas gan y Saeson. Ac un boreuddydd, fel yr oedd *Owain*, yn ol ei arfer, yn eistedd ar y glas gyferbyn a thref *Mortain*, yn anarfawg, a neb ond *Ieuan Lambe* yn gweini iddaw, y bradwr ysgeler hwnnw a afaelodd ar ryw adeg cyfleus, ac a'i brathodd â chyllell, nes y bu farw yn y man, ac yno ffodd i'r dref at y Saeson, lle yr ymffrostiodd yn ei orchwyl: ac ar ol hynny cafodd am dano wobrwy o gant ffranc o arian.* Hyn a ddigwyddodd yn y flwyddyn 1381, pan yr oedd *Iorwerth III*, brenin Lloegr, yn rhyfela yn Ffrainc.

Y mae yn rhaid addef yma fod ychydig o annghysondeb yn yr enwau; canys nid oedd un Tywysawg Cymraeg o'r enw *Edmnnd;* ac nid oes hanesiad fod *Thomas ap Rhodri* wedi cael ei ddihenyddio. Ond dichon fod *Froissart* wedi camsyniad yn yr achau, ac wedi dyrys-gymmysc enw *Edmund Mortimer*, gan wŷr yr hwn y lladdwyd *Llewelyn ap Gruffydd*, âg eiddo tad *Owain*.

* Gwel cyfieithiad Froissart gan y diweddar *Johnes o'r Hafod*.

## UNIAD CYMRU A LLOEGR.

## 1284.

### CYFRAITH RHUDDLAN.

Ar ol lladdiad *Llewelyn* a *Dafydd*, a chaffael eu etifeddion iddei ddwylaw, yr oedd y brenin *Iorwerth* yn awr mewn cyflawn feddiant o'r Dywysogaeth. A chan ei fod yn bennadur call a chyfrwys, canfyddai yn amlwg yr adeg a hanfodai i ymdrechu tuag at gyflawn ddarostyngiad y wlad; ac am hynny ymosododd â'i holl egni tuag at ddwyn ei fwriad i ben. I'r diben o hyn, cymmerodd, ei drigfan yn nghastell *Rhuddlan*, lle y treuliodd y rhan fwyaf o'i amser dros dair blynedd; * ac yno anfonodd gyhoeddiad trwy'r Dywysogaeth, o nawdd i bawb ag a ufuddhaent iddei awdurdod, ac addewid iddynt fwynhau eu tiroedd a'u breintiau, a'u holl feddiannau, fel y gwnaethent dan eu tywysogion cynhenid. Ac hyn y brenin a gyflawnodd mewn rhan, gan wneuthur holiad perthynol i'r cyfryw ddaliadau; a thrwy hynny cafodd rhai o'r hen drethau eu hiselu.

Yma hefyd ymosododd y brenin i uno'r Dywysogaeth â theyrnas Lloegr, a'i dwyn dan y cyfreithiau Saesonaeg. Ac i'r diben o hyn, ffurfiodd deddfres, yr hon a gyhoeddwyd yn y Grawys o'r flwyddyn 1284, ac a elwyd *Cyfraith Rhuddlan*, [*Statutum de Rothelan.*] † Yn hon dywaid ei fod gwedi peri holiad trwy Gymru, perthynol i'r cyfreithiau mewn hanfodiad; ac ar ol eu manwl ystyried, iddo ddileu rhai o honynt, cadw rhai, diwygio rhai, ac hefyd ychwanegu rhai attynt.

### UNIAD CYMRU A LLOEGR.

Yn rhagymadrodd y ddeddfres hon, crybwyllir am uniad a chorfforiad Tywysogaeth Cymru â theyrnas Lloegr;

"*Iorwerth*, trwy rad Duw, Brenin *Lloegr*, Arglwydd *Iwerddon*, a Dug *Aquitaine*, at ei holl ffyddloniaid yn ei diriogaeth ef o *Eryri*, ac o'i diriogaethau ereill yn Nghymru, yn dymuno iechyd yn yr Arglwydd.

"Y Dwyfol Ragluniaeth, yr hyn sydd anffaeledig yn ei drefniadau, yn mhlith ei roddion ereill trwy ba rai y teilyngodd ein hadduruo nyni a'n teyrnas o Loegr, sydd yn awr trwy ei rad, a thrwy symmudiad ymaith o

* Yn ystod yr amser hwn deallwn fod y brenin gwedi ymweled âg amryw rannau o'r wlad cyfnesol, canys ceir arwyddocad o hynny yn ei ysgrifau; rhai o'r sawl a amserir yn *Baladeulyn*, a rhai yn "*Aberconewey in Snowdon;*" sef meddyliaf y Monachlog yno, o herwydd nid oedd y castell wedi ei adeiladu.—Gwel *Aylosse's Ancient Charters.*

† Gwel WOTTON.

b rhwystrau yn hollol, ac mewn cyfanoldeb gwedi cysylltu ac uno â oron y deyrnas rhagenwedig, megys cyfran o'i chorff, tir Cymru gyda'i igolion, yr hwn oedd gynt, trwy deyrnged, yn ddarostyngedig i nyni," c.*

Ar ol hyn y weithred a â rhagddi i sefydlu dosparthiad rhannau o ynedd a Deheubarth yn Swyddi.

Yn y dosparthiad yma sefydlir fod *Prif Ynad Eryri* i gael cadwraeth lywodraeth *Eryri*, a thiriogaethau cyfnesawl y brenin yn Nghymru. ar ol hynny enwir y Swyddi newyddion, y rhai oeddynt *Môn*, *Caerfon*, *Meirionydd*, *Fflint*, *Caerfyrddin*, a *Cheredigion*. Ni enwir o ydd *Ddinbych* yn eu plith, a'r achos o hynny oedd, fel y meddyliaf, fod renin gwedi rhoddi y wlad honno eisioes i rai o'i ganlynwyr; sef ar-yddiaeth *Dinbych* i *Henri Lacy*, Iarll Lincoln; ac arglwyddiaeth *uthin* i *Reginald de Grey*.

Ac am y rhannau ereill o Gymru, y rhai ni enwir yn y rhestriad hwn, y e yn ddilys gennyf mai yr achos o'u gadael allan ydoedd, eu bod hwy oes yn feddiannau yr Arglwyddi Cyffindirol; ac ni feiddiai y brenin yrryd âg eiddo y pendefigion hynny, o herwydd nid oedd awdurdod nhinoedd Lloegr etto gwedi estyn mor bell a gallu o honynt gyffwrdd wy, heb berygl o wrthryfeliad, a uno o honynt â'r Cymry.

Ar ol y sefydliadau hyn, traethir am y dull o weini cyfraith, ac am ryw droseddau, ac achosion llysiol yn gyffredinol. Ac mewn un , sefydla fod yr hen ddefod Gymraeg o etifeddiaeth tiroedd i aros heb hyfnewid; sef rhannu y tiroedd rhwng yr holl frodyr, yn lle eu roddi henaf o honynt, yn ol y dull Saesonaeg. Ac yn hyn ni allaf lai na gdybied fod *Iorwerth* yn ddigon cyfrwys i weled fod y dull hynny o eddu yn achlysur o wanhau y pendefigion Cymraeg, a pheri ymryson ngddynt; ac felly ei fod yn gadael i'r gyfraith niweidiol honno barhau ei dull cysefin.

Heblaw y weithred hon o ffurfio cyfreithiau, y brenin *Iorwerth* a ymlarnhaodd yn y wlad trwy adeiladu amryw gestyll; y cyntaf oedd tell *Caernarfon*, yr hwn a ddechreuwyd yn y flwyddyn gyntaf o'i diant o'r wlad, ac a gwblhawyd mewn dwy flynedd. Yr oedd yn agos

* Edwardus Dei Gratia Rex Anglie, Dominus Hybernie et Dux Aquitannie, omnibus libus suis de terra sua Snaudon, Et de aliis terris suis in Wallia, salutem in Domino. ina Providentia que in sui dispositione non fallitur, inter alia dispositionis sue munera bus nos et regnum nostrum Anglie decorare dignata est, Terram Wallie cum incolis suis, s Nobis jure feodali subjectam, jam sui Gratia in Proprietatis nostre Dominium, ob-ulis quibuscunque cessantibus, totaliter, et cum integritate convertit, et corone regni dicti, tanquam partem corporis ejusdem annexuit et univit. Nos itaque nutu divino ntes predictam terram nostram Snaudon, et alias terras nostras in partibus illis, sicut etaras ditioni nostre subjectas, ad honorem et laudem Dei et Ecclesie Sancte, ac zelum icie sub debito regimine gubernari," &c. Yr oedd yr Archesgob *Peckham* ar y pryd yn Nghymru, ac nid oes fawr amheuaeth ynwyf y canfyddaf yma waith ei law.

yno hen gaer Rufeinig, o'r enw *Segontium*,—*Caerseiont*, [oddiwrth yr afon *Seiont*.] Ac y mae yn debygol fod castell arall yno yn y canol oesoedd, cyn dechreuad yr un presenol. Ar y lleiaf nid gyda'r adeiladiad hwn y dechreuwyd yr enw; o herwydd ceir ef hanner cant o flynyddau cyn hynny yn ngwaith *Llywarch Prydydd Moch*, mewn awdl i *Lewelyn ap Iorwerth*.

"A chaer yn Arfon acharant yg gnif," &c.

Ond a oedd y gaer honno ar yr un tir lle y codwyd y castell presenol, nis gwn.

Yn yr ail flwyddyn o'i oruchafiaeth, dechreuodd gastell *Conwy*, ar y man lle yr oedd Monachlog *Aberconwy*, yr hwn hefyd a gwblhawyd mewn dwy flynedd. Symudodd y monachod i fonachlog yr hwn a gyfododd efe yn *Maenan*, gerllaw *Llanrwst;* ac ar ol hynny symmudodd hwy drachefn i swydd Caer.

Eithr gwelodd nad oedd y cestyll hyn ddim yn ddigon i gadw y wlad dan ei lywodraeth; ac felly, yn mhen naw mlynedd ar ol hynny, adeiladodd gastell *Beaumares*, yn Môn, i gadw y wlad honno. Yr enw hwn sydd Ffrangaeg, ag yn y Lladin gelwir ef *de Bello Marisco*, yr hwn sydd yn arwyddocau *Y Morfa Teg;* ac y mae *Angharad Llwyd* yn meddwl y gallasai fod yr enw hwnnw gan y Cymry ar y lle, eisioes, ac i'r Normaniaid ei gyfieithu i *Beau marais;* ac y mae hyn yn dra thebygol, ac yn gyson âg arferiad y bobl hynny.

I'r diben hefyd o ymnerthu yn y wlad, *Iorwerth* a ffurfiodd drefi *Rhuddlan*, *Caernarfon*, *Aberystwyth*, ac ereill, yn fwrdeisdrefi; a rhoddodd iddynt amryw freintiau neullduol.

## IORWERTH O GAERNARFON.

### 1284.

Ond er yr holl ymdrechiadau hyn ar ran y brenin, nid ydoedd efe ddim yn esmwyth perthynol iddei feddiant o'r wlad. Yr oedd y Cymry gwedi eu gorthrechu mewn rhyfel, ond etto heb eu gorchfygu; a *Iorwerth* a deimlai hynny yn dda. Dyn deallus oedd efe, yn gynhefin a llywodraethu, ac yn gallu canfod yn gywir anianawd y dynion â pha rai yr ymdriniai. Yr oedd pobl *Eryri* gwedi dywedyd na fyddai iddynt byth ufuddhau i neb rhyw estron, o iaith pa un yr oeddent yn anadnabyddus; ac yn awr, ar ol dechreu anadlu, gwedi eu hymdrech caled, y mae yn ddiau fod *Iorwerth* yn canfod yn eu plith arwyddion o anesmwythder dan ei lywodraeth, ac o barotoad i wrthladd ei awdurdod; ac megys llywiawdr call, ymosododd i attal yr ergyd mewn pryd; yr hyn a lwyddodd iddei wneuthur hefyd

mewn modd tra chelfydd. Ar ol ymgynghori â'r Cymry amryw weithiau tuag at eu dwyn dan ei awdurdod, cafodd hwy yn ddiysgog yn eu penderfyniad, ac attebent iddei ofyniad, eu bod yn foddlon i gymmeryd yn Dywysawg unrhyw ŵr a enwai y brenin, os byddai yn Gymro; a neb rhyw atteb arall nis gallai fyth gael ganthynt drwy un modd. Ar y pryd hyn yr oedd ei wraig, y frenhines *Eleanor*, yn feichiog; ac efe a anfonodd i Loegr, lle yr oedd yn trigo, i erchi iddi ddyfod yn ddioed i Gastell *Caernarfon*, yr hwn oedd newydd ei adeiladu. A hithau a deithiodd ar geffyl, yn ddirgel, er mai gauaf ydoedd, a'r ffyrdd yn anhawdd eu tramwyaw, ac a ddaeth i'r lle hwnnw. Yna *Iorwerth*, pan ddaeth amser esgoriad y Frenhines, a anfonodd am y pendefigion Cymraeg i ymgyfarfod âg ef yn *Rhuddlan:* ond oedodd eu galw i ymgynghoriad nes iddaw gael hyspysiad fod y frenhines gwedi esgor ar fab, yr hyn a ddigwyddodd ar y 25ain o Ebrill, 1284; * ac yna galwodd hwy atto, ac a ddywedodd wrthynt, eu bod yn fynych wedi ceisio ganthaw roddi iddynt Dywysawg; a chan ei fod ef yn awr ar ymadael â'r wlad, y byddai iddo ganiatau eu dymuniad a rhoddi iddynt Dywysawg, os byddai iddynt hwy addaw ufudd-dod i hwnnw. A hwy a attebasant y gwnelent felly, os byddai efe un o'u gwlad eu hunain. Yna *Iorwerth* a ddywedodd yr enwai efe un a anwyd yn Nghymru, ac na lefarodd erioed air o Saesonaeg, a buchedd yr hwn ydoedd yn ddiargyhoedd. A phan attebasant y byddai iddynt ufuddhau i'r cyfryw un, *Iorwerth* a ddywedodd mai ei fab ei hun ydoedd, yr hwn a anesid yn Nghastell *Caernarfon* ychydig cyn hynny. † Y mae yn ddilys fod y pendefigion yn gweled twyllodrwydd yr ymddygiad, ond ni wnaethant un gwrthladdiad iddo. Ac y mae yn debygol eu bod yn meddwl, er nad ydoedd y Tywysawg newydd o'u gwaedoliaeth eu hunain, etto os byddai iddo gael ei ddwyn i fynu yn eu plith, y gallai yn y canlyniad fod o fuddioldeb iddeu gwlad a'u cenedl. Y mab hwn a enwyd *Iorwerth;* ac yn ystod bywyd ei dad a fwynhaodd yr enwad o *Dywysawg Cymru*, ac ar ol hynny bu frenin Lloegr, dan yr enw *Iorwerth II.*, a *Iorwerth o Gaernarfon.* ‡

Ac yn awr y mae yn ddiau fod pob plaid ar hyn o achlysur naill ai gwedi ei boddhau, neu gwedi ei thawelu dros ennyd: a *Iorwerth*, er meithrin yr ewyllys da yr hwn a ennillasai, a wnaeth, er difyrwch i'r

* Yr oedd hyn yn agos iawn i amser cyhoeddiad Cyfraith Rhuddlan.

† Daethpwyd â'r newyddion o hyn i'r brenin gan *Sir Gruffydd Lloyd*, yr hwn a gafodd ei urddaw yn farchog am ei wasanaeth.

‡ Yr oedd *Alphonso*, mab henaf y brenin, yn fyw ar y pryd y ganwyd *Iorwerth II.*, ond bu farw cyn hir; ac o hynny allan cafodd mab henaf Brenin Lloegr yr enwad o *Dywysawg Cymru*. Y mae yn rhaid i mi adael yr arwyddair "*Ich Dien*," hyd nes caffwyf well awdurdod nag a gefais hyd hyn, am ei gyfuno âg *Eich Dyn*.

Cymry, wledd fawr yn *Nefyn*, yn swydd *Gaernarfon*, gan gynnal yno y gamp filwraidd a elwid *Tournament*, yn ol yr hyn a haerid am ddefodau y Brenin *Arthur* a'r *Ford Gron*, lle y daeth yn nghyd nid yn unig y pendefigion Cymraeg, ond hefyd y goreuon o Arglwyddi a Marchogion Lloegr, ac hefyd laweroedd allan o wledydd pellenig.

Ac yn awr pwyllwn ychydig i daflu golwg ar ymddygiad *Iorwerth*. Daeth i Gymru gyda'r cadernid mwyaf nerthol y gallai ei gynnull, nid yn unig yn Lloegr, ond yn y gwledydd cyfnesol. Tramwyodd y wlad gyda rhwysg buddugoliaethawl; gorthrechodd y Tywysogion, gan ladd un mewn brwydr, a'r llall trwy ddihenyddiad; a gwasgarodd eu byddinoedd. Adeiladodd gestyll, a ffurfiodd gyfreithiau; ond etto nid oedd y Cymry ddim gwedi eu llwyr ddarostwng: ac ni all un peth brofi y parch a feithrinai *Iorwerth* tuag at eu gwrolder a'u gwladgarwch diysgog na'i ymddygiad perthynol i enedigaeth ei fab yn *Nghaernarfon;* canys ymostyngodd ar yr achlysur hwnnw i weithred o anian tra iselol a gwarthus, sef peri iddei frenhines, a hithau yn feichiog, gymmeryd y fath daith hir, trwy wlad o anhawdd dramwyad, ac yn yr amser gerwinaf o'r flwyddyn, a hynny er ceisio rhyngu bodd pobl, y rhai, yn ol pob tebygolrwydd, yr oedd efe gwedi eu gorthrechu a'u darostwng. Ond *Iorwerth* ei hun oedd y darostyngedig, ac yn talu teyrnged hefyd. Cyflawnasai *Iorwerth* sarhad erchyll tuag at y Cymry trwy ei ammharch a'i greulonder iddeu dau Dywysawg. Ond yn awr gwnaeth iddynt ad-daliad am hynny, trwy yr hunan-waradwyddiad hyn, yn ei ddarostyngiad o'i hun, ac o'i frenhines; ac etto y mae un syniad deilliedig allan o'r amgylchiadau hyn, yr hwn, er cyfiawnder i'r rhai y perthyna, ni ddylid ei gelu. Wrth sylwi ar ddyfodiad y frenhines i Gymru, cyfoda gofyniad, paham, yn ngwyneb ei holl anhawsderau, yr oedd yn rhaid iddi estyn ei thaith beryglus hyd eithafoedd *Arfon?* Yr oedd dan lywodraeth y brenin gestyll cedyrn a godidog lawer nes i Loegr, ac yn eu plith yr oedd *Rhuddlan* ei hun, y llys brenhinol, ar ymylau y wlad; a allasai hi ddim gorphen ei thaith yn un o'r rhai hynny? Yr atteb yw, nid oedd un o honynt o fewn terfynau *pobl Eryri.* Yr oedd y cyfan o'r Dywysogaeth gwedi ei dwyn bob yn ddarn, naill ai trwy drais neu trwy ddichell, oddiar y Tywysawg *Llewelyn*, ar ryw bryd neu gilydd, oddieithr *Eryri* yn unig: ac i'r ardal anrhydeddus honno y parhaodd i gadw ei hawl hyd y diwedd; a phan yn arddel meddiant ar Dywysogaeth Cymru yn gyffredinol, galwai ei hun mewn modd neilltuol yn *Arglwydd Eryri*, [*Leolinus, Princeps Walliæ, Dominus Snowdon.*] A phobl dewrwych yr ardal hon a anfonasant yr atteb gogoneddus i'r brenin *Iorwerth*, na wnelent fyth wriogaeth i neb ryw estron. Yr oedd llawer o'r gwronion clodwiw hyn gwedi aberthu eu heinioes iddeu hymwystliad gwladgar hwnnw. Ond yr oedd etto ddigon mewn hanfodiad

i beri i frenin Lloegr, yn amgylchynol fel yr oedd â'i holl nerthoedd milwraidd, ymiselu mor waradwyddus, er gweini tuag at gadw eu gair a'u hadduned hwy yn annhorredig.

TEYRNDLYSAU CYMRU.

Ar ol gorphen y campau yn *Nefyn*, y brenin *Iorwerth* a aeth i *Geredigiawn*, lle y trigodd fis, i sefydlu gorchwylion y Deheubarth. Oddiyno aeth i *Forgannwg*, i ymweled â Iarll *Caerloiw*, Arglwydd y wlad honno; ac oddiyno aeth i *Frysteu*, lle y trigoddd dros wyliau Nadolig. O'r ddinas honno anfonodd ysgrif, trwy ba un y rhyddaodd drigolion *Rhuddlan*, *Conwy*, *Caernarfon*, a threfydd ereill, oddiwrth rhai drethau. Ar ol hyn y brenin a ddychwelodd i Lundain, gwedi bod ymaith yn agos i dair blynedd.

Ar ol ei ddychweliad i Lundain, *Iorwerth* a wnaeth gyrchiad cyhoeddus a gorfoleddus i Eglwys Westminster, er coffadwriaeth am ei lwyddiant yn Nghymru, canys felly y gellir barnu oddiwrth ei ymddygiad ar y pryd, Oblegyd dywedir fod gan *Dafydd ap Gruffydd* yn ei feddiant greir tra nodedig, nid amgen na darn o'r wir groes, yr hwn a elwyd *Croizeneth*,* yn addurnedig âg aur ac arian a meini gwerthfawr; hwn ar ol darostyngiad *Dafydd* a roddwyd i *Iorwerth*, yn nghyda choron y brenin *Arthur*, yr hon oedd gwedi bod dros hir amser gyda'r Cymry mewn mawr anrhydedd, a thlysau gwerthfawr eraill. A'r rhai hyn a ddygodd *Iorwerth* gydag uchel rwysc a mawrdrafyn i Eglwys Westminster, yn gydymdeithiol â llu anrhydeddus, sef Archesgob Caergaint a'i is-esgobion, oll yn eu gwisgoedd swyddol, ac Arglwyddi a gwyrda y llys, yn nghyda thyrfa ddirfawr o'r werin.

"Ac felly," medd yr ysgrifenyddion Saesonaeg wrth grybwyll am roddiad coron Arthur i'r brenin *Iorwerth*,—"Ac felly, gogoniant y Cymry, er yn anfoddhaol, a drosglwyddwyd i'r Saeson."†

Gellir canfod yn y weithred hon y mawr bwys a osodid ar bob coffadwriaeth am y brenin *Arthur*, a'r anesmwythdra a berai efe i frenhinoedd Lloegr. Gwrandawent gyda dwys glystfeiniad ar yr hen ddaroganau am ei ail-ymddangosiad, a brawychent rhag y drychiolaeth a gyfodai ger eu gwydd Cloddient ei feddrod, un ar ol y llall, a dangosent ei esgyrn i'r werin. Ac yn awr y brenin *Iorwerth* yn eithafed ei fuddugoliaeth, ni chyfrifai

* Matth. West.

† "Et sic Wallensium gloria ad Anglicos, licet invite, est translata." Annal. Waverl. —Matth. Westm.

ei oruchafiaeth yn gyflawn heb feddiannu coron y brenin *Arthur*.

Pa beth a wnaethpwyd â'r goron hon, a'r tlysau, nis gwn. Dichon i'r brenin eu gadael hwy yn offrymau yn Eglwys Westminister, megys y gwnaeth ei fab *Alphonso* ychydig cyn hyn, â'r cyffelyb bethau; canys dywedir i hwnnw fyned i Westminster, gan ddwyn gydag ef *fodrwy y Tywysawg Llewelyn ap Gryffydd*,* yn nghyda thlysau ereill y rhai a offrymmodd efe yno; a rhoddwyd hwy i addurno beddrod *Iorwerth y Confessor*. Ond mwy tebygol ydyw i'r goron gael ei dwyn i'r *Twr*, iddei chadw yn mhlith y teyrndlysau yno: ac os felly nis gwn paham na all hi fod yno hyd y dydd heddyw, yn gystal a rhai o'r tlysau eraill. Edryched yr hynafieithwyr at hyn.

## RHYFEL RHYS AP MEREDYDD.

### 1286—1292.

Ar ol yr ymdrafodiad hyn, parhaodd y Dywysogaeth mewn tawelwch dros dair blynedd, hyd 1287, pan aeth *Iorwerth* i Ffrainc ar achosion llywodraethawl, gan adael teyrnas Lloegr dan olygiad Iarll *Cernyw*; ond ar hyn o bryd torrodd allan derfysg newydd yn Nghymru. Yr oedd *Rhys ap Meredydd* gwedi bod yn ymdrechgar iawn yn ngwasanaeth *Iorwerth*, ac wedi cael ei urddaw yn farchawg ganthaw, gyda disgwyliad am ychwaneg o wobrwyon ac anrhydeddau. Ond yn lle derbyn y cyfryw, ni chafodd ond siomedigaeth; ac er ychwanegu at yr ammharch, cafodd ei wystlaw gydag ereill o'r pendefigion Cymraeg, i ymddangos yn y llysoedd Swyddol, gan *Robert de Tibetot*, ac *Alan Plucknet*; y cyntaf oedd brif Ynad y Deheubarth, ac yn geidwad o amryw gestyll yn nghymmydogaeth meddiannau *Rhys ap Meredydd*; a'r llall oedd Goruchwiliwr y brenin yn Nghymru. Yr oedd hyn yn sarhad na allai *Rhys* ddim cydymddwyn âg ef, ac felly pallodd ufuddhau i'r gwystlad. Ceisiwyd moddion cyfreithiol iddei gymmell i hynny, a hyn a barodd amryw gyfarfodydd ymladdawl rhwng gweision y ddwy blaid: yn y diwedd cyfododd y terfysc i'r fath raddau, ag i'r brenin anfon gorchymyn at Iarll *Cernyw* i fyned ei hun i Gymru i ostegu y gwrthryfel; ac ar yr un pryd y brenin ei hun a ysgrifenodd at *Rys* i geisio ganthaw ymattal, gan addaw y byddai iddo, ar ei ddychweliad i Loegr, weled iawn yn cael ei wneud iddaw yn mhob peth. Ond y mae yn debygol nad oedd *Rhys* ddim yn hyderu cymmaint yn y cyfryw addewid a chanlyn y cais; ac yn lle ymostegu, efe a wnaeth gadgyrchiad chwyrn yn erbyn tiriog-

* Diammau mai hon oedd y fodrwy gwyrfathol a gafwyd gyda'r Tywysawg pan lladdwyd ef. Gwel t. d. 427.

ethau y brenin, yn mha un y cymmerodd gestyll *Llanymddyfri* a *Dinefawr*, ac a losgodd amryw drefi.

Ar hyn Iarll *Cernyw* a barodd ymgynhullu lluoedd nifeiriog o wŷr yn *Nghaerloew* a *Threfynwy* a *Llanbadarnfawr*, i fod dan flaenoriaeth arll *Caerloiw;* ond cyn hir Iarll *Cernyw* ei hun a ddaeth â byddin gref Gymru, ac a berodd i *Rys* gilio tua'r mynydd-dir, a'r Iarll a gymmerld rai o gestyll *Rhys*, ac a'u dinystriodd, yn mhlith pa rai yr oedd stell *Dryslwyn*. Ond wrth gymmeryd hwnnw, dichweiniodd golled awr o wŷr i'r Iarll, o herwydd pan oeddid yn cloddio dan y muriau, eth yr *Arglwydd Stafford*, a *William de Moncheney*, gyda llawer o rchogion ac yswainiaid, i edrych ar y gwaith; eithr yr oedd y gweithyr, mewn modd annghelfydd, gwedi rhoddi dan y muriau goed rhy einion i borthi y pwys, a thra'r oedd y pendefigion rhagenwedig yn y lle, rthiodd y muriau arnynt yn ddisymwth, a lladdwyd hwy oll.

Yr oedd y brenin gwedi gorchymmyn cynnull allan o Swydd *Amwythig* edwar cant o gloddwyr a seiri coed, tuag at wrthladd rhwysc *Rhys ap Meredydd*. Gellwn feddwl fod rhai o honynt yn canlyn eu galwedigaeth yr achlysur hwn.*

Ond er iddaw gymmeryd y castell, etto nid oedd yr Iarll yn alluog i ddarstwng *Rhys;* a chan fod y gauaf yn nesau gorfu arnaw adael y wlad yn difudd.

Braidd y dychwelodd y Iarll i Lundain, yr hyn a wnaeth yn nechreu achwedd, cyn i *Rys* adnewyddu ei ymosodiadau, a gwarchae castell *'mlyn*. Ond y Iarll yn gweled yr enbydrwydd o adael iddo ganlyn ei ddugoliaethau, a anfonodd at yr holl Arglwyddi Saesonaeg ar gyffiniau ymru, i ymarfogi yn erbyn *Rhys;* a gosodwyd hefyd bris ar ei ben o gant nt.† Ac yna *Robert de Tibetot*, yn nghyda thylwyth *Mortimer*, ac ereill o eidwyr y Saeson, a aethant yn erbyn *Rhys;* ac ar ol cymmeryd o honynt i ymddiffynfeydd, gorfu arno adael y wlad a ffoi i'r Iwerddon, lle y cafodd oddle ar diroedd Iarll *Caerloiw*, yr hwn a feddyliwyd ei fod yn bleidiol dei achos.

Ar ol aros yn yr Iwerddon dros dair blynedd, *Rhys ap Meredydd*, o lch y flwyddyn 1290, a ddychwelodd i Gymru, iddei dreftadaeth yn y eheubarth, ac a gyffrodd ryfel drachefn. A *Robert de Tibetot* a'i gwrthynebodd ef a'r ychydig wyr a oedd yn alluog iddeu cynnull ar y pryd. *Rhys* yn deall fod ei wyr ef yn amlach o rifedi na'u gwrthwynebwyr, a ododd gad ar faes, gydag hyder mawr. Eithr ei wyr nid oeddent ond

* "De providendo 400 fossatores et carpentarios in Comitatu Salop', ad malitiam Resi i Mereduci reprimendam."—Ayloffe,—1286.

† De centum libris dono pro delatione capitis Resi filii Mereduci.—Ayloffe, 1287.

ieuainc, ac annghynefin â rhyfel; a chan nad oeddynt gwedi eu dwyn dan ddysgyblaeth, ni chadwasant eu rhesi megys milwyr medrus, eithr ymosodasant ar eu gelynion ar bob ochr yn derfysglyd, gyda ffyrnigrwydd mawr, gan fwriadu tori trwy y llu. Ond gwyr *Tibetot* yn fwy cyfarwydd â'r gwaith, a gadwasant yn nghyd yn fyddin gron, fel na allai y lleill fenu arnynt. Ac nid oes ynwyf amheuaeth fod byddin *Tibetot* wedi ei ffurfio gan mwyaf o filwyr Cymraeg, a'r rhai hynny hefyd yn hen ymladdwyr, cynhefin â brwydr; o herwydd nid tebygol fod cymmaint o filwyr Saesonaeg yn y wlad ar y pryd hyn a ffurfio y fath fyddin liosog. Ar ol amryw ymosodiadau aflwyddianus ar eu gelynion, yn y diwedd, gwyr *Rhys* a ddechreuasant lesghau trwy eu mawr ymdrechiadau; ac ar hynny gwyr *Tibetot* a ruthrasant arnynt â'u holl egni, ac a'i gorthrechasant yn hollol, gan ladd dwy fil o'u rhifedu; a chymmerwyd *Rhys ap Meredydd* yn garcharor, yr hwn yn mhen ychydig amser a ddihenyddiwyd yn *Berwick*, trwy ei lusgo wrth gynffonau ceffylau, ac ar ol hynny ei grogi, a'i dori yn bedwar darn. Hyn a digwyddodd yn 1292.* Ei gestyll a roddwyd i *Robert de Tibetot*.†

## RHYFEL MAELGWN FYCHAN, MORGAN, A MADAWC.
## 1294.

Pan rhoddodd y brenin *Iorwerth* ei fab newydd-eni i'r Cymry yn Dywysawg, yr oedd ganddynt ryw achos i ddisgwyl y byddai iddo gael ei ddwyn i fynu yn eu plith; ac felly trwy feithriniad, yn gystal a genedigaeth y byddai yn Gymro, ac megys eu Tywysogion gynt, yn meddiannu serch tuag at ei wlad, ac yn ymdrechu i gynnal ei breintiau. Eithr yn lle y dywenydd hyn, ni chawsant ond y siomedigaeth o'i weled yn cael ei ddwyn ymaith i Loegr, i gael ei fagu megys Sais yn llys y brenin. Ac i ychwanegu at yr anfoddlonrwydd, yr oeddd y brenin gwedi gosod ei diriogaethau Cymraeg gan mwyaf dan oruchwiliad swyddogion Saesonaeg, y rhai bydded eu llywodraeth mor dirion a chyfiawn ag y byddai, etto, ni allent yr estroniaid hynny lwyddo i ryngu bodd pobl, y sawl a arferent gael gweini eu cyfreithiau gan ei cydwladwyr eu hunain. Er cyfiawnder i'r swyddogion hyn, y mae yn rhaid cyfaddef nad oes un awdurdod i feddwl eu bod yn cyflawni eu dyledswyddau yn Nghymru gyda llai o addfwynder nag y gwnelent hwy â'u cydswyddogion yn Lloegr. Ond nid oedd trethiad Saesonaeg yn cyttuno âg anianawd y Cymry, gweinid ef mor dirion ag y

* Matth. Westm.

† Oddiwrth gofieint *Ayloffe* gwelir fod *Rhys ap Meredydd* gwedi priodi *Auda de Hasting*, ac wedi cael yn waddol gyda hi diroedd *St. Clâr*, &c.

ıid. Ac felly, bob yn ychydig, cynhyddodd yn y wlad ysbryd gwrthlgar, yr hwn a oedd barod i dori allan mewn gweithrediad, ar yr achır cyntaf: a chyn hir, digwyddodd y cyfryw achlysur. Canys o gylch wyddyn 1292, y brenin i'r diben o gyfodi arian er cynnal ei ryfeloedd enig, a osododd dreth ar deyrnas Lloegr o'r bymthegfed ran o feddnau dodrefnol, lleigiol ac Eglwysig; yr hyn drethiad a ufuddhawyd aw gan y Saeson yn ddiwrwgnach. Yna ceisiodd osod yr un rhyw thiad ar y Cymry; eithr hwynthwy ni dderbyniasant y cynnyg gyda'r mesur o ufuddgarwch, ond yn hyttrach gwrthladdasant ef gyda digter. ıynodd gwreichion gwladgarwch unwaith etto yn y Dywysogaeth; yr l wlad a gyffrowyd; ac mewn amryw fannau y bobl a dorasant allan wn gwrthryfel yn erbyn yr hyn a gyfrifent yn ormesiad. Pobl *Gorrin y Deheudir* a gyfodasant dan flaenoriaeth *Maelgwn Fychan*. ıl *Morganwg* a'r ardaloedd cyfnesol dan flaenoriaeth un o'r enw *rgan*, pendefig o'r wlad honno; tra yr arfogodd pobl *Gwynedd* un th etto dan un yr hwn a arddelai enwad *Tywysawg Cymru*, sef *dawc ap Lleŵelyn*.

## MAELGWN FYCHAN.

### 1294.

neb a edrycha yn Hanes Cymru tua chanol y canrif yn awr dan sylw, iff weled enw *Maelgwn Fychan* mewn amryw fannau megys gweithvr egniol yn amgylchiadau yr amser hwnnw. Y pendefig hwn ydoedd i'r *Arglwydd Rhys*, sef *Maelgwn ap Maelgwn ap Rhys ap ıffydd*, yr hwn a gafodd yn etifeddiaeth, diriogaeth ei dad, h. y. tri ıtref o *Ddyfed*, a rhan o *Geredigiawn*, ac o ardaloedd ereill cyfnesol. l. 636 a 655.] A chan y dechreuodd ei rwysg milwraidd mor gynnar lwyddyn 1232, y mae yn rhaid ei fod mewn gwth o oedran yn 1294, n un gŵr ydyw a gwrthrych y cofiant canlynol: ond gan na wn am arall o'r enw, nis gallaf amgen na chyfrif mai yr un ydyw. Wrth atau hyn, ynte, canfyddir mai nid gŵr anaddas ydoedd iddeu osod yn ıor ar y mudiad gwladwriaethawl yma.

m orchestion y gwron hwn a'i blaid yn yr achos yma, nid oes ond ydig iawn o gofieint mewn hanfodiad, er mai dilys yw iddynt gyflawni er o weithredoedd clodwiw. Y cwbl a fynegir ydyw i drigolion gorin Cymru, sef *Dyfed*, a'r ardaloedd cyfnesol, gyfodi mewn arfau dan ıoriaeth *Maelgwn Fychan*, yn 1294, ac anrheithio meddiannau y ıin yn ardal *Penfro*, a *Cheredigiawn*. Ond yn mhen ychydig amser hrechwyd hwy gan wyr y brenin, a *Maelgwn* a gymmerwyd yn garch-, ac a ddygwyd i *Henffordd*, lle y dihenyddiwyd ef megys bradwr, gan ei

lusgo wrth gynffonau ceffylau i'r dihenyddfa, lle y crogwyd ef, gyda dau o'i gyfeillion.

*Matth. Westm.* a grybwylla am un o'r enw *Chanan* yn cael ei dihenyddio felly yn *Henffordd;* ond dichon mai at un o'i gyfeillion y cyfeiria. Canys yr oedd yr enw *Cynan* yn hanfodi yn aml yn yr amser yma. Er anghraifft, cyfeiriwn at *Cynan ap Meredydd.* Ac y mae cadarnhad o hyn yn nghofrestr *Ayloffe*, lle y mae cyfeiriad at ysgrif dan law y brenin yn 1282, yn rhoddi i *Meredydd ap Rhys* rai tiroedd yn *Ngheredigiawn*, y sawl oeddent ar y pryd hwn yn meddiant "*Gruffydd ap Meredydd a Chynan*, y gwrthryfelwyr." ["*Quos Griffinus filius Mereduci, et Kananus, rebelles, nunc tenent.*"]

Ond er i *Faelgwn Fychan* gyfarfod â'r dynged anffodus hwn, etto, pobl *Ceredigiawn* nid ymostyngasant ar hyn, eithr parhasant yn eu gwrthladdiad dros ennyd, hyd nes y daeth y brenin ei hun i Gymru, cyn eu gostegu. Eithr pa foddion yr arferodd efe tuag at hyn ni fynegir; y mae yn debygol mai trwy ammodiad y bu, canys nid oes cofiant am iddo arwain byddin i'r wlad.

## MORGAN.

### 1294.

Y blaenor hwn ydoedd ŵr o hauniad teyrnol, yn ddeilliedig oddiwrth hen dywysogion *Morganwg*, ac y mae yn debygol yn parhau i berchenogi rhan o'i diriogaeth etifeddol, a gradd bendefigol yn y wlad, yr hyn a'i cynnysgaeddai yntef iddei osod mewn blaenoriaeth ar amser o derfysc.*
Pa un ai ydoedd y trethiad newydd yn cael ei gynnyg o fewn i Arglwyddiaeth *Morganwg*, nis gwn. Ond y mae yn dra thebygol fod Iarll *Caerloiw*, perchenog yr Arglwyddiaeth honno, yn cydfyned âg ewyllys y brenin mor belled a cheisio cyfodi y dreth; ac os felly, bu yr achlysur hwnnw yn foddion i osod gwreichionen at y cynnud, yr hwn oedd gwedi cael ei bentyru yn y wlad dros hir amser, trwy ymddygiad ormesol y Iarll a'i swyddogion.

* O gylch y flwyddyn 1236 gwelir enw *Morgan ap Hywel* megys perchenog castell *Machein*, yn hen dalaeth *Morganwg*, gerllaw *Caerlleon ar Wysc*, yr hwn hefyd, meddyliaf, a geir mwy nag unwaith megys *Morgan de Caerleon* yn ysgrifau y brenin *Henri III*. perthynol i ryfeloedd *Llewelyn ap Iorwerth*, ar yr un amser. Barnaf fod y *Morgan* yn awr dan sylw yn aelod o dylwyth y pendefig hwnnw.

Mewn hen ysgrif yn y Brit. Mus. [Cott. MSS. Titus D. 22.] yr hon a gynnwysa dalfyriad o hanes Prydain, ceir y cofiant canlynol am dano.

"Anno Domini M° CC. nonogessimo VI° fuit gwerra Morgani vap Meredith, Cambrice vero Revel Vorgan, in qua omnes Wallenses universaliter surrexerunt, et fuit eis valde utilis."—h. y.—"Yn y flwyddyn 1296 bu rhyfel *Morgan ap Meredydd*, yn y Gymraeg *Ryfel Forgan*, yn mha un y cyfododd y Cymry oll yn gyffredinol, a bu yn dra buddiol iddynt."——A oes yma ddim dyrysweh yn yr enw *Meredydd*, trwy ei ddyrysgymmysg âg eiddo *Rhys ap Meredydd?*

yn awr cyfododd deiliaid y Iarll yn nghyda chyfeillion *Morgan*, a isant yr Arglwydd hwnnw allan o'i diroedd, a rhoisant y rhai hynny *organ*, oddiwrth hynafiad pa un y dugpwyd hwy trwy drais gan hyn-id y Iarll.

ba raddau o ryfeliad y cyrhaeddodd y gwrthladdiad yma nid hyspysir; yn mhen amser gostegwyd ef trwy ymdrechiadau Iarll *Warwick*, yr a lwyddodd i ddwyn *Morgan* a saith cant o'i bleidwyr, drachefn i ld-dod i'r brenin, a hynny hefyd mewn modd anrhydeddus i'r gwyr . Canys yr oeddent gwedi ffurfio penderfyniad nad ymostyngent drachefn i lywodraeth Iarll *Caerloiw*, ond eu bod yn barod i ymos-g i'r brenin, os caffent y fraint o ddala eu tiroedd dan y brenin ei hun, ys deiliaid i goron Lloegr, ac nid i unrhyw Arglwydd arall. Y telerau a gymmeradwywyd, a hwynthwy a gawsant eu dymuniad; ac felly, ttaliasant oddiwrth eu gwrthladdiad, a gwnaethant wriogaeth i'r in, gan roddi gwystlon am ei hymddygiad heddychol.*

## MADAWC.

### 1294.

trydydd weithredwr yn y cyfodiad gwladgarawl yma, a'r mwyaf og, ydoedd *Madawc*, mab o ordderch i'r Tywysawg *Llewelyn ap ffydd.* Achlysur ei gyfodiad oedd y canlynol.

an rannodd y brenin *Iorwerth* ei diriogaeth Cymruaidd yn swyddi, siroedd, yn 1284, gosododd ar bob un o honynt swyddog neilltuol, a d *Vicecomes*, sef *Sirydd.* Ac ar Ynys *Fôn* gosododd *Sir Roger de lesdon*† yn Sirydd. Y pendefig hwnnw oedd yn wr tra chyfrifol, ac yn mawr barch gan y brenin, a rhoddwyd iddo y gorchwyl o lywyddu asgliad y dreth. Ond pan dechreuwyd ar y gwaith, y Cymry a gyfod-nt megys un gwr mewn gwrthladdiad iddo, gan lwyr benderfynu nad styngent fyth i'r cyfryw ormesiad atgas. Ar y pryd hyn daeth *Mad- ap Llewelyn ap Gruffydd* yn mlaen, a chan gymmeryd iddo ei hun nwad o *Dywysawg Cymru*, gosododd ei hun yn flaenor ar y bobl, a odd ei arddel fel y cyfryw.

wlad yn awr a oedd wedi ymgyfodi yn arfawg mewn gwrthladdiad i urdod y brenin; ac un o'r pethau cyntaf a wnaethpwyd ydoedd elyd ar *Sir Roger de Pulesdon*, yr a hwn grogwyd, ac ar ol hynny l ei ben; a'r un dynged a ddigwyddodd i'r cyfan o'i gydweithredwyr asgliad y dreth.

* Gwel WARRINGTON.

† "De constituendo Rogerum de Puylesdon Vicecomitem et custodem Comitatus esciæ."—Ayloffe's Ancient Charters.

Yna, *Madawc* a'i lu a aethant i *Gaernarfon*, lle yr oedd *Ffair* yn gynnaledig, tua chanol mis Mehefin, a'r dref yn llawn o Saeson, y rhai oeddynt gwedi ymgynnull yno ar yr achos. A'r bobl hyn, a hwynthwy yn anarfog, a ruthrwyd arnynt yn ddirybydd, ac a'u lladdwyd a galanastra echryslawn; ar ol hynny gosodwyd y dref ar dan, a chymmerwyd meddiant ar y castell; a llosgwyd llawer o drefi a phentrefi ereill, y rhai a berthynent i wyr y brenin. Mor egniol oedd *Madawc* yn ei rwysc, ac mor llwyddianus, ag iddo cyn hir fod mewn meddiant o'r cyfan o Ynys *Fôn;* ac felly yn mwynhau meddiant nid yn unig yr enw *Tywysawg Cymru*, ond hefyd, i raddau helaeth, yr awdurdod.

Y mudiadau hyn yn Nghymru a ymddangosasant mor bwysfawr i'r brenin *Iorwerth*, ag i beri iddo ymattal yn ei weithred o gyrchu i Ffrainc, yr hyn yr oedd ar ei wueuthur, ac yn lle hynny, danfon ei luoedd i Gymru. Ac felly anfonodd *Henry Lacie*, Arglwydd *Dinbych*, ac yn Iarll *Lincoln*, tua Gwynedd. A'r pendefig hwn o gylch dechreu mis Tachwedd a gyrchodd yn mlaen i'r wlad, ac i'r dyben o achub castell *Dinbych*, daeth a'i fyddin hyd at furiau y castell hwnnw. Ond yno y Cymry gwedi cynnull eu galluoedd, a ddodasant gad ar faes, ac a ymosodasant yn ddiafarch ar fyddyn y Iarll; y frwydr a fu yn ogoneddus i'r Cymry; gorthrechwyd y Iarll, a gorfu arno gilio yn ei ol.*

Y mae *Peter Langtofft*, Monach Saesonaeg o'r oes hon, yr hwn a ysgrifenodd Cronicl Prydyddol yn yr hen Ffrangaeg, yn crybwyll am y drygau a wnaethpwyd i'r brenin *Iorwerth* gan y Cymry ar y pryd hwn, ac yn eu rhegu hwy a'r Albaniaid yn echryslawn, gan ddymuno melldith y Fair Forwyn ar yr Alban, ac i Gymru ddisgyn at y gethern isoed.

"Escose soit maldit de la Mere De,
E parfount a diable Gales enfoundre."

Pan wybu y brenin am y digwyddiad hwn, canfyddodd enbydrwydd sefyllfa ei feddiannau Cymruaidd, a phenderfynodd fyned i Gymru yn ddioed ei hun. Ac felly, gan flaenori ei luoedd, teithiodd i'r wlad, a threiddiod mor belled ag afon *Conwy*, yr hon a groesodd efe gyda rhan o'i fyddin, ac a aeth i gastell *Conwy*, lle yr arhosodd ddyfodiad y rhan arall o'i wyr. Ond yn hyn o weithred goddefodd golledion lawer, a bu mewn caledi mawr ei hun, ac hefyd nid heb berygl; canys collodd lawer o'i gludiadau y rhai a ddygent fwydydd iddaw; a'r sawl a gymmerwyd gan y Cymry, lluoedd o ba rhai a ddaethant i lawr o'r mynyddoedd, ac a warchaeasant y castell. Er ychwanegu at berygl y brenin, yr afon *Conwy* ar hyn o bryd a chwyddasai gan lif yn y fath fodd, ag na allai ei wyr ddyfod trwodd o'r ochr arall iddei gynhorthwyo. Yn yr amser yma yr

* Gwel WARRINGTON.

oedd *Iorwerth* mewn cyfyngder mawr; yr oedd y fath brinder lluniaeth yn y castell, a'i fod ef ei hun yn gorfod bwyta y bwyd tlotaf, yn gystal a'r milwyr cyffredin, sef y bara garw, a'r cig hallt, yr hyn oedd yn nghadw yn y castell; ac yn lle diod, yfed dwfr yn gymmysgedig â mel. Nid oedd ond un llestriad o win yn y lle, yr hwn a gadwyd at achos y brenin; eithr ni ellid cael ganthaw ei brofi, ond perodd ei gymmysg a dwfr, a'i rannu rhwng y milwyr, gan haeri yn y modd teilyngaf, y byddai iddo ef gyfrannu â hwy yn eu holl ddioddefiadau.

Yn y cyflwr peryglus hwn y parhaodd y brenin dros ennyd; ond yn y diwedd ei dynghedfen llwyddianus a ddychwelodd drachefn. Yr afon a ostyngodd, a'i fyddinoedd a ddaethant drwodd iddei gynhorthwy. A chan nad oeddent y Cymry yn ddigon cryf i ymgyfarfod mewn brwydr â'r fath gadernid, gadawsant y castell, a chiliasant i fynyddoedd Eryri; a'r brenin a dreuliodd y gwyliau Nadolig canlynol yn nghastell *Conwy*.

Ar y pryd hyn, *William de Bello Campo*, [*Beau champ*,] Iarll *Warwick*, gwedi cael hyspysiad fod rhifedi mawr o'r Cymry wedi ymgynnull mewn maes rhwng dwy allt o goed, a gymmerodd gydag ef lu lewisedig, gydag arblastwyr a saethyddion, a chan ddyfod arnynt yn y nos, yn ddiarwybod iddynt, a'u hamgylchodd ar bob tu. Ar hyn y Cymry a osodasant fonau eu gwaewffyn yn y ddaear, a safasant yn nghyd i dderbyn ruthr y marchwyr; ond y Iarll a osododd arblastwr rhwng pob marchwr, a thrwy ergydion saethau y rhai hyn lladdwyd rhan fawr o'r Cymry, ac yna y marchwyr a ruthruasant ar y lleill, ac a'u gorthrechasant gyda'r fath alanastra ag y tybiwyd na ddichweiniodd iddynt ar unrhyw achlysur rhagflaenawl.

Ar ol y fuddugoliaeth hyn, *Iorwerth*, gan na chyfarfu âg un gwrthwynebiad, a gyrchodd yn mlaen, ac a groesodd y *Menai* i Ynys Fôn, ac a gospodd y rhai a fuasent yn offerynol yn lladdiad *Roger de Pulesdon;* ac ar ol hynny dychwelodd i Loegr.

Ac yma y mae yn gymmwys i mi sylwi fy mod yn tybiaid mai ar y pryd hyn y ffurfiodd *Iorwerth* ei gyfreithiau cospedigol y erbyn y Cymry. Ac yr wyf yn cael fy arwain i'r dychymmyg hwn oddiwrth anian rhai o'r cyfreithiau. Os edrychir yn nghasgliad *Wotton* ceir gweled yno heblaw y *Statutum de Rothelan* restriad o gyfreithiau ereill, y rhai a gafwyd yn nghyllidfa *Caernarfon*, yn gwahaniaethu yn fawr oddiwrth gyfreithiau *Rhuddlan*, gan eu bod yn dangos ysbryd dialgar a chospawl, ac hefyd yn dechreu gan cyfeirio at *Gyfraith Rhuddlan*, megys sefydliad rhagflaenol, ac yn ailadrodd rhai o'i bannau,—" *In primis per Statutum de Rothelan Justiciarius Northwallie habit custodiam et gubernacionem pacis regie, &c.*" Ac hefyd, " *Invenitur in diversis recordis.*"—"*Ut patet in recordis, &c.* Hefyd y mae yn amlwg nad yw y rhestriad yma ddim amgen

na chrynoad o gyfreithiau, wedi eu wneuthur yn hir ar ol amser *Iorwerth*, canys crybwyllir am wrthladdiad y Cymry "*yn amseroedd brenhinoedd a thywysogion ar ol goresgyniad Cymru.*"—"*Temporibus regum et Principum post conquestum Wallie.*" Ond gan fod rhai o'r bannau cospawl yn datgan mai gan *Iorwerth I.* y ffurfiwyd hwy, y mae haneswyddion yn gyffredinol yn haeru mai yn rhan o gyfraith *Rhuddlan* oeddynt. Ond ar ol edrych yn nghyfreithiau Lloegr, lle y ceir y *Statutum de Rhothelan*, dan yr enw *Statutum Walliæ*, yr hon ni chynhwysa un o'r bannau cospawl dan sylw, yr wyf wedi dyfod i'r penderfyniad, mai nid yn 1284 y ffurfiwyd hwy, eithr deg mlynedd ar ol hynny, sef gwedi cadgyrchiad *Iorwerth* i Wynedd yn erbyn *Madawc*. Ac fe'm tueddir i hyn yn y man cyntaf trwy gynhwysiad y ban canlynol.

"Hefyd, y Cymry ni ddygant ganddynt neb ryw arfau ergydiol, neu ddiffynol, i farchnad-drefydd, na ffeiriau, nag Eglwysydd, neu gymmanfaoedd, dan gosp o golli y cyfryw arfau, a chael eu carcharu dros flwyddyn."*

Ac y mae y ban nesaf yn arwyddocau mai gan *Iorwerth I.* y ffurfiwyd y rhagflaenol, o herwydd dywedir,

"Hefyd, sefydliwyd gan yr Arglwydd Iorwerth, Goresgynydd Cymru, na fyddai i neb ryw gymmanfaodd gael eu cynnal gan y Cymry yn Ngwynedd, tuag at ffurfio cynghorion neu neb ryw gynnygion ereill, oddieithr trwy ganiatad y brenin, ac oddieithr bod prif Weinidogion yr ardaloedd yn gyd-drychiol."†

Yn awr, wrth sylwi ar yr uchod, y mae yn ddilys genyf mai o achos y galanastra a wnaethpwyd yn *Ffair Caernarfon* gan *Madawc* a'i gyfeillion, y ffurfiwyd y gyfraith rhagdraethedig, yn gwahardd y Cymry i ddwyn arfau i'r ffeiriau a'r marchnatoedd; ac hefyd y mae yn dra thebygol fod y ban nesaf wedi ei achlysuraw gan y cyfarfodydd a gynhaliwyd gan y Cymry ar yr un amser, megys y cyfarfod ar yr hwn yr ymosododd Iarll *Warwick* yn Eryri.

Y mae yr un ddeddfres yn cynnwys bannau cospawl ereill o eiddo *Iorwerth I.* y rhai ni allaf eu cyfeirio at un amser oddieithr yr un dan sylw; megys y canlynol:—

"Hefyd, sefydliwyd gan yr Arglwydd *Iorwerth* y Goresgynydd, na fyddai i neb ryw Gymry drigo o fewn i'r trefydd caerog, na mwynhau breintiau Bwrdeisiol, ond fod i'r Maeriaid a'r Bwrdeisiaid o'r cyfryw dref-

* Item, Wallenses non portabunt aliqua arma invasiva nec defensiva ad Villas mercatorias, Nundinas, Ecclesias seu congregaciones, sub pena amissionis hujusmodi armature et imprisonamenti per unum annum."

† "Item, ordinatum fuit per Dominum Edwardum, conquestorem Wallie, quod nulle congregaciones fierent per Wallenses in Northwallia ad consilia aut proposita aliqua facienda, nisi per licenciam regiam, et nisi capitales Ministri parcium forent presentes."

ydd eu symmud ymaith. Ac na fyddai i'r Cymry ddwyn dim arfau o fewn i drefydd caerog, neu neb ryw drefydd Saesonaeg, dan gosp o'u lirwyaw o'u harfau, a'u carcharu yn ol ewyllys Arglwydd y lle."

"Hefyd, na fyddai i'r Cymry gadw masnachau oddi allan i'r marchnadrefi, na gillwng diod iddei werthu, dan gosp o golli eu moddion, a'u archaru, a thalu dirwy."

"Hefyd, ni chaiff y Cymry feddiannu neb ryw diroedd neu ddaliadau o wn i drefydd caerog Bwrdeisiol Saesonaeg, nag o fewn i derfynau breiniol Bwrdeisdrefi, a'r trefi Saesonaeg, dan ddirywiad o'r cyfryw diroedd a lliadau."

Gyda'n rhai hyn y mae ereill o'r un anian, y sawl er na ddywedir eu od o eiddo *Iorwerth I.* etto y mae yn debygol mai efe a'i ffurfiodd: y nlynol ydynt.

"Hefyd, ni chaiff neb ryw Gymro gyfodi unrhyw fab iddaw i neb ryw ddau Eglwysig ond un, a hwnnw yr eilliad cyntaf.

"Hefyd, ni ddylai un Cymro letteuo unrhyw ddieithr-ddyn yn hwy ag un noswaith, oddieithr yr atteba am weithredoedd y cyfryw ddyn.

"Hefyd, nid yw gyfreithlon i un Cymro wneuthur cytundeb â neb am iroedd neu dai, ond dros bedair blynedd yn unig, dan ddirwyad o'r fryw diroedd."

Ac yn awr deuwn at un ban, yr hwn y mae yn ddilys genyf y ffurfiwyd yr un pryd a'r rhagflaenol, a'r hwn ysgatfydd sydd gwedi bod yn feryn o dduo cymmeriad *Iorwerth* ychydig fwy nag sydd gyfiawn. Y an yw yr un a ddatganwyd yn erbyn y beirdd, a'r canlynoi ydyw.

"Hefyd, ar oresgyniad Cymru, sefydliwyd gan yr Arglwydd *Iorwerth* Goresgynydd, na fydd i'r *Gwestwyr*, a'r *Beirdd*, a'r *Prydyddion*, a'r ynion segur a chrwydrol, y rhai a geisiant y cynhaliaeth trethol a elwir *Cymmortha*, gael eu goddef na'u porthi yn y wlad, rhag trwy eu henllibau u celwyddau, y cyffroant y bobl i ddrwg, ac y gorthrymant y bobl cyffdin trwy eu trethiadau."*

Dyma'r unig gyfraith a alles ei weled perthynol i'r beirdd yn yr amser ma, ac hefyd yr unig gofiant am eu gormesiad, na'u camdriniaeth. Am anastra cyffredinol y beirdd gan *Iorwerth* mynegais fy marn eisioes, t. d. 5, ac ni chefais un achos iddei gyfnewid. Ond ar ol ail sylwi ar y testyn, n ddaethym yn rhwysc fy hanes i draethu yn fwy manwl ar ddigwyddau yr amser yma, cefais fy arwain i hyn o benderfyniad:—sef os darfu *Iorwerth* dihenyddio neb ryw rifedi o'r beirdd y mae yn rhaid mai ar yr

* "Item, ad conquestum Wallie ordinatum fuit per Dominum Edwardum conquestorem od *les Westeurs, Barthes et Rymours*, ac subsidia querente quae vocantur Kymmortha, iosi et vacabundi non permitterentur nec sustinerentur in patria, ne per scandala et ndacia excitarent populum ad malum, et per subsidia communem populum opprimerent."

amser hyn y gwnaeth hynny, sef ar ol ei gadgyrchiad yn erbyn *Madawc*, yn 1294, ac nid ar ol lladdiad *Llewelyn*, yn 1282, nag 'chwaith ar ffurfiad *Cyfraith Rhuddlan*, yn 1284. Ac os cywir y traddodiad mai yn nghastell *Beaumaris* y cyflawnwyd y cyflafn, y mae hynny yn gosod lluddiad cyflawn ar neb ryw amser rhagflaenol, o herwydd nid oedd y castell hwnnw gwedi ei adeiladu cyn hyn. Ond er nad yw alluog fod holl feirdd y wlad yn gyffredinol wedi eu llofruddio, am fod amryw o honynt yn fyw ac yn prydyddu yn hir gwedi hyn; etto, i'r dyben i roddi pob tegwch i'r traddodiad, ychwanegaf sylwad, fod y ban cospawl rhagdraethedig o eiddo *Iorwerth* yn gyfeiriedig yn erbyn y *Beirdd*, *Prydyddion crwydrol*, yn unig, ac nid oes awdurdod ei fod yn estyn at y beirdd hynny a fyddent yn byw yn rheolaidd o fewn iddeu haneddau priodol; a gallwn feddwl fod y crwydraid ansefydlog rhagenwedig yn dirmygu y gyfraith newydd, ac yn pallu ufuddhau iddi; ac i ryw rifedi o'r rhai hyn gael eu dala, ac ysgatfydd ei dihenyddio. Ac hefyd y mae yn debygol nad oedd na chyfiawnder na thiriondeb yn cael llawer o bwys ar yr achlysur, yn yr amseroedd terfysglyd a threisiol hynny, ac fod i lawer o greulonder gael ei gyflawni dan gysgod y gyfraith honno. Ni allai *Iorwerth* ddim fod yn meddiannu un caredigrwydd tuag at y beirdd, o'r dechreuad; canys gelynion oeddynt iddei drais a'i ormes; ac oddiwrth y cyfreithiau uchod dengys ei fod yn meithrin digasedd tuag at rai graddau o honynt, ar y lleiaf. Ac nid dyn oedd efe i attal ei ergyd yn erbyn unrhyw elyn a fyddai mor annedwydd a syrthio iddei afael. Dyma'r eithaf a allaf ei wneud tuag at gysoni y traddodiad âg awdurdodau hanesyddiol.

Ond bydded hyn fal y bytho, nid ydoedd tebygol y buasai y cyfryw gyfreithiau ag a ail-draethiwyd uchod gael ufuddhau iddynt gan bobl o'r fath uchel ysbryd a'r Cymry. Ac felly, ar ol ymadawiad y brenin, dechreuodd *Madawc* ail-gynnull ei nerthoedd, a niferoedd o'r Cymry a ddaethant atto yn barhaus, ac efe a wnaeth gadgyrchiad chwyrn i'r cyffindiroedd ar ymylau Gwynedd. Cymmerodd dref *Croesoswallt*, ac anrheithlodd yr holl wlad oddiamgylch; ac ar ol hynny gorthrechodd mewn brwydr yr Arglwydd *L'Estrange*, gerllaw y *Cnwckin*, lle yr oedd ei gastell: ac ar ol hynny gorthrechodd fyddin arall o'r Saeson drachefn mewn brwydr, ac aeth rhagddo tua'r *Amwythig*. Ond ar ei gyrchiad daeth Arglwyddi y cyffindiroedd yn ei erbyn a rhifedi mawr o wyr, a chyfarfuant ar *Gefn Digoll*, ar ymyl swydd *Amwythig*, lle y bu brwydr hir a gwaedlyd; ond yn y diwedd y Saeson a drechasant, a *Madawc* a gymmerwyd yn garcharor, ac a ddygpwyd i Lundain, lle y cafodd ei garcharu yn barhaus yn y *Twr*.

Gellir gofyn pa fodd y derbyniodd *Madawc* y cyfryw diriondeb a'i arbed rhag ei lusgo a'i grogi fel y pendefigion ereill; ac i hyn yr attebwn fy mod

yn meddwl y canfyddaf yma rhyw rith o gyfiawnder o eiddo *Iorwerth*. Yr oedd *Madawc* yn fab o ordderch, ac felly ysgatfydd heb erioed wneuthur gwriogaeth i *Iorwerth*, ac heb gael ei lyfetheirio â neb rhyw anrhydeddau Lloegraidd, nag wedi ei wneud yn Arglwydd, na'i urddaw yn farchawg; ac am hynny ni ellid ei farnu yn euog o fradwriaeth, yn ei rhyfel yn erbyn *Iorwerth*.

Y gorthrechiad hwn a osododd derfyniad i'r rhyfel, a'r pendefigion Cymreig a ymostyngasant i'r brenin; ond ni wnaethant hynny yn ofer, ac ni bu eu hymdrech clodwiw yn ddifudd iddeu gwlad. Canys *Iorwerth* ar hyn o achos, wedi gweled na allai gael ond blinder a gwrthladdiad parhaus trwy ormesu y bobl â chyfreithiau celyd, at hrethiadau, a dderbyniodd y cyfryw ymostyngiad gydag addfwynder mawr; ni chymmerodd einioes neb er cospedigaeth, ac ni ddirwyodd neb o'u tiroedd, ond yn hytrach rhoddodd yn ol i etifeddion y Cymry y tiroedd dirwyedig, trwy yn unig ofyn ad-daliad am y colledion a wnaethpwyd iddaw yn y rhyfel.* Hefyd mynnodd wystlon am lonyddwch y wlad o hynny allan; ac y mae yn debygol iddo hefyd heblaw y gwystlon gadw amryw o'r pendefigion yn garcharorion mewn gwahanol gestyll yn Lloegr, er diogelu ei hun rhag eu cyfodiad mewn rhyfel drachefn.

## LLOSGI YSGRIFAU Y CYMRU.

Y mae chwedl yn adroddedig yn rhagymadrodd Peroriaeth *Edward Jones*, perthynol i ddigwyddiad a gymmerodd le ar yr amser yma, yr hyn os gwir, sydd dra alaethus. Dywedir fod amryw o'r pendefigion Cymraeg ar y pryd hyn yn garcharorion yn y *Twr Gwyn* yn Llundain, ac iddynt er difyru eu hamser gael caniatad iddeu llyfrau gael eu dwyn attynt yno, o Gymru; ac felly y *Twr Gwyn* a ddaeth i fod yn brif gyllidfa hen ysgrifau Cymraeg. Ond er galar i'n gwlad, y casgliad hwnnw a losgwyd oll trwy ysgelerdra un o'r enw *Scolan*, am yr hwn nid oes dim ychwaneg yn hysbys; ac er cadarnhad o'r haeriad hwn, dywedir fod gan *Gutto'r Glyn*, bardd enwog o'r 14eg ganrif, y llinellau canlynol yn un o'i gyfansoddiadau.

"Llyfrau Cymru au llofrudd
I'r Twr Gwyn aethant ar gudd;
Ysgeler oedd Ysgolan,
Fwrw'r twrr llyfrau i'r tân."

Y mae rhai yn amhau cywirdra y chwedl uchod, o herwydd na cheir un cofiant hanesiol iddei chadarnau. Dichon y gall fod rhyw ran o honi

* Gwel WARRINGTON.

yn wir, ond fel galanastra y beirdd, fod y weithred wedi derbyn llawer o helaethiad trwy ailadroddiad.

Y mae yn debygol fod y brenin ei hun gwedi dyfod tua Chymru yr ail waith i wrthladd *Madawc*: canys *Langtofft* a gyfeiria at ei ddychweliad i Lundain, trwy gyngor ei gyfeillion, ar ol carchariad y blaenor hwnnw, ac ymostyngiad *Morgan*.

> "Quant Morgan est rendus, e Madok est pris,
> Le ray revient à Loundres, par cunsail des amys."

Ac yno, gan fod ganthaw lawer o achosion pwysfawr mewn llaw perthynol i wledydd ereill, diammau nad ydoedd yn atteb ei amcanion i wneuthur dim yn erbyn y Cymry yn mhellach, ag a allai eu cyffroi drachefn i wrthwynebiad o'i lywodraeth.

## CYFLWR GWLADAWL Y CYMRY.

Gellir canfod yn yr hanesion rhagflaenol fod y goresgyniadau parhaus a wnaethyd yn Nghymru, gwedi peri dyfodiad i mewn i'r wlad o laweroedd o ddieithriaid. Canys brenhinoedd Lloegr oeddynt barotach i noddi eu gweision eu hunain na thrigolion cynhenyd y wlad; ac felly y swyddau cyhoeddus a lanwyd yn gyffredinol gan ddynion pellenig, a'r rhai hyny oll er dim ag a allaf ei ddeall o hanniad Normanaidd. A'r Arglwyddi Cyffindirol a ganlynent yr un cynllun; ond fel ag yr oedd y pendefigion Cymraeg yn dyfod i ymheddychiad neu gyngreiriad i'r Saeson, byddent yn cael cadw eu gradd gwladawl, ac hefyd eu gosod i lanw swyddau cyhoeddus. Daeth tywysogion Powys yn gynar iawn i'r cyflwr hwn o ddeiliadaeth dianrhydeddus, a thrwy yr ymneulltuad hynny gwanhasant egnioedd y wlad. Yn y modd hyn ychwanegwyd at blaid y Saeson o bryd i bryd; weithiau rhoddwyd swyddau cyhoeddus ac anrhyddeddus i'r Cymry, er gwobrwyon am eu gwasanaeth, megys urddau marchawg i'r Tywysawg *Dafydd*, ac i *Sir Gruffydd Llwyd*, *&c.* trwy ba gau-ogoneddau yr hudwyd llaweroedd oddiwrth eu hegwyddorion; ac weithiau caent swyddau a buddion ereill trwy dalu arian am danynt. Yr oedd hyn oll yn tueddu i gadarnhau awdurdod estronawl yn y wlad, ac i hawddhau ei chyflawn ddarostyngiad. Ond yr oedd ar yr un pryd wrthladdiad cyffredinol y bobl i bob gormesiad, a'u gwrol amddiffyniad o'u breintiau, wedi effeithio cymmaint ar eu gelynion, a bod yn dra hoff gan frenhinoedd Lloegr gael ganddynt dderbyn iddeu gwasanaeth y rhai a ddeuent, ac hefyd gadael y rhai a fyddent lonydd i aros felly, heb eu blino yn mhellach.

Ac felly, ar uniad Cymru â Lloegr, dan *Iorwerth I.* er y darfu i'r pennadur hwn osod Siryddion Saesonaeg ar y siroedd newydd, ac hefyd roddi amryw ardaloedd iddei Arglwyddi, etto, âg edrych ar y wlad yn gyffredinol, cawn y tylwythau Cymraeg mewn meddiant o'u hetifeddiaethau priodol, ac yn ol eu graddau, llawn mor llwyddianus eu cyflwr megys boneddigion, a neb o'r dieithriaid. Er prawf o hyn, cyferiaf at hynafiaid *Owain Tydyr*, yn Môn, ac hynafiaid *Owain Glyndwrdwy*, yn yr ardal honno, y rhai nid ydynt ond anghreifftiau o gyflwr y wlad yn gyffredinol ar y pryd.

Ac yma ni allaf lai na sylwi ar un peth o achwyniad yn erbyn y brenin *Iorwerth I.* yr hyn y barnaf ei fod ychydig yn annghyfiawn, a hynny yw ei ranniad o'r pedwar cantref rhwng ei bendefigion ei hun; ond er ei ymddiffyniad yn hyn, y mae yn rhaid i mi ddywedyd, os ydoedd gan *Iorwerth* hawl i unrhyw ran o Gymry yr oedd hynny ganddo perthynol i'r pedwar cantref; canys yr oedd *Llewelyn ap Gruffydd* gynt, trwy weithred ammodol gwedi trosglwyddo y rhai hynny i *Iorwerth*. Diau fod llawer o drais yn nglyn a'r weithred, ond yn hyn y bai oedd ar y Cymry eu hunain, am adael eu Tywysawg yn y fath amgylchiadau, a gorfod ymostwng i'r cyfryw waradwydd.

Am y bobl cyffredin, yr oedd eu dull caled ac helbulus o fyw yn eu cadw hwy rhag un cymmysg â'r estroniaid. Yr oedd llafurwaith rhyfel beunyddiol dros hir oesoedd gwedi eu haddasu at hyn; nid oedd ganddynt gyfleusdra i goleddu celfyddydau, ac nid oedd fawr o fasnach yn eu plith, ond cyfnewid eu hanifeiliaid â'r Saeson am y fath nwydau ag a oedd arnynt eisiau. Ac er eu bod hwy eu hunain yn hoffi y cyfryw fuchedd, a chyda eu telynau, a'u cerddoriaeth, a'u diddanwch lleteugaraidd, yn nghyd a'u darpariad arfogol parhaus, yn byw mewn dedwyddwch yn eu coedydd a'u mynyddoedd, etto nid cyflwr oedd hynny i hudo dieithriaid o frasdir Lloegr iddeu plith; ac felly, y werin Gymraeg ar hyn o bryd a oedd ysgatfydd yn fwy rhydd oddiwrth un cymmysgiad estronaidd na neb ryw fobl cyfoesol. Ac wrth edrych ar y wlad ychydig ar ol hyn gyda golwg ar y cyfryw ystyriad, gwelwn y teuluoedd dieithr yn adfelio, a'r rhai Cymraeg yn cynhyddu, ac yn lliosogi. Y coed-gymmynwyr Saesonaeg a ddaethant ac a dorasant i lawr amryw o brennau yr allt, ac a blannasant yno goedydd dieithr; eithr yn rhwysc amser yr hen ffoncyffion a impiasant drachefn ac a dagasant y planhigion estronaidd.

## CYFLWR EGLWYSIG CYMRU.

Am gyflwr Eglwysig Cymru yn yr amser hyn, y mae yn rhaid cyfaddef nad oedd ond gwael. Yr oedd arbenicter Eglwys Cymru gwedi ei dros-

glwyddo i ddwylaw estronawl; a diau fod diystyrwch o hyn yn foddio effeithiol i gyflawni darostyngiad y wlad. Pe buasai y Cymry yn sefy mor wrol yn erbyn trawsfeddiant estronawl mewn pethau Eglwysig ag gwnaethant mewn rhai gwladawl, ni fuasai ddim na'r Pab nag Archesgo Caergaint yn gallu eu blino â'u gormesiadau, nag yn eu llyfetheirio yn e hymdrechiadau gwladgar trwy ddychrynau esgymmundod.

Ond er bod eu gelynion balch a moethus hynny yn eu cyhuddo amharch i bethau Eglwysig, y mae yn ddilys genyf fod y Cymry ar amser yma yn meddiannu teimladau crefyddol llawn mor wresog, a gwy-bodaeth llawn mor helaeth, a'r un radd o ddynion mewn unrhyw gwr byd. Er anghraifft o'u hagwedd gynheddfol yn y pethau hyn, rhoddaf yma ychydig bigion allan o waith rhai o feirdd yr oes, y rhai, meddyliaf, a ddangosant duedd crefyddol y wlad yn well na phe buasai genym lawer mwy o draethodau difynyddiol iddeu dwyn ger bron.

Y canlynol sydd allan o waith *Gruffydd ap yr Ynad Coch*, yr hwn a ganodd farwnad *Llewelyn ap Gruffydd.* Y mae bardd yn datgan mor resynol ydyw, na chred pechadur am ddioddefiadau Crist, ac a ddengys wybodaeth nid cyfyng o'r athrawiaeth Gristionogol, yn gystal ag o han-esiad ysgrythyrol. Dechreu un awdl fal y canlyn :—

"Och! hyd ar Frenin fraint ucheldaw,
Haelddad goleuad llygad a llaw,
Na chred pechadur ei ddifuriaw
Oni el i bwll, i bell drigaw,
Na phoeni gan galon dreuliaw,
Na myned o Grist i'r grog erddaw,
Ac na wyr yn llwyr llabyddiaw—n Harlwydd,
A thrwy waradwydd ei wir adaw.
Be meddyliai ddyn a'i feddyliaw
A fu o ddolur ar ei ddwylaw,
Gan gethri[1] parawd yn cythryddaw cnawd,
Ef ni wnai bechawd na'i rybuchaw;
Bei na bai undydd Dofydd a'n daw
Dyddbrawd yn barawd i'n diburaw.
A'r gwaed gyn ired,
Ar dydd y croged,
A'i ddwylaw ar led,
Wedi'r llidiaw.
A'r gwaed yn ffrydiau
Yn nghylch ei fronnau,
A'r holl weliau[2]
Heb eliaw.
A'i goron yn ddrain,
Ac yntau'n gelain,
A'i ben yn anghrain,
Wedi'r greiniaw.
Ac ol ffrewyllau
Ar ei ystlysau,
Er gwneuthur angau
A phoen iddaw.
Er prynu mab dyn
O'r tân ufelyn,
Y gan y gelyn,
Oedd yn ei law." &c.

[1] hoelion. [2] clwyfau.

Y mae yma gydnabyddiad o athrawiaeth prynedigaeth dyn trwy aberth Crist mor eglur ag a ellid ei osod allan gan neb ryw esponiwr difynyddiol yn yr oes oleuaf. Yn y llinellau canlynol, allan o awdl arall gan yr un bardd, y mae yr unrhyw athrawiaeth yn gynnwysedig; ond ychwanegir gydnabyddiad o athrawiaeth eiriolaeth y Saint.

"Nawdd y Tad a'r Mab rhad rhof am galon,
Nawdd y glân Yshryd, cywyd cofion,
Nawdd yr Iesu caru coron tangnefedd,
Caredd disgybledd a'i ddisgyblion."

"Nawdd y Grog ddebau ddoniau ddanfon
A gymmeraist Dduw, er dy ddynion
Rhag Uffern gethern geithaw anffyddlawn,
A'i chreulawn ddigawn ddigasogion.

"Nawdd y cariad rhad rhof am galon
Nawdd Myr a Mair, a'i morwynion
A nawdd a archaf Archangylion mawr,
Arglwydd nef a llawr fal y llwyddon." &c.

yna erfyna nawdd amryw o'r seintiau ereill, yn ol daliadau cyffred-
ir oes honno.
dawn canlynol gan yr un awdwr a ddengys wybodaeth helaeth o
nyddiaeth yr amser hwnnw.

"Saith brif-wyd pechawd yw pechodau'r bobl;
Mae yn y Bibl eu henwau.
Am saith briwyd nid gwyd gau,
Saith weddi y pader arfer oreu,
Seithrad mad medrwyf eu dechreu;
Saith lleufer, enwer eu henwau,
Saith wers cymman glan cyn gloes angeu crog
A gant Iesu a'i enau.
Ystyrient pum oes byd eu bod yn madden,
Pan aeth un mab Duw y dydd goreu
I ddrws porth uffern gethern gaethau
I wân heb annog a'i grog o'i grau
Y sarph aflawen yn ei enau,
Ydd oedd yn berwi wb o'r barau
Saith can mil peiriaid o'r eneidiau,
A glaweir ad od,
A seirph a llewod,
A phawb heb annod
Yn eu boenau.
A'r cethri osglawg,
A'r cythrawl corniawg,
A'r cyrn llym sodlawg
Ar eu sodlau.
A'r llygod pengarn,
A'r gylfinau carn
A'r llech las haiarn,
A'r sarn saethau." &c.

canlynol sydd allan o awdl i *Grist* o waith y brawd* *Madawc ap*
*llter*, yn y flwyddyn 1250. Y mae ynddi ambell i air aneglur ei
, ond â chyfrif fod yn agos i chwech cant o flynyddau wedi treulio
chyfansoddiad, y mae yn rhaid addef ei bod yn dra dealladwy; ys-
dd na all un iaith arall yn Ewropa ddangos yr un fath angrhaifft.

"Mab a'n rhodded,
Mab mad aned,
Dan ei freiniau.

"Cawr mawr bychan,
Cryf cadarn gwan,
Gwynion ruddiau.

* Monach.

Mab gogoned,
Mab i'n gwared,
Y mab goreu.
Mab fam forwyn,
Grefydd aeddfwyn,
Aeddfed eiriau.
Heb gnawdol Dad,
Hwn yw'r mab rhad,
Rhoddiad rhadau.
Doeth ystyriwn
A rhyfeddwn
Rhyfeddodau.
Dim rhyfeddach
Ni bydd bellach,
Ni bwyll enau.
Duw i'n dyfu,
Dyn yn creu
Creaduriau.
Yn Dduw, yn ddyn,
A'r Duw yn ddyn
Yn un doniau.
Cyfoethawg tlawd,
A'n tad, a'n brawd,
Awdwr brodiau.
Iesu yw hwn,
A erbyniwn
Yn ben rhiau.
Uchel, isel,
Emmanuel,
Mel meddyliau.
Ych ac assen,
Arglwydd presen,
Presseb piau.
A soppen wair
Yn lle cadair,
Yn llwycadau.
Pali ni myn,
Nid urael gwyn
Ei gynhiniau.
Yn lle syndal
O gylch ei wâl,
Gwelid carpiau." &c.

Yna crybwylla am amryw amgylchiadau mebyd ein Harglwydd, a diwedda gan ddywedyd y ganed ef

"O Arglwyddes
A wna y'n lles,
A'n lladd penau;
Ac a'n gwna lle
Yn nhecca bre
Yn ngobrwyau."

Un anghraifft etto sydd o waith y brawd *Madawc ap Gwallter*, yn yr un amser, 1250, allan o awdl *i Dduw;* ddengys iaith tra rwydd, ac hefyd lawer o odidogrwydd drychfeddwl ac ymadrodd.

"Gwared arnaf Naf, nawdd a'm rhoddych,
Gwan wyf, i'm nerthwyf; fy neirthriad fych,
Gwareder llawer, lle gwaredych raid,
Gwaredwr gweiniaid, gwae ni gerych.

"Tithau yr enaid, paid! na'm pedych:
Tro o ffyrdd didro, yd tra geffych;
Tyn droed dy feddwl, tra feddych dy bwyll,
O blith maglau twyll, tywyll eu rhych.

"Gloyw, deccach no'r aur yn ngwaith eurych,
A'th luniawdd, creawdd, hawdd y crettych.
Ei eilyn ei hun honnych ei arddelw,
Ac o'i deg wirddelw yr arddelwych.

"Gwedi cant cymmod cymmyddych unwaith,
Herwydd cariad maith hyd na methlych;
Disgwyliaw yr awr elych o'r cnawd,
Na fydd ammharawd pan ammherych.

"Gwaed Iesu a fu, gwaed cu cwynych,
Gwirdda ystoria pan ystyrych;
Griddfaua, ocha, fal ych yn beichiaw
Pan fo yn ewynaw gwae eich gyd-ych. ei/

"Iesu! deg Iesu! i'm dangosych
Dy wyneb, ni heb a ohebych;
Na rhudd dy ddeurudd, diddorych o'th was,
Gwae neb a gas a gasych.

"Tro fi Rhwyf Celi! a'm calonych;
Attad y troaf, attaf troych!
Nad fi i wrthyd i wrthrych maswedd,
Gwagedd breuoledd a ddiweddych.

"Amerhawdwr! Creawdwr! cryf i'm gwnelych,
Y'm ffydd, y'm crefydd, i'm cryfheych,
Daly fy llaw i'th law a lywych yn iawn,
Ar hyd ffyrdd uniawn i'm harweddych.

"A'th folaf Duw, Naf nefoedd lewych;
Pwy nith fawl o'r sawl ar y seilych,
I'th foliant soniant son clych a llyfrau,
Cerddau telynau, cras danna/erych. u/n dannau/

"Nef, Daear, Uffern, pan y bernych,
Dod nod i'm hwyneb a'm hadneppych,
Parth olet i minnau ni mynnych fy mod
Parth yr Oen gorfod i'm gosodych.

"Pan ddel y trillu trallawd berych
I leaws yn draws a drais boenych,
I'th lu di difri, difrych, gwynoleu,
Ar y llaw ddeheu i'm lleheych."

ylwi ar yr uchod, a'r un fath weddillion, meddyliaf y gallwn u nad oedd ein hynafiaid ar y pryd hyn ddim yn ol llaw â'u gion mewn gwybodaeth crefyddol; ac hyd nod yn yr oes yr wybodaeth a goleuni, ni allwn edrych arnynt heb rai teimladau Er cymmaint oedd o us ac o efrau, yr oedd yno beth gwenith.

---

yn awr, Hanes Cymru, megys Tywysogaeth annibynol, gwedi rfyniad; a minnau, megys yr hanesydd, gwedi cyrhaeddyd pen O hyn allan, hanes y Dywysogaeth hon yn ei chyflwr gwladawl nedig âg eiddo Lloegr. Y mae yn wir fod ar ol yr amser yma Tywysogaeth Cymru etto ddigwyddiadau mewn cofiant priodol n, ac anfynegedig yn hanesion Lloegr, ddigon i ffurfio defnydd-ethiad parhaol o'i helynt, cynhwysfawr a sylweddol; eithr y hwn, gan na ddaw o fewn i'm rhagosodiad, gadawaf i arall, gan

yn unig gyfeirio at ryw ychydig o'r amgylchiadau mwyaf nodedig yn ystod y gyfran olaf o'i hanfodiad.

Un o'r gorchwylion cyntaf yn y rhan sydd ar ol o hanes ein cenedl, ydyw traethu am eu gwasanaeth milwraidd, megys deiliaid i goron Lloegr; a gwelir na chawsant fawr o orphwysiad cyn eu galwyd hwy i gyfranu y cyfryw wasanaeth.

### Y CYMRY YN NGWASANAETH IORWERTH I.

Ar ol dychweliad Iorwerth i Lundain, gwnaeth ddarpariad tu ag at gad-gyrchiad i'r Alban, ac arweiniodd fyddin gadarn i'r wlad hono, gan ddwyn gydag ef lu nifeiriol o Gymry; ond hwynthwy ni's gwasanaethasint ef yn hollol foddlongar, eithr yn y gwrthwyneb, ar un pryd, sef yn 1298, o flaen brwydr *Falkirk*, pallasant ufudd-dod iddei orchymynion, ac yr oeddynt mor agos i dori allan mewn gwrthryfel, ac y darfu i'r brenin o herwydd hynny benderfynu dychwelyd tua Lloegr. Ond yn y diwedd dychwelasant i ufudd-dod, a thynged llwyddiannus *Iorwerth* a'i canlynodd drachefn; gorthrechodd y fyddin Albanaidd mewn brwydr, yr hon oedd dan dywysiad yr enwog *Sir William Wallace*, a gorfu ar y gwron hwnw ffoi.* Trwy y fuddugoliaeth hyn, *Iorwerth* a oresgynodd yr Alban. Ymddengys i'r Cymry ymddwyn yn fwy i foddlonrwydd ar achos arall yn Ffrainc, canys *Longtofft*, a'u canmola hwy yno, gan ddywedyd eu bod yn fedrus mewn ymladd trwy ymarferiad;

"E Galais qoe sevent combatir par usage."

### GWRIOGAETHU I IORWERTH O GAERNARVON.

Tra yr oedd y brenin Iorwerth yn canlyn ei orchwylion perthynol i wledydd ereill, nid oedd yn annghofus o Gymru. Yr oedd yn rhy gall i adael y wlad hono yn hir heb ryw ymdrin â hi, ac felly, yn 1301, anfonodd ei fab *Iorwerth*, Tywysawg Cymru i ddinas *Caer*, i dderbyn gwriogaeth pendefigion Cymru. A'r rhai canlynol a wnaethant wriogaeth iddaw.†

Henri Iarll Lancaster a wriogaethodd am wlad Monwy.
Reginald Gray, am Ruthin.
Fulke Fitzwarren, am ei diroedd yn Nghymru.

* Y Gwladgarwr clodwiw hwnw ar ol hyny a fradychwyd i ddwylaw Iorwerth, yr hwn a barodd gyflawni yr un ddedryd arnaw ag ar rai o'r pendefigion Cymraeg, sef, ei ddibenyddio a'i ddarnio yn bedair rhan, &c.

† Gwel *Powel.*

Yr Arglwydd William Martin, am ei diroedd yn Nghemaes.
Rhosser Mortimer, am ei diroedd yn Nghymru.
Henri Lacy, Iarll Lincoln, am Ros a Rhyfoniawc.
Robert Arglwydd Montalt, [y Wyddgrug,] am ei diroedd yn Nghymru.
Gruffydd Arglwydd y Trallwng, am Arglwyddiaeth Powys.
Sir Gruffydd Llwyd, Marchawg.
Tydyr ap Gronw, o Fôn.
Madawc ap Tydyr, Archdiacon Môn.
Einiawn ap Hywel, o Gaernarfon.
Tydyr ap Gruffydd.
Llewelyn ap Ednyfed.
Gruffydd Fychan, mab Gruffydd ap Iorwerth.
Madawc Fychan, o Degengl.
Llewelyn, Esgob Llanelwy.
Richard Pulesdon, Sirydd Caernarfon.
Gruffydd ap Tydyr.
Ithel Fychan.
Ithel ap Bleddyn, &c.

O ddinas Caer y Tywysawg *Iorwerth* a aeth i *Ruddlan*, lle y derbyndd wriogaeth oddiwrth

Richard de Sutton, Arglwydd Malpas, am Arglwyddiaeth Malpas.

Y diwrnod canlynol yr oedd yn Nghonwy, lle y derbyniodd wriogaeth

Einiawn, Esgob Bangor, a Dafydd, Abbad Maynan.

Hefyd y canlynol a wnaethant wriogaeth mewn amryw leoedd:

Lewis de Felton, am ei diroedd yn Maelawr Saesonaeg.
Ieuan Iarll de Warren, am Arglwyddiaeth Maelawr a Iâl, ac am ei diroedd yn Estyn.
Edmund Mortimer, am ei diroedd o Geri a Chedewain.

## IORWERTH II.

Yn y flwyddyn 1307 bu farw *Iorwerth I.* a'i fab *Iorwerth II.* yr hwn anwyd yn *Nghaernarfon*, a ddaeth i'r orsedd; a'r hwn trwy ei fuchedd wth, gwael, a dirywiedig, a fuasai yn achlysur o ddirfawr annedwyddwch : brenin ei dad: a gollwn feddwl, yn offeryn o gospedigaeth o'r llymaf naw am ei amrywiol droseddau, trwy chwerwi ei ddyddiau diweddaf, i ymddygiad gwael a gwaradwyddus. Yr oedd *Iorwerth I.* trwy gadernid gestyll, lliosogrwydd ei fyddinoedd, a'i ddoniau godidog ei hun, yn orfoleddu mewn diogelwch o'r cyflawnaf, rhag neb ryw elynion oddi allan.

Ond daeth y gnofa ysol iddei fynwes tufewnol; ac na'r penffestin durawg, na plethiadau y llurig modrwyawl, a achubai ddirgelfaoedd ei galon rhag cyrchiadau cystudd, tra y teimlai y gwaradwyddiad presenol, ac yn ei gallineb treiddiol y rhagwelai ei ogonedd yn cael ei dywyllu, a'i oresgyniadau yn golledig, trwy feddiant o'i orsedd gan fab anheilwng, diddawn, a dirinwedd.

Y mae yr Esgob *Percy** yn rhoddi i ni math o farwnad i'r brenin *Iorwerth I.* yr hon a ddengys cyflwr y iaith Saesonaeg yn yr oes honno, sef ar ei chyfnewidiad oddiwrth yr hen Saxonaeg iddei dull presenol. Prif sylwedd y cyfansoddiad ydyw cyfeiriad at yr amgylchiad canlynol: *Iorwerth I.*, gynt, a wnaeth adduned i wneuthur cadgyrchiad i wlad *Palestina*, yr hyn ni allodd gael arfod iddei gyflawni; ac felly, ar ei wely angeu, rhoddodd orchymyn iddei galon cael ei dwyn i'r wlad honno, a rhoddodd 32,000 o bunnau tuag at gynhaliaeth 80 marchog y rhai oeddent iddei dwyn yno. Ond y gorchymmyn hwn ni chyflawnwyd, a'r prydydd a gyfrifa hwn i gamgyngor brenin Ffrainc; ond y gwirionedd o'r peth yw, medd *Percy*, i *Iorwerth II.* a'i gyfeillion wastraffu yr arian ar eu gwag-ddyfyrwch eu hunain. Y canlynol sydd ddechreu y farwnad; a meddyliaf mai hwn yw'r cyfansoddiad a anfonodd yr Esgob *Percy* at *Ieuan Brydydd Hir*, a gwaelder yr hwn a esyd efe mewn cymhariaeth âg ardderchawgrwydd gwaith y beirdd Cymraeg. [Gwel t. d. 558, ac hefyd y *Cambro Briton.*]

"Alle that beoth of puerte trewe,
    A stounde herkneth to my songe
Of duel, that Deth hath diht us newe,
    That maketh me syke, ant sorewe among;
Of a knyht that wes so strong,
    Of wham God hath don ys wille;
Me-thuncheth that deth hath done us wrong;
    That he so sone shall ligge stille.

"Al Englond ahte for te knowe
    Of wham that song is, that y synge;
Of Edward kyng, that lith so lowe,
    Zent all this world is nome con springe:
Trewest mon of all thinge,
    Ant in werre war ant wys,
For him we ahte our honden wrynge,
    Of Christendome he ber the prys."

Y cyfansoddiad a gynhwysa un ar ddeg o'r un fath bennillion; y ddwy olaf sydd fal y canlyn:—

"Nou is Edward of Carnarvan
    King of Engelond al aplyht,
God lete him ner be worse man
    Then his fader, ne lasse of myht,

* Reliques of ancient English Poetry.

To holden his pore men to ryht,
And understonde good counsail,
Al Engelond for to wysse and dylit
Of gode knyhtes darh him nout fail.

"Thah my tonge were mad of stel,
Ant min herte yzote of bras,
The godness myht y never telle,
That with kyng Edward was:
Kyng as thou art cleped conquerour,
In uch battaille thou hadest prys,
God bringe thi soule to the honour,
That ever wes, ant ever ys."

ı wir ar ol synnu ar yr uchod ni allaf ymattal rhag ychwanegu yma u yr Esgob dysgedig, yr hwn a ddywaid, "wrth ystyriaid y dinnaeth ein pennadur annhrugarog yn mhlith y diweddaf o feibion gynhenyd, gellir ei gyfrif megys barnedigaeth arnaw, na chafodd vell na'r rhigymau gwaelion hyn i waradwyddo ei goffadwriaeth."

ıser esgyniad *Iorwerth II.* i'r orsedd, nid oes dim nodedig yn am y Cymry, oddieithr bod lluoedd nifeiriog o honynt yn gwasyn y byddinoedd Lloegraidd; ac yn 1314 cawn hwy felly yn yr pan orthrechwyd *Iorwerth*, gan *Robert Bruce*, yn mrwydr *kburn*, ac yr ail-ennillodd yr Albaniaid ei rhydd-did, a phan y brenin yr oruchafiaeth honno, pa un a ennillwyd mor ddrud gan Ond yn y flwyddyn rhagwyneb cawn gyffroad gwladwriaethawl ymru drachefn.

## RHYFEL LLEWELYN BREN.
### 1315.

chos y gwron hwn ni chefais un hyspysiad boddhaol; ond gan y ei fod gwedi bod yn dala swydd urddasol dan *Gilbert de Clâr*, ıerloiw, yr hwn biodd Arglwyddiaeth *Morganwg*, felly y mae gol mai brodor o'r wlad honno oedd *Llewelyn Bren.* Pan lladdarll yn mrwydr *Bannockburn*, daeth yr Arglwyddiaeth honno ifeddiaeth i *Hugh le Despenser*, a'r swydd yr hon a ddalai a yd oddiar *Llewelyn Bren.* Y golled hon a'r sarhad a gyffrodd *Llewelyn* i'r fath raddau, ag y cyfododd mewn arfau, gan gyffroi ladwyr i wrthladdiad o awdurdod y Saeson; a llwyddodd mewn er i gynnull byddin o ddeng mil o wyr, ac â'r rhai hyn rhuthrodd ıll *Caerffili*, ac a'i cymmerodd. Ac yn ddiau yr oedd ar y pryd wn cyflawn feddiant o'r wlad amgylchawl.
liadau hyn a gyffroasant yr Arglwyddi Saesonaeg iddei gwrthladd.

A Iarll *Henffordd*, ac ereill o'r Arglwyddi cyffindirol, a gynnullasant eu deiliaid, ac wedi uno eu byddinoedd âg eiddo *W. de Montacute*, yr hwn a anfonwyd gan y brenin, cyrchasant tua *Morgannwg*. Ond *Llewelyn* a giliodd yn ol tua'r mynydd-dir, ac yno cynhaliodd dros amser rhyfel egniol yn eu herbyn, gan wneuthur rhuthriadau parhaus arnynt, a lladd llawer. Ond yn y diwedd amgylchwyd ef gan ei elynion, a gorfu arnaw ymroddi iddeu dwylaw.

Pa dynged a fu i *Lewelyn Bren*, nis gwn; ond y mae yn ddiau nad aeth ei ymdrechiadau yn ofer. Canys yn ebrwydd ar ol hynny *Iorwerth* a ganiataodd i'r Cymry amryw ragorfreintiau. Yn ol un ysgrif, ni pharhaodd y rhyfel hwn ond naw wythnos.*

### RHYFEL Y BARWNIAID.
### 1321.

Yn y flwyddyn 1321 bu cynwrf mawr yn neheudir Cymru, i'r hwn rhoddwyd yr enw o *Ryfel y Barwniaid*;† achlysur yr hwn oedd ymryson yn nghylch Arglwyddiaeth *Bro Gwyr*, rhwng *Le Despenser* a *Ieuan de Mowbray*. Y brenin a bleidiodd gyda *Le Despenser*, a rhai o'r Arglwyddi cyffindirol a sorasant wrth hynny, ac a unasant â *Mowbray*, ac a anrheithiasant diroedd y naill. Eithr cyn hir hwy a orthrechwyd, a *Le Despenser* a gafodd gadw meddiant ar y tiroedd mewn ymrafael. Ond nid oedd y rhyfel hwn yn perthyn i'r Cymry megys cenedl, yn mhellach na bod amryw o honynt yn gwasanaethu yn myddinoedd yr Arglwyddi i ba rai yr oeddent yn ddeiliaid.

### RHYFEL SYR GRUFFYDD LLWYD.
### 1322.

Yn 1322 bu cyffroad arall yn y gogledd, o wahanol anian i'r rhagfynedig; sef cyfodiad y Cymry dan *Sir Gruffydd Llwyd*, o *Drefgarnedd* a *Dinorweg*, yn *Arfon*. Y gwron hwn a gafodd ei urddaw yn farchawg gan *Iorwerth I.* ac a fu yn hir yn ddeiliad ffyddlon i goron Lloegr; ond yn mhen amser, pan welodd y modd yr oedd ei gydwladwyr yn cael eu gormesu gan y swyddogion Saesonaeg, penderfynodd geisio eu rhyddhau o dan y iau. Ac i'r diben o hyn gwnaeth gynnyg i ffurfio cyngrair â *Iorwerth Bruce*, yr hwn oedd ar y pryd hwnnw newydd ei ddyrchafu ei hun

* Anno Domini M° CCC° XV° fuit gwerra Leweni Bren inter ipsum et Glamorganenses suscitata que fuit particularis et non duravit nisi per IX Septimanes."—Cott. MSS. Titus D. 22.

† "Anno Domini M° CCC° XXI° fuit gwerra Baronum. Cambrice vero dicta Ryvel y Barwneid."

yn frenin Iwerddon. Y mae y gohebiaeth a fu rhyngddynt etto ar glawr, yn cynnwys dau lythyr, y cyfarchiad a'r atteb;* y cyntaf, oddiwrth *Syr Gruffydd Llwyd*, sydd fal y canlyn:—

"At yr urddasol Oresgynydd yn Nghrist, yr Arglwydd *Iorwerth*, yr ardderchog frenin Iwerddon, os rhynga bodd iddaw, *Gryffydd Llwyd*, ei wasanaethydd yn Ngwynedd, yn mynegi parch dyledus mewn anrhydedd.

"Gan fod eich fawr enwogrwydd fel goresgynydd gwedi dyfod i'n clyw yn ein ardaloedd nyni, yn enwedig eich gwrthyriad o'n gelynion, nyni a chwithau, y rhai a'ch niweidiasant chwi yn gystal a ninnau, trwy ein gyru yn anghyfiawn allan o'n hetifeddiaethau; ac a geisiasant ddileu ein henw a'n coffadwriaeth allan o'r byd. Yr ydym ni oll yn y parthau hyn âg un fryd yn fawr ganmol hyn megys y mae yn ddyledus i ni: ac yr wyf ar ran pendefigion Cymru yn arwyddocau i chwi trwy y llythyr hwn, os bydd i chwi deilyngu ddyfod gydach gwyr i Gymru, neu os na ellwch ddyfod eich hun, os bydd i chwi anfon i'n gwlad unrhyw bendefig Albanaidd, Iarll, Barwn, neu Farchog, gydag ychydig o wyr, os na all rifedi mawr ddyfod; yr ydym ni oll âg un fryd yn barod i ymuno â chwi.—Ac felly, y Saeson gwedi eu darostwng yn yr Alban gan yr ardderchog frenin eich brawd, ac yn yr Iwerddon genych chwithau, ac yn Nghymru genych chwi a ninnau, na'r adenillwn ein cysefin gyflwr, yr hwn a sefydliwyd gan *Brutus;* a Phrydain gwedi ei rhannu rhwng y Brython a'r Albaniaid yn ol callineb eich rheolaeth chwi, a gydetifeddir ganddynt hyd fyth. Llwydded eich teyrnasiaeth dros bob oes."

I'r llythyr hwn *Iorwerth* a anfonodd y atteb canlynol—

"I bawb a ddymunent cael eu rhyddhau o dan gaethiwed, annerch, &c." Yna dywaid mai dyledswydd pob Cristion ydyw cynnorthwyo ei gymydog mewn cyfyngder, ac yn enwedig pan fyddont gwedi hannu o'r un wreiddyn o dadoliaeth neu o wlad; ac am hynny mynega ei barodrwydd ddyfod iddeu cyfnerthu. Ond gan nad cyfunol â'i gydwybod twyllo neb, a chael ei dwyllo gan neb, datgana ei fwriad yn ddigêl, ei fod yn dymuno wybod, os pan yn gosod eu hachaws yn ei ddwylaw ef, yr oeddent yn foddlon i roddi iddo ef arbenicter llywodraeth, megys ag y cafodd ei feddiannu yn ei gyflawnder gan eu Tywysogion gynt, ac iddynt hwy fwynhau eu tiroedd, a'u breintiau, a'u holl eiddo yn yr un dull.

Pa fodd y terfynodd y gohebiaeth yma ni fynegir; ond gan fod *Bruce* yn gofyn am iddo gael ei gynnysgaeddu â goruchafiaeth teyrnol y Dywysogaeth, y mae yn debygol i'r Cymry ballu derbyn ei gynnorthwy ar y cyfryw delerau; ac felly gan na chlywn am ddim yn mhellach ar yr achos mae yn ddilys i'r cyfan ddiweddu gyda hynny.

* Gwel WYNNE a CATHRALL.

Yna *Sir Gruffydd Llwyd* yn gweled na allai efe ddim disgwyl am gyfnerthiad allanol, a ymwrolodd i geisio cyflawni ei amcanion gwladgarawl yn y modd goreu y gallai â'r fath gyweithiad ag y gaffai gartref; ac felly ymarfogodd, a gyda byddin gref o'i gyfeillion gwnaeth amryw gyrchiadau dinystriol yn erbyn y tirogaethau Saesonaeg. Ond yn y diwedd gorthrechwyd ef gyda'i gymmeryd yn garcharor, a dygpwyd ef i *Ruddlan*, lle ar ol ei gadw yngharchar dros dalm o amser, dihenyddiwyd ef trwy dori ei ben.

Y mae ar glawr ddwy awdl i *Sir Gruffydd Llwyd*, gan *Gwilym Ddu* o *Arfon*, yn mha rai y canmola y bardd ei wrolder, ac ereill o'i rinweddau, a chwyna ei garchariad yn *Rhuddlan.*

## RHYFEL Y FRENHINES.

### 1327.

Y cynnwrf nesaf a gaf yn Nghymru ydyw yr un a elwyd *Rhyfel y Frenhines*, yn 1327. Y cynnwrf hwn, megys Rhyfel y Barwniaid, ni pherthynai i'r Cymry fel cenedl, eithr cynhaliwyd ef rhwng y brenin *Iorwerth II.* a rhai o'i ddeiliaid Saesonaeg, y sawl oeddynt gwedi cyfodi mewn gwrthryfel yn ei erbyn dan flaenoriaeth *Isabella*, ei frenhines ei hun. a'i fab henaf, *Iorwerth* [*Iorwerth III.*] Y brenin yn cael ei faeddu yn Lloegr a ddaeth tua *Morganwg*, gyda *Le Despenser*, Arglwydd y wlad honno, gan feddwl derbyn gynnorthwy oddiwrth ddeiliaid y pendefig hwnnw. Ond y Cymry ni arddelent awdurdod y Iarll, ac ni chynalient un coffadwriaeth parchus tuag at y brenin; ac felly efe a'i gyfeillion gan fethu cael gan y Cymry gyfodi yn ei achos, a hwyliasant tua'r Iwerddon; ond y gwynt a'i chwythodd yn ol i *Abertawy*, ac aethant er nawdd, i fonachlog *Castell Nedd;* ac oddiyno yr anfonodd y brenin, *Iorwerth de Bohun*, a *Rhys ap Gruffydd*, ac ereill at y frenhines i geiso ammodau; ond ni lwyddodd yn hynny; eithr cyn hir daliwyd ef a'i gyfeillion yn *Llantrisaint*, ac anfonwyd ef i Loegr, lle y gosodwyd ef i farwolaeth yn nghastell *Berkley*, yn 1327; a'i fab, *Iorwerth III.* a ddaeth i orsedd Lloegr.*

Oddieithr y cyffroad uchod nid oes un cofiant am derfysc na rhyfel yn Nghymru dros yn agos i bedwar ugain mlynedd, sef o amser *Sir Gruffydd Llwyd*, 1322, hyd at gyfodiad *Owain Glyndwrdwy*, yn 1400, talm hir o amser, a'r fath ag ni welwyd dros lawer oesoedd rhagflaenol. Pe gofynid i mi beth oedd achos y tawelwch parhaus yma, attebwn, na allaf

* "Anno Domini M° CCC° XXVIJ° fuit gwerra regine, Cambrice vero dicta Ryvel yvrenines, in qua captus fuit Edwardus rex cognomine Kairnarvon cum Hugone de Spenser et aliis multis magnatibus apud Lantressen in meyskyn qui ducti fuerant per diversas partes anglie et ibidem exterminati."—Cott. MSS.

gymmeryd arnaf roddi cyfrif am bob amgylchiad offerynol, ond meddyliaf y gallaf ganfod un neu ddau yn dra eglur.

Yn y man cyntaf: yr oedd y Cymry, er gwedi methu cynnal eu hannibynrwydd, etto trwy ei dewrwych wrthladdiad o bob cynnyg iddeu gorthrymmu, gwedi sicrhau iddynt eu hunain y cyfryw freintiau, ag nad oedd y iau estronaidd mwyach yn ormesawl iddynt oddieithr mewn enw yn unig. Yn y man nesaf yr oedd yr hen dylwythau Cymraeg gwedi dechreu dyfod drachefn i fwynhad o gyflwr pendefigol yn y wlad, ac yr oedd eu deiliaid a'r bobl yn gyffredinol yn talu iddynt hwy, o serch, y fath ufudddod ag na allai y dieithraid ei gaffael trwy drais a grymusder. Ac yn ddiweddaf yr oedd brenhinoedd Lloegr yn ystod y talm hwn, yn cynnal rhyfeloedd egniol ar y cyfandir yn gystal ag yn Mhrydain, ac yr oedd rhifedi mawr o'r Cymry yn gwasanaethu yn ei byddinoedd, a llawer o honynt yn meddiannu swyddau anrhydeddus ynddynt, ac felly trwy ryddhad oddiwrth ormesiad gartref, a mwynhad o anrhydeddau milwraidd allan, yr oedd y Cymry yn ymfoddhau iddeu cyflwr ac yn aros yn ostegol.

Am brawf o ddiddymiad neu aneffeithioldeb y cyfreithiau celyd a wnaeth *Iorwerth I.* yn erbyn y Cymry nid rhaid gwell tystiolaeth nag agwedd y wlad yn y canrif canlynol; oblegyd yn lle bod plant y Cymry yn cael eu lluddias rhag anrhydeddau Eglwysig, cawn enwau amryw rai megys blaenoriad yn y cyfryw. Ac yn lle bod y Beirdd yn cael gommedd iddynt eu cylch clera a'u defodau ereill, gwelwn yn ngwaith *Dafydd ap Gwilym* fod yr arfeiriad o hyn yn hanfodi yn ddirwystr; a *Dafydd* ei hun a grybwylla am ei fynediad o *Forganwg* i *glera* yn Ngwynedd. Mewn gair ni allai y cyfyrw gyfreithiau a'r rhai hynny ddim parhau mewn grym.

Yn y man nesaf, am gyflwr pendefigol y boneddigion Cymraeg yn yr amser hwn, nid oes rhaid wrth ond dau tystiolaeth. Un yw darluniad annedd *Ivor Hael*, yn *Morganwg*, gan *Dafydd ap Gwilym*, a darluniad eiddo *Owain Glyndyfrdwy*, yn Ngwynedd, gan *Iolo Goch*. Gelwir pob un o'r ddau yn *Lys*. Perthynol i'r cyntaf, sonir am y difyrwch yno o hela â chwn, saethu ceirw y perchenog, a myned i adara â'i hebogiaid.

"Seuthu ei geirw saethynt,
A bwrw ei weilch i'r wybr wynt."

Ac am y llall crybwyllir yn agos am yr un pethau,

"Gar llaw'r Llŷs, gorlliwio'r llall,
Y pawr ceirw mewn parc arall."

Ac yna enwir y *felyn*, y *colomendy*, y *pysgodlyn* ac amryw bethau ereill yn arwyddocau cyflwr o bendefigrwydd.

Am wasanaeth y Cymry yn y byddinoedd Saesoneg yn yr amser yma, y mae tystiolaethau helaeth. Bu lluoedd nifeiriog o honynt gydag *Iorwerth III.*, a'i fab y *Tywysawg Du*, yn mrwydrau *Cresci* a *Poitiers* yn Ffrainc, yn 1346 a 1356. Am eu gwasanaeth yn y frwydr gyntaf ceir tystiolaeth *Froissart;* ac yn mrwydr *Poitiers*, dywedir yn yr hanesion Cymraeg, fod Cymro o'r enw *Hywel ap Einiawn ap Gruffydd* gwedi ymddwyn yn dra gwrol, ac wedi cyfranu yn fawr tuag at gymmeryd yn garcharor brenin Ffrainc; ymladdai â bwyall-ryfel; a *Iorwerth III.* a'i gwobrwyodd am ei wasanaeth a chadwraeth castell *Cricieth*, ac amryw anrhegion ereill; ac heblaw hynny, er coffadwraeth neilltuol o'r orchest, archodd bod saig o fwyd iddei ddwyn bob dydd iddei ford, o flaen ei fwyall-ryfel, ac ar ol ciniawa o hono, ei roddi i'r tlodion; oddiwrth hyn cafodd yr enw o *Sir Hywel y Fwyall.* Ceir rai llinellau o waith *Hywel ap Rhynallt* yn cyfeirio at hyn,* y rhai a roddaf yma, gan ryfygu cymhwyso llythyren neu ddwy ynddynt, er mwyn y synwyr;

"Seiger fy feiger fwyall;
Doeth hon gar bron y brenin,
Gwedi'r maes, gwaed ar ei min;
Ei dysaig, a'i dewiswr
A'i diod oedd waed dwr."

Gwledder fy ardderchog fwyall. Daeth hon ger bron y brenin, gwedi'r frwydr a gwaed ar ei min. Ei gwledd a'i dewisbeth a'i diod oedd y gwaed rhedegog

Yn 1277 bu farw *Iorwerth III.*, a'i wyr ef *Richard II.* a ddaeth trwy etifeddiaeth i feddiant o goron Lloegr. Ni roddodd foddlonrwydd i'r wlad, a bu llawer o gynllwynion yn ei erbyn, ac yn y diwedd llwyddodd ei elynion iddei yru o'i orsedd, ai gefnderw *Henry IV.* a ddaeth drwy drawsfeddiant iddei le. Hyn a ddigwyddodd yn 1399.

OWAIN GLYNDWR.]
1400—1415.

Y tawelwch yr hwn a hanfododd cyhyd o amser yn Nghymru, o'r diwedd a dorwyd yn ddisymwth trwy ryfel *Owain Glyndwr* [*Glyndyfrdwy*] *ap Gruffrydd Fychan.* Y gwron hwn oedd Arglwydd *Glyndyfrdwy*, neu fel y seinir ef yn gyffredin *Glyndwrdwy*, ac yn ddeilliedig oddiwrth Dywysogion Powys. Ceir enw un o'i hynafiaid yn nglyn â'r ardal hwnnw yn 1233.† Achlysur ei arfogiad oedd bod ei gymmydog yr

* Gwel *Tylwyth Gwydr* gan *Angharad Llwyd.*

† Terra de Glyndeverdo ad requisitionem Johannis de Warrena comitis Surriæ concessa Griffino Vaghan, filio Madoci. "—Ayloffe.

Arglwydd *Grey de Ruthin*, trwy ei gamgyhuddo o frad yn erbyn y brenin *Henry IV.*, wedi llwyddo i gael ei ddirwyaw o'i diroedd, a gafaelyd arnynt ei hunan.

Yn yr ymryson rhwng *Richard II.* a'i elynion, yr oedd *Owain* gwedi bod yn bleidiol i'r brenin hwnnw, ac felly pan ddaeth *Henri IV.* i'r orsedd y Iarll *Grey de Ruthin*, yr hwn oedd wedi bod yn hir yn trachwantu yn meddianau *Owain*,* a welodd fod cyfleusdra gwedi dichweinio iddo geisio ennill ei ddymuniad, a chyn hir cafodd adeg addas iddei achos. *Henri IV.* a oedd gwedi penderfynu gwneuthur cadgyrchiad i'r Alban, ac yn mhlith ereill anfododd gwys at *Owain Glyndwr*, i ddyfod yn ei gyfnerth, ond y Iarll *Grey* i'r hwn y rhoddwyd cludiad yr ysgrif ni roddodd o honi i *Owain* hyd nes ydoedd yn rhy diweddar iddo ymuno a'r brenin. Ar hynny cyhuddwyd *Owain* o fradwriaeth, a'r Iarll a afaelodd ar y rhannau o'i diroedd a oeddynt yn ei gymmydogaeth, megys yn ddirwyiedig i'r brenin. Ar hynny cynhullodd *Owain* lu o wyr ac a ymosododd ar feddiannau y Iarll, a chyn hir llosgodd dref Rhuthin, a maeddod yr Arglwydd *Grey* mewn brwydr, ar lan yr afon *Fyrnwy*, ac a'i cymmerodd yn garcharor. Yna gorthrechodd yr Arglwydd *Mortimer* mewn brwydr arall, ac a'i cymmerodd yntef yn garcharor.

Wrth glywaid am y digwyddiadau hyn, y brenin ei hun a ddaeth yn ei erbyn â byddin gadarn. Ond erbyn hyn, yr oedd hen ddigasedd y Cymry tuag at y Saeson wedi ei dddeffro, ymgynhullasant at *Owain* yn dyrfaoedd lliosog; a'r brenin yntau a orfu ddychwelyd yn orthrechedig i Loegr.†

* Bu cyfreitha rhyngddynt perthynol i dir y *Crossau* rhwng *Rhuthin* a *Glyndyrdwy*.

† Anfonodd brenin Ffrainc gynhorthwy o fyddin o wyr i *Owain Glyndwr*, ac hefyd anrheg o arfau i *Owain* ei hun. Dangosodd *Sir Samuel Meyrick* i mi gofiant o hyn, mewn hen awdwr Ffrangaeg, lle y traethir y darfu i'r brenin, yn mhlith yr arfau, anfon iddo "*benffestyn hardd*,"—"*beau basinet*;" a dangosai *Sir Samuel* i mi, ar yr un pryd, gynllyn o benffestyn ac arfau llurigol yn ei gasgliad godidog ei hun, yn *Llys Goodrich*; a dywedai wrthyf, "dyma benffestyn o'r un oes, ac o'r un dull gwneuthuriad a'r un a anfonodd brenin Ffrainc at *Owain Glyndwr*." An yna cofiais ddechreuad awdl *Gruffydd Llwyd* i *Owain*, sef—

"Eryr digrif afrifed
Owain helm gain, hael am gêd."

Ac y mae yn ddilys genyf fod y bardd wrth yr ymadrodd *helm gain* yn cyfeirio at y "*beau basinet*" o anrheg brenin Ffrainc. Ac y mae hyn yn cadarnhau yn fy meddwl tŷb yr hwn a feithrinais yn hir, sef nad oedd yr hen feirdd yn eu cyfansoddiadau ddim yn pentyru ymadroddion diystyr neu ddibwys, er mwyn llanw llinellau, eithr bod eu hurddas yn gofyn iddynt ddyfal ystyriaid eu synniadau a'u dull o eirio, a bod rhan fawr o'u celfydd-dra barddonawl yn ymhanfodu yn y medrusrwydd i osod yn nghyd prydyddiaeth awenyddiol a rheolaidd, heb arwain i mewn geiriau ofer diachos: ac felly, meddyliaf fod llawer o ymadroddion barddonol yn ymddangos i ni yn ddiystyr y dydd heddyw, a nyni yn eu darllain yn ddifudd, ac yn ddiarchwaeth, yn unig am nad ydym yn meddiannu gwybodaeth o'r gwrthrychau at ba rai y cyfeiriant.

Ar ol y buddugoliaethau hyn, *Owain* a gynhullodd Senedd, yn *Machynlleth*,* lle y cyhoeddwyd ef yn *Dywysawg Cymru*; a gwnaeth cadgyrchiad trwy y Dywysogaeth, gan oresgyn a dinystrio y cestyll Saesonaeg lle bynnag a gwrthsafent ei awdurdod.† Ond ei dynged llwyddianus ni pharhaodd, a gorfu arno gilio oddiar y maes, a bu farw yn 1315, yn nhŷ un o'i ferched, lle yr oedd wedi gwneud ei drigfa dros rhŷw dalm o amser.‡

Y cyfodiad hwn dan *Owain Glyndwr* a barodd ffurfiad cyfreithiau tra chwerw a digllon yn erbyn y Cymry; y rhai pe buasent yn effeithiol, ac yn barhaus, buasent yn dra gormesol. Yn y flwyddyn 1401, ac yn 1403, deddfwyd nad oedd un Cymro i ddala neb ryw swydd urddasol.—Nad oedd un Cymro i feddianu castell.—Nad ydoedd un Cymro i ddwyn arfau i mewn i dref, nag ar hyd y ffordd fawr.—Nad oedd un Sais i briodi Cymraes, na Seisnes i briodi Cymro.—Nad oedd y *Beirdd* a'r *Datgeiniaid*, &c.‖ ddim i gynnal eu *cymmortha*, *&c.* Eithr nid oedd y cyfreithiau hyn ond taranau mudion; y Cymry ar y pryd hwn a oeddent mewn meddiant o lywodraeth y wlad; ac yn rhwysg amser, pan darostyngwyd plaid *Owain*, yr oedd amryw amgylchiadau yn gweithredu tuag at luddias effeithiad y fath gyfreithiau. A chyn hir gwelwn *Owain Tudyr*, o *Fôn*, yn priodi y frenhines *Cathrine*, gweddw *Henri V.* a *Lewis Glyncothi* yn cymmortha ar hyd y wlad mor fywiog ag unrhyw *Westour Vagabunde* a fuasai erioed yn blino ysbryd brenin Saesonaeg

## HENRY V.

## 1412—1422.

Bu farw *Henry IV.* yn 1413 a'i fab *Henri V.* a ddaeth i'r orsedd; a chan ganed ef yn *Nrefynwy*, ac felly yn Gymro o enedigaeth, edrychwyd arno gan y Cymry megys cydwladwr. Yn 1415 gwnaeth cadgyrchiad i

* Dangosir yn nrhef *Machynlleth* hen dŷ, yn yr hwn y dywedir y cynhaliwyd y cyfarfod Seneddol hwnnw. Ni welaf achos i amhau cywirdeb y traddodiad: y mae y tŷ yn dra hen; a gwelais hen gyllell rhyfel o ddull gorhen, yr hon a gafwyd yn y mur, a'r hon a oedd gynt yn meddiant *Lewis Morris*. Yn nechreuad ei rwysg *Owain Glyndwr* a wnaeth ei wersyllfa yn mynyddau *Plinlymmon*.

† Er fod *Owain* gwedi cymmeryd amryw o'r cestyll, etto yr oedd rhai yn parhau i wrthwynebu yn llwyddianus ei ymosodiadau. Yn mhlith y sawl yr oedd castell *Conwy*; ond ymddengys fod y gwrthladdiad hynny yn achlysur o ddifrodiad aethus yn yr ardal gyfnesol; canys traethir yn hanes *Tylwyth Gwydr*, fod tref *Llanrwst* gwedi goddef cymmaint o anrheithiad, a bod y glaswellt yn tyfu yn y farchnadfa a elwyd *Bryn y botten*, a'r ceirw gwylltion yn pori yn y fynwent.

‡ Byddai hanes *Owain Glyndwr* yn rhy faith iddei roddi yma yn ei gyflawnder; felly barnaf mai gwell gadael y gwron hwn gyda'r ychydig gyfeiriadau hyn yn unig, na gwneud yr anghyfiawnder o anffurfio ei orchestion, trwy eu rhoddi mewn dull hanes talfyredig.

‖ "Les Ministrelx, Bardes, Rymours et Westours, et autres Vagabundes Galeys."—Gwel *Wotton*.

Ffrainc a dygodd yn ei fyddin nifer fawr o Gymry, y rhai a fuont yn dra gwasanaethgar iddo. O herwydd pan yn mrwydr *Agincourt*, tarawyd r brenin i lawr a bwyall-ryfel, ac yr oedd yn amgylchiedig gan ei elynion, ac mewn perygl mawr, daeth *Dafydd Gam* yn mlaen gyda'i fab yn nghyfaith *Rhosser Fychan*,* o *Dretwr*, a'u plaid, ac a achubasant y brenin, an ladd llawer o'r Ffrancod, a pheri i'r lleill gilio; eithr *Dafydd Gam* dderbyniodd ergyd angheuol ac a fu farw ar y maes. Ond cyn ei dranc-digaeth y brenin a'i urddodd yn farchawg yn y man hynny.†

Henri V. a fu farw yn 1422, ac ar ei ol bu y brenhinoedd canlynol hyd t esgyniad teulu *Tudor;* sef *Henri VI*, *Iorwerth IV*. *Iorwerth V*. *Richard III*.

## RHYFELOEDD Y DDAU ROSYN.

### Y XV. GANRIF.

O amser Owain Glyndwr i waered ni fu dim rhyfeloedd yn Nghymru y ai a berthynent i'r bobl fel cenedl, er y bu twysged o ymladdau rhwng eidiau neilltuol. Y cyntaf o'r rhai hyn oeddynt yn y rhyfeloedd rhwng lwythau *York* a *Lancaster*, yn eu hymgystadleuaeth am goron Lloegr, r sawl a elwyd *Rhyfeloedd y Rhosynau*, am fod y blaenaf yn dwyn fel eu rwydd *Rosyn gwyn*, a'r olaf *Rosyn coch*. Yn y rhyfeloedd hyn gwel-yd pendefigion Cymru, yn gystal o waedoliaeth Cymraeg a Saesoneg, yn ngymmysg fel ag y byddai eu tuedd yn eu cyffroi; eithr hyn a wnaent egys deiliaid coron Lloegr, ac nid fel yn ceisio eu brientiau cynhenyd, fel igolon Cymru.

Y rhyfeloedd hyn a gynhaliwyd yn Nghymru yn gystal a Lloegr, lle ynnag y byddai cestyll iddeu cymmeryd neu ymddiffyn, a lle byddai leidwyr unrhyw ochr yn gweled yn dda ymosod ar y lleill. Anianawd rhyfeloedd yma a ymddengys yn ddigon amlwg oddiwrth yr ychydig igion canlynol, allan o *Hanes Tylwyth Gwydr*.

Yn amser *Iorwerth IV*. yr oedd pendefig o'r enw *Ieuan ap Robert p Meredydd*, un o hynafiaid *Wynne o Wydyr*, yn pleidio gyda theulu *Lancaster*, a'r hwn a wnaeth gadgyrchiad yn erbyn tiroedd *Dug Caer-frawc*, yn nghymydogaeth *Dinbych*, ac a'u difeithiodd. Er dial am

*Rhosser Fychan a oedd yn byw yn Nhretwr, yn Mhrecheiniawg; y mae un o'i hiliogaeth, Walter Fychan, gynt o Gathedin, yn anneddu yn mhentref Tretwr, y dydd heddyw.

† Y mae hanesiad yn adroddedig am Ddafydd Gam, yr hwn a ddengys ei eofndra a'i galon-id mewn modd neilltuol. Y brenin Henri ar y godechwydd cyn brwydr Agincourt, a anfon-ld Dafydd Gam i edrych gwersyll y Ffrancod; ac yntau yn eu gweled hwy mor lliosog u bod yn cuddio'r holl wlad o'i flaen, a ddychwelodd at y brenin ac a ddywedodd fod yno ddigon i'w lladd, digon i'w dala, a digon i ffoi."

hyn y brenin *Iorwerth IV.* a anfonodd *Gwilym Herbert*,* Iarll *Penfro*, a byddin gref yn erbyn y blaid wrthwynebol; ac yntau a wnaeth ddiffeithiad erchyll ar eu meddiannau hwy, gan ddifrodi yr ardal. Hyn a fu yn y flwyddyn 1468, fel y ceir yn y cofiant canlynol.

> "*Harddlech* a *Dinbech* pob dôr, yn cynneu;
> *Nanconwy* yn farwor;
> Mil a phedwarcant mae Iôr,
> A thrugain ac wyth rhagor."

Ar y pryd hyn yr oedd castell *Harlech* yn nghadwraeth *Dafydd ap Ieuan ap Einiawn*, yr hwn a bleidiai gyda *Henri Tudor*, Iarll *Richmond*, a *Jasper Tudor*, Iarll *Penfro;* ac i ba rai yr oedd yn cadw y castell: a phan gwyswyd ef gan *Herbert* i roddi i fynu y castell, dywedodd iddo unwaith gadw castell yn Ffrainc cyhyd, a bod yr holl hen wragedd yn Nghymru yn siarad am dano; ac yn awr, y cadwai efe y castell Cymraeg hwnnw, hyd nes byddai i holl hen wragedd Ffrainc son am dano. Ond yn y diwedd ymosodwyd ar y castell mor egniol, ag y gorfu arno ymroddi i'r Iarll.

Tra'r ydoedd byddin y Iarll yn *Eryri*, yr oedd *Ieuan ap Robert* yn gorfod gadael ei dŷ ei hun, a gwneud ei drigfa yn y nos mewn ogof a elwyd *Ogo filen*, mwn craig gerllaw *Meillionen*, yn mhlwyf *Beddgelert*: ac efe a'i gyfeillion a ganlynent fyddin y Iarll yn ddibaid; a bu cyfarfod rhyngddynt yn mwlch *Nanwhinan*: ac yn y diwedd y Iarll a anfonodd atto i ddyfod i ymweled âg ef; ac ymgymodwyd rhyngddynt.

Etto, y cofiant canlynol a ddengys gyflwr rhannedig y wlad yn yr amseroedd hynny. Yr oedd gŵr o'r un tylwyth, o'r enw *Ieuan ap Meredydd*, yr hwn a feddiannai awdurdod pendefigol helaeth yn mhlith ei berthynasau a'i gyfneseifion yn Ngwynedd. Yr oedd efe yn gefnderw i *Owain Tudor;* a chan fod hwnnw gwedi syrthio i ryw drafferth yn nghastell *Brynbyga*, [*Usk*, yn *Ngwent*] aeth *Ieuan ap Meredydd* i ymweled âg ef, yn nghyda mintai o gant o foneddigion o Wynedd. Yr oedd *Ieuan ap Meredydd* yn bleidiwr gyda theulu *Lancaster;* ac ar ei ddychweliad tuag adref, daeth lliaws o bleidwyr *York* ac a ymosodasant arnaw. Yno *Ieuan ap Meredydd* a wnaeth araith iddei gyfeillion, gan eu hannog i gofio anrhydedd eu hynafiaid, ac ymddwyn yn deilwng o hono; a diweddodd gydag haeru na chafai fyth ei ddywedyd mewn amser i ddyfod mai dyna'r man lle y ffodd cant o foneddigion Gwynedd, eithr y caffai y lle hwnnw ddwyn y cofiant mai yno y cafodd cant o foneddigion

* Yr oedd y *Gwilym Herbert* hwn o waedoliaeth Cymraeg, a'i fam oedd *Gwladus*, merch *Syr Dafydd Gam*. Efe oedd y Cymro cyntaf a ddugodd yr enwad o *Iarll* gwedi darostyngiad Cymru gan *Iorwerth I*. Gwel gwaith *Lewis Glyn Cothi*, gan *Tegid*.

ynedd eu lladd. Ac yna, gan fod rhai o'i gyfeillion gwedi dyfod a'u bion gyda hwynt, dododd y rhai hynny yn y tu ol i'r fintai, a'i feibion hun yn y blaen, ac yntef ei hunan yn llywiaw y gâd. A chafodd y ha ar ei elynion; ond derbyniodd yn y frwydr glwyf trwm yn ei ieb, oddiwrth ba un y cafodd yr enw o *Squeier y graith.*

Ju amrywiol frwydrau rhwng y ddwy blaid, mewn gwahanol fannau o'r rnas, heblaw ymrysonau parhaus dros lawer o flynyddoedd; a'r Cymry wsant yn hynny adeg i foddhau eu harchwaeth ymladdgar hyd yr eithaf. I trist yw'r synniad, mai nid dros eu breintiau cynhenyd y treulient eu uoedd, ac y tywalltent eu gwaed, eithr dros eiddo dieithriaid: ond er oll, y mae yn rhyw gysur, i ni wybod nad oedd eu hymdrechiadau yn ffroadau cyffredinol ddim yn hollol ddifudd iddynt eu hunain; canys hyn daeth y pendefigion Cymraeg a'r pennau tylwythau i ail-ennill llfaoedd awdurdodol yn y wlad; ac oddieithr ambell i Arglwydd o niad Normanaidd, yma ac accw, gellir dywedyd fod y wlad o ran ei laeth tufewnawl, gwedi dychwelyd i feddiant ei phriod berchenogion. prawf o hyn, nid oes rhaid ond cyfeirio at yr enwau Cymraeg y rhai a mor aml yn mhlith y blaenoriaid yn yr amseroedd yma.* Ac yn th y mwyaf enwog o'r rhai hyn cawn eiddo y *Tudoriaid*, y rhai ar ol ny a esgynasant i orsedd Lloegr.

## HENRI VII.

### 1485—1509.

Gwelsom eisioes enw *Henri Tudor*, Iarll *Richmond*, megys blaenor yn yfeloedd yma, ac weithian cawn ef yn ymgystadleydd llwyddianus am rsedd. Y gwr hwn oedd Gymro genedig ac achol, ac yn wyr i *Owain lor*, o *Benmynydd*, yn Môn, yr hwn a briodasai y frenhines *Catherine*, ddw *Henri V.* a mam *Henri VI.* yr hon oedd ferch i frenin Ffrainc. *ain Tudor*, neu yn ol ei enwad Cymraeg, *Owain ap Meredydd ap lur*, oedd yn Arglwydd *Penmynydd*, ac o dylwyth anrhydeddus, yn ys Môn; ganed ef o gylch y flwyddyn 1385; aeth i Lundain i fyfyrio eithiau, eithr gadawodd yr alwad honno, ac a aeth i'r cyfandir. Ond di hynny, dychwelodd i Lundain, lle, trwy ei gorffoliad glân ac hardd-h, yn nghyd â'i ymarweddiad boneddigaidd, yr ennillodd serch y fren-es, ac a'i priododd. Bu iddynt dri o feibion, ac un ferch: un mab a yn fonach, a'r ddau arall oeddynt *Edmund Tudor*, Iarll *Richmond*, *asper Tudor*, Iarll *Penfro.* Ar ol marwolaeth y frenhines, aeth

* Pwy bynnag a ddymuna weled cadarnhad o hyn, yn nghyd â darluniad o'r gyfran a r Cymry yn Rhyfeloedd y ddau Rosyn, darllened gwaith *Lewis Glyn Cothi*, a'i Rag-lrodd eglur a chynwysfawr gan *Tegid.*

*Owain*, yn y flwyddyn 1461, gyda'i fab *Jasper*, â llu o Gymry yn unedig â lluoedd o Wyddelod, dan dywysiad pendefig arall, yn erbyn *Iorwerth*, Dug *Caerefrawc*, [ar ol hynny *Iorwerth IV.*] a bu brwydr rhyngddynt mewn lle a elwir *Mortimer's Cross*, yn Swydd *Henffordd*, lle y gorthrechwyd hwy gan *Iorwerth*; a *Jasper* a ffodd, ac a ddihangodd; eithr cymmerwyd *Owain*, a thorwyd ei ben.

*Edmund Tudor*, Iarll *Richmond*, yr hwn a elwid *Edmund o Hadham*, a briododd unig ferch ac etifeddes *John Beaufort*, Dug *Somerset*, yn hannedig oddiwrth *Edward III.* A mab *Edmund* ydoedd *Henri Tudor*, Iarll *Richmond*, yr hwn a aned yn nghastell *Penfro*, o gylch y flwyddyn 1455. Bu i'r pennadur hwn dynged tra nodedig; canys o'r pryd yr oedd efe yn bum mlwydd oed hyd amser ei ennilliad o'r orsedd yn 1485, yr oedd efe gwedi bod yn wastad naill ai yn ffoadur, neu yn garcharor. Y pymtheg mlynedd olaf o'r talm hwn a dreuliwyd yn agos oll yn Ffrainc, a rhan fawr o'r amser, mewn math o gaethiwed yno. Yr oedd tylwyth y *Tudoriaid* yn cynnal plaid *Lancaster*; a phan gorthrechwyd yr olaf yn mrwydr *Tewkesbury*,* yn 1471, a gorfod ar *Jasper Tudor* ffoi, y pendefig hwnnw a ddaeth i Gymru, i *Gas' Gwent*, ac oddiyno i gastell *Penfro*, ei eiddo ei hun, a chydag ef ei nai, *Henri*, Iarll *Richmond*. Ond ni chawsant aros yn hir yno cyn i un o ŵyron *Gruffydd ap Nicholas*, sef *Morgan ap Thomas ap Gruffydd*, trwy arch y brenin, gynnull llu cadarn, a gwarchae y castell yn y fath fodd ag nad oedd un gobaith o ddiangfa. Yn y cyfyngder hyn, daeth *Dafydd ap Thomas*, brawd *Morgan*, yr hwn oedd gyfaill i Iarll *Penfro*, ac yn bleidiol i dylwyth *Lancaster*, ac efe a gynhullodd liaws mawr o wyr y wlad, y rhai a ddaethant â'r fath arfau ag a allent afaelu arnynt; ac efe a ymosododd mor wrol ar fyddin ei frawd, ag y gorfu arnynt gilio oddiwrth y castell: ac yna *Dafydd* a ddugodd ymaith y ddau Iarll, ac a'u tywysodd i *Ddinbych*, porthladd gerllaw *Penfro*, o ba le yr hwyliasant tua Ffrainc, gan fwriadu myned i lys y brenin. Ond yn lle llwyddo yn hynny, chwythodd y gwynt hwy i ororau *Llydaw*, lle y gorfu iddynt dirio; ac yn mha wlad y cadwyd hwy dros dwysged o amser, am na chaniatai Dug Llydaw iddynt ymadael.

Yn y flwyddyn 1483, daeth y brenin *Richard III.* i orsedd Lloegr; yr hwn trwy ei lofruddiadau a'i greulonder a wnaeth ei hun mor atgas, ag y darfu i amryw o'i ddeiliaid mwyaf cadarn gynllwyno yn ei erbyn, gan

*Yr oedd y Cymry yn rannedig yn yr achlysur yma. Syrthiodd ar ochr tylwyth *York* yn y frwydr hon, yn mhlith enwogion ereill, *Gruffydd ap Nicholas*, un o hynafiaid *Arglwydd Dinefawr*, yr hwn oedd bendefig cadarn yn y Deheubarth, a'r hwn sydd enwog yn nghofiant y beirdd am yr *Eisteddfod* anrhydeddus a gynhaliodd yn *Nghaerfyrddin*, yn y flwyddyn 1450. Gwel t. d. 47.

rfynu ei ddiorseddu. Ac i'r diben o hyn, troisant at *Henri Tudor*, *'ichmond*, yr hwn, ar ran ei fam, oedd yn meddianu rhyw hawl i'r , gan ei bod hi o dylwyth *Lancaster*. Ond etto nid oedd hyn yn ddigon, heb iddo hefyd fwynhau ewyllys da tylwyth *York;* ac en iddo feddianu y fraint honno, cyttunwyd gynnyg iddo briodi y oges *Elizabeth*, merch *Iorwerth IV*. Ac yno anfonasant genhad- ɔ i Ffrainc perthynol i hyn oll; ac ar ol ei gydsynniad, gwnaeth- gwriogaeth iddaw megys brenin Lloegr—y gwriogaeth cyntaf, liaf, a wnaethpwyd gan Saeson i Gymro megys brenin Lloegr, dros ıhedlaethau.

ɔedd *Richard III.* yn ddyn tra chyfrwys, ac nid oedd anwybodus o au *Iarll Richmond:* a gwnaeth ddarpariadau cyferbynol; a dwy bu yn agos i'w ddwyn iddei afael. Canys tra'r oedd *Henri* yn ym- i i hwylio i Loegr, yr oedd Dug *Buckingham* yn cynnull llu o wŷr hymru i gydweithredu âg ef pan tiriai. Ond y pendefig hwnnw nid ;ymmwys i'r gorchwyl: a phan ddaeth at yr afon *Hafren*, cafodd y ld wedi eu tori gan ei elynion, a'r afon yn chwyddedig gan lif, fel .i groesi mewn un modd; ac yntau nid oedd gwedi gwneuthur dim adau tuag at borthi ei fyddin, hyd nes y gallai rydio yr afon. Ac Cymry yn dioddef gan eisiau cynhaliaeth, âc wedi eu diflasu wrth y fath flaenor analluog, a'i gadawsant ef yn gyfangwbl; ac yn mhen g amser, cymmerwyd ef gan wyr *Richard*, a thorwyd ei ben.* Ond gylchiad hwn nid oedd hyspys i *Henri*, eithr hwyliodd o Ffrainc ıyddin o wyr, gan feddwl bod Dug *Buckingham* yn llwyddo yn ei ; a bu yn agos iawn o dirio yn mhlith gwŷr *Richard*, trwy eu cam- l yn lle eiddo *Buckingham*; ond cyn gwneuthur hynny, cyffrowyd ddrwgdybiad am danynt, a dychwelodd i Ffrainc. Ar ol hyn, ld *Richard*, trwy frad a chynllwyn, ei gael iddei afael; ond methodd ıny hefyd. Yr oedd *Richard*, erbyn hyn, gwedi ei gwbl ddeffroi i ei berygl; ac i'r dyben o ymddiffyniad, perodd arfogi ei holl bleid- diogelu y porthladdoedd, gan osod byddinoedd o wyr ar y gororau, ɔedd efe ei hun yn dal golwg gwiliadwrus ar barthau tufewnol yr Ac felly, pleidwyr *Henri* a ganfyddent yr anhawsdra o ganlyn eu nion; nid oedd un man ar ororau Lloegr lle y gallai dirio; ac er Cymry yn tueddu tuag atto megys cydwladwr, etto yr oedd pleidwyr *rd* mor gedyrn yn y wlad, ac mor wyliadwrus, ac nad oedd ond g obaith y gallai ddyfod yn ddirwystyr hyd nod i Gymru, ond yr ʼn y Deheubarth un gwr, yr hwn pe gallesid cael ei gyweithiad,

ıdd y llu hyn o Gymry yn ffurfiedig gan mwyaf o ddynion y rhai a wasanaethent yn ı hewyllys, sef deiliaid y Dug, yn nghyda'r sawl allesid eu cymmell o blith gwehilion nid oedd un gwr pendefigol iddei blaenori o'u cydwladwyr eu hunain.

a oedd alluog i hyfforddi yn orphenol yr amgylchiad hynny; a hwnnw oedd *Rhys ap Thomas*, wyr *Gruffydd ap Nicholas*; ond yr oedd y pendefig hwn yn bleidiol i dylwyth *York*, ac i'r brenin *Richard III.* Yr oedd *Rhys ap Thomas* yn meddiannu yn y Deheubarth, awdurdod dra chyffelyb i eiddo yr hen Dywysogion yr ardal honno. Yr oedd efe yn wr o uchel fonedd, yn hannu oddiwrth *Urien Rheged.* Yr oedd efe hefyd yn perchenogi meddiannau tra helaeth; a chanthaw amryw o gestyll, neu anneddau castellog, lle y cynhaliai ei lys mewn duil pendefigol, megys *Carew*, *Arberth*, *Emlyn*, *Abermarlais*, *Gwibley*, *&c.* Yr oedd ganthaw dros ddeunaw cant o ddeiliaid, ac ei arfer ydoedd magu rhifedi mawr o geffylau, a'u rhoddi yn anrhegion iddeu ddeiliaid a'i gyfeillion; fel ag yr oedd pob un yn barod a'i farch ryfel erbyn y byddai galw, a chan fod ei ddeiliaid yn rhwymedig wrth eu cyttundeb bob un i ddyfod iddei gyfarfod a march ac arfau, yr oedd efe yn alluog mewn byr amser i gynnull rhwng pedair a phum mil o farchwyr. Gallwn ychwanegu at hyn ei fod ef yn ddyn o ymarweddiad boneddigaidd a moesgar, yn gydnabyddus ac arferion amryw wledydd, ac wedi treulio twysged o'i amser yn llys Dug *Bwrgwyn:* ac felly rhwng y cwbl yr oedd *Rhys ap Thomas* yn mwynhau caredigrwydd y wlad i'r fath raddau, ai fod oddieithr yr enw yn unig braidd yn llai ei awdurdod nâg un o'r hen Dywysogion. Gwyddent pleidwyr *Henri* yn dda, mai os gallent ennill cydweithiad *Rhys ap Thomas*, y byddai tiriad y *Iarll* yn hawdd ac yn ddiberygl, ond os na allent lwyddo yn hynny, nad oedd fawr o obaith am ei diriad, nag 'chwaith am ei ennilliad o'i freintiau; ac felly ymosodasant yn egniol at y gorchwyl, a chawsant gynnorthwyr medrus tuag at hyn; un oedd y *Doctor Lewis*, hen athraw *Rhys*, yr hwn oedd yn Gymro, ac yn bleidiol i *Henri:* y llall oedd *Morgan o Gydweli*, gwr doeth a pharchus, a chyfaill i *Rys*; at y rhai hyn ychwanegwyd Esgob *Ty Ddewi*, ac Abbad *Tal-y-llychau*, [*Talleu*] y rhai a gynhalient yr un blaid.*

Ond ni allai y cyfryw fudiadau hanfodi heb ddyfod i wybodaeth *Richard*, yr hwn a anfonodd at *Rys ap Thomas*, i erchi iddo gymmeryd llw o ffyddlondeb iddo, ac i anfon ei fab yn wystl am ei ymddygiad; y llw a gymmerwyd yn ddiwrthod, am fod *Rhys* ar y pryd hyn yn bleidiol i *Richard*, ond am anfon ei fab yn wystl, ymesgusododd, gan ddywedyd ei fod yn rhy ieuanc, oblegid nad oedd fawr dros bedair mlwydd oed; a gorfu i *Richard* ymfoddloni â hyn.† Ond y drwgdybiadau hyn o eiddo

* Am gyflawnaf hanesiad o'r amgylchiadau hyn, gwel y Cambrian Register.

†Yn ei atteb i'r brenin dywedodd *Rhys* os byddai *Henri* dirio yn y Deheubarth, y cai gadgyrchi dros ei gorff ef, cyn treiddio i'r wlad; a dywedir iddo ar ol hynny pan tiriodd y Iarll gyflawni ei addewid trwy fyned dan bont gerllaw, tra y cerddodd *Henri* drosti

*Richard* ynghyd a'r sarhad o ofyn gwystl, a cheisio cael ei fab iddei allu, a effeithiasant yn fawr i gynnorthwyo ymdrechiadau y gwyr rhagenwedig; chyn hir, tueddwyd *Rhys* at eu plaid; a dywedir i Esgob *Ty Ddewi* ymmud ymaith ei holl rwystrau cydwybodol perthynol iddo ef, trwy dangos fod y llw yn gyfan yn anghyfreithlawn ac am hynny na ddylai i gadw, o herwydd mai trawsfeddiannydd o'r orsedd oedd *Richard*, ac edi dyfod iddi trwy frad a llofruddiaeth.

Ar ol effeithio yn y modd hyn ar feddwl *Rhys*, efe a ddaeth i'r penderniad o ymwrthod ag achos *Richard* a mabwysio eiddo *Henri*, ac felly grifenodd lythyron gyda *Morgan o Gydweli* atto ef i arwyddoccau ny, ac iddei wahodd i ddyfod drwodd, a phenderfynwyd i *Henri* wylio yn ddioed a dyfod i *Aberdaugleddau*. Yna *Rhys* a wnaeth bob rpariad tuag at yr achlysur, anfonodd i'r holl wlad i erchi iddei gyfeillion fod yn barod i ymgynnull atto cyn gynted ag y gwelent dân ar y caru gwylathyr ar y mynyddoedd. Yna *Henri* a hwyliodd o *Harfleur* da dwy fil o wyr, y rhai y derbyniodd oddiwrth frenin *Ffrainc*, ac yn hen saith niwrnod ymddangosodd ar gyfer *Aberdaugleddau*. Yr hyn n wybu *Rhys* perodd gynnull ei wyr gyda dirfawr orfoledd, ac arweindd hwy i lan y mor i dderbyn y Iarll, ac yntau ei hun yn marchogaeth ar rch ryfel godidog a elwid *Llwyd Bacsau*; yr hwn enw y cafodd oddiwrth w ei swrnau; a'r Iarll a ddaeth i dir, mewn cilfach o gangenfor *Aberdaueddau*, gerllaw i gastell *Carew*, ac yno y derbyniodd *Rhys* ef yn anrhyddus megys ei frenin, a'r ychydig Ffrancod ag oedd gydag ef a roesawyd galonog ac a wleddwyd gyda'r lletteugarwch mwyaf. Ond gan fod y ai hyn gan mwyaf yn dra ammharod i ryfel, *Rhys* a gyfrannodd iddynt fau allan o blith ei eiddo ei hun.

Ar ol y darpariadau hyn brysiwyd i ymgyrchu tua Lloegr, a rhag bod n ymryson rhwng y Ffrancod a'r Cymry, penderfynwyd i *Henri* a'i ddin deithiaw trwy *Geredigion*, tra yr oedd *Rhys* yn ffurfio ei rwysc wy *Frecheiniawg*, gan gyttuno iddynt ymgyfarfod yn yr Amwythig. Ac ol pregethu o Esgob Tŷ Ddewi iddynt oll ynghyd, *Rhys* a archodd nnyn y tân ar y carnau gwylathyr, a'r ddau lu a ymadawsant ar eu gwaanol deithiau. Erbyn y daeth *Rhys* i Gaerfyrddin, yr oedd ei fyddin edi cynhyddu y fawr; a phan ddaeth i Frecheiniawg, daeth teuluoedd *ychan* a *Games* iddei gyfarfod, gwyr pendefigol yn yn y wlad honno, chyda hwynt gynhorthwy cadarn o wyr, ac erbyn yr oedd yn *Aberonddu* yr oedd ei ganlynwyr gwedi amlhau cymmaint a'i fod yn gweled

wch ei ben. Y cofiant yn y Camb. Reg. a ddywaid iddo trwy gyngor Esgob Ty Ddew -wedd ar y ddaiar tra y cammodd *Henri* drosto; ond y mai y cyfan yn rhy chwedleuidd iddei dirbyn megys gwir. Os gallai *Rhys* gael yn ei feddwl ymuno a *Henri*, nid tebyol y buasai i'r fath ymadrodd diystyr fod yr un tramgwydd iddo.

yn anghenrheidiol i anfon yn ol llawer o honynt, a chadw gydag ef y rhai hynny yn unig y sawl a allent fod yn llesol iddaw. Nid yw hyspys pa beth oedd rhifedi ei wyr; ond mynegir fod ganthaw gydag ef o'i wŷr ei hun, ddwy fil o farchwyr, yn yr arfogaeth goreu, ac yn mhob peth yn drefnedig i ryfel.

Tra'r oedd *Rhys ap Thomas* yn y dull hyn yn cyrchu trwy *Frecheiniog* tua'r *Amwythig*, yr oedd *Henri* yntau yn brysio trwy *Geredigion*. Nid oes mynegiad am y cwbl o'i rwysc; ond coffeir dau le yn y wlad honno, yn y rhai y cysgodd: un oedd *Llwyn Dafydd*, yn mhlwyf *Llandisilio Gogo*, lle y lleteuwyd ef a'i wyr yn anrhydeddus gan *Dafydd ap Ivan*, perchen y lle, i'r hwn y rhoddes *Henri* anrheg o gorn-yfed hardd, ariangylchog, a'r hwn sydd yn awr yn meddiant yr Arglwydd *Cawdor*. Y man arall lle y gorphwysodd *Henri* ydoedd y *Wern newydd*, yn mhlwyf *Llanarth*, lle y derbyniodd leteugarwch cyfattebol iddei radd, gan *Ddafydd Llwyd*, perchen y lle. Ac felly, *Henri* a gyfeiriodd ei daith tua'r *Amwythig*; a chyn cyrraedd y dref honno, cyfarfu *Rhys ap Thomas* âg ef; a dywedir i *Henri* wersyllu ar *Fynydd Digoll*, rhwng y *Trallwng* a'r *Amwythig*. O'r *Amwythig* aethant rhagddynt tua *Nottingham*, lle yr oedd *Richard* yn aros; a derbyniasant ychwanegiad o gyfnerth ar eu taith. Yn y cyfamser, yr oedd *Richard* yn aros yn dawel yn *Nottingham*, heb wybod am yr hyn a gymmerasai le yn Nghymru: ond pan clywodd fod *Rhys ap Thomas* gwedi uno â *Henri*, a bod y ddau mor agos, yna ymgyffrodd fel llew, ac anfonodd at ei holl gyfeillion i ymarfogi yn ddioed; ac felly, gyda llu nifeiriog cyrchodd i gyfarfod â *Henri*: a chyn hir y ddwy fyddin a ddaethant o fewn golwg iddeu gilydd, gerllaw pentref *Bosworth*, yn swydd *Leicester*. Yno ymbarotodd pob un i'r frwydr, a bu cyfarfod tra gwaedlyd rhyngddynt; a *Richard*, a'r goron ar ei ben, a ymladdodd fel llew, gan ladd amryw filwyr cyfrifol â'i law ei hun, a chael lladd ei farch ei hun dano: ac mor ffyrnig yr ymosododd gyda'i wyr ar y dosparth yn yr hwn yr oedd *Henri*, a'i osod mewn perygl mawr. Ar y pryd hwn yr oedd amryw o wyr *Richard*, o herwydd eu digasedd tuag atto, gwedi troi oddi wrtho, ac wedi uno â *Henri*: ond yr oedd yr Arglwydd *Stanley*, llys-dad *Henri*, mewn rhith yn pleidio gyda *Richard*, etto mewn gwirionedd yn ewyllysio yn dda iddei lys-fab. Ac felly, dros ran o'r amser, cadwodd ei wyr yn llonydd, heb daro ergyd. Ond pan gwelodd *Rhys ap Thomas*, yr hwn oedd yn agos i *Henri*, y perygl yn mha un yr oedd, efe a anfonodd at *Stanley* i fynegu hynny, ac yna *Stanley* a ddaeth ac a unodd ei lu âg eiddo *Rhys*; a hwynthwy yn nghyd, a ruthrasant yn erbyn gwyr *Richard*. Yna *Richard* yn gweled fod *Stanley* gwedi ei adael yn gystal a'r Cymry, a alwodd am gawg o wîn, a chan eistedd ar ei farch, trodd at *Rys Fychan*, gwrboneddig o Wynedd,

r hwn a lynasai wrtho yn ffyddlon hyd y diwedd, a dywedodd wrtho, 'Yma, Fychan yfaf attat ti, y Cymro cywiraf a gefais eirioed yn Nghymru." 'no yfodd y gwîn i fynu, a thaflodd y cwppan dros ei ben, a rhuthrodd yn arnwyllt i ganol ei elynion, lle y lladdwyd ef cyn nemmor o amser. A ywedir yn yr hanesion Cymraeg, mae o law *Rhys ap Thomas* y cafodd ergyd angheuol; ond nid ydyw yr haeriad yn ddigon awdurdodol iddei derbyn megys yn ddiamheuol. Eithr hyn sydd dra thebygol, sef, nad oedd *'hys* ddim yn mhell oddiwrtho ar y pryd, o herwydd yr oedd efe a'i lu yn ıdw yn agos at *Henri.*

Ar ol sicrhau y fuddugoliaeth, cymmerwyd y goron a wisgasai *Richard,* gosodwyd hi ar ben *Henri* ac yno ar y maes y cyhoeddwyd ef yn frenin loegr.

Yn y frwydr hon, lluman *Henri* ydoedd y *Ddraig goch,* a'r faniar o *wyn gwyrdd,* yr hon a ddugai er coffhad am ei hanniad oddiwrth hen Frenoedd Prydain. Yr arwyddlen yma a glydwyd gan *Sir William 'randon,* yr hwn a laddwyd gan *Richard* a'i law ei hun, yn ei ymgyrch yrnig yn erbyn *Henri,* ac yna *Henri* a roddodd y faniar iddei dwyn i *'ys ap Meredydd,* o *Hiraethog,* gwr o ddewrder mawr a chadernid ırfforol; oddiwrth ba un yr hanodd tylwythau *Wynne* o'r *Foelas, Price* o'r *Rhiwlas*; ac er anrhydedd i'r achlysur perodd *Henri* osod *ddraig goch* yn mhaisarfau teyrnol Lloegr, ac a sefydlodd y swydd ar-yddfarddonol o *Rouge Dragon.** Trwy y fuddugoliaeth yma esgynodd *'enri Tudor* i orsedd Lloegr, a thrwy ei briodas a'r Dywysoges *Elizabeth,* ıodd y *Ddau Rosyn,* a gosodes derfyn i'r rhyfeloedd anncdwydd hynny rhai a rwygasent y deyrnas; yn y rhai o fewn i ddeng mlynedd ar hugain, ymladdwyd tair brwydr ar ddeg, a lladdwyd can mil o wyr; yn mlith ı rai yr oedd pedwar ugain o Arglwyddi o waedoliaeth brenhinol.

*Henri VII.* a oedd yn bennadur call a chadarn, a llywiodd ei gyfoeth yda medrusrwydd a llwyddiant; eithr achwynir arno gan eu gydwladwyr Cymry, na wnaeth efe ddim cymmaint dros ei wlad a'i genedl ac oedd yn lyledus iddo. Diamheu fod hyn yn wir, ond y mae yn rhaid addef iddo neuthur llawer drostynt; canys diddymmodd y cyfreithiau dirwyawl a ıospawl a wnaethasyd yn eu herbyn gan y brenhinoedd rhagfynedol: hefyd nid anghofiodd efe ddim o'i hen gyfeillion, canys gwelwn *'hys ap Thomas* yn mwynhau ei gyfeillach hyd y diwedd. Ar ol canu awl gwedi y frwydr, urddwyd ef yn farchawg yn y man, o dyrchafwyd i lanw amryw swyddau anrhydeddus yn Nghymru, *Morgan o Gydweli* fyd ni anghofiwyd. *Syr Rhys ap Thomas* ar ol hynny a wasanaethodd brenin yn ei ryfeloedd yn Ffrainc, yn gystal ag yn Lloegr, ac o'r diwedd

* Gwel y Cambro-Briton.

dychwelodd adref i gastell *Carew*, lle y cynhaliodd ei lys gyda rhwysg a mawrdrafyn tywysawg. Ar ol marwolaeth *Henri VII.* ei fab *Henri VIII.* a wnaeth gadgyrchiad i Ffrainc, a *Rhys ap Thomas* a aeth gydag ef, ar ei fod dros driugain mlwydd oed, ac a ennillodd ddirfawr glod trwy ei orchestion gwrol yno, ac unwaith etto dychwelodd iddei gastell o *Garew*, lle y treuliodd y rhan olaf o'i fywyd mewn anrhydedd ac mewn tawelwch, a bu farw yn 1527, yn y 76 mlwydd o'i oedran, a chladdwyd ef yn Eglwys Pedr yn *Nghaerfyrddin*, lle y mae ei feddadail etto iddei weled, a'i eilun ef ei hun yn gorwedd yno yn wisgedig mewn arfau.

Ar ol sefydliad *Henri VII.* ar yr orsedd, dechreuai rhai a difrio ei hanniad, gan honni nad oedd ei dad-cu, *Owain Tudor*, ond gwr o isel ddechreuad. Ac yna *Henri* a orchymynodd furfio dirprwyaeth i'r dyben i chwilio allan ei achau; ac felly anfonodd lythyr dirprwyol at *Abbad Llanegwestl*, y *Dr. Owen Pool*, Canon Henfford, a *Dr. John King*, Arwyddfardd, a hwynthwy gyda *Sir John Leiaf*, Offeiriad, *Guttyn Owain*, [y bardd] *Gruffydd ap Llewelyn ap Ieuan Fychan*, *Madawc ap Llewelyn ap Hywel*, *Robert ap Hywel ap Thomas*, ac ereill. A hwynthwy, ar ol chwilio yn llyfrau achawl Cymru, a ddychwelasant gyda chyflawn restriad o fonedd *Henri*, trwy yr hyn y dangoswyd ei fod o ran ei dad a'i fam o dylwyth pendefigol, ac yn tarddu oddiwrth hen frenhinoedd Prydain. Ei achau ar ran ei dad ydynt y canlynol:

Henri VII. mab Edmund Iarll Richmond, mab Owain ap Meredydd—ap Tudor—ap Gronw—ap Tudor—ap Gronw—ap Ednyfed Fychan—ap Kyner—ap Iers—ap Gwgan—ap Marchudd—ap Cynan—ap Elfyn—ap Mor—ap Mynan—ap Isbwys Newintyrch—ap Isbwys—ap Cadrod Calchfynydd—ap Cywyd—ap Cindion—ap Cynfelyn—ap Arthwys—ap Morydd—ap Cynaw—ap Coel Codebog, brenin Prydain—ap Tegfan—ap Deheufraint—ap Tudbwyll—ap Urban—ap Gradd—ap Rhyfedel—ap Rhydeyrn—ap Endigant—ap Endeyrn—ap Enid—ap Endos—ap Enddolaw—ap Afalach—ap Afflech—ap Beli Mawr, brenin Prydain—ap Manogon Frenin—ap Kaxor Frenin—ap Pyr Frenin—ap Sawyl Benisel—ap Rhydderch—ap Rhydion—ap Eidiol—ap Arathafel—ap Seisyllt—ap Owain—ap Caxbo—ap Bleiddyd—ap Meirion—ap Gwrgwst—ap Elydno—ap Clydawc—ap Ithel—ap Urien—ap Andrew—ap Cereni—ap Porrex ap Coel—ap Cadell—ap Geraint—ap Elider— ap Morydd—ap Dan—ap Seisyllt—ap Cyhelyn—ap Gwrgan Farfdrwch—ap Beli—ap Dyfnwal—ap Dodion—ap Enyd—ap Cwrwyd—ap Cyrdor—ap Dyfnfarth Prydain—ap Aedd Mawr—ap Antonius—ap Seisyllt—ap Rhegan, merch y brenin Llyr, a gwraig Henwyn, Tywysawg Cernyw—Llyr oedd fab i Bleuddyd ap Rhunbaladrbras—ap Lleon—ap Brutus Darianlas—ap Efrawc Gadarn ap Mymbyr—ap Madawc—ap Locrin—ap Brutus, yr hwn oedd y cyntaf a feddianodd y wlad hon.

Yna rhoddir achau amryw o rieni menywaidd *Owain Tudor* yn yr un dull rheolaidd, gan diweddi gydag eiddo ei fam, *Margaret*, merch *Dafydd Fychan*, y rhai a roddir mewn modd tra chyflawn.* Am yr achau hyn, nid oes gennyf un amheuaeth eu bod, fel yr achau Cymraeg ereill yn gyffredinol, yn gywir dros amryw genhedlaethau, gan fod y cyfreithiau Cymruaidd yn gofyn eu profiad er sefydlu hawl etifeddiaethol mewn tiroedd; ac yn hir ar ol yr amser yma yr oedd yr arwyddfeirdd yn cadw yr achau mewn modd tra manwl a chywir. Ac nid oedd mwy hawdd y pryd hynny i ddyn ffurfio gau achrestr iddo ei hun, nag ydyw yn awr iddo ffurfio gau weithred o hawl i diroedd un arall: yr oeddynt lawn mor eiddig o'u hachau ag y gallwn ni fod o'n tiroedd. Ac effeithiad hyn ydyw, fod gan y Cymry etto ar glawr fwy o achrestrau tylwythol nag sydd gan un genedl arall pwy bynnag, sef yn fwy o rifedi, ac yn estyn yn uwch, er fod llawer o honynt, o fewn i'r canrif diweddaf gwedi colli eu cofiaint o honynt trwy ddibrisdod. Pwy bynnag a ddymuna weled prawf o hyn, edryched yn *Hanes Swydd Frecheiniawg*, gan *Theophilus Jones*. Yno caiff weled fod yr awdwr dysgedig a gwladgar hwnnw, trwy ei wybodaeth hynafiaethol, a'i ddiwydrwydd diflino, nid yn unig gwedi ffurfio casgliad helaeth o achau y wlad, ond hefyd gwedi arbed rhag dinystr amryw gofiaint achawl, y rhai heb eu wasanaeth ef, a fuasent yn mhen ychydig amser wedi eu llwyr golli; ac y mae llawer un o isel gyflwr gwedi cael allan trwy y casgliad hwnnw, er syndod iddo ei hun, ei fod o hanniad pendefigol, a bod enwau ei deidiau yn mhlith eiddo goreuon y wlad, ac ei fod yn deillio oddiwrth dywysogion.

*Henri VII.* er côf am ei wlad a'i genedl, a roddodd iddei fab henaf yr enw *Arthur*; ond efe a fu farw yn ystod bywyd ei dad, ac felly ar farwolaeth *Henri VII.* daeth ei fab nesaf i'r orsedd, yn hwn oedd *Henri VIII.*

## HENRI VIII.

### 1509.—1547.

Yn ystod teyrnasiad *Henri VIII.* bu dau ddigwyddiad o bwysfawrogrwydd mawr i wlad Cymry; un oedd y *Diwygiad*, a'r llall oedd *Uniad Cymru* â *Lloegr*, trwy estyniad i'r Cymry freintiau deiliaid brenin Lloegr yn gyffredinol. Am y *Diwygiad*, ni chaniata fy nherfynau i mi draethu arno, a'r unig beth a wnaf ydyw cofiannu am lwyr ddilead Pabyddiaeth trwy yn agos y cyfan o'r Dywysogaeth, a chynnyg y gofyniad i hanesyddion, pa beth a berodd y cyfnewidiad cyflawn a disymmwth yma? Crybwyllir yn fynych am yr amgylchiad, ond ni welir byth gyfrif am ei achlysuriad.

* Ar ol *Beli Mawr*, rhoddir y gair Brenin at pob enw.

Am y digwyddiad arall, sef *Uniad Cymru â Lloegr*, helaethaf ychydig yn rhagor. Er fod y Dywysogaeth gwedi ei huno a Lloegr gan *Iorwerth I.* fel ag yr oedd dan yr un lywodraeth, etto ni roddwyd i'r Cymry freintiau trigolion Lloegr. Ond yn hytrach ffurfiwyd o bryd i bryd amryw gyfreithiau gormesawl yn eu herbyn. O amser *Iorwerth I.* at *Henri VII.* ni wnaethpwyd ddim llai na phymtheg o weithredoedd Seneddol y erbyn y Cymry: ond y gormesiadau hyn, yn lle darostwng y bobl, a'u hanogent i wrthryfel, ac a'u cadwent yn wastadol mewn cyflwr o elyniaeth i swyddwyr y wlad. Y mae yn ddiau fod amryw o'r cyfreithiau hyn yn weithredoedd ofer, gan na ellid cael ufudd-dod iddynt; ond yr oedd ereill yn weithiol, ac yn pwyso yn flin ar y wlad. *Henri VII.* a diddymodd y cyfreithiau cospol a dirwyol, ond ni roddwyd i'r Cymry yr un freintiau cyfreithiol ag y mwynhaient y Saeson. Ac felly y Cymry a anfonasant erfyniad at *Henri VIII.* i ofyn am rhyddhad oddiwrth eu gorthrymderau, a mwynhad o'r un breintiau a'u cymmydogion Saesonaeg. Yr erfyniad hwn, fel y dywedir, a eiriwyd gan *Sir John Price*, o'r Priordy, yn Aberhonddu: a'r canlyniad oedd estyniad o'r cyfryw freintiau iddynt. Ar y pryd hyn, rhannwyd y cyfan o Gymru yn Swyddi, neu Siroedd: yr oedd rhan o'r Gogledd-dir wedi ei ddosparthu felly gan *Iorwerth I.* ac yn awr rhannwyd y cyfan o Gymru felly; a thrwy ryw annhrefn neu gilydd, gosodwyd *Swydd Fynwy* yn mhlith Swyddi Lloegr, er fod y trigolion yn gyffredinol yn Gymry, ac hyd y dydd heddyw rhan fawr o'r wlad yn arferyd y Iaith Gymraeg.

Ar y pryd hwn ffurfiwyd cyfraith i beri i'r Cymry cymeryd at enw sefydlog, yn lle y dull arferedig o atosod enwau eu rhieni, yr hyn oedd yn dra annghyfleus mewn brawdlysoedd ac ar achosion rheithiol ereill. Canys hyd hyn y dull cyffredinol ydoedd coffa enwau eu rhieni mewn modd achawl, megys *Gruffydd ap Madawc ap Rhys ap Llewelyn, &c.* fel nad oedd un enw tylwythol yn eu plith, ond cyfnewidid yr atenw yn ol enw y tad. Eithr ar ol ffurfiad y gyfraith yma, cymmerwyd enwau sefydlog, a'r dull cyffredinol ydoedd cymmeryd enw y tad, gydag ychydig o wahaniaethiad. Pan caniatai y lythyren ddechreuol, cadwent ran o'r *ap*, neu yr *ab*, a glynent ef wrth enw y tad; ac o *ap Howel* gwnaent *Powel*, o *ap Rhys*, *Prys*; ac yn yr un modd *Pugh*, *Pritchard*, *Probert*, *Prosser*, *Parry*, *Prydderch*; ac hefyd trwy gyfrwng yr *ab* gwnaent *Bowen* a *Bevan*, oddiwrth *ab Owen* ac *ab Evan*. Ond gan fod yr enwau yn ffurfiol o'r *ap* yn amlach nac o'r *ab*, dangosir fod y dull hwnnw o dalfyrru y gair *mab* yn fwy cyffredin na'r llall.

Pan na chaniatai yr enw rhagosodiad yr *ap* neu'r *ab*, cadwent enw y tad yn ei ddull cysefin, megys *William*, *Gruffydd*, *&c.* ac yn mhen amser dodwyd atto yr *s* i arwddoccau atenw, a gwnaethpwyd *Williams*, *Griff-*

*iths*, *Morgans*, *Davies*, *Jones*, *&c.*, ac weithaiu ar ol oes yr *ap* a'r *ab*, gwnaethpwyd yr atenwau *Hughes*, *Evans*, *Owens*, *Roberts*, *&c.* Ond y mae yn rhaid sylwi nad effeithiodd y gyfraith yn hollol dros rai oenhedlaethau, canys gwelwn mor diweddar a diwedd y 17 ganrif yr enwau *William ap Gruffydd*, *Dafydd ap Thomas*, *&c.*

Ond mewn rhai angrheitftiau yr oedd y dull o gymmeryd atenw tylwythol yn ol y dull Saesonaeg gwedi ei fabwyso yn mlith y Cymry y rhai oeddynt gwedi byw ymlith y Saeson, neu mewn cyfeillach a hwy, amryw flynyddau cyn y gyfraith hon, megys tylwythau y *Games*, *Tudor*, *Fychan*, *&c.*; ac weithiau cawn yn gynnar iawn yr atenwau, *Llwyd*, *Gwyn*, *Wyn*, *Trefor*, *&c.*

Bu i *Henri VIII.* dri o blant, y rhai a deyrnasasant ar ei ol; sef *Edward VI.* yr hwn a fu farw yn ei ieuenctyd. *Mari*, yr hon a lynai wrth Eglwys Rhufain, ac o achos yr erlidiad o'r Protestaniaid dan ei theyrnasiad, a gafodd yr enw o *Mari Waedlyd.* A'r diweddaf oedd *Elizabeth;* a gyda hi terfynodd teyrnlin y *Tudoriaid.* Ni fu un digwyddiad neilltuol i Gymru yn amser y tri phenadur yma, oddi eithr y rhai a berthynant yn hytrach i hanes y Diwygiad, nag i'r byr-draethiad hwn: ac y mwyaf hynod o'r digwyddiadau hynny, oedd cyfieithiad y Bibl a'r Llyfr-gweddi Cyffredin i'r Iaith Gymraeg.

Yr oedd y *Tudoriaid* oll yn bennaduriaid o anianawd tra nodedig; yr oeddynt yn ddynion call a medrus, diofn a diysgog, eithr yn chwyrn ag yn gyndyn; a pha un ai yn Babyddion ai yn Brotestaniaid, yn anoddefgar o wrthwynebiad. Ar ol y *Tudoriaid*, daeth tylwyth y *Stuartiaid* i'r orsedd. Am y cyntaf o honynt, *Iago I.* ni ddigwyddodd un peth neilltuol perthynol i'r Cymry: ond yn amser ei fab *Charles I.* torrodd allan y rhyfel cartrefol, a derchafwyd *Cromwell* i arbenicter yn y llywodraeth; a'r terfysc a estynodd i Gymru yn y fath fesur, ag y geilw am ychydig o sylwadau arno cyn terfynu y gwaith hwn.

## Y RHYFELOEDD CARTREFOL.
## 1642——1651.
## ac
## OLIVER CROMWELL.
## 1653——1658.

Achlysur y *Rhyfeloedd Cartrefol* oedd hyn. *Charles I.* a geisiodd drethu y deyrnas heb ganiatad y Parliament, ac yn wrthwynebol i fodd y deyrnas yn gyffredinol. Ac i'r diben i gynnal ei achos, ceisiodd gynhorthwy milwraidd; a'r Parliament hwythau a geisiasant yr un offeryn iddei

wrthwynebu. Ond yn mhen ychydig amser, cyfnewidiwyd agwedd y rhyfel yn hollol; ac yn lle y Brenin yn erbyn y Parliament, daeth i fod y *Parliament* a'r *Ymneullduwyr* yn erbyn y *Brenin* a'r *Eglwys*. A chyn nemmor o amser, ddaeth cyfnewidiad arall, sef *Cromwell* a'r *Ymneullduwyr* yn erbyn y *Brenin* a'r *Eglwys*.

Yr oedd *Cromwell* o hanniad Cymraeg. Ei orhendaid ydoedd *William ap Ieuan*, gwrboneddig o dylwyth da yn *Morganwg*, yr hwn a ddaliai swydd anrhydeddus yn nheulu *Jasper Tudor*, Iarll *Bedford*; a mab i *William* ydoedd *Morgan ap William*, yr hwn a briododd chwaer i *Thomas*, Arglwydd *Cromwell*, Iarll *Essex*. Mab *Morgan ap William* ydoedd *Richard*, yr hwn oedd yn byw yn amser *Henri VIII.* ac a urddwyd yn farchog; ac yn ol y dull Saesonaeg yr oedd yn ofynol iddo adael yr *ap*, a chymmeryd rhyw at-enw sefydlog. A chan ei fod yn byw ar y tir a gafodd oddiwrth ei wraig, trwy arch y brenin, cymmerodd yr at-enw o *Cromwell*, a chawn ef dan yr enwad *Sir Richard Cromwell*. Eithr y tylwyth hyn hyd at amser *Iago I.* a arferent danysgrifio eu henwau, *Cromwell* alias *Williams*: a dywedir i'r at-enw olaf gael ei ddechreu gan *Morgan ap William*, yr hwn a alwai ei hun *Morgan Williams*, ac hefyd fod ei dylwyth yn *Morganwg* yn myned dan yr at-enw hwnnw. Mab *Sir Richard Cromwell* ydoedd *Robert Cromwell*, a'i fab yntef ydoedd yr enwog *Oliver Cromwell*.*

Ar ol dechreu ymryson rhwng y Parliament a'r Brenin, aethpwyd i ryfel chwyrn a gwaedlyd; ac *Oliver Cromwell* a dderchafwyd i lywyddu y byddinoedd gwrthryfelgar, ac ni allasid dewis addasoch flaenor; canys erbyn hyn yr oedd holl egnioedd y deyrnas yn gyffroedig, ac yr oedd galw am ddoniau milwraidd o'r math godidoccaf. O herwydd yr oedd y brenin yn mwynhau ewyllys da yr holl wyr Eglwysig yn gystal ac eiddo y pendefigion yn gyffredinol, a rhan fawr o foneddigion y wlad. Ond ar ol llawer o ymladd a thywallt gwaed, yn mha un y dangoswyd y dewrder mwyaf clodwiw, a'r gwrolder mwyaf diysgog, gan bob un o'r dwy blaid, y fuddugoliaeth a drodd at ochr *Cromwell* a'r Ymneillduwyr, a gorfu y Brenin a'r Eglwyswyr gilio oddiar y maes.

Yna torrwyd ben y Brenin, a gosodwyd *Cromwell* yn ei le, dan yr enwad o *Arglwydd Noddwr*. Diddymwyd brenhiniaeth a phendefigaeth, fel nad oedd mwyach na *Brenin* nag *Arglwydd;* dilewyd *Esgobaeth* ac *Offeiriadaeth*, troddwyd yr Esgobion allan o'u palasau, a gwnaethpwyd yr anneddau hynny yn garchardai. Troddwyd yr Offeiriaid allan o'u swyddau, i weithio, neu gardotta, neu newynu, a gwnaethpwyd yr Eglwysi yn farchdai, a chollfarnwyd y degymmau. Ond yn mhen ychydig, cafwyd fod

* *Oliver Cromwell* a ddugai ei Baisarfau cynhenid, y rhai a berthynent iddei dylwyth Cymraeg.

yr olaf yn rhy werthfawr iddeu diddymmu, ac felly cymmerwyd hwy i gynnal achos ymneillduaeth, a throddwyd y ceffylau allan o'r Eglwysi, a dodwyd pregethwyr Ymneillduol yn eu lle; ond bob yn ychydig, gwelwyd nad oedd y cyfnewidiad dedwydd, ond newidiad meistri yn unig, ac nid diwygiad arferion; oblegid y degymmau a gyfodwyd gyda'r un awydd a thrachwant dan y lywodraeth ymneillduol, a than yr un offeiriadol. Ond bydded hyn fal y bytho, y werin a gawsant eu boddhau trwy weled iseliad eu hen arolygwyr, a dewis iddynt eu hunain rai newydd; a thros ychydig ennyd aeth pob peth yn mlaen mor foddhaol a bod rhai yn dywedyd yn groew fod cyflwr yr ail Baradwys wedi dechreu ar y ddaear. Ond cyn hir blaswyd rhyw gymmysgdra nad oedd eithaf dymunol; ac yn mhen ychydig o flynyddau, cafwyd llywodraeth yr ymneillduwyr mor flin, mor orthrwm, a gormesol, ag ar farwolaeth *Cromwell* y darfu i'r deyrnas oll gyfodi fel un gwr, a bwrw allan yr ymneillduwyr yn gyfangwbl o'u swyddau, i weithio neu gardotta, fel yr offeiriad gynt; a galwyd yn ol *Charles II.* mab y brenin, gosodwyd yr offeiriaid drachefn yn eu Heglwysi, ac ailsefydlwyd y cyfan o'r hen drefniadau, fel ag yr oeddynt cyn y chwyldroad. A'r bobl yn gyffredin a ddangosent orfoledd mor fywiog ag y barnir y gallasid dwyn i mewn nid yn unig yr hen ormesiadau brenhinol; ond hefyd yr ufuddasent i rai newydd, ac a roisent i fynu rai o'u breintiau yn gynt na dychwelyd dan y fath orthrymderau ag y profasant dan *Cromwell.* Ac er tystiolaeth o gyffredinolrwydd y gorfoledd hwn, y mae hyd y dydd heddyw, nodau amlwg iddeu gweled yn mhob tref a phentref trwy'r deyrnas, yn y *Royal Oak*, a'r *King's Head*, &c., at ba rai y cyrcha y genhedlaeth hon er mwyniant a diddanwch.*

Wrth adrodd y cyfryw amgylchiadau a'r uchod y mae gofyniad yn ymgyfodi, sef pa un oedd y blaid dreisiol, ac a pha un y dylem gyd-deimlo? Cyn ffurfio barn, gwrandawn y ddwy blaid. Yn ol hanesyddion ymneillduol yr oes, yr oedd yr offeiriaid yn lwyth o ddynion glwth, diog, meddw, aniwair, bydol, diddysc, diddawn, a digrefydd; yn gŵn mudion, ac yn arweinwyr deillion, ac yn hollol anaddas iddeu galwad pwysfawr; tra'r oedd y pregethwyr ymneillduol yn gwbl wrthwyneb i hyn oll.

Yn ol hanesyddion Eglwysig ynte, yr oedd yr offeiriaid yn ddynion eithaf rhinweddol, ac yn addurno eu galwad; tra'r oedd yr ymneillduwyr yn haid o ragrithwyr twyllodrus, dichellgar, gwehiliol ac anllythrenog, yn cyflawni yn y dirgel yr holl bechodau a ddannodent i'r offeiriaid,

* Rhai tudalennau yn ol hysbysais fy nhyb perthynol i hanfodiad Coron a theyrndlysau Cymru yn y *Twr*, ond gwedi argraffu hynny, daeth i'r golwg yn mlith rhai o hyfiaethwyr Llundain, fod y cyfryw gaffaeliad yn anniohonadwy, am i *Oliver Cromwell* gymmeryd y cyfan o'r teyrndlysau at ei achos ei hunan, ac nad ydyw un o'r rhai ynawr mewn hanfod yn henach nag amser *Charles II.*

ac yn ychwanegu ettynt lawer ereill dan nawdd y terfysg, a'r afreolaith dan yr hyn yr ennillasent yr oruchafiaeth.

Yn awr, rhwng y ddwy blaid, pwy a all farnu? Yn y traethiadau yma ni chawn ond sen a gwrthsen, dufenwad ac edliwiad.——

"Giach y garran;
Myntai'r Belau."

"Belau du bach;
Myntai'r Giach."

Ac felly, er ffurfio barn, nid af at neb o hanesyddion yr oes, nag at *Calamy*, rhyswr yr Ymneulltuwyr, nag at *Walker*, dadleuydd yr Eglwyswyr, nac at neb ryw ysgrifenydd pleidiol a rhagfarnus arall; ond cymmeraf ddigwyddiadau yr oes, a gweithredoedd y wlad; ac oddiwrth hynny ceisiaf ffurfio tyb i fy hun: a dyma'r canlyniad.——Oni buasai fod rhyw beth tra beius yn ymddygiad yr Offeiriaid, ni fuasai y bobl ddim yn goddef iddynt gael eu troi allan o'u heglwysi, yn gyfangwbl, fal y gwnaethpwyd, a dwyn i mewn ymneillduaeth.——Ac oni buasai rhyw beth mwy beius yn yr Ymneillduwyr, ni fuasai y wlad ddim mor fuan yn eu chwydu allan ar un gloes, ac yn galw yr Offeiriaid yn ol iddeu lle.

Ond nid yw yr hanesiadau hyn eithr cofrestrau o droseddau gwladol, a chospedigaethau; un blaid ormesol yn cyfodi i ddial ar ormesiadau un rhagflaenol. Ac y mae y syniadau hyn yn fy arwain i daflu golwg ar helynt y deyrnas hon dros yr oesoedd diweddar.

Cyn torri allan o'r *Diwygiad*, yr oedd Eglwys Rhufain gwedi dringo i raddau tra uchel o falchder a thrais; a daeth y *Diwygiad* arni, yn gospedigaeth tost a gorthrwm. Ond wrth ddiwygio, y gweithredwyr ni ymfoddlonent i adgyweirio, eithr ceisient ymddial hefyd; ac yn mysg hyn oll ymddangosodd trachwant a bydr-elw yn dra nodedig. O herwydd yn y gwaith hwn o *Ddiwygiad*, gogoneddus a llesol fel yr oedd, etto, dan rith diwygio crefydd, cyflawnwyd llawer o greulonder, ac afiawn; y creulonder ydoedd troi allan o'u celloedd tawel yn y Monachlogydd yr hen Fonachod a Monachesau oedranus a methedig, lle y treuliasent eu holl einioes mewn llonyddwch, a'u bwrw ymaith yn ddiymgeledd, i drengu trwy newyn a noethni: yr afiawnder ydoedd cymmeryd tiroedd y Monachlogydd a'r Eglwysi, y rhai a arferent borthi y tlodion, a'u rhoddi neu eu gwerthu i wyr mawrion a swyddogion; ac felly gadael y tlodion yn ddiborthiant.

Y creulonder a ddychwelodd ar ben Eglwys Loegr trwy drais yr Ymneillduwyr, yn amser *Cromwell*, pan gwnaethpwyd â'r Offeiriaid yn yr un modd ag y gwnaeth eu rhagflaenwyr hwy â'r Monachod.

Yr afiawnder tuag at y tlodion, hefyd, a gospwyd yn ol ei ryw gan y tlodion eu hunain; canys ymdaenasant ar draws y wlad fel locustiaid, a

a gorfuwyd ffurfio *Treth y Tlodion*, yr hon hyd y dydd heddyw sydd yn pwysaw ar y deyrnas fal hunlle.

Ond yn yr un modd ag y gwnaethpwyd yr Ymneillduwyr yn offerynau o gosp ar yr Eglwyswyr, felly hwynthwy, trwy gamarferyd eu gallu, a chyflawni trais a chreulonder, â ddugasant ar eu hunain ddialedd buan a gorllym.

Ond er cymmaint fy nhuedd at yr Eglwys, ac ysgatfydd rhagfarn hefyd, ni allaf ymattal rhag credu y darfu i'r Eglwyswyr hwythau yn y gorchwyl o droi allan yr Ymneillduwyr, gamarfer eu galluoedd, a throi cerydd haedddianol yn ddihaledd llidgar, a gwneuthur gweiniad cospedigaeth yn offeryn o gyflawniad creulonder. O herwydd yn yr amser hwnnw, trwy ysbryd anoddefgar ac annghardodol, dinoethwyd y cleddyf gwladol yn erbyn yr Ymneillduwyr, pan na ddylesid ymaflyd ond mewn arfau ysprydol; ac yn yr yspryd hyn diamheu y goddefodd llawer o honynt am eu cydwybod, ddirfawr galedi a gorthrymder.* Ac at-dalwyd hyn i'r Eglwys; o herwydd y mae yr Ymneillduwyr gwedi parhau hyd y dydd heddyw i fod yn gethri yn eu llygaid, ac yn ddrain yn eu hyetlysau. Ond gan ys pa beth oedd beiau Eglwyswyr yn y dyddiau hynny, neu yn y dyddiau presenol 'chwaith, y mae yr Eglwys Sefydledig weithian gwedi parhau yn agos i ddau cant o flynyddau. Ni chyfrifaf fy hun yn ddigon diragfarn a diduedd i gyffwrdd âg adolygiad o'i helynt yn ystod yr amser yma. Ond yn ol fy null fy hun o gyfrifiad yn y cyfryw bethau, barnaf pe na buasai ynddi rhyw rai rinweddau, ni fuasai Rhagluniaeth yn ei chynnal cyhŷd amser yn y cyfryw lwyddiant ac yn y fath ddisgleirdeb harddwych o ddawn a dysgeidiaeth ag y mwynha; canys y mae yn rhaid hyd nod iddei gelynion addef fod ei phrif ysgolion, a'i hamrywiol hathrofeydd ereill, gwedi bod, ac yn parhau i fod, yn rhai o'r offerynau mwyaf effeithiol i feithrin galluoedd cynheddfol, ac i daenu gwir ddysgeidiaeth trwy'r byd. Ysgatfydd na fydd pob un a welo hyn ddim yn barod i gydfyned â myfi; ond cyn fy nghollfarnu, tafled olwg dros y camrau trwy ba rai y daeth efe i feddiant o'r wybodaeth a fwynhâ; a chymmeraf arnaf haeru y caiff weled yn mhob cam o'i daith lleënyddol, o'i *Lyfr Corn* hyd at gyfieithiad ei *Feibl*, fod llafurwaith yr Eglwys nid yn unig yn gymmysgedig â'r cwbl, ond hefyd yn ffurfio y fath gyfran sylweddol o hono, a phe gellid ei rannu oddiwrtho, na adewid ddim ar ol a haeddai ei arddel megys arwyddiad dysg na dawn. A phe diffodid ar unwaith bob canwyll a ennynwyd gan yr Eglwys Sefydledig, ni fyddai ond cyflwr gryn dywyll ar y deyrnas hon.

Ond yn awr trown at y digwyddiadau chwyldroawl, y rhai a berthynant

* Pwy bynnag a amheuo hyn, cofied *John Bunyan*.

yn fwy neilltuol i genedl y Cymry. Ac yn yr ymryson cyffredinol gwelwn nad oedd y Dywysogaeth ddim yn mwynhau llonyddwch, mwy na rhannau ereill o'r deyrnas. Yr oedd plaid liosog yn cynnal achos y brenin, ac ymladdasant yn ddewr drosto, tra oedd plaid arall yn llawn mor fywiog yn cynnal Ymneillduaeth. Ac ar ol buddugoliaethiad *Cromwell*, trefnwyd moddion arbenig tuag at hyfforddi ei achos trwy "*Ddirprwyad er taenu yr Efengyl yn Nghymru.*" Trwy rym y weithred hon, troddwyd allan o'u heglwysi Offeiriaid Cymru yn gyffredinol, a gosodwyd pregethwyr Ymneillduol yn eu lle. O herwydd y dibrisdod a hanfodai yn y cannif diweddaf, nid oes gennym ond ychydig iawn o hyspysiadau am y digwyddiadau gwladaidd yn yr amser yma, yr hyn sydd yn fwy galaradwy am eu bod mewn hanfodiad o fewn i gyn lleied amser at ein dyddiau ni. Yr wyf fy hun yn cofio amryw adroddiadau pan oeddwn yn blentyn, ac heb na syniad na medrusrwydd iddeu nodi i lawr, y rhai a fuasent yn awr yn ddigon pwysfawr iddeu cofrestru megys rhan o hanesyddiaeth lleol y wlad. Y mwyaf nodedig o honynt a glywais gan Hen-ewythr i mi, o'r enw *Evan Bowen*, gŵr oedrannus, yr hwn a anesid yn y flwyddyn 1714, ac wedi ymddiddan â llawer y rhai a fuasent yn byw dan lywodraeth *Cromwell*; ac felly ei gofiaint ef nid oeddynt ond braidd yn dyfod dan yr enwad o *draddodiad* yn ei ystyr cyffredinol, am na chawsant ond unwaith eu hadrodd. Ei chwedlau ef yn ddioddiethr a dystiolaethent am gyflwr terfysglyd y wlad, ac effeithiau y cynwrf. Yn mhlith ereill perthynol i'r chwyldroad Eglwysig, dywedai i Offeiriad ei blwyf ef, *Llanfihangel Brynpabuan*, yn *Muallt*, gael ei droi allan o'i Eglwys a'i dŷ, a gorfod cilio i aneddfa wael, yn *Llanafan fawr*, lle y gorfu gynnal ei hun dros rai blynyddau ; a'i fod yn *tynnu betting* ar *Benlandwppa*, pan ddaeth cenadwraeth atto iddei adferyd iddei fywioliaeth, ar ddychweliad *Charles II.* i'r orsedd. Ond un peth tra nodedig yr haerai'r hen ŵr, gyda llawer o ddifrifoldeb, megys un wedi ei dderbyn oddiwrth dystion cywir; sef i frain yr Eglwys oll, ar ymadawiad yr Offeiriad, ymadael â'r Eglwys, a chanlyn yr Offeiriad iddei dŷ, a nythu yno.

Hefyd, er anghraifft o'r ysbryd a hanfodai, dywedai i fedydd-faen *Llanfihangel Brynpabuan* gael ei ddwyn ymaith i dŷ yn mharthau uchaf y plwyf, enw yr hwn ni allaf gofio, a'i wneuthur yn gafn moch; ac mai trwy hynny y cafodd y bwlch yr hwn sydd yn ei ymyl.*

* Y mae *Walker*, yn ei *Sufferings of the Clergy*, yn cadarnhau yr honniad yma o droad allan o'r offeiriad, ac yn dywedid i Ymneillduwr o'r enw *Evan Bowen* gael ei osod yn ei le.—Yr *Evan Bowen* hwn oedd sefydlydd gynnulleidfa *Troedrhiwdalar*, yr hon sydd yn hanfodi hyd heddyw; a dichon y gall fod yn yr ardal rhai cofieint etto heb eu llwyrgolli perthynol i'r amserodd yma. Y mae gennyf Destament *W. Salisbury*, ac yn ymyl dalen iddo grybwylliad am yr E. B. hwn, wedi ei ysgrifeni yn 1653. Y Testament yma a gefais mewn *Siop*, gwedi ei werthu megys hen bapur, iddei dorri i fynu er amgylchu nwyfau, a

r anghraifft o'r ormes milwraidd a hanfodai, dywedai fy Hen-ewythr i i o farchwyr unwaith ddyfod i *Fwlch-y-Garth*, annedd ei dadcu ef, *iam*, [mab *Thomas ap Rhys Meredydd Bowen*,] ac yno troi eu lau i'r ysgybor, i ben yr ŷd, a myned eu hunain i'r ty i yspeilio; morwyn o'r tŷ yn llidiog wrth y sarhâd, a gymmerth gawell o wenyn, i taflodd i'r ysgybor i blith y ceffylau, y rhai yn cael eu brathu gan y yn a ruthrasant allan yn gynddeiriog wyllt, a'u perchenogion ar eu y rhai ni ddychwelasant fyth yno mwyach.

chon y bydd i amryw ddirmygu y cyfryw adroddiadau, a gofyn m yr argraffaf y cyfryw chwedleuaeth. Ac felly attebaf eu holiad yn n llaw, trwy ddywedyd fy mod weithiau wrth adrodd yr hengofion ac ereill o'r cyffelyb, yn cael gofyn i mi, a hynny hefyd gan ddynion dig a doniol, "Paham nad ydych yn ysgrifenu i lawr y traddodiadau —Pe buasai cymmaint gennych perthynol i amser *Llewelyn ap erth*, neu *Owain Gwynedd*, buasech yn eu hoffi yn fawr, ac yn eu li â'ch hanes; ac yn rhwysc amser fe ddaw digwyddiadau lleol y ganrif i fod yn werthfawr mewn hynafiaeth, yn yr un modd ac y 13fed a'r 12fed. Am hynny ysgrifenwch hwy i lawr."—Ac wele l y cyfryw daererfyniadau yma, yr wyf wedi ysgrifenu yr uchod, a'u odi i'r wasg.

blaw y rhyfel a fu yn Nghymru, rhwng y Brenin a'r Parliament, bu lawer o'r Cymry yn gwasanaethu yn myddinoedd y Brenin yn r, a diamheu llawer hefyd yn eiddo y Parliament, ond ni chefais it am yr olaf. Eithr am eu gwasanaeth ar blaid y Brenin, yr wyf yn amryw draddodiadau, gan mwyaf yn gynwysedig mewn hen ganuon aeg, y rhai a glywais pan yn blentyn, gan fy nhad ac ereill. Y n hyn a grybwyllent am wahanol frwydrau; ac yr wyf yn cofio enw ir *Newbury*: a rhai a ymddangosent fel pe baent wedi eu cyfansoddi yw filwyr Cymraeg a fuasent yn ymladd yno. Nid oes gennyf cof ond ambell i linell: un gân a draethai am ryw frwydr yn mha cyfarchai y Brenin y Cymry.—

"Fe'n trowd ni lawr i'r dolau gleision,
Yna dywedai'r Brenin wrthom." &c.

y gallasai ei werthydd dderbyn cymmaint a dwy geiniog amdano. A thyma'r modd llawer o hen lyfrau gwerthfawr yn cael eu dinystrio, y rhai ydynt werth cynnifer o d ag y ceir amdanynt, yn y modd yma, o geiniogau. Yr ysgrifiad ar ymyl y ddalen anlynol: "*Exordium Evani Bowen Llanavan vawr duodecimo die martij anno domini sexcentess, quingess, tert, captu/est.*"

[Gwall yn odre y ddalen rhagflaenol,—yn lle *nwyfau*, darllen *nwyddau.*]

Canu arall a ddarluniai y brenin yn ei aflwydd yn addef gwasanaeth y Cymry, ac yn dymmuno iddei fab, *Charles II.* gofio am hynny.—

"O na chawn i wel'd fy machgen,
Fi own ar ben fy neslin noethion
Na wnai e' gam â'r Cymry mwynion." &c.

Canu arall a gyfeiriai at *Charles II.* yn ei alltudiaeth, mewn darogan iad am ei ddychweliad i'r orsedd. Hen ŵr a elwyd *Huwcyn yr Hwpper* a'i canai: y canlynol oedd rhan o hono.

"Mae genni himpyn o'r hen foncyn
Etto'n tyfu yn yr ardd;
Chwi gewch ei wel'd e' yn blaguro,
Ac yn blodeuo etto 'n hardd."

Os ydoes neb yn cofio rhyw rannau o'r canuon hyn neu eu cyffelyb, erfyniaf iddynt, fel yn fynych yr erfyniwyd i finnau, sef eu hysgrifenu i lawr, a phan cynnyga gyfleusdra, iddeu gosod yn y wasg, i'r diben iddeu cadw rhag anghof. Y mae y canuon hyn yn haeddianol o sylw, o herwydd y mesur a'r dull prydyddiaethol; canys y maent yn mhlith y cynharaf, os nid y cynharaf oll, ar glawr yn y dull o gân *ddiri* hanesiol. Y mae yn *Llyfr y Ficer* rai cyfansoddiadau yn dra chyffelyb o ran prydyddiaeth, ond nid yn hollol o'r un defnyddiad hanesiol. Y mae hefyd *Brophwydoliaeth Myrddin*, yr hwn a gyfansoddwyd yn 1668, yn dwyn cyffelybrwydd iddynt yn rhwydd-der y iaith, yr hyn a ddengys fod y dull yma mewn arferiad cyffredinol yn yr oes honno; eithr nid wyf yn cofio gweled cân hanesiol yn henach na'r rhai hyn. Ond er hyn, wrth sylwi ar yr *Awdl Fraith*, ac amryw rannau o waith y Gogynfeirdd, y mae yn ddilys gennyf fod y dull hwn yn arferedig yn y canol-oesoedd, er na chyfrifid ef yn ddigon celfydd iddei gofrestri yn mhlith y gorchestion barddonawl.

O amser y Rhyfeloedd Cartrefol i waered, ni chaf ddim yn perthyn yn neillduol i Gymru yn dyfod o fewn terfynau y cofiaint yn awr mewn llaw gennyf, hyd at y flwyddyn 1797, pan tiriodd y Ffrancod gerllaw *Abergwain*, yn lu o 1400 o wŷr; ac ar ba achlysur y dangoswyd yn mhlith y Cymry y parodrwydd mwyaf clodfawr i ymddiffyn eu heiddo; canys yr holl wlad a gyfododd yn ddioed i wrthladd y gelynion, pob un â'r fath arfau ag a allai afaelyd ynddynt ar y pryd. Lladdwyd ryw rai o'r Ffrancod gan bobl y wlad, pan yn y gorchwyl o yspeilio; ond ni fu dim ymladd; o herwydd y Ffrancod a ymddarostyngasant yn fuan.

Y dygwyddiadau nesaf o anianawd rhyfelol a thywallt gwaed, oeddynt y cyffroadau cartrefol, yn y Gweithiau Haiarn yn Ngwent a Morganwg. Y mwyaf nodedig o ba rai ydoedd yr un yn *Merthyr Tydfil*, yn 1831,

y rhuthrodd y bobl, a hwynthwy yn anarfog, ar ddosparth o'r 93 ...rod, dan arfau yn yr heol, ag a gymmerasant oddiarnynt ddeg-ar-hugain ...drylliau; heblaw diarfogu mintai o farchwyr ar y mynydd. Ond yn y ...wedd gorthrechwyd y terfysgwyr, gan ladd amryw o honynt, a dwyn ...eill i gospedigaeth rheithiol. Achlysur y terfysgan hyn ydoedd ymrys...rhwng y gweithwyr a'r meistri, perthynol i gyflogau.

Y mudiad nesaf, ydoedd eiddo y *Siartiaid*, y rhai yn 1839 a ymosod...ant ar dref y *Cas'newydd*, ond y rhai trwy wrolder a medrusrwydd ...r *Thomas Phillips*, Maer y dref, a'i ymegniad prydlawn, gyda'r milwyr ...n ei awdurdod, a orthrechwyd gyda galanastra fawr; a llaw Rhaglun...th yn ymddangos yn eglur yn y gwaith. Gwrthrych y terfysgwyr ...oedd effeithio chwyldroad yn y lywodraeth, a hollol gyfnewid y cyfreith...i a'r defodau hanfodedig.

Y cyffroadau hyn o eiddo y *Siartiaid* ni pherthynent i'r Cymry megys ...edl, eithr cludwyd y surdoes i Gymru gan y Saeson, y rhai yn eu gwlad ...hunain a gadwent y dadwrdd mwyaf byddeiriol, trwy areithio, ac ym...ostio, a bygwth, a siarad yn uchel, ac ymddangos fel y gwronion dewraf, ...d ni feddianent ddigon o galondid i osod ei hunain o flaen y milwyr; ...felly troisant at y Cymry; a thrwy effeithiad areithwyr cyflogedig a ...enadon llithiol, llwyddasant i gyffroi y Cymry i weithrediad o'r hwn ni ...ldent hwy eu hunain ei brofi: a'r Cymry yn eu hammhwyll a'u hyn...lrwydd a rhuthrsant ar y drylliau piccellog, ac a adawsant eu gwaed a'u ...aneddau yn heolydd *Cas'newydd*, tra y cadwodd gwladgarwyr doethach ...*rmingham* a *Manchester*, eu crwyn yn gyfain, trwy ddewis y gorchwyl ...ymffrostio a baldorddi yn yr areithfaoedd yn hytrach na pheryglu eu ...nain wyneb yn wyneb â'r milwyr. "*Sais yw e'*,—*Syn*," medd yr hen ...iareb. Da pe cofiasai y Cymry yr arwyddair call hwnnw, cyn ym...ltlynu â chywdawd hunanaidd a bradychus, yr hon a'u hudodd i'r ...l, ac yna a'u gadawodd: a thra y meddianent egni i weithredu, da ...sai pe cynhaliasent ychydig bwyll i ystyriaid yr ynfydrwydd o gredu y ...lasai ychydig o law-weithwyr didrefn ac annysgybledig, mewn congl o'r ...ıd, fyned allan a dymchwelyd ar un ergyd holl sefydliadau y deyrnas. ...n glywais am waed y Cymry yn ffrydio ar hyd heolydd *Cas'newydd*, ...allaswn ymattal rhag gruddfan dros fy nghyd-waed, a dywedyd, "O na ...sai y brwdfrydedd egniol yr hwn a'u harweiniodd i'r cyfryw derfyn ...ethus, wedi gweithredu tuag at gynnal gwir freintiau ac iawnderau eu ...iedl eu hunain, yn lle ymdreulio yn hyfforddiad amcanion ynfyd di...ıith cywdawd estronaidd."

Mewn amgylchiadau gwladwriaethol, un o'r pethau mwyaf nodadwy a ...gwyddodd i'r Dywysogaeth yn y dyddiau hyn, ydyw y cyfnewidiad yn ...ull o weini cyfraith yn y brawdlysoedd, trwy gymhwyso dull swyddi

Cymru at eiddo rhai Lloegr. Dyweda y rhai ydynt yn hyddysc yn gyfraith, fod y dull newydd yn hawshau trafodiadau brawdlysol, ac hyfforddi gweinyddiad cyfiawnder, trwy gyfnewid y barnwyr, a dyfod llysoedd a dadleuwyr mwy medrus a dysgedig na than yr hen drefn. cyfnewidiad a wnaethpwyd yn 1830.

O ran Tywysogaeth Cymru, megys Talaeth o'r Deyrnas Unol, ni wnaethpwyd fawr o gyfnewidiadau gwladwriaethol, oddieithr y rhag-grybwylledig. Mab henaf Pennadur Lloegr a dderbyn yr anrhydedd o'i urddaw yn *Dywysawg Cymru;* eithr nid trwy rinwedd ei enedigaethfraint, ond trwy fraintysgrif teyrnol. O amser *Iorwerth I.* y mae, fel y deallaf, ddau-ar-bymtheg o Dywysogion Cymru wedi hanfodi. Yr ailfed-ar-bymtheg yw y Tywysawg presenol, mab y Frenhines *Victoria*, etto yn ei fabandod, a'r hwn, ar y 25ain o'r mis hwn, yn mha un yr ysgrifenaf, sef Ionawr, 1842, a fedyddiwyd wrth yr enw *Albert Edward.*

Heblaw y canghenau rhagenwedig o genedl y Cymry, y mae himpiad tra nodedig o honi, o fewn i'r canrif hwn, gwedi ei drosglwyddo dros yr eigion a'i blannu mewn tir newydd, sef yn yr *Unol Daleithiau*, yn yr *America*, lle y mae eisioes gwedi gwreiddio yn ddwfn, ac yn blaguro yn harddwych. Canys y mae y Cymry yn yr *America*, nid yn unig yn llwyddo megys dinasyddion, ond hefyd yn cynnal eu cenedlgarwch mewn modd tra theilwng a chlodwiw; o herwydd y mae yn y wlad honno amryw ardaloedd lle y mae y Cymry gyn amled, a'u bod yn ffurfio rhan liosog o'r trigolion, ac yn cadw ei hen iaith gysefin megys cyfrwng cyffredinol cydymdrincymdeithasol; ac hyd nod yn cynnal cyhoeddiadau cylchynol ynddi. Ar y lleiaf y mae un o'r cyfryw yn hanfodi yn eu plith, sef, "CYFAILL YR HEN WLAD," yn argraffedig yn *Nghaerefrog Newydd*, dan olygiad *William Rowlands*, angrhaifft o'r hwn gyhoeddiad a anfonwyd attaf yn ddiweddar, yn anrheg oddiwrth *Daniel L. Jones*, o'r ddinas rhagenwedig, ac i'r hwn y dychwelaf fy niolchgarwch; gan ychwanegu fod derbyniad y llyfr yma yn achlysuro i mi ddywenydd o'r fath na fuaswn yn ei fwynhau pe ym anrhegasid â llyngesiad o'r nwyddau gwerthfawrusaf ereill y wlad doreithiog honno.

A'r cyfryw, hyd at hyn, yw dadblygiad tynghedfen Cenedl y Cymry. Pa beth sydd etto yn ol yn nirgelwch y dyfodol, rhaid ei adael i rwysg dadguddiol amser.

Dywedodd hen fardd am danynt,

"Eu Ner a folant,
A'u hiaith a gadwant;
Eu tir a gollant
Ond gwyllt Walia,

Nid hyderaf ar hen ddaroganau; eithr hyn y pwysaf arnaw, mewn gobaith ymddiriedol, sef, tra y parha'r Iaith Gymraeg i fod yn offeryn o daeniad gwybodaeth ysgrythyrol, ac yn gyfrwng gwirionedd; tra y parhao hi i fod yn iaith y weinidogaeth Gristionogol; mewn gair, tra y pregethir yr Efengyl yn y Iaith Gymraeg, na fydd i'r Hollalluog Dduw adael i'r iaith honno gael ei diffodd, na'r genedl a'i harfera gael ei dileu o'r tir.

## TYWYSOGION ARBENIG CYMRU, SEF TYWYSOGION GWYNEDD.

| B. A. | |
|---|---|
| 688. | *Ifor ap Allan, o Lydaw.* |
| 720. | *Rhodri Molwynawc.* |
| 755. | *Cynan Tindaethwy.* |
| 817. | *Esyllt, a Merfyn Frych.* |
| 843. | *Rhodri Mawr.* |
| 877. | *Anarawd.* |
| 913. | *Edwal Foel.* |
| 940. | *Hywel Dda.* |
| 948. | *Iefaf a Iago.* |
| 978. | *Hywel ap Iefaf.* |
| 984. | *Cadwallawn ap Iefaf.* |
| 985. | *Meredydd ap Owain.* |
| 993. | *Edwal ap Meyric.* |
| 1000. | *Aedan ap Blegored.* |
| 1015. | *Llewelyn ap Sitsyllt.* |
| 1021. | *Iago ap Idwal.* |
| 1037. | *Gruffydd ap Llewelyn.* |
| 1064. | *Bleddyn ap Cynfyn, a Rhiwallawn ei frawd.* |
| 1072. | *Trahaearn ap Caradawc.* |
| 1080. | *Gruffydd ap Cynan.* |
| 1137. | *Owain Gwynedd.* |
| 1169. | *Hywel ap Owain.* |
| 1170. | *Dafydd ap Owain.* |
| 1194. | *Llywelyn ap Iorwerth.* |
| 1240. | *Dafydd ap Llewelyn.* |
| 1246. | *Owain Goch.* |
| 1254. | *Llewelyn ap Gruffydd.* |
| 1282. | *Dafydd ap Gruffydd.* |

## ATTODIAD.

Yn ystod y gwaith rhagflaenol, ceisiais ar brydiau roddi dehongliad rai enwau y sawl a gyfrifwn yn anhyspus eu tarddiad ; ac weithiau, naill ai trwy esgeulusdra, neu anwybodaeth, ar y pryd, gadewais allan rai cynnigiadau at y cyfryw eglurhâd, y rhai ni chefais ar ol hynny gyfle iddeu corffoli a'r gwaith ; ac felly cymmeraf yr adeg a roddir i mi gan y ddwy ddalen orphenol hyn iddeu cynnyg i sylw. Ac gan fy mod eisioes gwedi crybwyll am y wlad rhwng Gwy a Hafren, yn awr llamaf drwodd i'r ochr dwyreiniol i'r afon olaf.

### GWLAD YR HAF.

Y mae yr enw Cymraeg hwn yn atteb mor agos i'r un Saesonaeg, *Somerset*, [*Summer—Hâf*] a'i fod yn beth o amheuath gennyf pa un yw y cysefin. Y mae yr enw Saesoneg mor henaid a'r 9fed ganrif, canys ceir ef yn ngwaith *Asser Menevensis*, megys enw tref, *Summurtunensis paga*, ac y mae *Camden* yn barnu i'r wlad dderbyn yr enw oddiwrth Abbatty y lle hwnnw, sef Monachlog *Somerton*. Ac os felly, y mae yn rhaid addef nad ydyw yr enw Cymraeg ond cyfieithiad o'r Saesonaeg. Ond cyn addef hyn cynnygaf y tyb mai y gwrthwyneb sydd gywir; sef mae yr enw cysefin Cymraeg, neu Brydeinig, ydoedd *y wlad ar Hafren*, ac i'r Saeson mewn rhan ei droi, megys y gwnaethant ag ereill, iddeu hiaith eu hunain, a'i alw yn *Severn-set*, a thrwy lygriad, yn *Somerset*, a'r hyn oddiwrth ei gyffelybiaeth i *Summer* a ail droddwyd gan y Cymry i *Wlad yr Hâf*. Ac y mae i cydergydiad o *Hâf* a *Hafren*, a *Severn* a *Summer*, yn dra nodedig ac ac yn ffurfio un o'r aml ddyrysiadau sydd iddeu cyfarfod mewn chwiliad ar ol hanniad geiriau. Ond ar ol sylwi ar y peth, ceir gweled nad ydyw *Hâf* a *Summer*, er mor annhebyg, ond yr un gair, ac yn ddarn o ryw hen iaith gysefin ; Ac hyn a brofir trwy gyfrwng y Wyddelaeg; herwydd yn honno, *Hâf* yw *Sav*, *Savradh*, ac yn ol un llythreniad, *Sambradh*, ac felly pan ddeallwn fod yr *H* Gymraeg yn atteb i'r *S* Wyddelaeg a Saesonaeg, mewn amrywiol eiriau, yr ym yn dechreu canfod perthynas y gair hwn.

